# Y DRYSORFA:

CYLCHGRAWN MISOL

Y

# METHODISTIAID CALFINAIDD.

1878.

Llyfr XXXII. o'r Gyfres Newydd, a Llyfr XLVIII. o'r
Hen Gyfres.




TREFFYNNON:
CYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS & SON.

# CYNNWYSIAD.

## Traethodau, Pregethau, &c.



## Hanesynau ac Adroddiadau.



## Eglurhadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.



## Barddoniaeth.



## Bwrdd y Golygydd.



## Y Wasg.

### Cofnodiadau mewn Cysylltiad a Methodistiaeth.



### Bywgraffiaeth a Marwrestr.



### Nodiadau ac Awgrymiadau.



### Amrywiaethau.



### Y Cronicl Cenadol.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 567.] IONAWR, 1878. [LLYFR XLVIII.

## Y PARCH. WILLIAM EVANS, TONYREFAIL.

YN ol penderfyniad unfryd a gwresog y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf, wele ddarllenwyr y DRYSORFA yn cael eu hanrhegu, ar ddechre y gyfrol hon, â darlun o'r gweinidog hynaf yn y Cyfundeb, yr hwn sydd ymhob modd—yn gorfforol ac yn eneidiol—yn dirf ac iraidd yn ei henaint, ac mor flasus a chymeradwy ag erioed yn tystiolaethu efengyl gras Duw. Ni buwyd yn llwyddiannus i gael un ysgrif ganddo ef ei hun y tro hwn, fel y dysgwyliwyd; ond cafwyd gan ei ŵyr, y Parch. William Evans, M.A., Aberystwyth, y "braslinelliad" canlynol o'i hanes, yr hwn, yn ddiau, fydd yn dderbyniol iawn gan ein cyfeillion yn gyffredinol.

GANWYD fy nhaid yn Garthgraban-fach, ffermdŷ yn mhlwyf Llantrisant, Morganwg, yn agos i dair milldir o Donyrefail, a thua milldir a hanner i'r ochr ddwyreiniol i'r afon Lai, yn mis Mai, 1795; ac felly y mae yn awr yn cerdded yn y drydedd flwydd a phedwar ugain o'i oedran. Y mae hanes byr am ei dad a'i fam yn y drydedd gyfrol o'r *Methodistiaeth Cymru*, dan y penawd Tonyrefail (tu dal. 68), lle y dywedir am Dafydd Evan, ei dad,—"Gŵr craff ei lygaid, parod ei ddawn, helaeth ei wybodaeth, heddychol ei ysbryd, tawel ei dymher; mewn gair, yn grynhöad o rinweddau, fel ag i'w wneuthur yn oracl ei fro, at yr hwn y cyrchent am gynghor ymhob dyryswch, ac i'r hwn yr ymostyngent mewn llawn ymddiried yn ei ddoethineb a'i onestrwydd." Enw ei fam oedd Elizabeth Morgan, "yr hon hefyd oedd yn rhagori yn ei gras, ac yn rhinweddau ei rhyw." Bu i'r ddeuddyn hyn deulu lliosog; ac y mae eu disgynyddion, er ys degau o flynyddoedd, yn cael eu cydnabod yn un o'r teuluoedd amlaf yn y plwyf helaeth y perthynant iddo; a thrwy eu hamrywiol gysylltiadau y maent wedi ymhelaethu i gyfeiriadau lawer, nid yn unig dros wahanol ranau y plwyf hwnw, ond ymhell tu hwnt i'w derfynau. Ceir ymhlith yr ŵyrion a'r orwyrion weinidogion a blaenoriaid amryw, a rhai yn llanw cylchoedd o ddefnyddioldeb a dylanwad yn y wladwriaeth; ac y maent ymron oll yn Fethodistiaid.

Yr ieuengaf ond un o blant Garthgraban-fach yw y gweinidog oedranus o Donyrefail. Y mae ei frawd nesaf ato, hŷn nag ef, Evan Evans, eto yn fyw, ac yn preswylio yn lle eu genedigaeth, ac hefyd yr ieuengaf o'r teulu, sef mam y Parch. Watkin Williams, Pencoed, yr hon sydd yn cartrefu gyda'i merch yn Tŷdraw Gelliwion, gerllaw Pontypridd.

Cafwyd ychydig o adgofion am ei flynyddoedd boreuol er ys peth amser yn ol yn *Nhrysorfa y Plant*. Crybwyllwn yma yn unig ei fod o'i febyd yn hynod am ei fywiogrwydd a'i gyflymdra, ac yn llawn ysbrydiaeth ac yni. Bu yn yr ysgol am beth amser yn Pontfaen, gydag ysgolfeistr enwog yn ei ddydd yn y wlad hono, o'r enw Mr. Rees, un o brophwydi hen oruchwyliaeth y wïalen a chosbedigaeth gorfforol, ond eto a ystyrid yn ysgolaig da, ac yn meddu ar fedrusrwydd mwy na chyffredin i gyfranu addysg. Hefyd y mae i'w grybwyll i Mr. Evans bregethu llawer yn ystod ei fachgendod. Y mae gallt fechan o goed yn sefyll gerllaw Garthgraban, lle y bu yn arfer llawer ar ei ddawn.

Er ei fod felly, er yn ieuanc, yn

dangos tueld meddwl at bethau crefydd, ac yn mynychu moddion gras gyda chysondeb, fel y gallesid dysgwyl dan ofal y fath rieni ag oedd ganddo, eto nid ymunodd â'r eglwys yn gyflawn nes ei fod yn tynu ymlaen ar ugain oed. Yr hyn a dorodd y ddadl, dan fendith Duw, ydoedd pregeth a glywodd gan y diweddar Barch. Evan Jones, y pryd hwnw o'r Casnewydd-ar-wysg, ac wedi hyny o Lewes.

Priododd pan yn 18 mlwydd oed, a phan nad oedd ei briodferch, Margaret Cadwgan, ond 16. Ganwyd eu cyntafanedig, Dafydd, ymhen tua dwy flynedd ar ol eu priodas Bu iddynt wyth o blant. Nid oes ond tri o honynt yn fyw. Bu farw ei briod yn mis Medi, 1861, ar ol 47 mlynedd o gydymdaith nid annedwydd.

Yr oedd efe wedi penderfynu bod yn bregethwr cyn priodi, os nad cyn dyfod yn aelod eglwysig cyflawn. A bryslodd i briodi yn ieuanc, fel ag i ymsefydlu yn y byd cyn dechreu ar y gwaith cyhoeddus, ac i'w alluogi i wneyd hyny gyda mwy o fantais a chysur. Ac ni fu erioed well cymhares i weinidog yr efengyl nag a gafodd efe. Ymroddai i ofalu am y teulu a'r amgylchiadau, ac yr oedd ynddi fedrusrwydd at hyny; a byddai yn bob cefnogaeth iddo yntau i ymroddi i wasanaethu yr efengyl. Lawer gwaith, pan y byddai efe yn teimlo yn bruddglwyfus ac yn ofnus i fyned, yn enwedig i deithiau pell, ac am fis neu fwy o amser, dywedai wrtho, "Cer'wch chwi, Bili; cer'wch chwi, Bili."

Yn fuan iawn wedi ei ymuniad â'r eglwys yn Tonyrefail, daeth yn amlwg fod ynddo ddefnyddiau pregethwr, a chymhellwyd ef i arfer ei ddawn yn gyhoeddus. Mae yn ymddangos mai yn y flwyddyn 1818 y dechreuodd bregethu, tua'r un amser ag y dechreuodd y diweddar Barch. David Howells, Abertawe. Fel hyn y dywedai efe ei hun yn Nghymdeithasfa Ystrad Rhondda, mis Mawrth diweddaf, am sefyllfa yr achos yn Morganwg yr adeg y dechreuodd ar ei yrfa gyhoeddus: "Pan yr oeddwn i yn dechreu pregethu, nid oedd ond 1400 o Fethodistiaid yn y Sîr, a dim ond 28 o gapelau, a'r rhai hyny yn fychain ac yn gulion, ac heb orielau. Nid oedd y capelau bychain hyn yn cael eu llenwi ond pan delai y Parch. Ebenezer Morris a'i gyffelyb—os oedd ei gyffelyb i'w gael. Nid wyf am ddyweyd dim am ansawdd ysbrydol y gwaith. Dywedwch chwi yr hyn a fynwch. Os na bydd ffrwyth, nid yw o un gwerth; pwy a'n cred ni? Ond serch i ni fod heb ddyweyd dim, os bydd ffrwyth, fe gred y bobl ynom." Gwnael y sylwadau hyn ar ol adrodd-iad hanes yr achos yn y Sîr a'r cyfrifon. Dechreuasai ei sylwadau trwy ddyweyd, "Yr wyf yn teimlo fy mod wedi myned yn hen heb yn wybod i mi. Mae yn dda genyf glywed y cyfrifon yn cael eu hadrodd. Mae yn flin genyf nad wyf yn gallu dilyn y Cyfarfodydd Misol. Ni byddwn gynt yn colli yr un o honynt, ac yr oeddwn yn cael tâl da wrth eu mynychu." Yr adeg hono ni chynnelid ond dwy oedfa gyhoeddus mewn cysylltiad â'r Cyfarfod Misol, sef y nos gyntaf ac am ddeg yr ail fore; ac yna elai pawb adref. Yr unig bregethwyr ordeiniedig yn y Sîr y pryd hwnw oeddynt Mri. Howell Howells, Trehil; Richard James, Hopkin Bevan, a David Williams, Merthyr. Nid hir, modd bynag, y bu cyn i Mr. Evans gymeryd ei le fel un o bregethwyr y Cyfarfod Misol; ac fel y dywedai y Parch. E. Matthews 'yn Ystrad Rhondda ar yr achlysur yr ydym eisoes wedi cyfeirio ato, daeth ymron ar unwaith mor boblogaidd, fel ag y llenwid y capelau ("meinion, hirion," chwedl Mr. Evans) gan y cynnulleidfaoedd a ddeuent ynghyd i'w wrandaw.

Y mae gan fy nhad cu lïaws o adgofion am y gweinidogion ag oeddynt ar y maes pan y dechreuodd efe bregethu; ac, yn wir, nis gellir cael gwell ammheuthyn na threulio diwrnod i'w glywed yn siarad am ac yn adrodd hanesion a ffraetheiriau yr hen frodyr hyny a'u cydoeswyr, y rhai, erbyn hyn, ydynt oll wedi ei ragflaenu i'r byd arall.

Ni a grybwyllwn rai o'r adgofion yr ydym wedi eu clywed ganddo o dro i dro. "Un galluog ofnadwy oedd Hopkin Bevan; yr oedd yn *deep*. Yr oedd Dafydd William yn fwy ffraeth, ond nid yn fwy meddylgar." Pan yr oedd Mr. Bassett, Llanilltyd-fawr, cyfreithiwr, yr hwn a fu yn ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, yn methu dyfod, gosodid Mr. Evans i lanw ei le; ac efe a fu yn gweithredu fel ysgrifenydd i'r casgliad at gynnaliaeth Richard James yn ei fethiant, gyda'r hyn orchwyl y cymerodd lawer o drafferth. Aeth bob cam

o'r Tòn gydag Isaac James, o'r Felin, mab Richard James, i weled yr hen ŵr yn ei gystudd, yr hwn oedd yn byw gyda'i ferch yn Glyncorwg. "Yr oedd Richard James yn pregethu yn wlithog bob amser. Yr oeddwn yn derbyn lles bob amser i'm calon, os nad i'm pen, wrth ei wrandaw." "Gweddïwr *neat* oedd Howells, Trehil, ond pregethwr bach." "Yr oedd llygad main gan Hopkin Bevan."

Yr oedd amryw o flaenoriaid arbenig yn yr adeg hono ag y mae ganddo adgofion difyr a tharawiadol am danynt, megys Mr. Bassett, Llanilltyd; Mr. Smith, Aberafon; Mr. Edmunds, Caerffili; Thomas Dafydd, Pencoed; Isaac James, o'r Tòn. Dyma un engraifft:—"Dywedodd Mr. Edmunds wrth fy mrawd Richard, pan y cymerodd y Felin-fawr, 'Richard Evan, gofalwch ffordd y bo'ch chwi yn prynu. Cymerwch bwyll. Yr wyf fi wedi bod yn cadw melin.' 'Yr wyf yn clywed, Mr. Edmunds, y'ch bod chwi wedi gwrthod rhoi benthyg rhacanau i'ch mab,' meddai Thomas Evans, Cornelparc, wrtho un tro. 'Mi wnaethum beth gwell na hyny; mi a'u rhoddais hwynt iddo. Ond ofalodd e ddim am danynt. Ac os na ofalaf fi, fe fydd e a finnau heb racanau.'" Byddai yn hawdd ychwanegu llawer o'r cyfryw adgofion dyddan.

Derbyniwyd Mr. Evans yn aelod o'r Gymdeithasfa yn Nghaerffili, un o'r wyth lleoedd yn Morganwg yn y rhai yr arferid cynnal y Cymdeithasfaoedd yn yr adeg hono. Gosodwyd ei achos i lawr "yn hyfryd" gan Hopkin Bevan. Yr oedd Mr. Bevan wedi dyfod trwy Glynogwr ar ei ffordd i'r Gymdeithasfa hono; ac aeth Mr. Evans i'w gyfarfod yno, pellder o bedair milldir o Donyrefail, yn nghyfeiriad Penybont-ar-ogwy, a phregethodd o'i flaen. Mae yn debyg mai dyma'r tro cyntaf i Hopkin Bevan ei glywed. Wrth adrodd yr hanes am y tro hwn ychwanegai Mr. Evans, "Dyn *sound* oedd Hopkin Bevan, ond *slow*. Nid oedd y Cyfarfod Misol yn gyflawn hebddo; yr oedd yn frenin yn y lle."

Yr oedd efe i'w ordeinio yn 1824, gyda Mri. Morgan Howells, William Griffiths, à David Howells. Ond pan y dygwyd ei achos ger bron yn Nghymdeithasfa Caerfyrddin y mis Gorphenaf blaenorol, sef ychydig wythnosau cyn Cymdeithasfa Llangeitho, lle yr oedd y gwasanaeth ordeinio wedi ei drefnu i fod, gwrthodwyd cydsynio â'r cais o Forganwg am nad oedd y pregethwr ieuanc wedi ymweled âg un o'r Siroedd eraill, yr hyn, dybygid, oedd yn anhebgorol i ordeiniad yn y dyddiau hyny. Pa fodd bynag, wrth drefnu yr oedfäon cyhoeddus mewn pwyllgor neillduol at hyny, dywedodd Mr. Charles, "Fe gaiff y dyn bach bregethu am ddeg o flaen Ebenezer Richard." Awgrymwyd gan rywun na fyddai hyny yn ddoeth. Ond ateb Mr. Charles ydoedd, "Nid wyf yn meddwl y gwnaiff ddim niwed i'r dyn bach." Pregethodd yr un modd ymhen blwyddyn yn Llandeilo Fawr, a hyny drachefn cyn ei neillduad i gyflawn waith y weinidogaeth. Fel y mae yn hysbys, cymerodd ei ordeiniad le yn 1825, yn Aberteifi; ac efe yn unig a neillduwyd y flwyddyn hono. Nid oes genym hysbysrwydd wrth law am y rhai oedd yn cymeryd rhan benodol yn y gwasanaeth. Eithr hyn a wyddom, eu bod oll wedi eu symud. Ac ychydig iawn, os oes neb, sydd yn fyw ac yn cofio'r cyfarfod ond yr ordeiniedig ei hun. Ond oddiwrth hen *Oleuad Cymru*, yr ydym yn gweled enwau y Parchn. John Elias, John Roberts o Langwm, a Richard Jones o'r Wern, ymysg y rhai oedd yn y Gymdeithasfa hono o'r Gogledd, gyda'r Parchn. Charles o Gaerfyrddin, ac Evans o Lwynffortun, yr unig ddau o'r Dê oedd yn pregethu yn y Gymdeithasfa; ac y mae agos yn sicr fod yr enwau uchod yn gweinyddu ynglŷn â gwaith yr ordeiniad. Yr oedd yr enwog Ebenezer Morris y pryd hwnw ar ei wely angeu; ac efe a fu farw ar y dydd Llun canlynol i'r Gymanfa, sef Awst 15fed, er galar mawr i'r holl frawdoliaeth, ac nid i neb yn fwy nag i wrthddrych y darlun yn y rhifyn presennol o'r DRYSORFA. Nis gallai ei deimlad bywiog-dilwys ond llefain, "Fy nhad, fy nhad! cerbyd Israel a'i farchogion."

Aethai efe hefyd i'r Gogledd am y tro cyntaf yn 1825; ac yr oedd yn pregethu yn Nghymdeithasfa'r Bala yn Mehefin y flwyddyn hono, pryd y clywodd Mr. Elias ef am y waith gyntaf, ac y dywedodd ar ol ei wrandaw, "Dyna ddyn ieuanc i fyned i Lundain;" o herwydd yr oedd Mr. Elias, fel tad arbenig i'r achos Methodistaidd i

Cymreig yn Llundain, yn gofalu am *supplies* cymhwys i fyned yno. A chyn pen ychydig fisoedd, cafodd y gweinidog ieuanc o Donyrefail ei hun yn gwasanaethu yr achos yn y brifddinas am y tymmor arferol. Ymroddodd ar ol hyny, o bryd i bryd, i ymweled â gwahanol ranau o'r Gogledd, ac i deithio trwy amrywiol Siroedd y Deheudir. Heblaw dilyn y Cyfarfodydd Misol yn ei Sir ei hun gyda chysondeb difwlch, mynychai Gymdeithasfäoedd ei dalaeth ymron yn ddïeithriad am y 25 ml. cyntaf ar ol ei ordeiniad. Gweithredodd fel ysgrifenydd i'r Gymdeithasfa ar un achlysur. Bu yn traddodi y Cynghor yn ngwasanaeth y neillduad i gyflawn waith y weinidogaeth dair neu bedair o weithiau; y tro diweddaf yn Aberteifi, yn 1868, pryd hefyd yr oedd yn gorphen ei flwyddyn fel Llywydd y Gymdeithasfa. Ac yn y flwyddyn hono hefyd y cyflwynwyd ei ddarlun iddo, ar ben hanner can' mlynedd ar ol iddo ddechreu pregethu; a chynnaliwyd cyfarfod neillduol at hyny yn nghapel Tonyrefail, dan lywyddiaeth yr henadur parchus, Mr. Thomas Phillips, Abertawe. A thrachefn yn Nghymdeithasfa Pontypridd, yn 1875, ar ben yr hanner can' mlynedd er ei ordeiniad, cyflwynwyd iddo anerchiad a Bibl hardd gan Gyfarfod Misol Morganwg. Y tro diweddaf y bu yn Llundain oedd yn 1852, ac ar daith trwy ranau o'r Gogledd, sef Môn a Chaernarfon, yn 1854; ac yn Liverpool, yn 1859, pryd hefyd yr aeth i Gymdeithasfa Dinbych. Bu yn Nghymdeithasfa Trefdraeth yn 1867, a'r eiddo Crughywel ac Aberteifi yn 1868, pan yn Llywydd Cymdeithasfa'r Dehau. Oddiar hyny y mae wedi ymgadw ymron yn llwyr, gyda'r eithriad o ychydig iawn o Sabbothau, o fewn ei Sir ei hun, ac yn benaf y blynyddoedd diweddaf hyn yn ei ardal ei hun, gan gymeryd gofal dyladwy am ei iechyd. Ac y mae yn destun diolchgarwch mawr i'w berthynasau a'i gyfeillion lliosog ei fod yn parhâu yn hynod iach a bywiog ei ysbryd, ac yn addaw ei gyhoeddiadau mor rhwydd a neb hyd derfynau eithaf y *Dyddiadur*. Gobeithiwn y bydd geiriau Mr. Lumley yn Mhontypridd, ar yr achlysur a gyfeiriwyd ato, yn wir, y bydd anwyl dad ein heglwys, yr hwn deitl sydd bellach yn briodol iddo fel ei gweinidog hynaf, fyw i fod yn fab can' mlwydd.

Mae yn orchwyl rhy lednais i'r ysgrifenydd gyfeirio at nodweddau personol a gweinidogaethol ei hynafiad patrïarchaidd; ond caiff hyn o ysgrif derfynu gyda chrynodeb o'r bregeth a draddododd yn y Gymdeithasfa gybwylledig yn y Bala, yn yr oedfa ddeg o'r gloch dydd Iau, y 10fed o Fehefin, 1825, o flaen y Parch. John Elias, fel ei hysgrifenwyd gan fachgen pedair ar ddeg oed y pryd hwnw. Ond teg yw dywedyd yma nad yw, ac nad oedd, pregethau yr henuriad o Donyrefail yn bregethau mor gyfaddas i'w hysgrifenu a'u darllen, eithr i'w gwrandaw a'u mwynhâu. Nid papyr a all ei ddarlunio ef na'u desgrifio hwythau; rhaid gweled y gwynebddrych a chlywed y llais; rhaid i'r llygad a'r llaw fod o'ch blaen, cyn y galloch iawn farnu'r pregethwr; y traddodiad, ac nid y cyfansoddiad, yw ei ragoriaeth ef; canys nid y cynllun a luniodd efe yn ei lyfrgell sydd yn gymaint yn cyfarwyddo ei bregethiad, eithr y mae yn myned fel y bydd y gwynt yn chwythu arno oddifry. Pa fodd bynag, mae yn ddilys y bydd yn dda gan holl ddarllenyddion y DRYSORFA, ac yn enwedig gan y rhai hyny sydd yn fyw ag oedd yn gwrandaw yn y *Sassiwn* ar *Green* y Bala dros hanner canrif yn ol, gael cymaint a hyn o bregeth yr unig un o'r pregethwyr, oedd yn efengylu yno, sydd eto yn aros y tu yma i'r Iorddonen.

MATTHEW v. 4: "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru; canys hwy a ddyddenir."

Yn y bennod o'r blaen yr ydym yn cael yr Iesu yn dechre ar ei weinidogaeth gyhoeddus, wedi ei fedyddio gan Ioan, ac wedi ei demtio yn yr anialwch ddeugain niwrnod. Dyma efe yn myned "o amgylch holl Galilea, gan ddysgu yn eu synagogau, a phregethu efengyl y deyrnas;" ac yr oedd efe yn llefaru fel un âg awdurdod ganddo, a chyda hyny, "yn iachâu pob clefyd a phob afiechyd ymhlith y bobl." Yr oedd y sôn am dano yn myned trwy yr holl wlad, ac wele dorfëydd lawer yn dyfod ar ei ol o holl barthau'r wlad, nid yn unig o Galilea, ond o "Decapolis, a Jerusalem, a Judea, ac o'r tu hwnt i'r Iorddonen." Ac felly medd dechre'r bennod hon, "A phan welodd yr Iesu y tyrfäoedd, efe a esgynodd i'r mynydd;" ac oddiyno y mae yn pregethu y bregeth ryfedd a geir yn y bennod hon a'r ddwy ganlynol. Yn y rhan flaenaf o honi, mae yn cyhoeddi wyth Gwyn fyd yn olynol, ond nid yw yn cyhoeddi

cymaint âg un o'r gwynfydau heb ddangos i bwy y mae yn perthyn. Ac nid yw yn aros ar ddywedyd fod y rhai hyny yn wynfydedig heb roddi rheswm am hyny. "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd," neu, Gwyn eu byd y cardotwyr ysbrydol. Ië, er truaned eu golwg, mae y rhai hyny gan Dduw a Christ yn dywysogion a breninoedd: "canys eiddynt yw teyrnas nefoedd." Ac yna daw'r testun, lle y cawn yr hysbysiad, "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru," ac yn rheswm am hyny, "Canys hwy a ddyddenir."

Sylwn i ddechre, am y nodiad hwn am bobl dduwiol: "y rhai sydd yn galaru."

Peth hanfodol i wir grefydd yw'r galar hwn, y tristwch duwiol sydd yn perthyn i edifeirwch efengylaidd, y galar y mae'r gwir ddyddanwch yn ei ganlyn. Nid pob math o alarwyr sydd â theitl ganddynt i'r dyddanwch. Y mae galar bydol, galar deddfol, galar cnawdol, galar pechadurus. Yr oedd Amnon yn galaru mor fawr nes iddo glefychu a'i fod yn curio beunydd; ond er iddo ef, trwy gyfrwysdra Jonadab, gael gafael ar yr hyn a ddymunai, ni chafodd efe afael ar y gwynfyd a'r dyddanwch. Yr oedd Ahab yn galaru am winllan Naboth nes yr aeth i orwedd i'w wely, ac na fwytâi fara. Efe a gafodd y winllan; ond y gwae, ac nid y gwynfyd, a gafodd o'r herwydd.

Beth yw *achos* neu *wrthddrych* y galar a nodir yma? Yr ateb ydyw, Pechod: pechod fel y mae yn taro yn erbyn Duw, y daioni penaf—ac fel y mae yn dinystrio yr enaid, ein trysor gwerthfawrocaf. Dyma ddrwg y drygau. Beth a drôdd dyn a wnaed ar ddelw Duw i fod yn felldigedig? Pechod. Beth oedd yr achos o foddi'r byd? Pechod. Beth a ddŷg y llosgiad ar Sodom a Gomorrah? Pechod. Beth sydd yn cynnyrchu yr holl aflwydd a'r helbul ar y ddaear? Pechod. Beth sy'n peri'r sŵn o'r dyfnder tanllyd yr ochr draw, "Fe'm poenir yn y fflam hon?" Pechod. Paham y clwyfwyd ac y drylliwyd y Sanct a'r Cyfiawn oedd heb ddim pechod ynddo? Am fod pechod yn gyfrifedig arno. Mae pechod y fath wrthddrych âg y rhaid galaru am dano, naill ai mewn amser neu yn nhragywyddoldeb—yn y byd hwn neu ynte yn yr hwn a ddaw. Y rhai a argyhoeddwyd o bechod, ac ydynt yn adwaen pla eu calonau eu hunain, nis gallant yn yr olwg ond galaru ac ymofidio.

Beth yw *natur* neu *ansawdd* y galar hwn?

Y mae yn alar *gwirfoddol*. Ac yn hyn y mae neillduolrwydd. Nid oes alar yn y nefoedd; maent yno wedi goddiweddyd llawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar wedi ffoi ymaith. Y *mae* galar yn uffern; ac yno y bydd wylofain byth; ond y boen a'r felldith sydd yn eu gorfodi i alaru. Ond galar yn dyfod yn rhwydd ac o wirfodd yw yr eiddo galarwyr Sïon. Nid fel tân yn dyfod o'r gareg gallestr wrth ei tharo, ond fel y dwfr yn rhedeg o'r ffynnon, neu fel y myrr yn defnynu yn naturiol. Wrth gael y drwg yn trigo ynddynt—y pechod sydd yn erbyn Duw a Thad mor dda, nis gall duwiolion beidio galaru.

Mae yn alar *ysbrydol*; galar am bechod fel pechod, ac nid yn gymaint am y gosb sydd yn dilyn pechod; galaru o herwydd yr uffern sydd mewn pechod yn fwy nag am yr uffern sydd yn canlyn ar ol pechod. Yr oedd Pharaoh yn galaru am y pläau, ond nid am bechod, pla'r galon. Nid felly yr oedd Dafydd: "Fy mhechod sydd yn wastad ger fy mron."

Galar ydyw sydd *yn gweithio yr enaid at Dduw*. Aeth galar Cain dan ei anwiredd âg ef oddiwrth yr Arglwydd i dir Nod; a galar Judas am fradychu y gwaed gwerthfawrocaf erioed â'i gyrodd yntau i'r crogbren. Ond Pedr, wedi wylo yn chwerw-dost am y gwadu, a gafwyd yn fuan yn nghwmni yr Iesu byw, ac yn cadarnhâu ei frodyr. Pan ddaeth y mab afradlawn ato ei hun, ei iaith ydoedd, "Mi a godaf ac a âf at fy nhad, ac a ddywedaf wrtho, Fy nhad, pechais." Ac fe dröwyd ei alar yn llawenydd, gan i'w dad redeg i'w gyfarfod, a'i dderbyn gyda'r croesaw mwyaf. Mae ein Duw ni yn llawn parodrwydd eto i dderbyn pechaduriaid fyddo yn troi yn edifeiriol ato. Mae y galarwr ysbrydol yn myned at Dduw am ei gymmod a'i heddwch; oherwydd y mae yn gweled mai yn hyny y mae mawr bwys: cael ei achos yn glir rhyngddo â'i Farnwr. A chan fod Duw yn deisyf trwy ei weinidogion, a hwythau yn erfyn dros Grist, "Cymmoder chwi â Duw," a'r galarwr edifeiriol, yntau, yn dymuno derbyn y cymmod, mae yn sicr y bydd y cymmod bellach wedi ei wneuthur, a Duw a'r enaid yn un.

Y mae hwn yn alar *parhâus*, gan mai nid yn ngwlad y pechod a'r cystudd y sychir y dagrau. Nid rhywbeth ffitiog, oriog ydyw; nid galaru yn yr oedfa, a bod yn anystyriol wedi myned adref, ond yn debyg i'r *pulse* yn y corff yn curo bob amser, er mai weithiau yn wanach ac weithiau yn gryfach. Dyma'r genadwri sydd i'w rhoddi heddyw i ferch Sïon—nid merch Moab neu Babilon, ond "merch Sïon," y bendefiges uchelaf oll, yr hon nad ydwyf deilwng i wneyd y gwasanaeth lleiaf iddi: "Merch Sïon, tywallt ddagrau ddydd a nos fel afon; na orphwys, ac na pheidied canwyll dy lygad." Tra y mae'r afiechyd yn y cyfansoddiad, y pla yn aros —pechod mor rhwysgfawr yn y byd, a

yn gwneyd aml hafog yn yr eglwys, ac yn enwedig yn ymwreiddio ac yn ymlechu yn y galon, tylwyth ein tŷ ein hun mor elynol,—nis gall yr edifeiriol a'r crediniol beidio galaru. Ond y mae genym ochr arall i droi ati:—

Dyma sydd i'w gyhoeddi heddyw uwch ben galarwyr Sïon, er mor gystuddiedig eu calonau, ac er iseled eu profiadau: "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru; canys hwy a ddyddenir."

Ni cheir y gwir wynfyd ond yn ffordd Duw. Hwn yw y nôd sydd gan bawb, o'r brenin i'r cardotyn,—cyrhaedd gwyn fyd; ond ychydig yw y rhai sydd yn lefelu yn gywir at y nôd. Cofier mai trwy'r groes y ceir y gwynfyd, ac mai ar ol y galar y mwynheir y dyddanwch. Mae Satan yn groes i Dduw yn y pwnc hwn, fel ymhob peth arall. Gyda'r un drwg, ceir y goreu yn gyntaf, a'r gwaethaf yn ddiweddaf. Priodol yw y rhybudd, "Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn. Yn y diwedd efe a frath fel sarph, ac a biga fel neidr." Yr oedd yn hyfryd ar Belsassar tua dechre a chanol y wledd fawr; ond yn y diwedd, dyna ei wedd yn ymnewid, a'i liniau yn curo ynghyd gan fraw a chryndod. O am weled y diwedd yn y dechref a thuag at hyny, awn i gysegr Duw, syllwn trwy ysbïenddrych yr Ysgrythyr; ac ni a welwn felly am yr annuwiolion mai "diwedd y rhai yw dystryw;" ond am y duwiol, "diwedd y gŵr hwnw fydd tangnefedd." Gyda gwir grefydd, y mae fel yn y briodas yn Cana Galilea: y gwin goreu yn cael ei gadw hyd yn olaf.

Galarwn fwy am ein beïau ein hunain—am yr hyn sydd yn attal oddiwrthym lewyrch wyneb ein Duw. Ymofidiwn am ddryllio Joseph—am iselder achos yr Arglwydd. Galarwn am annuwioldeb y wlad. Beth a wnaeth ein Gwaredwr uwch ben Jerusalem oedd yn addfed i ddinystr? "Pan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti." Fy mrodyr, parhewch i hau, a hau yn dew, o'r galar sanctaidd hwn; o herwydd "y rhai sydd yn hau mewn dagrau, a fedant mewn gorfoledd. Yr hwn sydd yn myned rhagddo ac yn wylo, gan ddwyn hâd gwerthfawr, gan ddyfod a ddaw mewn gorfoledd, dan gludo ei ysgubau." Ond wrth annuwiolion rhaid i mi ddywedyd, Hauwch yn deneu; ïe, gwyliwch hau yn dew; bydd y grwn yn ddigon maith i fedi *crop* digofaint yn ddidiwedd ar ol hau ychydig. Ond y mae genyf gynghor gwell i'w roddi i chwi heddyw: Newidiwch yr hâd. Digon yw yr amser a aeth heibio i fyw yn ol y cnawd. "Ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch; tröer eich chwerthin chwi yn alar, a'ch llawenydd yn dristwch. Ymddarostyngwch ger bron yr Arglwydd, ac efe a'ch dyrchafa chwi."

Sïon, paid a grwgnach dan ochr dywyll y cwmwl; mae'r cysur eto yn ol; ceir yr ochr oleu i wawrio ar fyrder. "Hwy a ddyddenir." Dyma ddyddanwch Duw—dyddanwch yr Ysgrythyrau—dyddanwch Crist—dyddanwch yr Ysbryd Glân—y dyddanwch a leinw enaid dyn. Gobeithio, fy ngwrandäwyr, mai nid bychan genych chwi dyddanwch Duw. Nid am i ni alaru y ceir ef, er fod y galar duwiol yn ei ragflaenu yn nhrefn yr efengyl. Gwerth y gwaed yw'r dyddanwch; trwy angeu'r groes y mae yn dyfod. Mae Mab Duw wedi ei gymhwyso i'w gyfranu; canys medd efe, "Ysbryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf; o herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd; efe a'm hanfonodd—i gysuro pob galarus, i osod i alarwyr Sïon ac i roddi iddynt ogoniant yn lle lludw, olew llawenydd yn lle galar, gwisg moliant yn lle ysbryd cystuddiedig, fel y gelwid hwynt yn brenau cyfiawnder, yn blanigyn yr Arglwydd, fel y gogonedder ef." A ydych chwi yn foddlawn i'r drefn? Na freuddwydiwch am fwynhâu'r dyddanwch heb hawl iddo. Edifarhewch a chredwch yr efengyl, a daw i'ch rhan gyfiawnder a thangnefedd a llawenydd yn yr Ysbryd Glân.

---

## CREFYDD DEULUAIDD A'I FFRWYTHAU.

*Gan y Parch.* FRANCIS JONES, *Waenfawr, Arfon.*

GENESIS xviii. 19: "Canys mi a'i hadwaen ef, y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd, gan wneuthur cyfiawnder a barn, fel y dygo yr Arglwydd ar Abraham yr hyn a lefarodd efe am dano."

1 SAMUEL iii. 13, 14: "Mynegais hefyd iddo ef y barnwn ei dŷ ef yn dragywydd, am yr anwiredd a ŵyr efe; o herwydd i'w feibion haeddu iddynt felldith, ac nas gwaharddodd efe iddynt. Ac am hyny y tyngais wrth dŷ Eli na wnair iawn am anwiredd tŷ Eli, âg aberth nac â bwydoffrwm byth."

DICHON nad oes genym hanes dau ddyn duwiol annhebycach i'w gilydd nag Abraham ac Eli. Yr oedd y naill a'r llall yn ddiammheuol dduwiol, er mai nodweddau nacäol crefydd, yn hytrach na'i rhai gweithredol, oedd fynychaf yn y golwg yn yr olaf o'r ddau. Wrth eu cymharu â'u gilydd, dylem gofio fod gan Abraham ei ffaeleddau, a chan Eli ei ragoriaethau. Hen sylw adnabyddus yw mai yn yr hyn y mae unrhyw un gryfaf y mae debycaf o wneyd yr amryfuseddau mwyaf. Felly y bu gydag Abraham. Llinell amlycaf ei gymeriad ef fel dyn oedd nerth, a llinell

amlycaf ei gymeriad crefyddol oedd ffydd barod a dibetrus; eto, cawn ef ddwywaith o leiaf, yn sefyll ger bron fel y gwanaf ei ddynoliaeth a'i ffyddlondeb. Ac am Eli o'r ochr arall, er yr ymddengys mai credadyn goddefol a diyni ydoedd ef, pa bryd y gwelwyd ysbryd mwy hynaws a rhydd oddiwrth eiddigedd nag a ddangosai ef at Samuel? Yr oedd gwahaniaeth oedran, profiad, a safle swyddol, yn tueddu i'w pellhâu oddiwrth eu gilydd; eto y mae yr archoffeiriad a'r barnwr oedranus yn cyfarwyddo gyda phob parodrwydd y "bachgen" ieuanc i fyned i safle anrhydeddusach nag ef ei hun. "Os geilw efe arnat, dywed, Llefara, Arglwydd, canys y mae dy was yn clywed."

Yn yr adnodau a osodwyd uwchben y llinellau hyn, cymeriadau Abraham ac Eli fel penau teuluoedd a ddygir ger bron; ac er mwyn cael ychydig wersi oddiwrth eu hanes fel y cyfryw, cawn sylwi, yn gyntaf, ar ymddygiadau gwahanol y ddau yn y sefyllfa hono; ac yn ail, effeithiau gwahanol cyfatebol eu hymddygiadau ar eu teuluoedd.

I. Y GWAHANIAETH OEDD RHWNG ABRAHAM AC ELI FEL DAU BENTEULU.

1. *Yr oedd Abraham yn ffyddlawn i'r oll o ddyledswyddau crefyddol penteulu, tra nad oedd Eli ond yn unig i rai o honynt.* Y mae y dyledswyddau gorphwysedig ar benteulu tuag at y rhai sydd dan ei ofal yn gynnwysedig o addysgu, addoli, a llywodraethu. Nid yw y grefydd deuluaidd yn gyflawn heb bob un o honynt; ac nis gellir dysgwyl y ffrwyth priodol i'r naill na'r llall os na byddant yn cael eu cydweinyddu. Y rheswm, ond odid, am lawer o'r troion y mae crefydd deuluaidd yn syrthio yn fyr o ateb dyben da yw, fod y naill ran o honi yn cael ei harfer ar wahân, ac yn amddifad o ysbryd y lleill. Ceir ambell benteulu yn addysgu, ond yn esgeulus o addoli a llywodraethu. Ceir arall yn addoli yn gyson, ond yn ddiofal am ei rwŷmedigaethau eraill. A cheir arall drachefn yn llywodraethu yn fanwl, ond heb wneyd dim heblaw hyny; brenin yn unig ydyw, tra y dylasai fod yn brophwyd ac offeiriad hefyd; nid y naill heb y llall, ond y cwbl ynghyd. Rhaid addef fod yr hawsder sydd i weinyddu y dyledswyddau hyn arnynt eu hunain ragor gyda'u gilydd yn peri fod temtasiwn gref weithiau i'w hysgaru. Nid ydyw yn anhawdd gweinyddu addysg, os cymerir hyny arno ei hun; oblegid y mae yn naturiol i bob un o feddwl iachus ddymuno gweled dynion, yn gystal a phob peth arall o'i amgylch, yn gwellhâu ac yn myned rhagddynt. Nid ydyw addoli chwaith—addoli o ryw fath o leiaf—yn waith anhawdd arno ei hun. Y mae addoli yn reddf mewn dyn; rhaid iddo gael addoli rhywun neu rywbeth. Cyn y bydd heb wrthddrych i'w addoli, fe lunia dduw â'i ddwylaw ei hun, ac o herwydd hyny fe'i gelwir weithiau yn "anifail crefyddol." Ychwaneger at y teimlad greddfol yna, ddysgeidiaeth rheswm i ddyn am ei rwymau ar ei ran ef ei hun a'i deulu, ac yn enwedig i'r sawl sydd yn meddu ar hyny, ddysgeidiaeth dadguddiad, nid rhyfedd ei fod yn addoli yn yr olwg arnynt; y rhyfeddod ydyw fod neb yn peidio. Ac nid yw y llywodraeth deuluaidd, drachefn, yn dyfod yn rhan mor anhawdd, os edrychir ar hyny ar wahân. Yr hyn sydd yn anhawdd ydyw, cydweinyddu y dyledswyddau hyn: addoli mewn ysbryd addysgu a llywodraethu, ac addysgu a llywodraethu mewn ysbryd addoli. Pan y llwyddir i wneyd hyn, anaml iawn y maent yn methu ateb dyben da. Ynghyd y maent i fod; "a'r pethau a gysylltodd Duw, na wahaned dyn." Wrth edrych i hanes y ddau y mae a fynom â hwynt, cawn y cyfan yn ddifwlch yn nheulu Abraham: "dysgu ffordd yr Arglwydd," dyna un rhan; "*gorchymyn* gan ddysgu," dyna ran arall; adeiladu *yno* allor i'r Arglwydd," sef, pa le bynag y symudai ei babell iddo, dyna y rhanau yn gyflawn. Ond yn nheulu Eli, yr oedd diffyg llywodraeth yn amlwg, pa beth bynag arall oedd yn ei le. Y cyfan a ddywedir ydyw ei fod yn ymddyddan yn dyner gyda'i feibion am eu beïau, tra y dylasai fel barnwr ac archoffeiriad, os oedd ei awdurdod fel tad yn annigonol, fŷnu eu hattal i arfer y fath hyfdra ar dŷ a gwasanaeth yr Arglwydd.

2. *Gweinyddai Abraham ei ddyledswyddau teuluaidd yn eu hamser priodol, tra yr oedd Eli yn eu hesgeuluso nes yr oedd yn rhy ddiweddar.* Y mae eu hamser priodol at wahanol ddyledswyddau crefydd fel pethau eraill; ac amser priodol iddynt yn y teulu fel mewn lleoedd eraill; a'r amser hwnw yw tymmor ieuenctyd. Dyma yr adeg y mae y gallu i dderbyn argraff fwyaf yn ei fywiogrwydd. Gwir y gellir gwneyd a derbyn argraff ar adeg ddiweddarach, ond nid mor lwyddiannus. Fel y mae y cŵyr newydd ei doddi yn hawdd gosod delw y sêl arno, a'r gangen dyner yn hawdd ei phlygu, felly y mae y meddwl tra yn ieuanc yn derbyn yn ddwfn a manwl argraff yr hyn a gymhwysir ato yntau. Dywed daearegwyr fod y creigiau, pan oeddynt yn ieuanc, yn hawdd delweddu arnynt. Er caleted ydynt heddyw, y mae rhai o honynt y ceir arnynt olion defnynau gwlaw a ddisgynodd rywbryd ymhell yn ol; ac y mae yr argraff hwnw mor glir eto, fel y gellir penderfynu o ba gyfeiriad yr oedd y gwynt yn chwythu pan oedd y gwlaw â'i gwnaeth yn disgyn. Y mae y

meddwl yr un modd yn caledu wrth heneiddio; ac os mynir gwneyd argraff arno, goreu po gyntaf y dechreuir. Y mae un athronydd yn sylwi fod cyfeiriad y rhan fwyaf o feddyliau wedi ei gymeryd cyn iddynt gyrhaedd pum' mlwydd oed. A thra yn ieuanc hefyd y mae llygredigaethau y galon heb gael amser i ledu eu gwreiddiau, ac estyn eu cangau, fel y gwnânt yn nghwrs blynyddau o ymarferiad. Y maent yno yn dyfod i'r byd, ond nid yn yr un nerth ag y byddant ar ol cael blynyddau i gryfhâu.

Mewn gair, tymmor ieuenctyd ydyw yr unig dymmor gwir fanteisiol i fod yn wrthddrych unrhyw ran o grefydd y teulu. Fel y mae y dyn yn heneiddio, y mae yn myned yn barhâus yn fwyfwy annhebyg o gael crefydd. Pa fodd yn amgen, gan fod y gallu i dderbyn argraff yn cyson leihâu, a grym llygredigaethau y galon yn cyson gynnyddu? Ac wedi iddo ei chael, nid yw o gymaint cysur iddo ef ei hun, o les i'w gyd-ddynion, nac o ogoniant i Dduw. Y mae pawb sydd wedi sylwi yn gwybod mai y blodau sydd yn tyfu yn y gwanwyn, a dechre yr haf, yw y rhai mwyaf peraroglaidd. Y mae blodau lawer yn tyfu yn misoedd yr haf, ac yn yr hydref; ond eithriad yw fod cymhariaeth rhwng perarogl y rhai hyny â blodau y misoedd blaenorol. Blodau gwanwyn a dechreu yr haf hefyd yn ngoruchwyliaeth gras—crefydd yn ieuanc—sydd fwyaf peraroglaidd o lawer. Meddyliwch am Joseph, a Moses, a Josua, a Samuel, a Dafydd, a Timotheus—y fath arogl daïonus! Cymharer hwy â Manasseh, ac eraill a gafodd ras yn nghanol a diwedd oes. Y mae yr apostol Paul, mae yn wir, yn eithriad, ond eithriad yw; ac y mae ef ei hun yn gruddfan trwy ei oes "nad ydoedd deilwng i'w alw yn apostol, am iddo erlid eglwys Dduw." Bore yr oes, ynte, yw yr adeg briodol i fod yn wrthddrych addysg, gweddi, a llywodraeth deuluaidd; ac os collir yr adeg hono, bydd yr adeg oreu am byth wedi myned heibio. Pa fodd yr oedd yn nheuluoedd y ddau yr ydym yn chwilio i'w hanes? "Gorchymyn i'w blant," tra yr oeddynt *yn* blant, a wnelai Abraham. Coffeir am dano yn gweddïo dros Ismael o'i febyd. Dechreuodd ddyledswyddau crefydd tuag at Isaac pan yr oedd yn wyth niwrnod oed; ac yn wir y mae delw crefydd ar gwestiwn y gŵr ieuanc wrth esgyn i ben y mynydd dan faich coed y poethoffrwm. Ond am Eli, esgeulusodd ef rybuddio na cheryddu nes bod ei feibion wedi ymgaledu yn eu hanwiredd. "Haeddodd ei feibion iddynt felldith" am flynyddau, ac yntau heb wahardd iddynt, os nad oedd yn myned mor bell â chydwledda â hwynt ar ffrwyth eu cysegrysbail.

3. *Ymddengys fod grym a gwresogrwydd crefydd deuluaidd pob un o honynt yn cyfateb i rym a gwresogrwydd ei grefydd bersonol ef ei hun.* Po mwyaf dirgel fyddo dyledswyddau crefyddol, mwyaf yn y byd yw y prawf a roddir ganddynt ar burdeb ein gras. Gellir cyflawni dyledswyddau cyhoeddus, dyledswyddau y bydd dynion yn eu gweled ac yn eu cymeradwyo, heb ond ychydig o "rym duwioldeb;" oblegid y mae y sylw a'r gymeradwyaeth ddynol a roddir yn fforddio i ambell un gymhelliadau cryfion. "Gwel fy zel i tuag at yr Arglwydd," ebe Jehu wrth Jehonadab. "Ond," er ei zel, "nid edrychodd Jehu am rodio yn nghyfraith Arglwydd Dduw Israel â'i holl galon; canys ni throdd efe oddiwrth bechodau Jeroboam, yr hwn a wnaeth i Israel bechu." Joas hefyd, ar ol ei holl yni i adgyweirio y deml a'i gwasanaeth, a fu farw yn wrthgiliwr. Y gwir yw nad ydyw zel gyhoeddus—zel am dymmor o leiaf—yn profi ond ychydig am burdeb amcan ei pherchen, os ydyw yn unrhyw brawf o gwbl. "Nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew." Zel gyda phethau distadl a dirgel crefydd yw y prawf goreu ar ansawdd y galon. "Yr hwn sydd ffyddlawn yn y lleiaf sydd ffyddlawn hefyd mewn llawer." Nid yr hwn sydd ffyddlawn mewn llawer, cofier, sydd ffyddlawn hefyd yn y lleiaf, ond i'r gwrthwyneb. Yn unol â'r egwyddor hon, y mae dyledswyddau crefydd deuluaidd yn gofyn crefydd gref i'w harfer yn ffyddlawn. Y peth ydyw y dyn yn ei deulu, odid nad dyna ydyw mewn gwirionedd. Gofynwyd i Whitfield unwaith pa beth oedd ei farn am rywun a enwid ar y pryd, a oedd ef yn dduwiol ai peidio; "Nis gwn" atebai yntau; "ni bum yn byw gydag ef." Pa mor ddirgel bynag y gall dyn fod i'r llïaws, odid nad adnabyddir ef gan ddynion ei dŷ.

Tafler golwg dros hanes crefydd yn yr Ysgrythyrau, ac fe welir fod adfywiad yn wastad ar grefydd yn y teulu, os byddai adfywiad arni yn gymdeithasol a phersonol. Pan y symudodd Dafydd yr arch o dŷ Obed-Edom i Sïon, gellid meddwl fod pawb wedi myned adref o orfoledd yr orymdaith hono gydag awyddfryd adnewyddedig i fyw yn dduwiol ar ei aelwyd ei hun o hyny allan; oblegid dyna ddywedir am y brenin, "A Dafydd a ddychwelodd i fendigo ei dŷ yntau." Ynglŷn â hanes y diwygiad mawr, a'r pasc godidog yn nyddiau Hezecïah, pan y mynodd y bobl gadw yr ŵyl ddwywaith drosodd, adroddir ddarfod i "holl Israel wedi gorphen hyn i gyd," ddychwelyd i'w dinasoedd a'u cartrefi i ddryllio y delwau, ac i dori y llwyni, ac i ddystrywio yr uchelfeydd a'r

alloran, nes eu llwyr ddifa. Yr un modd y rhaid iddi fod bob amser; oblegyd fel ag y mae bywyd, os yn gryf yn rhanau mewnol y corff, yn taflu y gwaed i'r aelodau pellaf, felly y mae profiad grymus o bethau crefydd yn y galon yn gwneyd yr hwn sydd yn ei feddu yn ffyddlawn i bob daioni, ac i ewyllysio dyfod pawb, yn enwedig ei deulu, i wybodaeth y gwirionedd. Mae yn amlwg mai y rheswm am ffyddlondeb Abraham i'w ddyledswyddau hyn, ydoedd nerth ei grefydd bersonol. Yr oedd ei grefydd yn gyfryw nas gallai ef ei hun ei chuddio; ac nis gallai eraill chwaith, os deuent i gyffyrddiad âg ef lai na theimlo oddiwrthi. Eli i'r gwrthwyneb, er yn dduwiol, oedd ry egwan ei ysbryd crefyddol i wneyd nemawr o les, hyd yn nôd yn y cylchoedd agosaf ato. Efe ei hun a fu cadwedig, mae yn wir; "eto felly megys trwy dân."

*(Y rhan olaf yn y rhifyn nesaf.)*

## "BYW A MARW SANCTAIDD" JEREMY TAYLOR.

*Gan y Parch.* O. Jones, B.A., *Drefnewydd.*

V.

Wedi ein hysgrifau yn y gyfrol ddiweddaf o'r Drysorfa ar y "*Byw Sanctaidd*" gan yr Hybarch Esgob, yr ydym yn awr yn dyfod at yr ail ran, "*Marw Sanctaidd.*" Rhagarweiniol yw y bennod gyntaf, a chynnwysa ystyriaethau o barotöad ar gyfer marwolaeth. Dywed fod doethion y ddaear yn ymryson â'u gilydd am y geiriau goreu i ddangos gwagedd bywyd dyn. Galwai Homer ddyn yn "ddeilen," Pindar a'i galwai yn "freuddwyd cysgod," ac un arall yn "freuddwyd cysgod mwg." Ond drwy ysbryd mwy rhagorol y geilw Iago einioes dyn yn "darth, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos ac wedi hyny yn diflanu." Tarth yr hwn a dynir o'r dwfr trwy ddylanwad yr haul, yr hwn a deflir gan y gwynt fel y myno. Ac nid yw ond "ymddangosiad;" nid oes wir sylwedd ynddo, ac nid yw yn ymddangos ond am ychydig, ac yna yn diflanu.

"Y mae holl dreigliadau amser, holl gyfnewidiadau natur, holl amrywiaeth goleuni a thywyllwch, milfil damweiniau y byd, a phob dygwyddiad i bob dyn a phob creadur, yn pregethu ein pregeth angladdol, ac yn galw arnom i edrych a gweled fel y mae y Bedd-dorwr, Amser, yn taflu i fyny y ddaear, ac yn cloddio bedd i ni, lle y dodwn ein pechodau a'n gofidiau, a lle yr hauwn ein cyrff hyd nes y cyfodant mewn dedwydd neu boenus dragywyddoldeb............Y mae hyd yn nôd ysbrydoedd dyn yn ymborthi yn feunyddiol ar y gyfran o fara a lluniaeth a fwytâ, ac y mae pob pryd yn waredigaeth rhag marw, ac yn ein cynnal ar gyfer marw drachefn; a thra y meddyliwn feddwl, yr ydym yn marw; y mae'r cloc yn taraw, ac yn cyfrif ar ein cyfran o dragywyddoldeb; yr ydym yn ffurfio ein geiriau âg anadl ein ffroenau—y mae genym lai i fyw arno o bob gair a lefarwn."*

Os felly, medd efe, pa lesâd i ddyn fod wedi ennill cyfoeth a mawredd y byd? Y cwbl a glywir am y cyfryw un yw, "Bu farw yn gyfoethog." Gall dyn gael y bregeth oreu a draddodwyd erioed: dim ond iddo fyned i mewn i feddrod y breninoedd. Yn yr Escurial Yspaenaidd, lle y mae y tywysogion yn byw mewn gallu a mawredd, y mae claddfa lle y cwsg hefyd eu lludw a'u gogoniant; a lle y coronir breninoedd Prydain Fawr, y mae llwch yr hen freninoedd yn gorwedd:

"Dyma acer wedi ei hau â breninol hâd, yn arwydd o'r cyfnewidiad mwyaf, o gyfoethog i noeth, o'r tô wedi ei nenu i'r arch fwäog, o fyw fel y duwiau i farw fel dynion. Dyma ddigon i leddfu fflamau chwant, i ddarostwng uchelderau balchder, i ostegu cynhwrf trachwant, i luchio a thaflu allan liwiau twyllodrus prydferthwch dychymygol, celfyddydol, ac anllad...............I'm tyb i, galarus yw yr hanes a adawodd Athenæus am Ninus, brenin mawr Assyria, yr hwn y symir i fyny ei fywyd a'i farwolaeth yn y geiriau hyn: 'Yr oedd gan Ninus yr Assyriad fôr o aur, a goludoedd eraill, mwy aml na'r tywod ar lân y môr Caspiaidd. Ni welodd efe y ser erioed, ac fe allai na ddymunodd hyny; ni chynhyrfodd y tân sanctaidd ymhlith y Magïaid, ac ni chyffyrddodd ei dduw â'r wïalen sanctaidd yn ol y gyfraith; ni offrymai iddo, ac ni addolai ef; ni weinyddai gyfiawnder, ni siaradai â'i ddeiliaid ac ni rifai hwynt. Ond yr oedd yn gadarn i fwyta ac yfed, ac wedi cymysgu ei winoedd taflai y gweddill ar y cèryg. Y mae y dyn hwn wedi marw; wele ei fedd, ac yn awr clyw pa le y mae: Rywbryd yr oeddwn i yn Ninus, ac yn tynu anadl dyn byw, ond yn awr nid wyf ond clai. Nid oes genyf ond a fwytëais ac a wasanaethais ar fy chwantau; dyma oedd ac ydyw fy holl gyfran i.........Yr wyf wedi myned i uffern, a phan aethum yno, ni chludais gyda mi nac aur, na march, na cherbyd arian. Myfi yr hwn a wisgai goron wyf yn awr yn sypyn o lwch.'"†

¶ Ni ddylai dyn ychwaith daflu ei obeithion ymlaen i amseroedd pell. Heddyw sydd eiddom ni, ac ni wyddom beth a fydd yfory. Ond dylem fod yn brysur gyda'r presennol; ni ddychwela mynydyn byth, a gall tynghed tragywyddoldeb ddibynu arno. Dysgodd y Groegiaid a'r

* "Holy Dying," I. 1. † "Holy Dying," II. 2.

Rhufeiniaid i ni ddoethineb y rheol hon, "Bwytawn ac yfwn, canys yfory marw yr ydym." Ac er mwyn dyfnhâu y pleser, sonient am farwolaeth yn eu gwleddoedd. Nid oes gan ddyn nerth corfforol am lawer o flynyddoedd, ac wedi cael hwnw nid oes ganddo ond ychydig o reswm; a phan y daw, y mae ei ysbryd yn dechreu cael ei lychwino gan bechodau. Y mae henaint yn dyfod ar lawer pan nad oes ganddynt eto ond meddyliau llygredig ieuenctyd. Y maent er eu bod wedi cyrhaedd hen ddyddiau, yn llanw eu holl amser â gwagedd; nid oes ganddynt amser i edrych ar rinwedd, nac amser i weddïo, gan eu bod yn rhy brysur, heb ystyried fod yn rhaid iddynt hwythau gael amser i farw. Y mae y cyfryw ddynion fel morwyr yn cychwyn o'r porthladd, ond gydag iddynt gyrhaedd y cefnfor, dyma'r ystorm yn yn curo a'r tònau yn taflu'r llestr, fel y maent un ai yn suddo yn y dyfnder, neu yn dychwelyd heb gyflawni mordaith, er iddynt fod yn hir ar y môr. Felly y mae masnach ac amgylchiadau dynion yn cymeryd eu holl amser; nid ydynt yn llonydd am fynyd awr; eto nid oes iddynt ond symudiadau ynfydion, ac nid yw cwrs bywyd ar ei hyd wedi eu dwyn hwy ddim pellach ymlaen.

Oblegid hyny y mae yn cynghori dynion i fod yn ddyfal rhag coleddu arferion drwg, a chyflawni pechodau a'u taflant yn ol yn nghyfrif Duw. Yr ydym yn cyfrif dynion yn gystal a marw, os wedi colli eu haelodau neu eu cau i fyny yn yr yspyttai, lle nad ydynt yn cael cwmni neb ond meddygon, galarwyr, a gweinidogion efengyl, y rhai a barotöant gyrff ac eneidiau ar gyfer marwolaeth. Ond y mae yn llawer gwaeth na hyny, pan y mae enaid dyn wedi ei lyncu i fyny gan weithredoedd marwolaeth. Os dymunem estyn ein dyddiau, rhaid i ni fyw i bwrpas. Cwynwn fod ein hoes yn fer, ac eto taflwn ymaith lawer o honi. Nid oedd trysor y Capitol ond bychan pan y daeth Cesar i osod ei fysedd arno; nid oedd cyllid yr Aipht a'r holl daleithiau dwyreiniol yn ddigon i borthi gloddest Mark Antony a Chleopatra. Eto y mae mil o goronau yn swm mawr yn y bwthyn tlawd. Felly hefyd ein bywyd ninnau. Y mae yn rhy fyr i wasanaethu uchelgais tywysog galluog, neu i gasglu cyfoeth y byd; ond i wasanaethu rhinwedd, i chwilio am grefydd, y mae Duw wedi rhoddi digon o amser i ni. A phe rhanem ein diwrnod yn ofalus fel Ambrose ac Awstin, fe welem fod ein bywyd yn faith. Mor werthfawr yw amser pan y mae dyn yn marw! Pa beth a roddasai Dives pe cawsai ei ollwng o uffern am flwyddyn? A fuasai holl bleserau y byd gyda'u gilydd yn ei gadw o'r deml? Oni buasai efe yn wastadol o dan ddwylaw offeiriaid a doctoriaid, neu wrth gadair Moses, neu yn gweini ar Lazarus? Pe treuliem ninnau ein hamser i wasanaethu crefydd, fe ymddangosai ein bywyd yn hir. Gallwn edrych ar y diwrnod y gwnaethom ddaioni, ynddo yn ddiwrnod wedi ei ychwanegu at ein bywyd mor wirioneddol â'r pymtheng mlynedd at fywyd Hezecïah.

O'r ochr arall, os yw ein bywyd yn fŷr, y mae ar lawer cyfrif yn druenus iawn, ac felly y mae yn dda ei fod mor fŷr. Y fath anhapusrwydd sydd yn y byd; gymaint o wylo ac ocheneidio sydd ynddo! Ewch i'r yspyttai, chwi a welwch lap o'r holl fyd. Yno y mae dynion âg eneidiau fel wedi eu benthyg ganddynt, y rhai a gedwir yn eu cyrff drwy gelfyddyd a meddyginiaeth. Y mae hefyd holl gyflyrau llwyddiant y byd wedi eu chwerwi gan ddrygau aml. Ond y mae i hyn i gyd ei ddefnydd; y mae trueni y byd yn melysu cwpan marwolaeth. Pan wylodd Xerxes wrth feddwl y byddai yr holl fyddin anferth hono o filfynau o bobl yn y bedd cyn pen can' mlynedd, dywedodd Artabanus wrtho, y byddai pob un o honynt wedi cyfarfod â'r fath chwerwder, fel y byddent wedi blino ar y byd ymhell cyn hyny. Felly y mae ein bywyd mor lawn o ddrwg fel nad yw marwolaeth ddim yn ddrwg i'r sawl sydd wedi teimlo trueni y byd, neu wedi cael blas ar lawenydd y nef.

Y mae yr ail bennod ar yr arferiad o barotoi ar gyfer marwolaeth sanctaidd. "Yr hwn a fynai farw yn iawn, a ddylai yn wastad ddysgwyl am dano." Dyma gynghor holl ddoethion y byd. Gwisgai Saladin grys du am dano. Cyflwynid beddfaen i ymherawdwr Caercystenyn ddydd ei goroniad. Ac fe ddylai yr hwn a fynai farw felly archwilio ei weithredoedd bob dydd. Y mae hyn mor resymol fel y dysgid ef yn yr oesoedd paganaidd gan Pythagoras i'w ddysgyblion. Y mae bywyd rhai mor ddrwg fel y mae yn well ganddynt ei anghofio; ac y mae pechodau dydd at ddydd wedi myned mor lïosog, fel nas gallent bellach feddwl am danynt. Y maent yn debyg i'r masnachwr, yr hwn y mae ei fasnach mewn sefyllfa mor ddrwg fel pe yr elai dros ei gyfrifon, na ddangosent ond ei ddinystr ei hun. Ond fe geidw arholiad beunyddiol ein bywyd rhag myned i gyflwr felly, ac fe bâr ein bod yn fwy gofalus rhag pechu; fe dynera ein cydwybodau, ac a wna ein hedifeirwch yn fwy neillduol. Ac y mae yn dyweyd y dylem fod yn ddiwyd iawn gyda'r ymarferiadau hyn, ac y dylent ymestyn dros yr holl fywyd, oblegid dylem dreulio amser maith i wneyd gwaith nas gwneir

ond unwaith. Y rheswm fod y Prwssiaid wedi gorchfygu y Ffrancod yn y rhyfel ddiweddar oedd, fod gwell parotôad ar ei chyfer wedi bod. Yr oedd y Prwssiaid wedi bod yn fwy prysur a llym ar y *parade* na'r Ffrancod; yr oeddynt wedi ymarfer yn gyson am flynyddoedd. Ond yr oedd pob symudiad, pob tarawiad ar y *parade* yn dyweyd ddydd y frwydr, fel mai eiddynt hwy y fuddugoliaeth o'r diwedd. Felly pan y bydd dyn farw, fe fydd pob ymarferiad da, pob darlleniad o air Duw, pob myfyrdod, pob gweddi, yn dyweyd ar wely angeu.

---

## CYFARCHIAD

A draddodwyd yn Nghyfarfod Misol Bethania, Arfon, Tachwedd, 1877, ar dderbyniad dau ar bymtheg o frodyr yn ddiaconiaid.

*Gan Mr.* THOMAS HUGHES, *Gatehouse.*

ANWYL FRODYR,—Yr wyf yn gobeithio y bydd y dewisiad y mae'r gwahanol eglwysi wedi ei wneyd o honoch, a'r derbyniad croesawgar a gewch i'r Cyfarfod Misol yma heddyw, yn foddion i ail ennyn—ail gynneu dawn Duw ynoch, ac y byddwch yn myned adref gyda phenderfyniad i weithio yn fwy zelog ac ymroddgar nag erioed.

Dylem weithio er mwyn ffurfio i ni ein hunain gymeriad da. Crefydd dda sydd i fod yn waelod ac yn wreiddyn i'n holl ymwneyd âg achos ein Gwaredwr. Yr ydym yn darllen am Jacob yn myned at ei dad i ymofyn am y fendith. Yr oedd Isaac yn hen ac yn ddall, a thrwy hyny yn methu gwybod pwy oedd yn sefyll o'i flaen. "Y llais yw llais Jacob," meddai, "a'r dwylaw, dwylaw Esau ydynt." Nid oes yma ddim cysondeb. Mae perygl i ninnau fel diaconiaid fod yn anghyson: llais Jacob yn y capel, yn y weddi, ac yn y cynghor, ond dwylaw Esau yn y chwarel, yn y ffarm, yn y siop, ac yn y felin. Nis gallwn fod o nemawr ddaioni i'r eglwysi sydd wedi ein dewis, nac yn y cymydogaethau lle yr ydym yn byw, oni bydd ein proffes a'n buchedd yn cyfateb i'w gilydd.

Yr ydym ni yn fath o weinidogion sefydlog. Yr ydym i aros yn yr un fan, ac i weithio gyda'r un bobl o ddechre'r flwyddyn hyd ei diwedd; ac felly tuag at i ni allu gwasanaethu swydd diacon yn dda, rhaid i ni wrth lawer o lafur, onidê ni a awn yn faich i ni ein hunain ac yn ddiflas i eraill. Y mae un awdwr yn dyweyd fod diogi yn un o elfenau y pechod gwreiddiol; ac os felly, y mae wedi dyfod gyda ni i'r byd, wedi ei gymhlethu am a thrwy ein holl natur. Mae yn bechod parod i'n hamgylchu, ac am hyny dylem roddi y penderfyniad llwyraf i'w wrthwynebu.

Mae y swydd y dewiswyd ni iddi yn galw am i ni fod yn hyddysg yn y Bibl. Bydded i ni ymroi i chwilio yr Ysgrythyrau. "Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth." Cuddiwn adnodau y Bibl yn ein calon fel y byddont yn cael eu cymhwyso yn ein gwefusau pan y bydd gwir angen am danynt. Yr wyf yn cofio fod y diweddar William Roberts o Glynnog yn dyweyd fod rhyw feddyg yn Manchester heb ganddo ond un botel yn ei *shop*, a hono yn botel goch. Os deuai dyn ato i ymofyn meddyginiaeth i'r plentyn neu i'r ceffyl, i'r botel goch y byddai'r doctor hwnw yn myned; ac yr oedd Mr. Roberts yn ofni fod ambell i ddiacon heb ganddo ond *un* botel—*un* adnod ar gyfer pob amgylchiad. Anwyl frodyr, y mae sefyllfa ein heglwysi yn amrywiol iawn. Y maent felly o ran oedran a phrofiad. Mae eisieu codi i fyny y dwylaw a laesasant, a'r gliniau a ymollyngasant; "rhybuddio yr afreolus, a dyddanu y gwan eu meddwl." Dylai fod genym fwy nag un botel—fwy nag un adnod; ïe, dylai y diacon fod mor gyfarwydd yn y Bibl ag ydyw y fferyllydd yn ei fasnachdŷ. Mae yr eglwys eto yn glaf—mae hi yn y "cystudd mawr;" yno yn troi at ei swyddogion, ac yn dywedyd, "Cynneliwch fi â photelau, cysurwch fi âg afalau, canys claf ydwyf."

1. *Gweithiwn mor esmwyth a diboen i bawb ag y gallwn.* Gwyliwn rhag hunanoldeb. Y wers gyntaf a ddysgodd yr Athraw Mawr i'w ganlynwyr oedd, "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun." Mae dyn hunanol yn ddyn blin a thrafferthus; y mae felly iddo ei hunan, ac i bawb arall. Yr oedd y diweddar William Morris, Tŷddewi, yn sylwi fod ambell i aderyn â mwy o waith pluo nag o waith bwyta arno; nid oedd y llafur yn talu am y drafferth; felly mae y dyn hunanol: mae mwy o waith dal pethau yn wastad iddo nag ydyw o werth. Ac os bydd eisieu ei gydweithrediad gyda rhyw symudiad daionus, rhaid myned ato mor ostyngedig ag oedd Esther wrth fyned at Ahasferus.

2. *Gweithiwn gyda ein gilydd hyd y mae ynom.* Cofiwn gynghor y Bibl: "Byddwch yn unfryd â'ch gilydd. Peidiwn a bod yn rhy barod i ddyweyd y naill yn erbyn y llall, yn enwedig yn gyhoeddus. Mae yn wir fod rhyw amgylchiadau ag y teimlwn fod cyfiawnder a chydwybod yn galw arnom hyd yn nôd i wrthwynebu ein gilydd. Yr oedd Paul yn gwrthwynebu Pedr "yn ei wyneb, am ei fod i'w feïo." Ond gwyliwn rhag edrych ar hyn yn beth

dibwys a diberygl. "Na ddywedwch yn erbyn eich gilydd, frodyr." Wrth glywed y naill ddiacon yn dyweyd yn erbyn y llall, y mae rhai yn ofni ac yn dychrynu, ac eraill yn gwawdio ac yn dirmygu; ac y mae hyn wedi bod lawer gwaith yn "ben y gynhen." "Y locustiaid," medd Solomon, "nid oes brenin iddynt, eto hwy a ânt allan yn dorfeydd." Pe buasai dim ond rhyw un neu ddau o honynt yn myned, ni buasai ar neb ddim o'u hofn; ond gan eu bod yn myned yn dorfeydd, y maent yn attal llewyrch yr haul, ac yn taflu llon'd gwlad o bobl i ddychryn ac arswyd. Gwyn fyd nad allem ninnau fyned allan yn erbyn pechodau ac o blaid rhinweddau yn fwy unol: "myned allan yn dorfeydd." Pa fodd yr ydym wedi myned yn erbyn meddwdod ein gwlad a'n cenedl? Yr un modd yn union ag yr aeth Israel yn erbyn y Canaaneaid: rhai yn myned, a rhai yn peidio. "Pobl Zabulon a roddasant eu heinioes i farw, felly Naphtali ar uchel fanau y maes." Ond yr oedd "Dan wedi aros mewn llongau," a "Reuben wedi aros rhwng y corlanau i wrando ar frefiadau y defaid."

3. *Gweithiwn gyda'r pregethwyr.* Er eu mwyn hwy y mae'r swydd y galwyd ni iddi wedi cael ei bodolaeth. Ar ddechreuad yr hen oruchwyliaeth, fe ddewiswyd deg a thriugain o ddiaconiaid i helpu Moses ac Aaron; ac ar ddechreuad goruchwyliaeth yr efengyl, fe ddewiswyd saith diacon i helpu yr Apostolion. Ac os nad ydym ninnau yn gwneyd ein goreu i gynnorthwyo gweinidogion yr efengyl, nid ydym yn ateb amcan ein gosodiad cyntaf. Yr oedd dyn yn dyweyd wrthyf y byddai yn dda ganddynt yno weled y gweinidog yn absennol ambell i *society*, a hyny am y byddai'r diaconiaid yn gwneyd eu holl egni i lanw y bwlch i fyny ar y pryd, ac felly y byddent yn cael cyfarfodydd llawn o fywyd ac amrywiaeth. Ond pan y byddai y gweinidog yno, ni ddywedai y blaenoriaid ddim, er eu cymhell. Nid fel hyn y mae pethau i fod, eithr y naill i helpu'r llall. Dylai'r diaconiaid fod i'r pregethwyr fel yr oedd Aaron a Hur i Moses; yn cynnal eu breichiau i fyny ymhob man ac ymhob ystyr.

Byddaf yn meddwl mai un o'r pethau mwyaf dymunol tu yma i'r nefoedd ydyw gweled dynion yn helpio eu gilydd i wneyd yr hyn sydd dda. Mae hon yn ddeddf gyffredinol trwy holl ymherodraeth yr Anfeidrol,—fod i bawb a phob peth helpu eu gilydd. Mae yr haul yn helpu y ddaear i darddu a thyfu, y lleuad yn helpu'r môr i lenwi a threio, ac y mae y Personau Dwyfol yn helpu ac yn gogoneddu eu gilydd. "Wele fy ngwas, yr hwn ydwyf yn ei gynnal; fy etholedig, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn; rhoddais fy Ysbryd arno."

4. *Gweithiwn gyda phethau bychain.* Clywsom y diweddar David Jones o Dreborth yn sylwi mai y plu mân oedd yn gwneyd yr aderyn yn dlws iawn, ac mai y cangenau bychain oedd yn gwneyd y goeden yn brydferth dros ben; felly rhinweddau bychain a chyflawniad o ddyledswyddau bychain a wnânt ddiacon yn ddyn hardd a defnyddiol iawn. Mae rhai gwydrau yn dangos pethau bychain yn bethau mawr; dangos y gwibedyn yn gymaint â chamel, a'r tŷ yn gymaint a mynydd. Bydded i ninnau edrych ar y pethau lleiaf sydd yn dwyn cysylltiad âg achos ein Gwaredwr trwy y gwydrau mwyhäol yma. Yr oedd Iesu Grist yn gwneyd sylw mawr o bethau bychain, "cwpanaid o ddwfr oer"—"dwy hatling y wraig weddw"—"y briwfwyd gweddill"—"adar y tô"—a "lili y maes." Ac yr oedd efe yn ymostwng i wneyd pethau bychain, ie, y pethau lleiaf ag oedd yn perthyn i Gristionogaeth. Gair hynod ydyw hwnw: "Yr Iesu yn gwybod roddi o'r Tad bob peth oll yn ei ddwylaw ef, a'i fod wedi dyfod oddiwrth Dduw, ac yn myned at Dduw." Ië, "pob peth," sylwer: y nefoedd a'i holl gyfoeth, y ddaear a'i holl amrywiaeth—"pob peth"—pob angel a cherub, pob seraph a sant, "pob peth," ac yr oedd efe yn ymyl cael ei ddyrchafu "goruwch pob tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn ond hefyd yn yr hwn a ddaw." A chan wybod o hono hyn oll, beth a wnaeth efe? "Efe a gyfododd oddiar swper, ac a roes heibio ei gochlwisg, ac a gymerodd dywel, ac a ymwregysodd; wedi hyny efe a dywalltodd ddwfr i'r cawg, ac a ddechreuodd olchi traed ei ddysgyblion," a hyny er esiampl i ni. "Am hyny, os myfi yn Arglwydd ac yn Athraw, a olchais eich traed chwi, chwithau a ddylech olchi traed eich gilydd." Dywedir fod y diweddar Eben Fardd, pan ar adael y byd hwn, yn troi at un o'i gyfeillion, ac yn dywedyd nad oedd efe yn cael fawr o gysur oddiwrth y pethau mawr yr oedd efe wedi eu cyflawni, megys y cadeiriau yr oedd efe wedi eu hennill, yr awdlau penigamp, a'r pryddestau gorchestol yr oedd wedi eu cyfansoddi. Fel yr oedd efe yn nesâu i dragywyddoldeb, yr oedd y pethau hyna yn myned yn llai yn ei olwg. Ond am y pethau bychain a wnaeth gydag achos ei Waredwr, medd efe, yr oedd y rhai hyny yn myned yn fwy, megys agor drws y capel, goleu'r canwyllau, rhoi gwers i'r plant bach, ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, ysgrifenu ambell i lythyr at

frawd a chwaer a fyddai mewn profedigaeth a thrallod, &c.; yr oedd yn cael ychydig o gysur wrth feddwl am y pethau hyny.

5. *Gweithiwn gyda'r plant a'r bobl ieuainc.* Mae y Parchedig Robert Ellis wedi dyweyd, neu wedi ysgrifenu, fod gallu i wneyd rhyw ddaioni gyda'r ieuenctyd y peth nesaf at y gallu i fwrw allan gythreuliaid o bobl. Ac y mae hyny yn sicr o fod yn wir. Y plant ydyw blagur yr oes, a gobeithion y genedl. Yr ydym ni yn byw mewn adeg pryd ag y mae llygad yr holl fyd wedi troi atynt hwy. Mae Pabyddion a Phrotestaniaid, Eglwyswyr ac Ymneillduwyr, Esgobion ac Archesgobion, yn gofyn gyda phryder, Pwy a gaiff y plant? Pwy fydd bïau yr oes sydd yn codi? A'r cwestiwn a ddylai gael ei ofyn genym ninnau ymhob man, ar yr aelwyd ac yn yr addoldŷ, yn y Cyfarfod Misol ac yn y Gymdeithasfa, ydyw, "Pa fodd y trinwn y bachgen, ac y gwnawn iddo ef?" Dadganiad pruddaidd ydyw hwnw a wneir am yr eglwys Iuddewig, "Nid oes arweinydd iddi o'r holl feibion a esgorodd, ac nid oes a ymaflo yn ei llaw o'r holl feibion a fagodd. Er iddynt fagu eu plant, gwnaf hwynt yn amddifaid o ddynion." Os ydym fel Cyfundeb i ddal ein tir ac i weithio ein ffordd ymlaen, rhaid i ni gael dynion: "y cadarn a'r rhyfelwr, y brawdwr a'r prophwyd, y synwyrol a'r henwr, y tywysog a'r anrhydeddus, y cynghorwr a'r areithiwr hyawdl." Yr oedd y diweddar enwog Christmas Evans yn sylwi pan yn myned i ymsefydlu mewn rhyw eglwys, pe buasai yno ddau neu dri o ddynion call a phwyllog, y buasai efe yn bur galonog; buasai y rhai hyny, meddai, fel cèryg wyneb i guddio'r lleill, ac i'w dal wrth eu gilydd. Wel, y mae arnom ninnau eisieu cèryg wyneb, a chèryg conglau, ac ambell i bwyth trwy y mur rhag i'r wàl syrthio. Y ffordd at hyn yw gwneyd y goreu o'r plant. Un nôd y mae'r Bibl yn ei roddi ar yr eilun bugail ydyw, "Ni chais yr ieuanc." Mae yn ddyledswydd arbenig ar y diaconiaid i geisio'r plant, eu dwyn i fyny "yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd;" "porthi'r mynod gerllaw pebyll y bugeiliaid." "Fel y byddo ein meibion fel planwydd yn tyfu yn eu hieuenctyd, a'n merched fel conglfaen nadd wrth gyffelybrwydd palas."

6. *Gweithiwn yn barhâus:* gweithio yn wastad, nid yn lloerig, oriog, a phlyciog, ond yn gyson. "Da yw dwyn mawr serch mewn peth da yn wastadol." Y peth sydd yn rhoddi gwerth mawr ar y ffynnon ydyw ei bod yn rhoddi ei dyfroedd yn wastad; a'r peth sydd yn gwneyd yr haul yn anmhrisiadwy ydyw ei fod yn cyfranu ei oleuni yn gyson a diball; a'r peth sydd yn gwneyd ambell i ddiacon yn ddyn o werth a phwysigrwydd mewn eglwys ydyw, nid treiddgarwch ei allu na dysgleirdeb ei dalentau, ond ei fod yn ddyn gwastad a chyson. Nid ydwyf yn gwybod am ddim a all ein cyfarfod oddiyma i angeu a rydd hawl i gyfreithloni i ni roddi ein gwaith heibio. Na, mae "yr heol a'r mur i'w hadeiladu, mewn amseroedd blinion." Os daw Tobïah a Sanbalat i'n gwawdio a'n dirmygu, dywedwn wrthynt fel y dywedodd Nehemïah wrthynt o'r blaen, "Gwaith mawr yr ydwyf fi yn ei wneuthur; a phaham y safai y gwaith?" Os bydd rhyw chwedlau yn cael eu hadrodd am danoch yn yr ardal, peidiwch a bod yn rhy barod i redeg ar eu holau; gadewch i naw o bob deg o honynt fyned heibio yn ddisylw, ac onidê ni chewch byth i ben â'ch gwaith. Y diwrnod yr oedd Saul yn cael ei goroni yn frenin ar Israel, yr oedd y bobl yn dwyn anrhegion iddo ac yn bloeddio, "Byw fyddo'r brenin;" ond yr oedd yno ryw feibion Belial yn ei ddirmygu, ac yn gofyn, "Pa fodd y gwared hwn ni?" A pha fodd y gwnaeth efe yno? "Ni chymerodd efe arno glywed hyn." Tro call oedd hwn yn Saul.

Dyma fi yn dybenu trwy ddyweyd un adnod wrthych, "Am hyny, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd."

---

## Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

Luc xvii. 17: "Oni lanhäwyd y deg? ond pa le y mae y naw?"

Ni tharddai y gofyniad hwn o'r eiddo Crist oddiar ammheuaeth, ond o ddannodiaeth. Yn llwyr a chyfiawn y cyfrifai efe gamrau'r gwahanglwyfion absennol hyny. Efe a wyddai ymha le yr oeddynt. Ond y mae yn beïo ar eu hanniolchgarwch am nad oeddynt yn y man y dylesid eu gweled. Achos cyfiawn oedd i'r Iesu feïo am na ddychwelodd i ddiolch ond un, a hwnw yn Samariad, pan nad oedd naw o Israeliaid yn dychwelyd, er eu hiachâu fel yntau. Pe buasent oll yn Samariaid hanner-paganaidd, buasai anniolchgarwch yn feïus ynddynt hwy; ond am eu bod oll yn blant yr Israel, yr oedd eu hanniolchgarwch presennol yn ffieiddiach na'u gwahanglwyf blaenorol. Po mwyaf ein

rhwymedigaethau i Dduw, mwyaf gwaradwyddus yw ein diffyg o ddiolchgarwch iddo. Prin y ceir un o ddeg yn gofalu am roddi i Dduw yr hyn sydd iddo yn eiddo cyfiawn. Y cyfryw esgeulusdra sydd ar unwaith yn gyffredinol iawn ac yn ysgeler iawn. Ni buasai Crist yn son am y naw, gan ymholi ymha le yr oeddynt, oni buasai fod eu habsennoldeb yn awr yn wrthun ac yn ddrwg.—*Esgob Hall.*

---

IOAN xiv. 2, 3: "Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi. Ac os myfi a âf, ac a barotöaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun, fel lle yr wyf fi, y byddoch chwithau hefyd."

GELLIR barnu i Grist lefaru fel hyn mewn cyffelybrwydd i waith dynion yn ymfudo o'r naill wlad i wlad arall, oddiar ddysgwyl cael mwynhâu manteision helaethach i fyw yn gysurus. Yn y modd yma y poblogwyd y ddaear: trwy fod y trigolion yn amlhâu, ac yn cyfyngu ar eu gilydd, yr oedd rhywrai yn ymsymud ymlaen i diriogaeth newydd. Felly y bu i ryw wŷr nerthol ac anturiaethus ddyfod drosodd i Brydain Fawr, oddiar ddysgwyl cael gwell manteision i fwynhâu bywyd. Mynych y mae ymfudo yn ein dyddiau ninnau, naill ai i'r America, neu i Awstralia, neu i ryw wlad arall, a hyny oddiar deimlo anfanteision yn yr hen wlad, y rhai y dysgwylid cael eu gwneuthur i fyny yn y wlad newydd. Yn y pryder wrth feddwl ymfudo i wlad ddyeithr, calondid i'r ymfudwyr a fyddai cael gŵr cymhwys i fyned o'u blaen yno, i barotoi lle i'w derbyn, gŵr galluog a ffyddlawn, yn helaeth ei wybodaeth, ac yn gwir garu eu daioni, i ennill eu llwyr ymddiried ynddo. A chalondid mwy iddynt a fyddai i'r cyfryw ŵr addaw dyfod i'w cymeryd drosodd i'r wlad bell, wedi iddo barotoi yno le iddynt, gan addaw hefyd y caent gyd-drigo âg ef rhagllaw. Yn y modd hwn y cysurai Iesu Grist ei ddysgyblion pan yr oedd ar eu gadael. Yr oedd efe yn gwybod yn dda am dŷ ei Dad yn ei helaethrwydd a'i ogoniant; ac efe a ddywed am ei ymadawiad oddiwrthynt—ei fod yn myned i barotoi lle iddynt gartref, i'w croesawu ar eu dyfodiad yno, gan addaw hefyd y deuai efe drachefn i'w cymeryd ato ei hun, fel lle y mae efe y byddent hwythau hefyd.—*Y diweddar Barch. David Jones, Treborth.*

---

# Barddoniaeth.

## Y TRI LLANC YN BABILON.

*(Dyfyniad o Bryddest Fuddugol.)*

O NEF-ANEDIG ffydd! mawrygwn di
Fel ysbïenddrych ein golygon ni,
Er treiddio drwy ddyblygion meidrol len
I sylweddoli'r gwrthddrych mawr uwchben:
Tydi wyt fodrwy yn y gadwyn gref
Gysyllta ddyn â Duw, a'r byd â'r nef;
Ac mewn cymundeb â'th ffynnonell fawr,
Attyni yr ysbrydol wlith i lawr,
Gan nerthu gwendid a pherffeithio nerth
Y milwyr nefol i'r ymdrechfa gerth.

Yn Babilon yr ymbabellaist ti
Yn mynwes deyrngar yr anfarwol dri
Fu'n herio nerth y dialeddol ddwrn,
Gan ddigryn lwybro drwy'r eiriasboeth ffwrn,
Yn hytrach nag addoli 'r ddelw fawr
O ddwyfoleiddiad teyrnol lwch y llawr.

* * * *

Ar wastadedd Dura dyrchai
Delw aur mewn breiniol gri;
Eilun balch y teyrn paganaidd
A'i hygoeledd ydoedd hi:
Ef oedd ddeiliad i'w mawrhydi
Lywodraetha deyrnas hûn,
A mynasai i'w holl ddeiliaid
Blygu i'r dianadl lun.

Ar wastadedd Dura gwelwyd
Pendefigion Babilon,
Yn ymblygu ar eu gliniau
I addoli 'r ddelw hon:
Yn nghymanfa y cysegriad
Casglu 'r holl dorfeydd ynghyd,
Gan addoli gwaith eu dwylaw,
Yn lle Awdwr mawr y byd.

Pan rybuddiai 'r offerynau
Plygai 'r Babiloniaid lin,
A gorfoliad halog ddelw
A ddyferai dros eu min:
Taer ymbilient am bob ffafrau
Rydd y gwirioneddol Dduw;
Ond gwatwarllyd y disgynai 'r
Weddi ar glöedig glyw.

O ddallineb dynol falchder!
Nid gan aur y crëwyd byd,
Eto dyrchai pagan-frenin
Weddi at ei eilun mud:
Ond nid sain o offerynau,
Nid celfyddyd yn ei bri,
Na gorchymyn teyrn y deillion,
Blygant lin y teyrngar dri.

Na! i'w Tad sydd yn y nefoedd
Y dyblygant hwy eu glin;
Nid oedd archiad na bygythiad
Ddenai gabledd dros eu min:
Hyn gythruddai'r crëwr duwiau,
Mynai gyrchu 'r tri i'w wydd,
Gan ddychmygu yn ei galon
Allu plygu 'u gliniau 'n rhwydd.

Wele 'r tri dan nawdd y Nefoedd
Yn ymddangos ger ei fron,
A'r hygoelus deyrn yn erchi
Cydnabyddu 'r ddelw hon:
Ond cadernid a'u nodweddai,
Gwawdient ei fygythion ef;
Ymddiriedent mewn ufudd-dod
I'r Pedwerydd yn y nef.

Wele ffwrn y gosbedigaeth
Yn rhuddgochi grudd y nen,
Fel rhyw gysgod o gywilydd
Teyrngar anian uwch ei phen:
Wele 'r deifiol fflamau 'n esgyn
Fel tafodau lleibiol wanc;
Ond mae calon ddewr yn curo
Yn mynwesau y tri llanc.

Wele 'r trioedd yn rhwymedig
Wedi 'u bwrw yn y ffwrn;
Dyma eiliad i arbrofi
Nerth y dialeddol ddwrn:
Nis gall yr huriedig rwymwyr
Yn eu holau syflyd cam,
Maent yn ddwyfol garcharorion;
Trengant oll yn ngwres y fflam!

P'le mae 'r brenin uchelfrydig
Yn ei addoliadol serch?
Ha! mae cryndod yn ei dreiddio
Megys pang daeargryn erch:
Mae yn ammheu ei olygon,
Ond ar ol dynesu cam;
Cenfydd wedd y tri yn rhyddion
A'r Pedwerydd yn y fflam!

Geilw ar y llanciau dewrion
Allan o'r ofnadwy bair;
Mae 'n adnabod y Pedwerydd
Wrth ei ffurf—y Dwyfol Air:
Ar eu ddeulin mae 'n cydnabod
Rhyfedd allu Ior y nef,
Ac yn anrhydeddu 'r dewrion
Ymddiriedent ynddo Ef.

* * * *

Ddyn! yn mheiriau profedigaeth
Ymwrola yn dy ffydd;
Mae 'r Pedwerydd yn alluog
I'th gyhoeddi dithau 'n rhydd:
Gelli herio holl ffwrneisiau
Profedigaeth gyda gwawd;
Bu 'r Pedwerydd yn y fflamau,
Mae 'r Pedwerydd iti 'n frawd.

R. HUGHES (*Menaifardd*).

*Caernarfon.*

## Y PULPUD CYMREIG.

CENADON i'r Iôn, wŷr enwog—a geir
Trwy gyrau 'n gwlad serchog;
A'u grym yw aberth y grog,
Oen anwyl, gwiw Eneiniog.

Codir rhinweddau 'r Ceidwad—yn amlwg
Yn nhemlau'r Gymreigwlad;
A threfn iachawdwriaeth rad
Beunydd sy 'n cael derbyniad.

Cewri 'u hoes eu ceir o hyd,—da weision
I D'wysog y bywyd;
Nid rhyfyg pe 'u noder hefyd
Yn ben gweinidogion byd!

*Bury.* ASA DDU.

## MARWOLAETH MRS. ROBERTS,

### GWRAIG Y PARCH. HUGH ROBERTS, CASSIA.

YR afon fawreddog—y Ddyfi risialaidd,
A ddyry ochenaid ar ganol ei hynt,
A si yr awelon o'r bryniau sydd bruddaidd—
Cwynfanus, galarus, yw mawrswn y gwynt:
Y cymyl yn entrych y nefoedd edrychant
Mal pe baent yn gwybod am ofid y llawr;
Dan bwysau gorlethol yn araf tramwyant,
Ac aml i ddeigryn ollyngant i lawr.

Calonau trigolion dwyreinbarth Meirionydd
A fethant a chadw eu gofid yn gudd;
Mynwesau trwy Gymru o benbwy eu gilydd
A lethir gan dristyd, gwynebau sydd brudd;
Yn Sïon mae galar, a gruddfan, a gofid;
Ar lawr mae dyweddi yr Arglwydd dan loes;
Bu farw! bu farw un hoff i'r Anwylyd—
Bu farw, do, un o genadon y groes.

Bu farw un gododd ei chroes er yn foreu
I ganlyn yr Iesu trwy boenau a chur;
Bu farw un ffyddlawn hyd gyfyng fwlch angeu,
Bu farw, O do, Israeliad yn wir!
Bu farw anwylwraig fu 'n gweithio dros Iesu
Ymysg y Paganiaid yn Hindostan bell;
Bu farw prophwydes a ddysgodd y Cassi
I ganfod a cheisio trysorau sydd well.

Fy meddwl ddych'mygaf wel'd acw y Cassi
Yn derbyn y newydd o farw ei ffrynd;
O fel y gorchuddir ei ruddiau melynddu
Gan ddagrau, cyflymed mae 'i galon yn myn'd;
Ei lygaid byw treiddgar ymrwyfant mewn d'ryswch,
Ei ddwylaw mewn gofid ymblethant ynghyd,
Ei fynwes ymchwydda gan ddirfawr bwys gofid,
Aelodau y truan a grynant i gyd!

Ust! clywaf e'n gruddfan, gan arllwys ei weddi—
"Fy Iesu! fy Iesu! ai marw? ai mud
Yw 'r fwyn Mrs. Roberts—cyfeilles y Cassi!
O Iesu! O Iesu! ai gwir hyn i gyd?"
O druan o'r Cassi, ni fyn ei gysuro—
Ni rydd i'w amrantau un enyd o hûn;
Duw 'r nefoedd, ei Iesu, dyddanwch d'od iddo,
Cysuro ni fedr creadur o ddyn.

Dyddana, Ior, deulu yr ymadawedig,
Pereiddia di 'r dyfroedd sydd chwerw eu blas;
O meddyginiaetha 'u calonau clwyfedig,
A nertha hwy eto 'n ol cyfoeth dy ras:
Dy Sïon, O cofia, a symud bob ammheu,
Boed eto o'i mewn hi lawenydd a hedd;
A llawer fo 'n debyg mewn bywyd ac angeu
I'r eiddot roed heddyw yn ngwely y bedd.

THOMAS W. OWEN.

*Aberdyfi.*

(Ar ddydd ei chladdedigaeth.)

# Bwrdd y Golygydd.

CRISIADAU AM ESBONIAD.

Mr. Golygydd,—Da fydd genyf ddarllen yr "Egluriadau Ysgrythyrol" o bryd i bryd yn y Drysorfa. Ac yr wyf yn gofyn yn ostyngedig am eglurhâd yn mhrif gylchgyhoeddiad ein Cyfundeb ar yr adnodau a ganlyn, y rhai sydd ar yr olwg gyntaf yn ymddangos fel pe byddai gradd o anghysondeb rhyngddynt.

1. Yn *Genesis* vi. 5, 6, 7, dywedir, "A'r Arglwydd a welodd mai aml oedd drygioni dyn ar y ddaear, a bod holl fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn ddrygionus bob amser. Ac edifarhäodd ar yr Argwydd wneuthur o hono ef ddyn ar y ddaear, ac efe a ymofidiodd yn ei galon. A'r Arglwydd a ddywedodd, Dilëaf ddyn yr hwn a grëais oddiar wyneb y ddaear, o ddyn hyd anifail, hyd yr ymlusgiaid, a hyd ehediaid y nefoedd; canys y mae yn edifar genyf eu gwneuthur hwynt." Yr oedd hyna cyn y diluw mawr. Yn mhennod viii. 20, ar ol y diluw, ac wedi i Noah godi allor i'r Arglwydd, ac offrymu arni, dywedir, "A'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth; a dywedodd yr Arglwydd yn ei galon, Ni chwanegaf felldithio y ddaear mwy er mwyn dyn; o herwydd bod bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctyd; ac ni chwanegaf mwy daro pob peth byw, fel y gwnaethum." Yn yr adnodau cyntaf a nodwyd, dyna Dduw yn penderfynu dinystrio dyn, a'r crëaduriaid diniwed gydag ef, o herwydd "bod holl fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn ddrygionus bob amser." Ond yn yr adnod arall, dyna yr hyn oedd yn rheswm am y dinystr yn cael ei roddi yn rheswm am arbediad: Nid oes dim melldithio'r ddaear i fod mwy er mwyn dyn, na tharo pob peth byw fel y gwnaethpwyd; a'r rheswm a roddir am y peidio melldithio a'r peidio taro ydyw, "o herwydd bod bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctyd." Pa fodd y mae hyn yn rheswm am ddau weithrediad o'r eiddo Duw sydd yn hollol wahanol i'w gilydd?

2. Yn *Ioan* xv. 15, dywed Iesu Grist wrth ei ddysgyblion, "Mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion; oblegid pob peth ar a glywais gan fy Nhad a hysbysais i chwi;" ond yn mhennod xvi. 12, 13, y mae yn dywedyd wrthynt, "Y mae genyf eto lawer o bethau i'w dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awr hon. Ond pan ddêl efe, sef Ysbryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd." Yn y naill bennod, dywed Crist iddo hysbysu i'w ddysgyblion *bob peth* ar a glywodd gan y Tad, ond yn y llall fod ganddo *lawer o bethau* i'w dywedyd iddynt; eithr am nad allent hwy eto eu dwyn, yr oedd yn eu gadael heb eu dywedyd wrthynt yn ei berson ei hun, ond yn addaw y byddai i'r Ysbryd, pan ddelai, eu gwneyd yn hysbys yndddynt.

Diolchgar iawn a fyddaf i un neu rai am ddangos, trwy y Drysorfa, y cysondeb rhwng y naill a'r llall o'r adnodau a nodwyd uchod.

Ioan Arthur.

---

DYSGU GWEDDIO.

Mr. Golygydd.—Cefais y fraint yn ddiweddar, mewn cyfarfod eglwysig, o wrando ar flaenor parchus a duwiol yn cynghori yr ieuenctyd i ymarfer gweddïo, gan gwyno fod y gweddïwyr yn diflanu o'r tir, &c. Yn ystod ei sylwadau dywedai, "Ond peidiwch a myn'd i *ddysgu* neu i *astudio* gweddïo; y mae hyny yn anmhriodol, os nad yn bechadurus."

Yr oeddwn yn cofio am ein Harglwydd yn dysgu i'w ddysgyblion weddïo, ac am yr esiampl berffaith a roddodd efe iddynt. Yr oeddwn hefyd wedi darllen "*A Guide to Prayer, or the gift, grace, and spirit of Prayer,*" gan Dr. Isaac Watts. "*A Discourse concerning the Gift, &c., of Prayer,*" gan Dr. Wilkins, awdwr nid anenwog, ac esgob Caerlleon; a'r "*Method of Prayer,*" gan Matthew Henry. Dyna dri wŷr, megys Noah, Daniel, a Job, mewn duwioldeb, wedi myned i lafur mawr i ysgrifenu pob math o gyfarwyddiadau i'w cydgristionogion pa fodd i ddyfod yn weddïwyr da a threfnus—ond nid *ffurfiol*, cofier. Ai tybed, meddwn wrthyf fy hun, fod dynion mor dda, yn y fath orchwyl wedi gwneyd yn "anmhriodol a phechadurus?" neu, Ai tybed y byddai y rhai a wnaent ddefnydd o'u gweithoedd rhagorol yn euog o'r un camweddau? Byddwn i yn meddwl na ddarllenais lyfrau mwy difrifol, o well ysbryd, na rhagorach amcan na'r rhai uchod erioed; a dywedais lawer gwaith wrth eu darllen, O y fath les a wnai llyfrau o'r fath yma i grefyddwyr ieuainc Cymru! ac yn enwedig felly am waith Matthew Henry, yr hwn, fel y gwyddoch, sydd yn gynnwysedig o filoedd o adnodau wedi eu casglu yn drefnus ar wahanol faterion gweddi; ond hwyrach fy mod wedi camgymeryd.

Os bernwch yn briodol, teimlwn yn dra diolchgar pe byddai i chwi roddi lle i'r pwt llythyr hwn yn *Mwrdd y Golygydd*, a gwahodd un neu rai o'n tadau a'n brodyr goleuben i ysgrifenu i'r Drysorfa ar "Ddysgu Gweddïo." Os ydyw fy awgrymiad yn anghymhwys, maddeuwch i mi fy zel, ac hefyd fy aflerwch, canys nid wyf wedi arfer ysgrifenu i'r wasg.

Prydebus.

*Glân Menai.*

---

# Y Wasg.

**On the Application of Christianity to Politics.** *An Address from the Chair of the Congregational Union of England and Wales, at its Annual Autumnal Meeting, held in Leicester, October 16th,* 1877. *By* Henry Richard, M.P.

London: Hodder and Stoughton.

Mae ein darllenwyr yn gwybod, fel yr ydym yn tybied, fod ein cydwladwr talentog, ac anrhydeddus, Mr. Henry Richard, yn llanw lle Cadeirydd yr Undeb Cynnulleidfäol Seisonig am y flwyddyn ddiweddaf. Ac wele ger ein bron yr araeth ragorol a draddodwyd ganddo o'r gadair yn nghyfarfod mawr hydrefol yr Undeb, lle y dengys y gellir ac y dylid cymhwyso egwyddorion yr efengyl, trwy ddylanwad priodol dynion crefyddol, at wladwriaethau yn gystal ag at bersonau—at sefydliadau cymdeithasol a gwladlywiaeth yn gymaint ag at fuchedd ac ymddygiad personol.

Pa fodd y mae gwneuthur hyn? Nid trwy sefydliad gwladol o grefydd—nid trwy ieuad priodasol yr Eglwys a'r Wladwriaeth. Pleidwyr yr undeb hwn w a haerant fod yr Eglwys yn cysegru neu yn sancteiddio y Wladwriaeth, a phe dattodid yr undeb y byddai hyny yn golled a niwed dirfawr, nid i'r Eglwys, ond i'r Wladwriaeth. Eithr beth yw yr elfen sancteiddhäol yn y cysylltiad hwn? Ai penodiad prif weinidogion yr Eglwys trwy ddylanwad gwleidiadol, ac yn fynych am resymau gwleidiadol? Ai presennoldeb yr Esgobion yn Nhŷ yr Arglwyddi? Ai y gwerthiad o fugeiliaeth eneidiau gan swyddogaethau y Llywodraeth mewn marchnad agored? Ai gorfodi ugain mil o ddynion i dyngu yn ddifrifol eu bod yn credu yr un a'r unrhyw erthyglau ffydd, er eu bod mewn gwirionedd yn dal pob amrywiaeth o grêd dduwinyddol o Resymoliaeth i Babyddiaeth drwyadl? Ond fe dywedir fod y gyfathrach hon yn ein gwneuthur yn genedl gristionogol, gan fod hyn yn peri cydnabyddiaeth genedlaethol o Gristionogaeth. Cenedl gristionogol! Ië, Duw a baro i Brydain fyned fwyfwy felly yn barhâus. Ond pa fodd? Nid oes un ffordd yn briodol ond trwy ddyfod yn genedl o gristionogion. Nid trwy lapio Cristionogaeth oddifewn i Weithred Seneddol, ond trwy i'r syniad gwladol gael ei drwytho âg ysbryd cristionogol, a phob gwladlywiaeth gael ei dullweddu yn ol egwyddor gristionogol.

Hawdd y gellir gweled dylanwad Cristionogaeth ar filmiloedd o feibion a merched, y rhai ydynt yn halen y ddaear, ac mewn aneirif sefydliadau haelfrydig ac elusengar, ac yn a thrwy holl foddion ac ordinhadau addoliad. Eto, er y cyfan, nid yw Cristionogaeth mewn un wlad wedi cael ei chyfeirio a'i chymhwyso, fel ag y dylesid, ynglŷn â'r hyn a elwir yn *potitics.*

Edrycher, yn gyntaf, i hanes caethwasanaeth. Mae yr efengyl yn gwneuthur meistri a gwasanaethyddion yn frodyr yn Nghrist; ond trwy yr oesoedd ceid yr Eglwys yn dal i fyny gaethwasanaeth yn ei holl ormesau. Cofier am y gaethfasnach Affricaidd a gynnelid yn Ewrop, a'r pleidio, a'r cyfiawnhâu, a'r canmawl oedd ar y gyfundrefn o gaethwasanaeth gan bob enwad crefyddol yn Nhaleithiau Deheuol America, a chan laweroedd yn y Taleithiau Gogleddol. Da ydyw fod melldith caethwasanaeth o'r diwedd wedi diflanu yn yr America. Ond gofidus yw meddwl mai nid gan y cleddyf sydd yn dyfod allan o enau Mab y Dyn y lladdwyd yr anghenfil —cleddyf yr Ysbryd, yr hwn yw gair Duw, eithr gan arfau cnawdol rhyfel.

Edrycher eto ar ymddygiadau gwladwriaethau cristionogol tuag at lwythau cynfrodorol *(aboriginal),* a chenedloedd paganaidd yn gyffredinol. Ymofyner beth a wnaeth yr Yspaeniaid yn Mexico, Paraguay, a Peru—y Portugiaid yn Brazil ac India—y *Dutch* yn India a Deheudir Affrica—a'r Ffrancod yn Algeria. Ië, edrycher ar ymddygiad yr Unol Daleithiau tuag at yr Indiaid, ac, yn wir, ymddygiad ein teyrnas ni yn India, yn China, yn y *West Indies,* ac yn Neheubaith Affrica. Ymddygir atynt yn gyffredin fel pe na byddent yn fodau dynol o gwbl, a phe na byddai ganddynt unrhyw iawnderau; ac wrth ymwneyd â hwy, delir yn ymarferol yr egwyddor anfad, "Gwnawn ddrwg fel y dêl daioni," gan dybied y gellir trwy dân a chleddyf ddwyn atynt efengyl iachawdwriaeth.

Ac yn olaf, ac yn benaf ar hyn o bryd, edrycher ar y teimlad sydd yn ffynu mewn cysylltiad â rhyfel. Yr oedd llawer o'r cristionogion boreuaf, fel y mae Cymdeithas y Cyfeillion yn awr, yn barnu fod rhyfel yn anghyfreithlawn i ddysgyblion Crist, ac yn gorfod dyoddef o'r herwydd. A cheir fod dychweledigion ein hoes ni oddiwrth Baganiaeth yn dyfod i'r un penderfyniad. Felly y tystiolaetha Williams, a Moffat, a Pritchard, ac Ellis, a Yates; ac Esgob New Zealand a ysgrifena yn ei ddyddlyfr:—"Arholais ymgeiswyr am

gonffirmasiwn a bedydd; cefais feddyliau y brodorion yn dyrysu ynghylch y rhyfel diweddar. Yr oedd amryw o dan ammheuon cydwybodol o barth i adnewyddu y broffes gyhoeddus o Gristionogaeth, a dyfod at fwrdd yr Arglwydd, pan yr oeddynt ar unrhyw foment yn agored i gael eu galw i ryfel—teimlent fod dwyn arfau a gwasanaethu mewn rhyfeloedd yn anghyson â'r cyflwr o dangnefedd a ddesgrifir ac a ofynir gan yr efengyl; ac yr oedd llawer yn aros yn ol mewn canlyniad." A thua dechreu y canoloesau, yr oedd yr Eglwys ar y cyfan yn cadw dylanwad yn erbyn rhyfel. Ond trôdd y gwrthdystiad yn raddol i ddystawrwydd, ac yna i bleidio a chefnogi rhyfel. A pha beth yw hanes y gwledydd a elwir yn Gristionogol erbyn y bedwaredd ganrif ar bymtheg? Beth a wnaed ganddynt yn ystod y pum' mlynedd ar hugain diweddaf? O fewn y cyfnod hwn, heb son am y rhyfel dychrynllyd sydd yn awr yn nwyreindir Ewrop, a'r lliaws rhyfeloedd llai a ddygir ymlaen yn barhâus gan gristionogion yn Mexico, China, India, Japan, Abyssinia, Ashantee, Paraguay, a manau eraill, y mae o leiaf chwech o ryfeloedd gwaedlyd iawn wedi cymeryd lle o fewn cylch gwledydd crêd, ymha rai y lladdwyd tua dwy filiwn o ddynion yn uniongyrchol, heblaw y lliaws mawr a drengasant wedi hyny oddiwrth glwyfau ac anhwylderau a ddygwyd arnynt wrth ryfela. A pha beth ar ol y "marw unwaith" a fu i'r holl rifedi anferth yma "wedi hyny?"

Ac i ddisgyn yn îs, eto nid i dir dibwys, —y mae costau y rhyfeloedd hyn yn aruthrol. Yn ol y cyfrifiad mwyaf gofalus, nis gall yr arian a dreuliwyd ar ryfeloedd y pum' mlynedd ar hugain diweddaf fod yn llai na phedwar cant ar hugain o filmiloedd neu filiynau o bunnoedd, ac heb gyfrif y colledion oddiwrth ddinystr meddiannau, y rhwystr ar ddiwydrwydd a thrafnidiaeth, a'r cynnydd a achlysurwyd ynglŷn â sefydliadau milwrol Ewrop. Ond y gwaethaf ydyw y llygru moesol mawr sydd ar gymdeithas ymhob cenedl Ewropëaidd trwy y lluoedd milwraidd a gedwir ynddynt. Mae yn brofedig fod y sefydliadau rhyfelgar hyn yn rhyw ysgolion normalaidd o anfoesoldeb, ac yn ffynnonau llygredigaeth cyrff ac eneidiau, ymhob man lle y maent.

Beth am obaith gwaredigaeth? Ai byth y difa y cleddyf? Pe cyfodai yr eglwys gristionogol o'i difrawder i wisgo ei nerth fel *peacemaker* y byd, deuai rhyfel i fod yn anmhosiblrwydd yn Ewrop.

Nid yw hynyna oll ond byr-gynnwysiad o'r pethau a drinir yn araeth bwysig a grymus Mr. Richard. Nis gallwn gyfleu o flaen ein darllenyddion y darnau bywiocaf a mwyaf effeithiol ynddi. Ond gall pob un o'n cyfeillion ei chael i gyd am geiniog. A gwnai y darlleniad ystyriol o honi ddirfawr les i'w penau ac i'w calonau.

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## CYMDEITHASFA CASNEWYDD-AR-WYSG.

### Dydd Mercher, Hydref 24, 1877.

*Cyfarfod y Pregethwyr am* 10.30.

Cafwyd ymdriniaeth ar y "Cyfarfodydd Eglwysig yn ein plith, a pha fodd i'w cadw ymlaen y dyddiau hyn, a'u cynnal yn adeiladol ac effeithiol."

Sylwyd fel y canlyn: Y mae o'r pwys mwyaf, tuag at ddwyn ymlaen y cyfarfodydd hyn yn effeithiol, fod y teimladau goreu yn bodoli rhwng y swyddogion, yn enwedig y gweinidog, a'r aelodau yn gyffredinol—fod y naill yn mynwes y llall, ac fod gan gorff yr eglwys farn uchel am ein crefydd. Dylem hefyd ymdrechu bod mor syml ac agos at y bobl ag y byddo modd. Rhaid yn aml ddefnyddio ymadroddion sathredig, er mwyn gwneyd ein cwestiynau a'n sylwadau yn ddealladwy. Nis gallwn wneyd llawer o honi ychwaith yn y cyfarfodydd hyn heb fod rhyw *freshness* parhâus yn ein profiad. Da yw cael teimlad newydd ar gyfer pob cyfarfod. Y mae profedigaethau, os ydynt yn cael eu heffaith briodol arnom, yn ein gwneyd yn fwy cymhwys i gadw *society*. Ac y mae yn rhaid i ni fyned at yr Arglwydd beunydd i ddymuno am fesur helaethach o grefydd ein hunain, cyn y gallwn ymddyddan yn effeithiol âg eraill am eu crefydd.

Dylem ystyried amcan sefydliad cyntaf y cyfarfodydd eglwysig. Gweithio allan yr amcan hwnw a ddylai fod genym mewn golwg. Y mae tair elfen yn perthyn iddo, sef *profiad, addysg*, a *llywodraeth*. Y mae i fod yn gyfeillach grefyddol. Ond y mae hefyd i fod yn ysgol i ddysgu athrawiaethau a dyledswyddau crefydd i'n gilydd, a lle y mae gwirioneddau yr efengyl i'w cyfaddasu mewn modd arbenig at brofiadau. Y mae hefyd yn llŷs. Y mae cyfraith yn perthyn i'r tŷ, ac arolygiaeth o ganlyniad ar yr holl frawdoliaeth. Yr ydys "i edrych yn ddyfal na byddo neb yn pallu oddiwrth ras Duw." Nid chwilio am

feïau ein gilydd, a dynoethi ein gilydd, ond gwir ofal am lesâd ein gilydd—na byddo neb yn adfeilio, neb yn debyg o fod yn ol. Prin y gellir dyweyd fod ein tadau wedi cychwyn y cyfarfodydd hyn yn ffurfiol; ond *tyfiant* ydynt oddiar wreiddiau dyfnion bywyd a phrofiad crefyddol. Y mae hyn yn gosod pwys a gwerth parhâus arnynt. Nis dylem golli ein golwg ar *brofiad* yn y cyfarfodydd hyn, er y cyfnewidiad sydd wedi cymeryd lle yn nhymher ac arferion cymdeithas. Yma yr ydym yn cael "mynegu yr hyn a wnaeth efe i'n henaid"—rhoddi hanes *dealings* yr Arglwydd yn ei ras â ni. Yr ydym felly yn cael hanes ysbrydol ein gilydd; a dyna ein gwir hanes ni, hanes yr enaid, hanes yr *inner life*. Y *society* yw y cyfarfod mwyaf cysegredig o'r cwbl, ac y mae archwaeth ato yn fath o *test* ar ein crefydd. Prin y gallwn ddysgwyl yr un *rhwyddineb* â'r hen bobl. Yr oeddynt hwy yn fwy gwledig ac yn fwy teuluaidd yn eu ffordd, a'r cymdeithasau crefyddol hefyd yn eu hamser hwy yn rhai bychain. Y canlyniad yw, ein bod yn cyfarfod â mwy o anhawsderau yn awr mewn cysylltiad âg adrodd teimladau cysegredig. Y mae anghen, gan hyny, am lawer o dynerwch a doethineb. Yn ngwyneb hyn hefyd, dylem ddyfod â'r elfen arall, sef *addysg*, yn fwy *prominent*. Heblaw y mawr anghen sydd am hyfforddiant manylach yn egwyddorion a dyledswyddau crefydd, gwnelai yr addysgiaeth yma ni yn fwy llawn o ddefnyddiau cyfarfod eglwysig, trwy arosiad y meddwl ar wirioneddau mawrion yr efengyl.

Yr ydys yn gofyn *pa fodd* i gynnal y cyfarfodydd hyn. Y mae gan fywyd *lawer modd*. "Duw, wedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd." Felly y mae llefariad bywyd crefydd. Y pwnc mawr yw cael y bywyd. Ond cael y peth, ni a gawn y *ffurf*. Y peth yw *substratum* y ffurf, ac fe rydd y peth fodolaeth i'r ffurf. Tri chwestiwn mawr y *society* ydynt, Pa fodd y mae dyn yn *teimlo?* pa fodd y mae yn *meddwl?* a pha fodd y mae yn *byw?* Fe allai ein bod mewn perygl o roddi gormod o le i'r blaenaf. Os nad ellir cael llawer o deimlad y dyddiau hyn, y mae digon o feddwl i gadw *society*. Ein tuedd ni yw edrych *i mewn* i ni ein hunain byth a hefyd, lle nad oes dim ond tywyllwch. Y pryd y mae dyn yn myned yn oleu oddifewn yw pan fyddo yn edrych ar yr haul. Y mae gwahaniaeth mawr rhyngom ni â'n brodyr y Wesleyaid yn hyn. Y maent hwy yn gwybod eu bod wedi eu haileni, a'u bod yn myned i'r nefoedd, pryd yr ydym ni gan mwyaf mewn ofnau ac ammheuon. Pa fodd i gyfrif am hyn? Y mae'r dyn hynod hwnw Daniel Quorm, yn ei "Fyfyrdodau," yn rhanu crefyddwyr yn ddau ddosbarth. Fel hyn:- Aeth Quorm i fyny i Lundain, ac aeth i orsaf y rheilffordd i ofyn am docyn i'r *Crystal Palace*. Gofynwyd iddo gyda pha linell yr ydoedd am fyned. "A oes ychwaneg nag un linell?" gofynai Quorm. "O oes," oedd yr ateb, "y mae dwy, sef y *low-level line* a'r *high-level line*. Y mae'r *high-level line* yn rhedeg trwy wlad agored, uchel, ac anarferol o brydferth, ac yn myned i mewn ar ei hunion i'r palas; ond y mae y *low-level line* yn myned ar hyd ffordd isel, ac aml i *dunnel* arni, a'r awyr o ganlyniad yn glòs mewn rhyw fanau, a nemawr o olygfeydd a ellir weled, ac ar ol cyrhaedd yr orsaf y mae llawer o risiau i'w dringo i fyny drachefn i'r palas. Gellir cyrhaedd y palas yn ddiogel yn y diwedd wrth deithio gyda hono; ond mwy dedwydd o lawer yw myned gyda'r llinell arall." Felly y mae rhai gyda chrefydd, yn teithio gyda'r *low-level line*, a phrofiad pruddaidd, cwynfanus, sydd ganddynt bob amser, pryd y mae eraill yn teithio gyda'r *high-level line*, ac yn cael mwynhâu y golygfeydd prydferth a'r awyr iach ar y ffordd, ac yn y diwedd yn myned i mewn megys ar eu hunion i "lawenydd eu Harglwydd." Cofiwn mai nid teimlad yw dyn i gyd. Y mae crefydd yn myned i'r farn a'r meddwl yn gystal a'r teimlad.

Dylem fel Cyfundeb deimlo yn falch o'r sefydliad hwn, sydd wedi bod yn ein plith er y dechreuad. Nis gwyddom pa un a oedd ein tadau â'u golwg yn fanwl ar y Bibl, ac ar hanes yr eglwys, ai peidio, wrth sefydlu y cyfarfodydd hyn ar y cyntaf. Modd bynag, y maent yn hollol unol â sefydliadau oesoedd boreuol Cristionogaeth. Y ffurf gyntaf ar ymgynnulliad y saint oedd *cadw seiat*. Saint, neu Iuddewon anghrediniol, neu Baganiaid, oedd pawb y pryd hwnw. Yr ydym yn son mai nid cyfarfodydd i areithio ynddynt yw y rhai hyn. Cyfarfod y dysgyblion oedd ar y llofft yn Troas, mae yn wir, pan oedd Paul yn areithio hyd hanner nos; ond cofiwn mai *Paul* oedd yno yn areithio. Weithiau byddai yr anghredinwyr yn dyfod i gyffyrddiad â'r dysgyblion: "Eithr os prophwyda pawb, a dyfod o un digred neu annysgedig i mewn, efe a argyhoeddir gan bawb, a fernir gan bawb; ac felly y gwneir dirgelion ei galon ef yn amlwg; ac felly gan syrthio ar ei wyneb efe a addola Dduw, gan ddywedyd fod Duw yn wir ynoch." Nid yw pwysigrwydd y cyfarfodydd neillduol o'r dechreuad yn profi dim yn erbyn cyfarfodydd cymysg, yn enwedig mewn gwlad gristionogol. Dylem ddal ein gafael arnynt yn eu ffurf gyntaf. Un o brif nodweddau ein Cyfundeb yw y *society;* ac y mae yn syn na buasai cyf-

undebau eraill wedi gafaelu yn fwy cyffredinol ar y cynllun yma.

Gyda golwg ar y *modd*, nid oes dim modd neillduol. Os bydd ysbryd *society* wedi ei golli, anmhosibl yw dyweyd pa *fodd* wedi hyny. Yr hen enw, a'r hen nodwedd yw "*society* profiad." Prif nodwedd y Diwygiad Methodistaidd oedd cymeryd gwedd fewnol ar grefydd. Athrawiaeth fawr y Diwygiad Protestanaidd oedd cyfiawnhâd trwy ffydd. Athrawiaeth fawr y Diwygiad Methodistaidd oedd gwaith Ysbryd Duw mewn adenedigaeth—gwaith gras yn yr Enaid. Yr awdwyr a gafodd eu bôd gan y diwygiad hwn, ar grefydd dumewnol y maent wedi ysgrifenu. Dyna nodwedd y llyfrau a gynnyrchwyd gan y diwygiad: "Gurnal ar Gyflawn Arfogaeth y Cristion," "Boston ar Bedwar Cyflwr Dyn," "Jonathan Edwards ar y Serchiadau Crefyddol." Fe allai eu bod hwy yn rhy *exclusive* yn y wedd yna; ond dichon ein bod ni yn myned yn ormod i'r cyfeiriad gwrthwynebol. Y mae llawenydd a gorfoledd yn perthyn i grefydd; ond nid yw ein llawenydd o werth os nad yw yn gwreiddio mewn galar am bechod. "Cyfodaist fi i fyny, a theflaist fi i lawr." Y mae'r esgyniad yn ateb i'r disgyniad. Y mae eisieu hefyd rhoddi mwy o le i addysg grefyddol, yn enwedig yn y ffurf o *gateceisio.* Yr oedd hon yn ddawn arbenig yn yr oesoedd cyntaf. Gwelodd Luther mewn cysylltiad â'r Diwygiad Protestanaidd yn werth i wneyd *Catecism*, a gwnaeth les mawr trwyddo. Gwnaeth Charles o'r Bala gymaint o les drwy yr *Hyfforddwr* ag a wnaeth trwy y *Geiriadur*. Peth mawr yw *tact* i gadw *society*. Tybed nad dyna ystyr y gair "doethineb" gan Paul, fel y mae i'w wahaniaethu oddiwrth "wybodaeth?" Y mae gwybodaeth yn golygu meddiant o wirioneddau, ac o syniadau uchel, a doethineb yn golygu y medr i gymhwyso y gwirioneddau a'r syniadau hyny at y meddwl a'r galon yn ol yr amgylchiadau. Un o'r goreuon yn hyn oedd Mr. Roberts, Amlwch. Wedi cael adnod fe allai gan rywun, nid areithiai arni, ond taflai allan ryw syniad mawr tanllyd; ac yna gyrai yr adnod oddiamgylch trwy ofyn cwestiynau arni; ac yn fuan byddai profiad yn cael ei gynnyrchu nes y byddai y lle yn dân. Yr oedd hyn yn fwy na *dyweyd* profiad, yr oedd yn *wneyd* profiad —trin adnod fel y byddai calonau'r bobl yn llosgi. Ei hoff faes oedd angeu Crist a'i lawn. Y mae yn bosibl *creu* profiad. Fel yr hen chwaer hono oedd yn dyweyd, "Nid oes dim neillduol ar fy meddwl, ond yr oeddwn yn darllen heddyw am demtiad yr Arglwydd Iesu, ac yr oeddwn yn ei gael yn yr anialwch, a'i fod yno gyda'r gwylltfilod, a'i fod yno ei hunan, a bod eisieu bwyd arno. O yr oeddwn i yn teimlo, na buaswn yno i ddarparu rhyw luniaeth iddo! Ond wrth ddarllen ymlaen, gwelais, 'A'r angylion a weiniasant iddo?' O yr oedd yn dda genyf amdanynt! y mae arnaf flys eu gweled i gael diolch iddynt am eu caredigrwydd i'm Gwaredwr." Dyna oedd gwneyd profiad: profiad yn cael ei gynnyrchu, nid yn unig yn yr hen chwaer ei hun, ond yn nghalonau y frawdoliaeth yn gyffredinol.

Peth mawr yw creu awydd i ddyweyd profiad, a chryn bwnc yw gwneyd y cyfarfod eglwysig yn lle *hawdd* i ddyweyd profiad ynddo. Mae ar y galon ddynol eisieu cael arllwys ei theimlad. "Tra y tewais, heneiddiodd fy esgyrn gan fy rhuad ar hyd y dydd. Addefais fy mhechod wrthyt, a'm hanwiredd ni chuddiais." Y mae yn *relief* i'r galon gael dyweyd ei thywydd. Yr ydym yn rhanu ein beichiau wrth adrodd ein profiadau i'n gilydd. Y mae profiad crefyddol i'w gael y dyddiau hyn, ond fod eisieu ei gael allan, a dylem ymdrechu gwneuthur yr awyr grefyddol mor gynhes nes y byddo yn hawdd i ddynion ddyweyd eu profiadau.

G. D.

---

## CYMDEITHASFA CONWY,

TACHWEDD 27, 28, a 29, 1877.

LLYWYDD,—Y Parch. HUGH JONES, Liverpool.

DYDD MAWRTH, TACHWEDD 27AIN.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch y prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr:—

*Sir Fôn:*—Y Parchn. James Donne, Llangefni, a Richard Jones, Nebo; Mri. William Thomas, Ucheldrefgoed, a William Roberts, Bryndu.—*Arfon:*—Y Parchn. Thomas Roberts, Jerusalem, a Griffith Roberts, Carneddi; Mr. Robert Parry, Jerusalem.—*Lleyn ac Eifionydd:*—Y Parchn. Evan Williams, Morfa Nefyn, a Hugh Hughes, Gellidara; Mri. Robert Jones, Pwllheli, a Robert Rowlands, Portmadoc.—*Sir Ddinbych:*—Y Parchn. Owen Evans, Ruthin, a W. R. Jones, Llanrwst; Mri. Robert Parry, Dinbych, ac Edward Jonathan, Trefriw.—*Sir Fflint:*—Y Parchn. Michael Jones, Fflint, a William Foulkes, Rhosllanerchrugog; Mri. William Evans, Caer, a Cadwaladr Davies, Pontcysyllte.—*Dwyrain Meirionydd:*—Y Parchn. Richard Williams, Glan'rafon, a John Howell Hughes, Ysbytty; Mri. Owen Lloyd, Corwen, ac Elias Owen, Capel Garmon.—*Gorllewin Meirionydd:*—Y Parchn. David Davies, Abermaw, a Robert Owen, M.A., Pennal; Mri. Robert Jones, Bethesda, Ffestiniog, a David Evans, Cae Einion, Dolgellau.—*Sir Drefaldwyn* (y Rhan

Uchaf):—Y Parchn. Joseph Thomas, Carno, a John Herbert, Drefnewydd; Mr. Richard Phillips, Drefnewydd.—*Sir Drefaldwyn* (y Rhan Isaf):—Y Parch. David Pierce, Salem; Mr. Richard Lewis, Llanrhaiadr.—*Liverpool*:—Y Parchn. David Williams, a John Prichard; Mri. David Roberts, a John Williams, Moss Bank.—*Manchester*:—Y Parch. William James, B.A.; Mr. Richard Jones, Higher Ardwick.—*Henaduriaeth Lancashire*:—(Lluddiwyd y Cenadon i fod yn bresennol).—*Henaduriaeth Trefaldwyn*:—Y Parch. David Davies, Cefn Briw.—*Arholwyr y Gymdeithasfa*,—Parchn. John Pugh, B.A., Daniel Rowlands, M.A., a Joseph Thomas.

II. Darllenwyd y Cenadwriaethau canlynol :—

O Gyfarfod Misol *Môn*:—"Gyda golwg ar y genadwri o Henaduriaeth Lancashire, penderfynwyd,—Nad ydym yn ystyried yn ddoeth gydnabod neb yn bregethwyr, ond y rhai a dderbynio gymeradwyaeth yr eglwysi y byddont yn aelodau ynddynt, ynghyda chymeradwyaeth y Cyfarfod Misol."—JOHN WILLIAMS, *Ysgrifenydd*.

O Gyfarfod Misol *Arfon*:—"Gyda golwg ar y genadwri a ddaeth o Henaduriaeth Lancashire i Gymdeithasfa Bangor, penderfyniad y Cyfarfod Misol hwn ydyw,—'Ein bod fel Cyfarfod Misol yn cydymdeimlo yn-gryf â'r Henaduriaeth, ond ar yr un pryd yn methu gweled ein ffordd yn glir i ffafrio mwy o ryddid nag sydd; a'n bod yn annog yr Henaduriaeth i ymaflyd yn y rhyddid sydd ganddynt.'"—T. G. ROBERTS, *Ysg*.

O Gyfarfod Misol *Lleyn ac Eifionydd*:—"Pasiwyd y penderfyniad canlynol gyda golwg ar leygwyr sydd yn awyddus i bregethu. 'Ein bod yn dymuno sefyll at yr hyn y penderfynwyd arno yn Nghymdeithasfa Croesoswallt gyda golwg ar annog lleygwyr i wneyd yr hyn a allont i lanw bylchau yn y weinidogaeth reolaidd.'"—GRIFFITH ROBERTS, *Ysg*.

O Gyfarfod Misol *Sir Ddinbych*:—"Cafwyd trafodaeth mewn dau gyfarfod ar y genadwri a gyflwynasid i'r Gymdeithasfa ddiweddaf o berthynas i'r 'dymunoldeb o gydnabod lleygwyr sydd yn awyddus i bregethu, &c.' Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Saron, Tachwedd 1af a'r 2il, penderfynwyd ein bod yn barnu na ddylid rhoddi caniatâd i neb i bregethu ond y rhai a fyddont yn foddlawn i fyned o dan yr hyn a ofynir yn y tair rheol gyntaf o'r 'Rheolau derbyn ac ordeinio pregethwyr.'"—J. WILLIAMS, *Ysg*.

O Gyfarfod Misol *Sir Fflint*:—"Penderfynwyd gwneyd casgliadau at Adeilad yr Athrofa a'r Achosion Seisonig. Gyda golwg ar y *Mynwentydd*, dymunwyd ar yr Ysgrifenydd i geisio Cylchlythyrau yn cynnwys yr holiadau i'w hanfon i bob Dosbarth yn y Sir. Mewn perthynas i *Lydaw*, penderfynwyd fod awgrym ostyngedig yn cael ei roddi i'r Cyfarwyddwyr am y dymunoldeb o fod y Parch. Josiah Thomas, M.A., yn ymweled âg Athrofa y Bala ac hefyd Athrofa Trefecca, er mwyn annog a chymhell gwŷr ieuainc i fyned i'r maesydd cenadol lle y mae anghen am danynt.—Y cenadwriaethau o *Gymdeithasfa Bangor*: Mewn perthynas i roddi caniatâd i leygwyr bregethu, penderfynwyd fod y Cyfarfod Misol hwn yn ystyried fod y rhyddid y ceisir am dano eisoes yn meddiant y lleygwyr yn ein plith. Siaradwyd yn wresog ar y cais am genadwr i *Melbourne*. Gyda golwg ar *Addoliad Teuluaidd*, penderfynwyd fod hyn i fod yn fater i'w ddwyn dan sylw yn yr ymweliad nesaf â'r eglwysi."—B. JONES, *Ysg*.

O Gyfarfod Misol *Dwyrain Meirionydd*:—"Ar ol hir ymddyddan ynghylch y genadwri o Henaduriaeth Lancashire,—penderfynwyd yn unfrydol, 'Ein bod yn dymuno cadw at yr hen reolau fel y maent yn y Dyddiadur.' Bu sylw ar y llythyrau gyda golwg ar Genadon i Lydaw, a Melbourne.—E. PETERS, *Ysgrifenydd*.

O Gyfarfod Misol *Gorllewin Meirionydd*:—(1) "Fod y Parch. R. Roberts, Dolgellau, a Mr. G. Jones, Gwyddelfynydd, wedi eu penodi i fod yn aelodau o'r Cyfeisteddfod i ymgynghori o berthynas i gyfansoddiad a threfniadau y Gymanfa Gyffredinol. (2) Gyda golwg ar y genadwri o'r Henaduriaeth, penderfynwyd—'Ein bod fel Cyfarfod Misol yn teimlo fod rhyddid yn cael ei ganiatâu yn barod i flaenoriaid eglwysig, ac eraill a dybiant hwy yn gymhwys, i esbonio a gwneyd unrhyw sylwadau pan fyddo amgylchiadau yn galw am hyny, ond nad ydym yn ei ystyried yn ddoeth ein bod fel Cyfundeb yn cydnabod neb yn bregethwyr, nac yn weinidogion, ond y rhai sydd wedi eu dewis yn rheolaidd i hyny.'"—R. OWEN, *Ysgrifenydd*.

O Gyfarfod Misol *Sir Drefaldwyn* (Y Rhan Uchaf):—1. "Ynghylch y cais o Henaduriaeth Lancashire am i lëygwyr gael myned i bregethu heb fyned o dan un arholiad, penderfynwyd nad ydym am i neb fyned i bregethu heb o leiaf fyned dan yr arholiad cyntaf y dysgwylir i ymgeiswyr fyned dano. 2. Y personau a benodwyd ar y pwyllgor i ystyried cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol, ydynt y Parch. J. F. Jones, B.A., a Mr. Richard Owen, Machynlleth."—OWEN JONES, *Ysgrifenydd*.

O Gyfarfod Misol *Sir Drefaldwyn* (Y Rhan Isaf):—"Penodwyd y Parch. Robert Davies, Amwythig, a Mr. Jones, U.H., Llanfyllin, i weithredu drosom ar bwyllgor cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol. Cynnelir Cymdeithasfa y Gwanwyn yn Llanrhaiadr yn Mochnant, a chynnygir Ebrill 24, 25, 26, fel adeg gyfleus i hyny. Mewn atebiad i'r genadwri mewn perthynas i'r cais o Henaduriaeth Lancashire, penderfynwyd:—'Ein bod yn awyddus am i ryw foddion gael ei arfer i dynu allan frodyr galluog a chrefyddol i lanw y pulpudau yn achlysurol, nad ydynt yn bwriadu ymgymeryd â'r gwaith rheolaidd; ond ein bod o'r farn fod yn anghenrheidiol, cyn y gellir derbyn gwasanaeth un o'r cyfryw, iddo gael anogaeth ei eglwys gartref, a chydsyniad y Cyfarfod Misol.'"—HUGH JONES, *Ysgrifenydd*.

O Gyfarfod Misol *Liverpool*:—Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Nghapel Fitzclarence Street, Tachwedd 7, 1877, 1. Penderfynwyd,—"Ein bod, ar ol cymeryd i ystyriaeth y cais o Henaduriaeth Lancashire a gyflwynwyd gan y Gymdeithasfa ddiwedd-

af i sylw yr amrywiol Gyfarfodydd Misol, yn barnu mai gwell ydyw i ni, ar hyn o bryd, barhâu gyda'r rheolau sydd genym. 2. Penodwyd y Parch. John Hughes, D.D., a David Roberts, Ysw., i gynnrychioli y Cyfarfod Misol hwn yn y Cyfeisteddfod y cyttunwyd arno yn y Gymdeithasfa ddiweddaf i gyfarfod mewn ymgynghoriad o berthynas i gyfansoddiad, &c., y Gymanfa Gyffredinol.—J. GRIFFITH, *Ysg.* Liverpool, Tachwedd 21, 1877."—Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Netherfield Road, Tachwedd 12, 1877, Penderfynwyd "Ein bod yn anfon cais i'r Gymdeithasfa a gynnelir yn Nghonwy am ganiatâd i werthu hen gapel Pall Mall, gan y bwriedir adeiladu capel newydd mewn lle arall yn ei le."—OWEN JONES, *Llywydd.*

O Henaduriaeth *Lancashire, &c.*:—"Mr. Charles Hughes was appointed to represent the Presbytery on the Committee which is to meet to consider the constitution and arrangements of the General Assembly. It was also agreed—That an overture be sent to the Conway Association humbly asking it to grant to the English churches of North Wales the same privilege as has been granted by the South Wales Association to the English churches of that portion of the Principality, viz.—A full and complete English Circular *(Cylchlythyr)*, prepared by the Secretary of the Association, and sent forth in the same way as the Welsh one."—E. JERMAN, *Sec.*

O Henaduriaeth *Trefaldwyn*:—"Mr. Richard Williams, Cyfreithiwr, o'r Drefnewydd, sydd wedi ei benodi i'n cynnrychioli yn y Cyfeisteddfod er ystyried cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol. Ni chawsom amser eto i ystyried y genadwri o Henaduriaeth Lancashire."—RICHARD JONES, *Ysg.*

Darllenwyd y Genadwri ychwanegol a ganlyn o Gyfarfod Misol Sir Ddinbych, yr hon a ddaethai i law yn rhy ddiweddar i'w hargraffu yn Rhaglen y Gymdeithasfa:—"Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Llansannan, Tachwedd 22 a'r 23ain, penderfynwyd ein bod yn galw sylw y Gymdeithasfa nesaf at y priodoldeb o fod ymdrech egnïol yn cael ei wneyd genym, naill ai yn Gyfundebol, neu mewn undeb âg eraill yn y deyrnas, i gael gan y Llywodraeth basio deddf yn y Seneddymmor nesaf i gau y tafarndai dros yr oll o ddydd yr Arglwydd; ac os nad ellir cael hyny i'r holl deyrnas, fod deddf i'r amcan yma yn cael ei llunio ar gyfer y rhanbarthau hyny ag y mae y deiliaid yn lled gyffredinol yn galw am dani."—J. WILLIAMS, *Ysg.*

III. Yn wyneb yr atebion a gawsid o'r gwahanol Gyfarfodydd Misol i'r ymofyniad o Gymdeithasfa Bangor ar y genadwri a ddaethai o Henaduriaeth *Lancashire*, &c., ac wedi peth ymddyddan pellach ar y mater, cynnygiwyd gan y Parch. O. Thomas, D.D., cefnogwyd gan Mr. Owen Lloyd, Corwen, a chyttunwyd ar y penderfyniad canlynol:—

"Wedi gwrandaw ar yr atebion o'r amrywiol Gyfarfodydd Misol, i'r genadwri ynghylch y cais a ddaethai o Henaduriaeth *Lancashire*, am 'Ganiatâd i lëygwyr bregethu, &c.,' a chael nad oedd cymaint ag un o honynt am newid dim ar eu trefniadau presennol, penderfynwyd,—Nad oes genym, fel Cymdeithasfa, ddim i'w wneuthur, ar hyn o bryd, ond parhâu i weithredu yn ol y Rheolau y cyttunwyd arnynt genym eisoes, gyda golwg ar 'Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr;' a'n bod yn dymuno galw sylw ein brodyr yn yr Henaduriaeth, ac yn y gwahanol Siroedd, at y Rheolau hyny, ac yn arbenig at yr annogaeth sydd ynddynt i Weinidogion a Blaenoriaid ein heglwysi feithrin cymhwysderau at Weinidogaeth yr efengyl yn ein haelodau, a rhoddi cyfleusderau i'r rhai a fyddont yn teimlo cymhelliad i bregethu, arfer eu dawn yn yr Ysgol Sabbothol, mewn Cyfarfodydd Gweddïau, ac yn y Cyfarfodydd Eglwysig, &c., yn y cylch a fyddo yn fanteisiol i'w heglwysi eu hunain, a'r eglwysi cymydogaethol, allu ffurfio barn am eu cymhwysderau i lafur cyhoeddus.—Ein bod hefyd yn dymuno galw sylw yr amrywiol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau at yr annogaethau a roddwyd, o bryd i bryd, mewn Cymdeithasfäoedd blaenorol, ar i'r brodyr sydd wedi eu galw yn flaenoriaid, mewn amgylchiadau y byddo anghen am hyny, arfer eu dawn, yn y dull a farnont hwy yn oreu, i lanw bylchau gweinidogaethol, yn ol yr hyn sydd wedi bod yn arferiad yn ein Cyfundeb o'i ddechreuad. Ac ni a ddymunem gymhell a meithrin ysbryd gweithgarwch crefyddol yn ein holl aelodau eglwysig, ymhob modd galluadwy iddynt yn y gwahanol gylchoedd y maent yn troi ynddynt, ac yn ol y dalent a roddwyd iddynt, gan gofio fod 'Arglwydd y gweision yn dyfod i wneuthur cyfrif â hwynt.'"

IV. Mewn atebiad i'r genadwri o Sir Ddinbych o berthynas i gau y Tafarndai ar y Sabbath, cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., cefnogwyd gan y Parch. James Donne, a chyttunwyd,—Ein bod yn y modd mwyaf calonog yn cymeradwyo y genadwri o Sir Ddinbych, ac yn nodi y brodyr canlynol yn Bwyllgor i roddi ystyriaeth i'r mater, ac i barotoi mesurau tuag at gario allan yr amcan, i'w cynnyg i'r Gymdeithasfa y dydd canlynol:—Y Parchn. James Donne, W. R. Jones, Lewis Ellis, Owen Evans, D. Rowlands; Meistri David Evans, Thomas Lewis, D. Roberts, Owen Lloyd, a Robert Rowlands; y Parch. D. Rowlands i fod yn Gynnullydd.

V. Darllenwyd Llythyr oddiwrth Mr. Jacob Jones, Bala, Ysgrifenydd Cyfeisteddfod Gweithredoedd y Capelau, yn hysbysu fod atebion wedi dyfod i law i'r Cwestiynau a anfonasid o'r Cyfeisteddfod a gyfarfu yn Nghymdeithasfa Bangor, oddiwrth y Cyfarfodydd Misol a ganlyn:—Henaduriaeth Trefaldwyn, Gorllewin Meirionydd, Liverpool, Sir Drefaldwyn (y Rhan Isaf), Sir Drefaldwyn (y Rhan Uchaf), Arfon, Dwyrain Meirionydd, a Manchester. Daeth yr atebion hefyd o

Sir Ddinbych i law yn y Gymdeithasfa hon. Annogwyd y Siroedd oeddynt eto heb anfon eu hatebion i'w hanfon, mor fuan ag yr oedd yn bosibl, i Ysgrifenydd y Cyfeisteddfod.

VI. Gyda golwg ar yr awgrym yn y genadwri o Gyfarfod Misol Sir Fflint mewn perthynas i Lydaw, cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., cefnogwyd gan Mr. Robert Parry, Dinbych, a chyttunwyd,—Ein bod yn cymeradwyo yr awgrym o Gyfarfod Misol Sir Fflint yn dadgan y dymunoldeb i'r Parch. Josiah Thomas, M.A., Liverpool, ymweled â dwy Athrofa y Cyfundeb, i osod ger bron ein pregethwyr ieuainc sefyllfa ein meusydd cenadol a'u hawliau ar eu gwasanaeth, a'n bod yn dymuno ar i Mr. Thomas wneyd hyny ar yr adeg gyntaf a fyddo yn gyfleus i'r Athrofeydd ac iddo yntau, a'n bod yn annog yr eglwysi i weddïo "ar i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf."

VII. Mewn atebiad i'r genadwri o Henaduriaeth Lancashire yn dymuno am gael Cylchlythyr Cymdeithasfaol yn gyflawn yn yr iaith Seisonig at wasanaeth Eglwysi Seisonig y Cyfundeb,—cynnygiwyd gan y Parch. Lewis Ellis, cefnogwyd gan Mr. Robert Jones, Pwllheli, a chyttunwyd,—Fod dymuniad yr Eglwysi Seisonig am gael Cylchlythyr Seisonig cyflawn fel yr un Cymreig yn cael ei ganiatâu.

VIII. Yn unol â'r cais o Gyfarfod Misol Liverpool, arwyddwyd cydsyniad i'r cyfeillion yno werthu hen gapel Pall Mall.

IX. Hysbysodd yr Ysgrifenydd ei fod, yn unol â phenderfyniad Cymdeithasfa Bangor, wedi ymohebu â'r ddau le a dybid yn fwyaf canolog a chyfleus i'r Cyfeisteddfod o'r Gogledd a'r Deheudir i gyfarfod i ymgynghori o berthynas i'r Gymanfa Gyffredinol, a'i fod wedi derbyn atebiad caredig o'r ddau le—sef y Drefnewydd a Machynlleth—yn arwyddo parodrwydd i roddi derbyniad croesawgar i'r Cyfeisteddfod. Wedi ychydig o ymddyddan ar gyfleusderau y ddau le, cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan y Parch. Lewis Ellis, a chyttunwyd,—Fod i'r Cyfeisteddfod hwn gyfarfod yn Machynlleth ar ddyddiau Mercher a Iau, Mawrth 27ain a'r 28ain, 1878,—i ddechre am 6 o'r gloch prydnawn Mercher, y 27ain. Golygid fod yr adeg hon o ran y tymmor o'r flwyddyn yn well na'r un a gynnygiasid o'r blaen, gan ei bod hefyd yn gyfleus cyn amser y ddwy Gymdeithasfa a'r Gymanfa Gyffredinol.

X. Dewiswyd (trwy bleidlais ddirgel) y Parch. Emrys Evans, Cotton Hall, Dinbych, yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn 1878. Ac yn unol â'r hyn y cyttunwyd arno yn Nghymdeithasfa Croesoswallt, Rhagfyr 2, 3 a 4, 1874—i newid yr Ysgrifenydd bob tair blynedd, dewiswyd (yr un modd trwy bleidlais ddirgel) y Parch. Thomas Owen, Portmadoc, yn Ysgrifenydd am y tair blynedd nesaf.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa* (parhâd) *am ½ awr wedi* 6 *yn yr hwyr.*

I. Cafwyd ymddyddan maith am y priodoldeb o'r dull presennol o gyhoeddi enwau yr ymgeiswyr llwyddiannus yn yr Arholiad Cymdeithasfaol yn dri dosbarth, cyntaf, ail, a thrydydd. Wedi rhoddi llawer o ystyriaeth i'r mater, cynnygiwyd gan Mr. Thomas Lewis, cefnogwyd gan Mr. Robert Rowlands,—Fod i'r mater hwn gael ei ohirio hyd y Gymdeithasfa nesaf. Cyttunwyd ymhellach, fel ychwanegiad—"Ac yn y cyfamser, fod barn yr holl Arholwyr blaenorol yn cael ei gofyn ar y mater hwn"—yr Ysgrifenydd presennol i ymohebu â hwynt.

II. Gwnaed sylw ar y Taliadau Sirol i drysorfa y Gymdeithasfa, yn unol â phenderfyniad Cyfeisteddfod y Blaenoriaid yn Nghymdeithasfa Llanerchymedd. Penderfynwyd cyfeirio y mater i sylw Cyfeisteddfod y Blaenoriaid yn y Gymdeithasfa hon, ac ar i'r brodyr canlynol fod yn Bwyllgor i ystyried y mater erbyn y dydd canlynol:—Meistri Robert Rowlands, Robert Jones, Bethesda, Ffestiniog; John Williams, Moss Bank, Liverpool; a William Evans, Caer.

DYDD MERCHER, TACHWEDD YR 28AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr, am* 10 *o'r gloch y bore.*

Ymddyddanwyd yn unol â'r penderfyniad yn Nghymdeithasfa Bangor â'r Parch. John Herbert, Drefnewydd, a'r Parch. Evan Lloyd, Treffynnon, ar eu hadferiad i'w swydd. Cafwyd y boddlonrwydd mwyaf yn y profiadau a adroddent, a dygwyd tystiolaeth uchel i'w hymddygiad pwyllog a christionogol yn eu profedigaethau. Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan y Parch. David Davies, Abermaw, a chyttunwyd ar y penderfyniad canlynol:—"Ein bod, ar ol ymddyddan â'r ddau frawd, y Parch. John Herbert a'r Parch. Evan Lloyd, wedi cael pob boddlonrwydd yn y dadganiad a wnaethant o'u teimladau yn wyneb y profedigaethau a'u cyfarfyddodd, ac yn llawenychu yn eu hadferiad i'w swydd."

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am* 2 *o'r gloch.*

I. Hysbyswyd y cynnelir y Gymdeithasfa nesaf yn Llanrhaiadr-yn-Mochnant,

Mawrth, Mercher, a Iau, Ebrill y 9, 10, a'r 11eg, 1878. Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa i ddechre am 2 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, y 9fed.

II. Darllenwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Blaenoriaid, yr hwn oedd fel y canlyn:—

CADEIRYDD,—MR. ROWLANDS, PORTMADOC. —1. Darllenwyd a chymeradwywyd cofnodau y cyfarfod diweddaf.—2. Fod tymmor Ysgrifenydd y Cyfeisteddfod hwn o hyn allan i gael ei gyfyngu i dair blynedd, fel Ysgrifenydd y Gymdeithasfa.—3. Cafwyd fod y mater, "*Addoliad Teuluaidd*," wedi bod dan sylw y Cyfarfodydd Misol.—4. Penderfynwyd fod Mr. Roger Evans i barhâu yn ei swydd fel Trysorydd y Gymdeithasfa, a bod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno iddo am ei wasanaeth mawr.—5. Penderfynwyd—Bod Mr. R. Rowlands, Portmadoc, i fod yn Ysgrifenydd y Cyfeisteddfod hwn am y tair blynedd nesaf.—6. Diolchwyd i'r Ysgrifenydd, Mr. P. M. Evans, am ei wasanaeth, ac fod cydnabyddiaeth o'i ffyddlondeb hirfaith i gael ei gyflwyno iddo mewn ffurf o Anerchiad, a bod Mri. Roberts, Williams, a Griffiths, o Liverpool, a Mr. W. Evans, Caerlleon, i edrych ar fod hyn yn cael ei ddwyn o amgylch.—7. Cyfarchwyd y Cyfarfod gan Mr. E. Roberts, Bangor, Pa., U.D., yn achos y ddyled sydd ar eu capel, a phenderfynwyd—Ein bod fel Cymdeithasfa yn cydymdeimlo â'r cyfeillion yn Bangor, Pa., U.D., yn wyneb eu profedigaeth gyda'r ddyled sydd ar eu capel, ac yn credu fod yr achos yn deilwng o help eu brodyr yn y wlad hon.—8. Ein bod yn cymeradwyo y trefniant gyda golwg ar ychwanegiad at y symiau a delir gan y Siroedd tuag at gostau y Gymdeithasfa, sef—

| Cyfarfod Misol. | Nifer y Cymunwyr. | Taliad presennol. £ | s. | c. | Taliad cynnygiedig. £ | s. | c. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Arfon ... | 13,300 | 12 | 10 | 0 | 19 | 0 | 0 |
| Dinbych ... | 7.400 | 10 | 0 | 0 | 11 | 0 | 0 |
| Fflint ... | 6,800 | 9 | 0 | 0 | 10 | 0 | 0 |
| Lleyn ac Eifionydd ... | 6,600 | 7 | 10 | 0 | 10 | 0 | 0 |
| Meirionydd—Dwyrain ... | 4,300 | 7 | 10 | 0 | 7 | 10 | 0 |
| ,, —Gorllewin | 6,600 | 7 | 10 | 0 | 10 | 0 | 0 |
| Môn ... ... | 9,700 | 12 | 10 | 0 | 15 | 0 | 0 |
| Trefaldwyn Uchaf ... | 2,900 | 4 | 5 | 0 | 4 | 5 | 0 |
| ,, Isaf ... | 2,100 | 3 | 5 | 0 | 3 | 5 | 0 |
| Liverpool ... ... | 5,100 | 5 | 0 | 0 | 8 | 0 | 0 |
| Manchester ... ... | 1,200 | 3 | 0 | 0 | 8 | 0 | 0 |
| Henaduriaeth Lancashire | 1,500 | 2 | 0 | 0 | 3 | 0 | 0 |
| ,, Trefaldwyn | 600 | 2 | 0 | 0 | 2 | 0 | 0 |
| Cyfanswm | 68,100 | 86 | 0 | 0 | 106 | 0 | 0 |

ac fod yr unrhyw i gael ei gadarnhâu yn y Gymanfa nesaf.—9. Treuliwyd gweddill y Cyfarfod mewn ymddyddan am gyfrifoldeb swydd y Diaconiaid, yn enwedigol mewn cysylltiad â gweithgarwch—â chymeriad dysglaer—â ffyddlondeb cyffredinol yn holl ranau y gwaith.—10. Fod Mr. Jones i ddarllen ei bapyr ar yr Ysgol Sabbothol yn y Cyfarfod nesaf.

Cydunwyd fod yr Adroddiad hwn yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo.

III. Cafwyd Adroddiad gan y Parch. John Pugh, B.A., Treffynnon, o'r Arholiad Cymdeithasfaol a gynnaliwyd yn Nhreffynnon, Tach. 5, 6, a 7fed.

1. Hysbyswyd fod 22 allan o 25 o ymgeiswyr wedi pasio yr Arholiad yn llwyddiannus.

DOSBARTH I.—O. T. Williams, Croesor; E. J. Evans, Dyffryn; G. C. Roberts, Maentwrog; William Griffiths, Llansantffraid; Ellis James Jones, Dysgwylfa; John Davies, Montgomery; W. Elias Williams, Pentir; Thomas Hughes, Llanddulas.

DOSBARTH II.—Ezra Jones, Lodge, Chirk; D. Charles Davies, Bolton; David Jones, Llanllyfni; Owen Hughes, Gatehouse.

DOSBARTH III.—W. R. Jones, Jerusalem; Richard Rowlands, Caernarfon; Thomas Jones, Llandudno; R. O. Williams, Golan; John Owen, Mynydd Isaf; David Evans, Lodge, Chirk; Henry Rawson Williams, Bettws y Coed; Henry Jones, Llanwyddyn; Eli Evans, Dolyddelen; Edward Jones, Dyffryn.

2. Hysbyswyd mai y materion canlynol fydd Testynau yr Arholiad am 1878:—

(1) Holiadau Cyffredinol ar yr Ysgrythyrau. (2) Yr Epistolau at y Thessaloniaid. (3) Y Pethau Olaf,—sef yr Ail Ddyfodiad, Adgyfodiad y Meirw, a'r Ystâd Dragywyddol,—yn hanesyddol ac yn athrawiaethol. (4) Hanes Crefydd yn Nghymru.

3. Hysbyswyd fod yr Arholiad nesaf i'w gynnal yn Penrhyndeudraeth, Hydref 21, 22, 23, 1878. Enwau yr Ymgeiswyr oll i fod yn llaw y Parch. Daniel Rowlands, M.A., erbyn y dydd cyntaf o fis Hydref.

4. Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan yr Ysgrifenydd, a chyttunwyd—Fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i'r Parch. John Pugh, B.A., Treffynnon, am ei wasanaeth ffyddlawn ac effeithiol fel Arholwr am y tair blynedd diweddaf.

5. Cynnygiai yr Arholwyr, a chyttunwyd yn unfrydol, fod y Parch. D. C. Davies, M.A., Bangor a Llundain, i fod yn Arholwr am y tair blynedd nesaf.

6. Cynnygiwyd gan y Parch. D. Rowlands, M.A., cefnogwyd gan y Parch. Joseph Thomas,—Fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i gyf-

eillion Treffynnon am eu caredigrwydd yn croesawu yr Arholwyr a'r Ymgeiswyr.

IV. Gwnaed sylw gan Mr. D. Roberts, Liverpool, ar y casgliad at Athrofa y Bala. Hysbyswyd fod y Cylchlythyrau wedi eu hanfon i'r holl gynnulleidfaoedd yn y Gogledd, yn unol â'r penderfyniad yn Nghymdeithasfa Llanerchymedd, yn eu cymhell i gwblhâu y casgliad at adeilad yr Athrofa, a bod llythyr ar wahân wedi ei anfon hefyd at Ysgrifenydd pob Cyfarfod Misol. Gofynid ar i bob Sîr basio penderfyniad yn y Cyfarfod Misol i wneyd y casgliad, a phenodi Ysgrifenydd a Thrysorydd Sirol. Ymddengys nad oes ond un neu ddwy o Siroedd heb gydymffurfio â'r cais, a hyderir y gwnânt hwythau fel y Siroedd eraill gario allau benderfyniad y Gymdeithasfa mor fuan ag y byddo modd. Yn ychwanegol at y swm o £26,000 a gasglwyd i ffurfio y Gronfa at gynnal y Sefydliad, hysbyswyd y gwnaed casgliad ychwanegol trwy lafur y diweddar Barch. Edward Morgan, o £7000, a thrwy y Parch. Dr. Thomas, swm arall o £2000, tuag at dalu traul yr adeilad, yn gwneyd i fyny o gwbl £35,000—pymtheng mil ar hugain o bunnau. Y mae ychydig dros fil o bunnau yn aros eto o ddyled yr adeilad, heblaw costau eraill y rhaid myned iddynt mewn cyfnewidiadau, &c. I wneyd i fyny y mil punnau sydd yn aros, y mae dau foneddwr wedi addaw cyfranu dau gant o bunnau bob un, i wneyd £400, ar yr ammod y bydd i'r Siroedd gasglu y £600 arall. Gobeithir yr ymdrecha y Siroedd yn ddioed i wneyd y swm hwnw, rhag y byddys yn colli yr addewid haelfrydig hon.

V. Cafwyd adroddiad dyddorol gan y Parch. Dr. Thomas am weithrediadau y Gymanfa Henaduriaethol a gynnaliwyd yn Edinburgh yn mis Gorphenaf diweddaf. Hysbysid fod nifer a safle y gweinidogion oedd yn bresennol o wahanol wledydd y byd, ac yn cynnrychioli cynifer o Gyfundebau Cristionogol, ynghyda chynnwys y papyrau a ddarllenwyd a'r anerchiadau a draddodwyd, yn rhoddi dyddordeb ac effeithiolrwydd neillduol i'r gweithrediadau. Cynnygiwyd gan y Parch. John Herbert, cefnogwyd gan Mr. Robert Rowlands, a chyttunwyd,—Fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i'r Parch. Dr. Thomas, ac i'r Parch. Josiah Thomas, M.A., am ein cynnrychioli fel Cyfundeb yn Ngogledd Cymru yn y Gymanfa yn Edinburgh, ac am y papyr a ddarllenwyd yno gan Ysgrifenydd y Genadaeth Dramor ar ein Cenadaethau, yr hwn, fel yr oedd yn llawen genym ddeall, a dderbyniwyd yno gyda dyddordeb a boddhâd mor fawr. Hysbyswyd am y gyfrol sydd i gael ei chyhoeddi yn cynnwys hanes gweithrediadau y Gymanfa.

VI. Cadarnhäwyd y penderfyniad ar y Genadwri o Henaduriaeth Lancashire gyda golwg ar ryddid i leygwyr bregethu.

VII. O berthynas i'r genadwri o Gyfarfod Misol Sir Ddinbych, darllenwyd adroddiad y Pwyllgor gan y Cynnullydd, yr hwn oedd fel y canlyn:—

*Adroddiad y Pwyllgor a benodwyd i ystyried y genadwri o Gyfarfod Misol Sir Ddinbych ynghylch cau y Tafarnau ar y Sabbath.*

1. Penderfynwyd ein bod yn mawr gymeradwyo yr amcan y cyttunwyd arno gan y Gynnadledd ar Anghymedroldeb a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Nolgellau, gyda golwg ar wneyd ymofyniad o dŷ i dŷ, trwy Ogledd Cymru, am deimlad y bobl mewn perthynas i gau y Tafarnau am yr oll o Ddydd yr Arglwydd; a'n bod hefyd yn annog ein cyfeillion trwy ein holl eglwysi a'n cynnulleidfaoedd i roddi y cynnorthwy mwyaf calonog tuag at wneyd y *canvass* hwnw mor berffaith ag y byddo modd.—2. Ein bod yn barnu mai doeth fyddai anfon llythyr yn enw y Gymdeithasfa, at holl Aelodau Seneddol Gogledd Cymru, yn dadgan yn barchus ein dymuniad cryf ar iddynt bleidleisio yn y Senedd-dymmor nesaf dros y Mesur er cau y Tafarnau ar y Sabbath yn Iwerddon, ac hefyd dros fesur cyffelyb a ddygir ymlaen am Loegr a Chymru.—3. Ein bod yn annog ar fod deisebau yn cael eu hanfon i'r Senedd o bob cynnulleidfa sydd yn perthyn i'r Gymdeithasfa hon, ac wedi eu harwyddnodi mor gyflawn ag y bo modd, o blaid y ddau fesur uchod; ac mewn trefn i gario hyny allan yn y modd mwyaf effeithiol, ein bod yn annog ar fod pob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth yn penodi dau neu dri o frodyr i ymgymeryd â hyn o ofal; ein bod yn gofyn i'r Parch. Daniel Rowlands, M.A., Bangor, ymohebu â'r *Sunday Closing Association* o barth i gael deisebau i'w llanw, ac fod y brodyr o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau i anfon ato ef am y nifer fydd yn anghenrheidiol iddynt, ac hefyd i gael y deisebau, wedi eu llanw, yn ol i'w llaw eu hunain, fel y gwelont i'w rheoleiddra, ac yr anfonont hwy i ofal eu gwahanol Aelodau Seneddol i'w cyflwyno; ac fod y brodyr hyn i anfon at Mr. Rowlands y nifer o ddeisebau a fyddont yn anfon i fyny, ynghyda nifer yr enwau a fyddo wrth bob un o honynt.

Cynnygiwyd gan Mr. Robert Rowlands, cefnogwyd gan y Parch. D. Pierce, Salem,—Fod yr Adroddiad hwn yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo.

VIII. Cadarnhäwyd y penderfyniad o berthynas i Lydaw.

IX. Cadarnhäwyd y penderfyniad i argraffu y Cylchlythyr Seisonig.

X. Cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., cefnogwyd gan y Parch.

**Evan Williams, Morfa Nefyn,—Fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu hen gapel Pall Mall, Liverpool.**

XI. Cadarnhäwyd y penderfyniad am amser a lle y Cyfeisteddfod i ymgynghori ynghylch y Gymanfa Gyffredinol.

XII. Cadarnhäwyd dewisiad Llywydd y Gymdeithasfa am 1878, ac Ysgrifenydd am y tair blynedd nesaf.

XIII. Cadarnhäwyd y penderfyniad mewn perthynas i'r dull o gyhoeddi adroddiad yr Arholiad Cymdeithasfaol.

XIV. Cyflwynwyd diolchgarwch y Gymdeithasfa i A. Wood. Ysw., Maer Conwy, am alw yn ol y gwahoddiad a anfonasai allan i giniaw er anrhydedd i Syr Richard Williams Bulkeley, Barwnig, yr hwn oedd yn ol y trefniad cyntaf yn disgyn ar un o ddyddiau y Gymdeithasfa.

XV. Cadarnhäwyd adferiad y Parch. J. Herbert a'r Parch. E. Lloyd i'w swydd.

XVI. Hysbyswyd am "*Cronicl yr Ysgol Sabbothol*"—cyhoeddiad misol at wasanaeth arbenig yr Ysgolion Sabbothol, a fwriedir ei ddwyn allan dan olygiad y Parch. John Evans, Garston, a'r Parch. John Jones, Runcorn. Eglurwyd yn helaeth ei amcan a'i gynllun; ac ar gynnygiad y Parch. Dr. Thomas, a chefnogiad y Parch. W. James, cyttunwyd—Ein bod yn argymhell yn galonog y cyhoeddiad hwn i sylw ein Hysgolion Sabbothol trwy yr holl Siroedd, gan eu hannog i'w dderbyn a'i ddefnyddio.

Rhoddwyd annogaeth wresog hefyd i'r holl Siroedd i ymdrech egnïol ac adnewyddol dros ledaeniad y DRYSORFA, a *Thrysorfa y Plant.*

XVII. Cafwyd Adroddiad cryno a dyddorol am ansawdd yr Achos Crefyddol yn Sir Ddinbych gan Mr. Robert Hughes, Llanrwst, a'r Parch. Robert Owen, Prestatyn.

XVIII. Cynnygiwyd gan y Parch. B. Hughes, Llanelwy, cefnogwyd gan Mr. P. M. Evans, Treffynnon, a chyttunwyd—Fod i'r Ysgrifenydd anfon cofion a chydymdeimlad serchog y Gymdeithasfa at y Parch. William Morris, Rhuddlan, gan hyderu y bydd y gwirioneddau a bregethodd am dymmor maith yn gweinyddu cynnaliaeth a dyddanwch i'w feddwl yn ei lesgedd, a bod yr unrhyw gofion a chydymdeimlad caredig yn cael ei ddadgan hefyd tuag at ei briod, yr hon hithau sydd bellach wedi ei goddiweddyd gan gystudd trwm—ynghydag at eu mab a'u merch-yn-nghyfraith, Mr. a Mrs. Robert Morris.

XIX. Cynnygiwyd gan y Parch. D. Davies, Cefn Briw, cefnogwyd gan Mr. R. Phillips, Drefnewydd, a chyttunwyd—Fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i Arglwydd Sudeley, am ei garedigrwydd yn rhoddi darn o dir yn y lle goreu yn y dref i Eglwys Seisonig y Methodistiaid yn y Drefnewydd i adeiladu capel arno.

XX. Gwnaed coffhâd parchus a theimladol am ein diweddar frawd, y Parch. Hugh Jones, Beaumaris, yr hwn a dorwyd ymaith trwy gystudd byr, ac yn hynod annysgwyliadwy; a phenderfynwyd anfon dadganiad o gydymdeimlad serchog y Gymdeithasfa at ei briod, ac hefyd at eglwys Beaumaris, yn wyneb y colledion pwysig a mynych y mae wedi eu dyoddef yn ddiweddar, trwy gael ei hamddifadu o'i swyddogion, yn weinidogion a blaenoriaid, trwy angeu, a thrwy symudiadau i leoedd eraill i fyw.

DYDD IAU, TACHWEDD Y 29AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am ¼ awr wedi* 8 *y boreu.*

I. Gwnaed sylw ar y *Traethodydd.* Rhoddwyd iddo ganmoliaeth uchel, ac annogwyd yn wresog ar fod ymdrech adnewyddol yn cael ei gwneuthur ar ddiwedd y flwyddyn hon i helaethu ei gylchrediad yn fawr ar gyfer y flwyddyn nesaf.

II. Ymdriniwyd â'r mater penodedig, yr hwn hefyd a fuasai dan sylw yn Nghymdeithasfa Bangor: — *Cyfiawnhâd trwy Ffydd.*

GRIFFITH PARRY, *Ysgrifenydd.*

---

TREFN Y PREGETHU.

Yn nghapel y Methodistiaid, nos Fawrth, Tachwedd 27ain, pregethodd y Parchn. J. Pritchard, Liverpool, a J. Thomas, Carno.

Nos Fercher, y Parchn. W. James, B.A., Manchester, a H. Jones, Liverpool.

Dydd Iau, am 10, y Parchn. Joseph Thomas, ac O. Thomas, D.D. Am 2, y Parchn. D. Williams, Pall Mall, Liverpool, a D. Saunders, Abertawe. Ac am 6, y Parchn. G. Parry, Aberystwyth, a D. Saunders.

Yn nghapel y Wesleyaid, nos Fercher, y Parchn. Thomas Roberts, Jerusalem, Arfon, a D. Saunders.

Dydd Iau, am 2, y Parchn. E. Williams, Morfa Nefyn, a D. Davies, Abermaw. Ac am 6, y Parchn. R. Williams, Llwyn Ithel, Dwyrain Meirionydd, a Dr. Thomas.

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

Bu y Parch. Edward Matthews ar daith am bythefnos yn y mis diweddaf yn rhan ddeheuol Sir Aberteifi, yn ceisio crynhoi i fyny y casgliad at gronfa yr Athrofa yn Nhrefecca. Yr ydym wedi cael ar ddeall fod yn awr tua dwy fil ar

hugain mewn llaw, rhwng yr hen gronfa a'r newydd; ac y mae yr arian hyn wedi eu gosod allan yn benaf, os nad oll, ar diroedd; ac y mae'r *securities* yn cael eu cadw yn y blwch haiarn yn Nhrefecca, lle y cedwir gweithredoedd capelau Brycheiniog a Maesyfed. Da genym weled fod ymdrech yn cael ei wneyd i dalu i fyny yr addewidion yn llawn, a bod rhai eglwysi yn ei hystyried yn ddyled i wneuthur i fyny am unrhyw golledion a achoswyd trwy farwolaethau a symudiadau. Yr oedd y cyfryw weddill yn aros ar yr eglwys yn Resolven, Dyffryn Nedd; ac ar y 26ain o Tachwedd, traddododd y Parch. Moses Thomas ddarlith ar *Hynodion y Tadau* i'r amcan yma, pryd y cafwyd cynnulliad lliosog a darlith yn llawn dyddordeb a thra buddiol.

Dywedir weithiau fod rhai yn cynnal cyfarfodydd blynyddol *(anniversaries)*, ddwy neu dair gwaith yn y flwyddyn. Y mae yn ffaith fod y cyfeillion yn nghapel Siloh, Llanelli, Sir Gaerfyrddin, yn cadw gŵyl bregethu bob hanner blwyddyn. Cynnaliwyd yr olaf ar y 25 a'r 26ain o Tachwedd, pryd y gweinyddai y Parchn. R. Simpson, Caerfyrddin, a David James, Llaneurwg. Mae yr eglwys hon yn gwneyd ymdrechion canmoladwy i ddileu y ddyled yr aethant iddi yn adeiladaeth hardd y tŷ y maent yn addoli ynddo.

Ymhlith y lleoedd yn y Deheudir sydd yn darparu cyfres o ddarlithiau yn ystod y gauaf er mwyn adeiladaeth y bobl ieuainc, y mae Treherbert, Morganwg. Traddodwyd y gyntaf o'r gyfres eleni, nos Lun y 19eg o Tachwedd. Y testun ydoedd *Gwybodaeth*, a'r darlithiwr, y Parch. J. M. Jones, Caerdydd.

Y mae yr achos yn Hwlffordd wedi cynnyddu yn ddirfawr er pan y mae y Parch. Morris Morgan wedi myned yn weinidog yno; yr Ysgol Sul wedi dyblu, a degau wedi eu chwanegu at yr eglwys. Cynnelid y Cyfarfod Misol yno ar y 4ydd a'r 5ed o Ragfyr, parchedig Faer y dref yn llywydd, a chynnorthwyid brodyr y Sir yn yr oedfaon cyhoeddus gan y Parch. Thomas Evans, Merthyr. Cynnaliwyd y Cyfarfod Misol yn hollol ar ddull Cymreig, a chynnulleidfa dda yn dyfod ynghyd, yn enwedig y ddwy noswaith.

Mae tro y Gymdeithasfa yn mis Mehefin nesaf i fyned i'r Dosbarth Seisonig yn Sir Benfro; ac y mae yr eglwys ieuanc yn Saundersfoot yn gofyn am dani. Nid ydys eto wedi penderfynu y mater. Nis gallwn lai nag edmygu yn fawr yr engraifft ddiweddaf hon o ddewrder y Parch. George Bancroft, yr hwn sydd mewn gwirionedd wedi cyflawni nid ychydig o wrhydri yn y gymydogaeth hon; a da genym hysbysu ei fod yn medi o ffrwyth ei ddyfalbarhâd trwy gynnydd graddol ond sicr y tri achos sydd dan ei ofal.

Yn ychwanegol at y darlithiau eisoes a nodwyd, gellir crybwyll i'r Parch. Isaac Thomas roddi darlith yn ddiweddar yn Hendre, Sir Gaerfyrddin; yr elw i gynnorthwyo ymgeisydd am y weinidogaeth; a'r Parch. D. Phillips, Abertawe, yn Pembre, a roes ddarlith ar ei hoff destun, *Barddoniaeth y Bibl.*

Bwriedir codi ysgoldŷ at gadw Ysgol Sabbothol yn ardal y Pil, Morganwg; ac y mae rhyw foneddwr caredig wedi addaw tir yn rhad.

Yr ydys yn ddiweddar wedi sefydlu eglwys yn Bryncethin, yn Nyffryn Ogwy, rhyw bum' milldir o Benybont. Y mae hwn yn lle newydd i'r Methodistiaid.

Y Parch. Henry Jones, M.A., Pentyrch, Morganwg, sydd wedi derbyn galwad oddiwrth yr eglwys yn Hoylake, Sir Gaerlleon. Ac y mae y Parch. D. M. Davies wedi symud o Nantymoel i Benybont.

Mae y ddwy eglwys yn Penmarc a St. Athan, Bro Morganwg, yn codi tŷ i'w gweinidog hanner y ffordd rhwng y ddau le. Cynnaliwyd yn y lle blaenaf gyfarfod pregethu yn ddiweddar, pryd y traddodwyd pregethau nerthol gan y Parchn. E. Matthews, D. C. Davies, M.A., a J. Cynddylan Jones.

Mae dwy o eglwysi Seisonig y Deheudir yn ddiweddar wedi colli blaenoriaid gwerthfawr trwy farwolaeth, sef Llanmartin wedi colli Mr. B. Samuel, ac Aberystwyth, Mr. Thomas Davies, Padarn Villa. Bu Mr. Samuel yn dra ffyddlawn yn ei ddydd; ond fe ddichon mai un o'r esiamplau mwyaf dysglaer o ffyddlondeb a welwyd erioed ydoedd Mr. Davies. Ymhunaneddodd yn llwyr â'r achos, a chyfranodd yn helaeth ymhob ystyr at ei gynnaliaeth. Ac yn ei ewyllys ddiweddaf gadawodd gan' punt tuag at ddiddyledu'r capel.

Y mae un o gangenau Ysgol Sabbothol y Tabernacl, Aberystwyth, wedi cael o'r diwedd le prydferth a chyfleus i gyfarfod. Agorwyd yr ysgoldŷ newydd yn Tanycae trwy gyfres o gyfarfodydd yn yr wythnos olaf ond un yn mis Tachwedd. Pregethwyd nos Fawrth gan y Parchn. W. Jones a T. Levi; nos Fercher, gan y Parchn. John Williams a Principal Edwards. Bore dydd Iau cafwyd cwrdd eglwysig. Nos Wener, cwrdd tê, a chyf-

arfod adroddiadol dan lywyddiaeth Mr. Levi. Bwriedir yn fuan godi ysgoldŷ hardd yn Trefechan.

Mae yn hyfrydwch genym i groniclo fod y foneddiges haelionus, Mrs. Griffith Thomas, Aberystwyth, wedi addaw can' punt tuag at ddiddyledu capel Siloh yn y dref hono. Mae hwn y pedwerydd neu'r pummed cant y mae Mrs. Thomas wedi eu cyfranu yn ystod pedair neu bum' mlynedd tuag at amrywiol achosion Cyfundebol.

Ar y 13 a'r 14eg o Ragfyr, cynnaliwyd cyfarfodydd agoriadol capel newydd Yspyttŷ Ystwyth, pryd y pregethodd y Parchn. G. Parry, Evan Phillips, W. Evans, M.A., a Thomas Thomas (America); a chasglwyd swm yn tynu ymhell ar gan' punt.

Yn ddiweddar agorwyd ysgoldŷ Seisonig yn Ebbw Vale, Sir Fynwy. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. G. E. Watson, Pontypool.

Cynnaliwyd Arholiad Cymdeithasfaol y Deheudir yn Llanelli, nos Lun a dydd Mawrth, y 3 a'r 4ydd o Ragfyr, a phasiodd yr ymgeiswyr canlynol yn llwyddiannus:—Mr. D. J. Davies, Trisant; W. Edwards, Brynsadler; Morgan Evans, Defynog; John Jones, Bronant; Benjamin Phillips, Pontfaen, Brycheiniog; William Vaughan, Abergwaun; W. D. Jenkins, Pembrey; Thomas Davies, Pensarn; David G. Richards, Whitland; Thomas Lamb, Abergwaun; a Stephen Llewelyn, Glynnedd.

Collwyd un o hen flaenoriaid hynotaf y Cyfundeb yn marwolaeth y diweddar Mr. Owen Owens, Cors y Wlad, Eifionydd. Yr oedd yn nodedig am ei ffraethineb; ond yr oedd efe yn ffrwyno y dawn bywiog hwnw, ac yn ei dywys at wasanaeth crefydd. Yn ei gartref, yr oedd yn ofalus iawn am y cyfarfodydd eglwysig a'r Ysgol Sabbothol. Yn y Cyfarfodydd Misol, edrychid tuag ato ef fel henwr profedig am farn dda a chrefydd dda. Ac yr oedd wedi dyfod yn gydnabyddus i'n Cymdeithasfäoedd yn Ngwynedd; a hir gofir am rai o'i sylwadau a'i weddïau yn Nghymdeithasfäoedd y flwyddyn ddiweddaf. Yr oedd ei goffadwriaeth yn wir berarogiaidd yn Nghyfarfod Misol Tremadog, a gynnaliwyd ddechre'r mis diweddaf.

Penderfynodd Cyfarfod Misol Môn ar roddi cofadail deilwng ar fedd yr hen bregethwr ffyddlawn a chynhes, Thomas Owen, Llangefni.

Bu y Parch. D. Charles Davies, M.A., yn traddodi ei ddarlith werthfawr ar "Anffyddiaeth" i bobl ieuainc Bangor; ac y mae efe wedi cyflwyno copi o'r ddarlith i'r cyfeillion yn Mangor, y rhai a fynasant ei hargraffu, i'w gwerthu yn rhadlawn, a'i thaenu yn gyffredinol.

Llywyddion Cyfarfod Misol Arfon am y flwyddyn hon yw, Mr. John Edwards, Caernarfon, am y chwe' mis cyntaf; a'r Parch. E. Roberts, Caernarfon, am y chwe' mis diweddaf.

Yn Nghyfarfod Misol Llëyn ac Eifionydd, hysbysodd Mr. Robert Rowland ei fod wedi derbyn llythyr oddiwrth ŵr ieuanc, yn mynegu ei fod yn bwriadu ymgyflwyno i wasanaeth ein Cenadaeth Dramor yn Llydaw.

Cafodd y Parch. Richard Lumley afiechyd trwm yn ddiweddar; ond efe a welläodd fel ag i allu bod yn bresennol yn Nghyfarfod Misol Liverpool, a gynnaliwyd yn nghapel Chatham ar y 5ed o'r mis diweddaf. Amlygwyd llawenydd wrth ei weled wedi cael adferiad iechyd i ddyfod eto i blith ei frodyr; ac yntau a ddadganodd ei ddiolchgarwch am y llythyr cydymdeimladol a dderbyniasai o'r Cyfarfod Misol. Yr oedd yn edrych ar ei gystudd fel y ffangell dostaf y bu efe o dani, ac yn gobeithio y byddai y rhan sydd yn ol o'i einioes yn llawer mwy defnyddiol na'r rhan sydd wedi myned heibio.

Y mae achos Methodistaidd Cymreig wedi ei ddechre er ys peth amser yn Walton, dan ofal eglwys Bootle. Yr oedd y cyfeillion yno yn cadw Ysgol Sabbothol yn y bore, ac yn cael pregeth am ddau o'r gloch, ac yn myned yr hwyr i Bootle, ar y Sabboth. Ond yn awr y mae Cyfarfod Misol Liverpool wedi caniatâu iddynt eu dymuniad o ymsefydlu yn eglwys reolaidd, a chael gweinidogaeth fwy cyson. Mae yno dir wedi ei sicrhâu i adeiladu capel arno, ac ysgoldŷ eisoes wedi ei godi, ymha le yr addolir yn awr, ac a fydd yn *vestry* i'r capel pan adeiledir ef. Y mae eglwys hefyd, dan nawdd yr un Cyfarfod Misol, i gael ei sefydlu yn Skelmersdale, Ormskirk.

Y mae Mr. John Williams, Moss Bank House, un o flaenoriaid capel Princes Road, wedi ei ddewis yn llywydd Cyfarfod Misol Liverpool am y flwyddyn hon.

Gan fod Mr. Evan Evans, Corwen, wedi rhoddi i fyny y swydd o fod yn ysgrifenydd Cyfarfod Ysgolion Sabbothol Edeyrnion, ar ol bod yn ei gwasanaethu yn ffyddlawn am yr yspaid maith o un mlynedd a deugain, cyflwynwyd anerchiad iddo, gydag anrheg o £26, mewn cyfarfod a gynnaliwyd ar noson yn Nghorwen. Yn

nechre yr un cyfarfod traddodwyd darlith gan y Parch. Evan Davies, Tregeiriog, ar "Hynodion y diweddar Barch. David Davies, Cowarch."

Mae y Parch. Hugh Jones, Llanrhaiadr yn Mochnant, wedi ei alw yn weinidog i eglwys Llanllechid, Arfon, ac yntau wedi derbyn yr alwad.

Mae y Parch. David Jones, Adwy'r Clawdd, yn ymadael oddiyno, i gymeryd gofal yr eglwys Seisonig yn Machynlleth. Teimlir colled fawr ar ei ol yn yr Adwy, ac yn holl gylch Cyfarfod Misol Sir Fflint. Cynnaliwyd cyfarfod ymadawol yn yr Adwy, pryd y cyflwynwyd anrheg o lyfrau gwerthfawr i Mr. Jones, ac y traddodwyd amryw gyfarchiadau yn amlygu y teimladau serchocaf ato.

Dewiswyd y Parch. David Williams, Tremadog, yn llywydd Cyfarfod Misol Llëyn ac Eifionydd am y chwe' mis cyntaf o'r flwyddyn hon.

Cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn Ysgol y Bwrdd, Llanrhaiadr yn Mochnant, i gyflwyno tysteb i Mr. Humphrey Evans, hen flaenor ffyddlawn y Methodistiaid Calfinaidd yn y lle hwnw. Yr oedd afiechyd yn ei luddias ef ei hun i fod yn bresennol; a phenodwyd yno gyfeillion i ddwyn y rhoddiad iddo, yr hyn oedd wedi cyrhaedd y swm o gan' punt. Llywyddwyd yn y cyfarfod gan y Parch. J. Robinson (Bedyddiwr); a thraddodwyd anerchiadau priodol gan amryw frodyr.

Yn Nghyfarfod Misol Môn y mis diweddaf, gwnaed sylwadau coffadwriaethol mewn teimlad dwys, am y diweddar Barch. Hugh Jones, Beaumaris, yr hwn a fu farw, ar ol cystudd byr, cyn bod yn llawn deng mlwydd a deugain oed. Ni bu ond un Sabboth yn gorwedd yn glaf; yr oedd efe y Sabboth cyn hyny yn pregethu yn Llaingoch, Caergybi. Bu efe yn flaenor da am flynyddoedd cyn dechre pregethu; ac yr oedd yn bregethwr coeth, sylweddol, ac adeiladol, ac yn hynod ddefnyddiol gyda chyfarfodydd yr Ysgolion Sabbothol yn nosbarth dwyreiniol Môn, tra yr oedd hefyd yn ddirwestwr gweithgar. Sylwid ynglŷn â'r coffhâd yn y Cyfarfod Misol, fod pedwar o'r pregethwyr wedi eu cymeryd ymaith drwy angeu yn y flwyddyn ddiweddaf, dau wedi ymsefydlu mewn gwledydd eraill, ac un brawd ieuanc gobeithiol eto wedi cyttuno i adael y Sîr, fel nad oes yno yn bresennol ddigon o bregethwyr i lanw'r teithiau Sabbothol, a bod cymydogaethau poblogaidd ac eglwysi lliosog a galluog heb yr un pregethwr yn byw mewn milldiroedd iddynt, yr hyn oedd yn galw am i egni neillduol gael ei wneuthur mewn cysylltiad â'r weinidogaeth yn Môn.

---

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### Y PARCH. DAVID HUGHES, LLANENGAN.

Ganed gwrthddrych ein sylwadau Chwefror 4ydd, 1831, mewn amaethdŷ o'r enw Hafod Lydan, yn mhlwyf Llanberis. Ei rieni oeddynt Thomas a Sarah Hughes. Yr oedd Hafod Lydan yn fferm fawr iawn, ond yn 1836 neu 1837 neillduwyd rhan o honi i Thomas Hughes a'i deulu, ac adeiladwyd tŷ ar y rhan hono, yr hwn a alwyd Hafod Ucha', ac yma y cartrefodd ein gwrthddrych o pan yn bump neu chwech mlwydd oed, hyd nes y dechreuodd bregethu. Yr oedd Thomas a Sarah Hughes yn aelodau eglwysig gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, ac ystyrid hwy ymhlith rhai rhagorol y ddaear. Ac yr oeddynt yn ymdrechgar i ddwyn eu plant i fyny yn eglwys Dduw, a'u maethu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Nid oedd yn Llanberis yn y blynyddoedd hyny unrhyw fanteision addysg fydol i'w cael. Yr oedd Thomas Hughes wedi rhagweled rhywbeth gwell am ei fab David nag am ei blant eraill, a diau ei fod yn rhagori ar y cyffredin o'i gyfoedion. Am y rheswm hwn, anfonid ef bob dydd i Lanrug, pellder o bum' milldir, i ysgol ddyddiol. Fel y nodwyd yn barod, nid oedd un math o ysgol ddyddiol yn Llanberis; ac am ysgol Llanrug, nid oedd hithau yn adlewyrchu rhyw lawer o anrhydedd ar y gymydogaeth, na'r addysg a geid ynddi ond tra aneffeithiol. Ond er y cwbl, yr oedd yn werth gan deulu yr Hafod Ucha' anfon eu bachgen bach yno yn gyson bob dydd. A sicr fod y tad yn edrych am ddyfodol gogoneddus i'w fab.

Ond nid oedd ffordd y bachgen i anrhydedd a defnyddioldeb i fod ar ei hyd o dan belydrau haul llwyddiant; na! aeth ei ffordd yn fuan i dwnel tywyll. Pan nad oedd ond naw mlwydd oed, daeth angeu i'r teulu, a chymerodd y tad ymaith, gan adael gweddw a phump o blant amddifaid ar ei ol, yr ieuengaf o ba rai oedd David. A bellach dyna ddiwedd ar gerdded i Lanrug i'r ysgol. A pha beth bynag ydoedd cynllun Thomas Hughes gyda golwg ar ei fab ieuengaf, y mae y teulu bellach yn penderfynu nad oedd dim yn well nag iddo ennill ei fywioliaeth, fel y rhan fwyaf o ddynolryw, trwy lafur ei ddwylaw, a bwyta ei fara trwy chwys ei wyneb. Felly, ar ol marwolaeth ei dad, aeth yn was bach i'w ewythr Mr. Hugh Hughes, Hafod. Mae Mr. Hugh Hughes eto yn fyw, ond ar derfyn ei 80 mlwydd oed. Ac y mae yn un o flaenoriaid Capel Coch. Bu gwrthddrych ein nodiadau gyda'i ewythr am ddwy neu dair blynedd. Yna aeth adref at ei fam a'r plant

eraill, a dechreuodd weithio yn y chwarel. Rhoddodd ei ysgwydd o dan faich yr amgylchiadau teuluaidd o ddifrif gyda'i ddau frawd; a chyflawnodd ei ddyledswyddau yn y chwarel gyda medr a ffyddlondeb. Ymhen blynyddoedd bu un chwaer iddo farw yn ddisymwth; a phriododd un o'i frodyr; ac aeth y brawd arall i Australia. Felly gadawyd gofal ei fam a'i chwaer arno ef yn unig. Bellach, heblaw dilyn ei alwedigaeth fel chwarelwr, yr oedd hefyd i ofalu am drafferthion y fferm. Ond er ei holl drafferthion gyda phethau y fuchedd bresennol, nid oedd yn anghofio pethau y sefyllfa ddyfodol; na, yr oedd yn ffyddlawn i grefydd ymhob cylch y troai ynddo. Nid oedd am fod yn ffyddlawn i un byd ar draul esgeuluso y llall, ond yr oedd am wneyd y goreu o'r ddau fyd. Er yr holl ofalon oedd arno, a'r holl anfanteision y teimlai ei hun o danynt, yr oedd Rhagluniaeth Ddwyfol yn ei gymhwyso at waith anrhydeddusach na gwaith y fferm a'r chwarel, ac i gylch eangach o ddefnyddioldeb.

Ni chaffai lonydd yn ei ysbryd heb fyned i bregethu efengyl y deyrnas. Er ei holl ffyddlondeb i'r amgylchiadau bydol, teimlad dyfnaf ei galon oedd, Nid dyma fy ngorphwysfa. Yr oedd awydd pregethu Crist yn llosgi fel tân o'i fewn, ond yr oedd ei wyleidd-dra a'i ostyngeiddrwydd dwfn yn ei wneyd yn araf a chynnil iawn i amlygu hyny; eto ymwthiai ei deimlad i'r golwg braidd yn ddiarwybod iddo. Gofynodd un o hen flaenoriaid Capel Coch iddo rywbryd, "Wyt ti am fyn'd i bregethu, Dafydd?" "Pwy oedd yn dyweyd hyny?" ebe yntau. "Wn i ddim yn iawn," oedd yr ateb; "ha, ha, ni fedri di ddim pregethu." Ac wedi i'w awydd am gyhoeddi'r groes ddyfod yn hollol wybyddus, lled debyg ydoedd barn ac ymddygiad amryw eraill i eiddo yr hen frawd crybwylledig. Nid oedd ganddynt le i estyn bys at ddim yn ei fuchedd oedd yn ei anghymhwyso i'r pulpud, ond yr oeddynt yn ammheu ei dalent. Y gwirionedd ydyw, nad oedd eu syniad am dano, na'u hymddygiadau tuag ato, yn ddim anrhydedd i'w craffder na'u duwioldeb. Yn y cyflwr yna y bu am flynyddoedd, tân Duw yn llosgi o'i fewn gan awydd ymdaflu i weinidogaeth y gair, a blaenoriaid ac aelodau eglwys Capel Coch (lawer o honynt), yn taflu dwfr oer i ddiffodd y tân. Yr oeddynt yn ei ddifwyno am eu bod yn rhy ddall i weled fod bendith ynddo.

Ymhen amser maith daeth ei frawd, Mr. Hugh Owen, adref o Australia, a deallodd pa fodd yr oedd pethau yn bod gyda golwg ar awydd David Hughes am bregethu yn y blynyddoedd a aethant heibio, a'r hwyrfrydigrwydd a ddangoswyd i roddi caniatâd iddo. Yr oedd y tân fu am flynyddoedd yn

"Fflam angerddol, gadarn, gref,"

yn ei fynwes, erbyn hyn wedi myned fel llin yn mygu, ond nid wedi llwyr ddiffodd. Yr oedd yn teimlo yn awr fod, nid yn unig rhagfarn ddall ei frodyr crefyddol ar ei ffordd, ond hefyd gofal am ei fam a'i chwaer. Modd bynag, aeth Mr. Hugh Owen ati i ail chwythu y tân yn mynwes ei frawd, a buan iawn y daeth ei farwor yn farwor tanllyd, a fflam angerddol iddo. A rhag i ofalon teuluaidd fod yn rhwystr iddo, ymrwymodd Mr. Owen i ofalu am y rhai hyny, gan ddywedyd, "Dos di, a phregetha deyrnas Dduw."

Yr ydym yn credu fod llawer o flaenoriaid ac eglwysi yn nghyfundeb y Methodistiaid wedi bod yn euog o lesteirio defnyddioldeb aml i fachgen allasai fod o wasanaeth mawr i grefydd yn ei oes. Rai degau o flynyddoedd yn ol, yr oedd hen ŵr o fwnwr yn Llanengan, wedi credu o eigion ei galon fod mŵn plwm ardderchog yn nhir rhyw fferm yn y plwyf a nodwyd, a chafodd ganiatâd gan y tirfeddiannydd i chwilio am dano. Dyna lle'r oedd yn tori tyllau ac yn gyru lefelydd, i wneyd ymchwiliad am y mŵn tybiedig. Yr oedd yr amaethwr oedd yn byw yn y lle yn teimlo yn anfoddlawn i ddryllio a maeddu ei fferm felly. A byddai ar brydiau yn bwrw ceryg i lawr i'r tyllau, gan gymeryd arno geisio lladd yr hen fwnwr druan. Ond byddai yn ddigon gofalus na wnai yr hyn yr oedd yn proffesu ceisio ei wneyd. A byddai yr hen ŵr mewn braw a dychryn yn adrodd yr hanes wrth ei gymydogion, ac yn dyweyd, "Yn wir, y mae dau glochydd yn Llanengan 'rŵan, un i gladdu'r marw, a'r llall i gladdu'r byw." Yr ydym yn gorfod credu fod gan y Methodistiaid flynyddoedd yn ol, os nad eto hefyd, ddynion yn hoffi y gorchwyl o gladdu y rhai byw. Pa faint o fechgyn duwiol, talentog, ac ymroddedig, a gladdwyd mewn dinodedd ac annefnyddioldeb gan ragfarn a dylni blaenoriaid? Rhai yr amcanwyd eu claddu yn fyw oedd llawer o'r pregethwyr galluocaf a mwyaf defnyddiol yn yr oes o'r blaen. Ond yr oedd digon o nerth bywyd ynddynt i fynu adgyfodiad,—nid oedd bosibl eu hattal. Gwir mai yn nhiriogaeth rhyw blaid grefyddol arall y gwelwyd ambell un o honynt yn dyfod i'r golwg. Bwriadwyd claddu Mr. Hughes mewn dystawrwydd, a llwyddwyd am dymmor maith hefyd; ond

"Er gwaetha 'r maen a'r milwyr,"

i fyny yn fyw y daeth yntau.

Y peth cyntaf a wnaeth ar ol i'w frawd gymeryd gofal y teulu a'r fferm, oedd myned i'r ysgol at yr enwog Eben Fardd. Pa hyd y bu o dan addysg y gŵr da hwnw nid ydym yn gwybod i sicrwydd ar hyn o bryd. Gwelodd Mr. Thomas yn fuan fod ynddo ddefnyddiau gweinidog cymhwys y Testament Newydd; a chynghorodd ef i ymdaflu ar unwaith i weinidogaeth y gair. Nid ydym yn adrodd y ffaith hon i brofi craffder Eben Fardd; na, pe buasai anghen gwneyd hyny, gallasem adrodd ffeithiau fuasent yn llawer gwell prawf o'i graffder na hon. Yr oedd y weledigaeth hon a welodd y bardd yn gyfryw ag y gallasai rhai llawer dylach nag ef ei gweled, oni buasai am y rhagfarn trwchus oedd yn eu dallu. Wedi i'r cyfeillion yn Capel Coch ddeall beth oedd barn y gŵr doeth a duwiol o Glynnog am Mr. D. Hughes, penderfynasant ar unwaith nad diogel nac anrhydeddus oedd gwahaniaethu oddiwrtho. Bellach mae y gwynt yn chwythu o gyfeiriad hollol wahanol,—yn lle gwynt oer a gwrthwynebus o'r gogledd, y mae yn cael llon'd ei hwyliau o ddeheuwynt tyner. Mae y frawdoliaeth yn

Arfon erbyn hyn, nid yn unig yn gadael y ffordd i'r pulpud yn rhydd iddo i wneyd fel y mynai, ond y mae rhai o'i flaen yn dywedyd, "Dring i fyny yma;" ac eraill o'i ol yn llefain, "Gwna waith efengylwr." Weithian y mae ein cyfaill anwyl wedi cyrhaedd y rhan neillduol hono o winllan ei Arglwydd ag y bu gyda hiraeth sanctaidd yn syllu arni am flynyddoedd lawer.

Yr oedd yn dechreu pregethu yn mis Chwefror 1862, pan yn llawn 31 mlwydd oed. Aeth o Glynnog i ysgol yn Dublin, a bu yno am flwyddyn, yna i Athrofa'r Bala. Gellir dywedyd am dano yn yr adeg y bu yn y tri lle a nodwyd o dan addysg, na bu na segur na diffrwyth yn y mater hwn; ond i'r gwrthwyneb, efe a ymdrechodd ymdrech deg; llwyddodd hefyd i raddau pell iawn âg ystyried ei anfanteision boreuol. Yn niwedd haf y flwyddyn 1866, ymgymerodd Mr. Hughes â bugeilio tair o eglwysi yn Aberdaron, sef Rhydlïaws, Deunant, ac Uwchymynydd. Ymgymerodd â'r gwaith trwm a threulfawr hwn o dan nawdd Cyfarfod Misol Llëyn ac Eifionydd, yr hwn oedd yn talu hanner ei gyflog. Ymaflodd yn ei orchwyl pwysig ar unwaith, gydag egni a difrifwch teilwng o ŵr Duw. Yr oedd yn teimlo ei fod wedi ei arwain gan ragluniaeth i faes oedd yn gofyn am yr ymroddiad mwyaf trylwyr, a'r penderfyniad mwyaf diysgog, mewn trefn i fod yn llwyddiannus. Nid oedd mwyafrif trigolion y rhan hon o'r wlad erioed wedi arfer edrych yn rhy ffafriol ar y fugeiliaeth eglwysig o dan unrhyw delerau; ond yr oedd y syniad o fod tair eglwys yn gorfod casglu rhyngddynt y swm o £15 yn y flwyddyn at dalu i'r bugail am ei wasanaeth wythnosol, yn gwneyd yr iau yn anesmwyth, a'r baich yn drwm. Yr oedd y syniad fod gŵr ieuanc yn byw heb weithio a'i ddwylaw, na dilyn unrhyw alwedigaeth na masnach fydol, ond yn unig gwasanaethu yn y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, yn gyfryw nad oedd ganddynt ond graddau bychan, os dim, o gydymdeimlad âg ef. Nid oedd eu Cyffes Ffydd hwy yn darparu fod ond un yn unig o'r cyfryw ddynion yn mhob plwyf, a chaniataent hyny am eu bod yn deall mai ofer fuasai gwingo yn erbyn y symbylau. Ond er yr holl anfanteision hyn, diau y gwnaeth efe lawer iawn o ddaioni yn Aberdaron. Y cylch y gwnaeth ddaioni yn arbenig ynddo yn y lle hwn ydoedd gyda'r plant. Dysgodd iddynt lawer iawn o'r Bibl, a dysgodd hwynt hefyd i'w adrodd yn briodol. Ac heblaw hyny, meithrinodd ynddynt raddau o ysbryd darllen ac ymchwilio. Ac fel y delo y plant hyny i fyny i oedran gwŷr, gellir dysgwyl gweled cenedlaeth o Fethodistiaid da eto ar gyrau eithaf gorllewinol Sir Gaernarfon. Ië, gallwn edrych trwy ffydd ar adeg sydd heb fod yn mhell, pan y bydd yr hâd da a hauodd Mr. Hughes yn Aberdaron, yn dwyn ffrwyth ar ei ganfed. Ac fel y bydd eu gwybodaeth ysgrythyrol yn cynnyddu, a'u teimladau crefyddol yn dyfnhâu, eu hiaith fydd, "Mor weddaidd ar y mynyddoedd yw traed yr hwn sydd yn efengylu, yn cyhoeddi heddwch; a'r hwn sydd yn mynegu daioni, yn cyhoeddi iachawdwriaeth," &c. A safant, a deisyfant ar ryw Paul, ac a ddywedant, "Tyred drosodd" i Aberdaron, "a chymhorth ni." Yr ydym yn credu y gwelir hyn oll, ac ychwaneg yn y man, fel ffrwyth ei lafur caled, a gweddïau taerion y brawd anwyl a'r gweinidog ffyddlawn hwn i Grist.

Aeth Mr. Hughes trwy yr Arholiad Cymdeithasfaol yn anrhydeddus yn Ninbych, Awst 21, 22, 23ain, 1866. Ac ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn Nghymdeithasfa Llangefni, Mehefin 13, 1867. Yn fuan wedi iddo ymsefydlu yn Aberdaron, daeth yn un o'r pregethwyr mwyaf cymeradwy o fewn cylch y Cyfarfod Misol. Dewiswyd ef hefyd gan yr Ysgolion Sabbothol, ar ol marwolaeth y Parch. W. Hughes, Llanengan, yn olynydd i'r gŵr rhagorol hwnw fel Arholwr yn y Cyfarfodydd Chwechwythnosol. Cyflawnodd y swydd hon gyda chymeradwyaeth uchel a chyffredinol, hyd oni lesteiriwyd ef gan waeledd a gwendid.

Ar y dydd olaf o Ionawr, 1871, ymunodd mewn priodas â Miss Williams, Pwlldefaid, Aberdaron. Ac yn wir nis gwyddom am un amgylchiad y gwiriwyd geiriau Solomon yn well, "Y neb sydd yn cael gwraig sydd yn cael peth daionus, ac yn cael ffafr gan yr Arglwydd." Bu yn ymgeledd gymhwys iddo yn holl ystyr yr ymadrodd. Trwy holl fisoedd a blynyddoedd ei nychdod a'i waeledd, bu ei gofal yn dyner a manwl am dano. Yn nghorff y flwyddyn a nodwyd olaf, sef 1871, daeth eglwys y Bwlch, Llanengan, i'r penderfyniad o alw rhyw weinidog i'w gwasanaethu. A phan roddwyd y gofyniad pwy fyddai y gweinidog yn ffurfiol ger bron y frawdoliaeth, yr oedd yr oll, ond un eithriad, wedi sefydlu eu golwg ar weinidog Aberdaron. Pan anfonwyd penderfyniad yr eglwys iddo, yr oedd ar unwaith o'i ran ei hunan yn barod i gydsynio â'r alwad, a hyny oddiar resymau hollol deg a chyfreithlawn. Ond yr oedd peth arall bellach yn hawlio sylw ac ystyriaeth, sef pa fodd i gymmodi meddwl Mrs. Hughes â'r syniad o adael ei pherthynasau a'i chyfeillion, ac ymsefydlu mewn cymydogaeth ddyeithr. Modd bynag, wedi rhoddi ystyriaeth bwyllog a difrifol i'r holl amgylchiadau, daethant i'r penderfyniad o adael Aberdaron, ac ymsefydlu yn Llanengan. Ac y mae yn gysur genym feddwl na chafodd yr un o'r ddau le i edifarhâu am fynyd erioed o herwydd eu penderfyniad. Beth bynag ydoedd syniad cyfeillion Aberdaron am y fugeiliaeth eglwysig fel y cyfryw, ac am weinidogion yr efengyl fel dosbarth neillduol o bobl, bu buchedd sanctaidd, a llafur crefyddol Mr. Hughes tra yn eu plith yn gyfryw, fel yr oedd yn cario argyhoeddiad trwyadl i'w cydwybodau ei fod yn ddyn Duw, ac yn un o werthfawr feibion Sïon. Tystion ydynt hwy, a Duw hefyd, mor sanctaidd, ac mor gyfiawn, a diargyhoedd, yr ymddygodd yn eu plith. Yr oedd yn ŵr doeth a deallus, a dangosodd trwy ymarweddiad da, ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra doethineb. Priodol y gellir dywedyd am dano yn ngeiriau ysgrifenydd ysbrydoledig arall, "A Dafydd a ymddyg yn ddoeth yn ei holl ffyrdd; a'r Arglwydd oedd gydag ef." Felly yr oedd Mr. Hughes

yn ymadael o Aberdaron gan adael argraff ddofn ar bob meddwl, ei fod wedi rhodio yn ddiargyhoedd fel goruchwyliwr Duw. A theg yw dywedyd fod rhai o'r brodyr yno yn wylo dagrau'n llif wrth ei weled yn ymadael.

Yn hwyr yr 20fed o Ionawr 1872, cynnaliwyd cyfarfod yn nghapel y Bwlch i'w sefydlu fel bugail yr eglwys yn y lle. Gweinyddwyd ar y pryd gan y Parchedigion John Owen, Penyberth; Hugh Hughes, Gellidaran; a William R. Jones, Tŷ Mawr (yn awr Llanrwst). Mae y ffaith i eglwys y Bwlch ei ddewis yn fugail yn profi ei fod yn sefyll yn uchel i raddau y pryd hwnw yn marn ei lliaws aelodau; ac wedi ei ddyfodiad yma yr oedd yn ymddyrchafu fwyfwy yn marn a theimlad yr holl aelodau o flwyddyn i flwyddyn. Gweithiodd ei ffordd i ddyfnderoedd serchiadau pob aelod o'r eglwys, ac yn arbenig felly i serchiadau y plant. Ac yn wir edrychid i fyny ato gan bawb call a'i hadwaenai. Yr oedd ei glod erbyn hyn wedi myned trwy yr holl eglwysi, ac yr oedd eglwys y Bwlch yn neillduol yn gorfoleddu yn ei oleuni, ac yn tybied na allasai roddi ei bys ar neb o gyffelyb feddwl,—yr oedd yn gwir ofalu am y pethau a berthynent iddi, a hyny gyda'r doethineb mwyaf a'r serchiadau tyneraf. Yn niwedd y flwyddyn 1877, teimlodd eglwys Smyrna, Llangïan, mai buddiol fuasai iddi hithau gael ei wasanaeth fel bugail, a rhoddodd alwad ffurfiol arno i hyny. Felly efe a wasanaethodd y ddwy eglwys gyda ffyddlondeb anrhydeddus hyd y gallodd, ac uwchlaw ei allu.

Yr oedd Mr. Hughes wedi ennill iddo ei hun safle anrhydeddus yn Nghyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd. Mynych iawn y penodid ef i fyned ar negesau neillduol i eglwysi. A phob amser y trefnid ymweliad cyffredinol â'r eglwysi, byddai ef yn sicr o fod yn un o'r ymwelwyr. Bu am flwyddyn yn cynnrychioli y Cyfarfod Misol yn y Cymdeithasfäoedd, ac am chwe' mis yn eistedd yn nghadair lywyddol y Cyfarfod Misol. Ac yn y cyfryw gyfarfodydd, braidd yn ddïeithriad, gelwid ef i bregethu. Pan ystyriom nad ydoedd fel pregethwr ond cymharol ieuanc, dengys y ffeithiau a nodwyd ei fod yn feddiannol ar amryw ragoriaethau, a bod y wlad hefyd yn gweled ac yn cydnabod hyny. Byddai bob amser yn cyflawni pob swydd a ymddiriedid iddo er boddlonrwydd cyffredinol, fel na chafwyd un amser le i ddywedyd am ei ddewisiad, "Amryfusedd fu."

Fel pregethwr yr oedd yn perchen meddwl bywiog a ffrwythlawn, a chanddo ddawn priodol iddo ei hun i osod y meddwl hwnw allan mewn modd deniadol. Yr oedd ganddo bob amser faterion sylweddol,—llefarai y pethau oedd yn gweddu i athrawiaeth iachus. Ac nid yn unig yr oedd y *pethau* yn gyfryw ag oedd yn gweddu i athrawiaeth iachus, ond hefyd yr oedd ganddo ymadrodd iachus yr hwn ni aller beïo arno, i osod y pethau ger bron y cynnulleidfäoedd. O ran ei ddull, yr oedd yn hollol naturiol a dirodres, ac ymhell uwchlaw ceisio dynwared neb. A byddai rhyw arogl esmwyth ar ei holl bregethau, ac felly yr oedd ei weinidogaeth yn dra derbyniol pa le bynag yr elai.

Un nodwedd neillduol yn nghymeriad Mr. Hughes, ydoedd ei gariad gwresog at lwyddiant achos y Gwaredwr yn ei wahanol ranau, a'i lafur diflino ymhob cyfeiriad o'i blaid. Diau fod cariad at lwyddiant y deyrnas nad yw o'r byd hwn yn perthyn i grefydd pob gwir gristion i raddau; ond y mae yn dyfod yn fwy i'r golwg, fel pob gras arall, mewn rhai cristionogion nag eraill. Talodd Mr. Hughes sylw arbenig i lwyddiant yr Ysgol Sabbothol. Yr ydym wedi nodi yn barod iddo gael ei ddewis gan yr Ysgolion yn Arholwr yn y Cyfarfodydd Chwechwythnosol a chyflawnodd y swydd hon am ddeng mlynedd. A byddai drwy yr holl amser hwnw yn parotoi yn ddyfal ar gyfer pob cyfarfod. Ac heblaw dwyn yr ysgolion ymlaen mewn gwybodaeth Ysgrythyrol, ac ymgais at ddyrchafu eu chwaeth at bethau crefyddol yn y rhanau cyhoeddus o'r cyfarfodydd hyn, byddai hefyd bob amser yn amcanu at gael y Cyfarfod Athrawon ganol dydd i ateb rhyw bwrpas buddiol. Byddai ganddo yn wastad ryw gynlluniau newyddion, neu annogaethau anghenrheidiol i'w hanfon i'r gwahanol Ysgolion trwy y cynnrychiolwyr. Rhoddodd bod cefnogaeth a allai i Lenyddiaeth a Chyfarfodydd Llenyddol yn y rhan hon o'r wlad. Iddo ef yr ymddiriedid y gorchwyl o feirniadu y prif draethodau, ac amryw bethau eraill, bob blwyddyn at Gyfarfodydd Nadolig Pen Llëyn.

Nis gallwn o fewn terfynau priodol ddilyn ei hanes yn fanwl i bob cyfeiriad; ond gallwn ddywedyd mewn gair, fod cariad Crist yn ei gymhell i fod yn weithiwr difefl, gan ddangos ei hun ymhob peth yn esiampl i weithredoedd da. Mewn llythyr a dderbyniasom oddiwrth Mr. Roberts, Berthaur, ceir y dystiolaeth ganlynol am dano ar y pen hwn,—"Teithiais lawer gydag ef i Gymdeithasfäoedd, ac ar ymweliad â'r eglwysi, trwy benodiad y Cyfarfod Misol. Ei ymddyddanion ef yn benaf fyddai cynllunio a threfnu pa fodd i ddwyn achos crefydd ymlaen yn y rhan yma o'r wlad. A hawdd oedd deall yn ei gymdeithas a thrwy ei ymddyddanion, fod crefydd a'i llwyddiant yn cael lle mawr yn ei feddwl."

Er fod ei ofal yn fawr am, a'i weithgarwch yn helaeth gydag achos ei Arglwydd trwy yr holl wlad, eto yr oedd yn gofalu yn arbenig am yr eglwysi oeddynt dan ei ofal. Yr oedd yn talu sylw manwl i bob gradd ac oedran o'r aelodau. Os byddai neb yn pallu oddiwrth ras Duw, neu wedi eu dal gan henaint, afiechyd, neu brofedigaethau, byddai efe yn sicr o dalu ymweliad mynych â hwy, a byddai bob amser yn eu hateb â geiriau comfforddus. Ac O mor dda yw gair yn ei amser! Yr oedd ieuenctyd a phlant eglwys y Bwlch yn cael sylw neillduol ganddo. Hyd y caniatäodd ei nerth, byddai ganddo Gyfarfod Darllen gyda'r bobl ieuainc bob wythnos, a chyfarfod arall gyda'r plant.

I ddangos mor fawr oedd ei awydd am weithio dros ei Arglwydd, ni a ddyfynwn ychydig o rai llythyrau a ysgrifenodd at rai o'i frodyr crefyddol, ar ol cael ei ddal gan afiechyd a nychdod. Fel y canlyn yr ysgrifenai at Mr. Roberts, Berthaur,—

"Anwyl Gyfaill,—Derbyniais eich llythyr caredig, yn cynnwys testynau y Cyfarfod Ysgolion, a llawer o bethau eraill. Am y cyfarfod, diau nas gallaf ddyfod iddo oblegid fy afiechyd. Yr oeddwn wedi meddwl am roddi fy lle fel holwr i fyny, am yr ofnwyf y caiff yr achos gam yn ei gysylltiad â mi. Beth dybygech chwi? Os bernwch chwi yr un fath a minnau, dysgwyliaf i chwi ddywedyd hyny yn y Cyfarfod Ysgol. Cefais lawer o les a dedwyddwch gyda'r rhan hon o'r gwaith er ys deng mlynedd,—yr oedd yn un o'r rhanau hoffusaf genyf o'r maes. A diolchaf yn rhwydd i'r Dosbarth am fod mor hynaws wrthyf o'r dechreu i'r diwedd. Buasai yn dda genyf allu bod o wasanaeth yn y cylch yma yn hwy, ond gŵyr pawb nad allaf o herwydd fy afiechyd. Mi a obeithiaf y bydd llwyddiant ar y Dosbarth yn y dyfodol, ac y bydd y brawd a ddewisir yn fy lle yn cael bod yn llaw Duw i wneyd lles." * * *

Ysgrifenai drachefn at yr un brawd fel y canlyn,—

"Anwyl Gyfaill,—Wedi bod yn wael yr ydwyf y ddau fis diweddaf,—wedi fy nghaethiwo i'r tŷ braidd yn hollol, fel llestr yn y *dry dock*. Nis gwn yn y byd, wedi y *repair*, pa ochr i'r *line* y câf nofio. Byddai yn well genyf gael cyfyngfor y fuchedd hon, pe fy ewyllys i a wneler, o herwydd nid wyf wedi talu digon i'r *owner*. Mae gwaith crefydd wedi codi ei bris yn fy ngolwg yn awr; byddai yn dda genyf pe cawn wneyd y peth lleiaf, pan yr wyf yn methu a gwneyd dim. Ond y mae'n debyg fod gan gystudd ryw ffordd i ogoneddu Duw. Ac yr wyf yn teimlo fy hunan yn tewi wrth feddwl am y byd a ddaw, ac yn teimlo yn fwy boddlawn trwy gael rhyw nerth i gyflwyno fy hunan i ofal Crëawdwr ffyddlawn." * * *

Fel y canlyn yr ysgrifenai at gyfaill yn Llanengan ar y mater hwn,—

"Llanberis, Gorph. 5, 1876.

"Anwyl Gyfaill,— * * * Yr wyf yn gobeithio fod pob peth yn myned rhagddo yn dda, er nas gallaf fi gael rhan yn nygiad yr achos goreu ymlaen. Meddyliais hyn yn ddifrifol iawn y Sabboth diweddaf, pan oeddwn fy hunan; pawb yn cyrchu i addoli, a minnau yn methu. Ai tybed, meddwn, nad oes dim wedi ei adael i mi, druan gwael, i'w wneyd, a allai fod o ryw help i'r DEYRNAS? Rhedai fy meddwl i Lanengan at y cymundeb, a meddyliais y gallwn innau *ddymuno* heddwch Jerusalem; a phe gallwn lwyddo yn hyn i ryw fesur, cawn innau yn y dinodedd a'r diddefnyddioldeb yma y mae fy Nhad nefol wedi fy nhaflu iddo, wneyd rhywbeth at lwyddiant y deyrnas nad yw o'r byd hwn. Yr wyf yn gobeithio i chwi gael Sabboth hyfryd, a choffa cynhes a diolchgar am angeu mawr pen Calfaria,

'Calfaria a bura y byd.'

Derbyniais £—— gan —— cyn cychwyn; yr ydych yn dirion yn rhoddi cyflog i mi, a minnau heb allu gweithio am dano; hyny fuasai yn ddifyr genyf. Beth am y dyfodol, nis gellir dyfalu; ond byddaf yn methu rhwystro fy meddwl i ymyraeth âg ef. Os nad ydyw yn y drefn i'm hadferu i allu gweithio i ryw fesur, diau y bydd raid i chwi ymofyn am rywun arall, ac hwyrach y byddai hyny bellach yn burion peth i'r achos mawr yn Llanengan."

Wedi adystyried y llythyr uchod, ac yn neillduol yr awgrym am y priodoldeb o gael gweinidog arall yma, daethom i'r casgliad fod yn beryglus i Mr. Hughes syrthio i gamsyniad, a meddwl fod yr eglwys yn blino yn talu cyflog iddo, ac yntau o herwydd ei waeledd yn methu a'i gwasanaethu fel y gwnaethai pe yn meddu iechyd a nerth. Gwyddai derbynydd y llythyr, a chyfeillion eraill yr ymgynghorwyd â hwy, nad oedd un perygl o gwbl o'r cyfeiriad hwnw, ac eto ofnid y gallai ei fod ef yn gwneyd baich iddo ei hun o ddychymyg hollol ddisail. Er mwyn symud pob pryder o'r fath a allai fod yn ei feddwl, penderfynwyd rhoddi cyfleusdra i'r eglwys yn gyffredinol i ddadgan ei theimlad ar y pwnc.

Nos Sabboth, Gorphenaf 16eg, yn y cyfarfod eglwysig ar ol y bregeth, gwnaed cynnwys llythyr ein hanwyl fugail, a chasgliad y brodyr oddiwrtho, yn hysbys i'r eglwys. Yna cyfododd un o'r brodyr i gynnyg y penderfyniad canlynol ar y mater:—"Ein bod fel eglwys yn teimlo hiraeth dwfn am bresennoldeb ein gweinidog yn ein plith, a cholled fawr am ei wasanaeth, a'n bod yn dymuno dadgan ein cydymdeimlad mwyaf caredig a diffuant âg ef yn ei fynych wendid. Ar yr un pryd, ein bod yn penderfynu goddef pob anfantais a cholled oddiwrth ei absennoldeb, tra y byddom yn gallu gobeithio am adferiad iechyd a nerth iddo i'n gwasanaethu yn yr Arglwydd. Ac yr ydym hefyd yn addaw gweddïo ar Ben Mawr yr eglwys brysuro hyny i ben." Cefnogwyd y penderfyniad yn wresog gan Dr. Williams, Dwylan ac Woodlands, a chan frodyr eraill. Yna gofynwyd am i bawb oedd yn cymeradwyo y penderfyniad godi ar eu traed, yr hyn a wnaeth yr holl eglwys heb gymaint ag un eithriad. Yr oedd yn hawdd darllen ar wynebau y lliaws eu bod yn falch o'r cyfleusdra i ddangos eu cydymdeimlad âg un a garent mor fawr. Anfonwyd yr hanes i Mr. Hughes, i Landrindod; ac mewn llythyr a ysgrifenodd yn ol drachefn, dywed ymhlith pethau eraill, gyda golwg ar y mater uchod, "Y mae fy nyled i chwi yn fwy nag erioed, o herwydd symudasoch un baich oddiar fy nghefn, ac y mae baich bach yn faich mawr i mi yn fy sefyllfa bresennol." Dichon ein bod wedi llithro yn ormodol oddiwrth ein mater wrth adrodd yr hanes uchod,—ond dyna oedd y pwnc, gweithgarwch crefyddol gwrthddrych ein sylwadau, a'i zel dros lwyddiant teyrnas yr Arglwydd Iesu.

*(I'w barhâu.)*

---

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

## AMSEROEDD ENBYD.

"GWYBYDD hyn hefyd y daw amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf;" ac un peth yn nodweddu yr amseroedd enbyd gan Paul oedd, fod dynion "yn sefyll yn erbyn y gwirionedd," a hyny "megys y safodd Jannes a Jambres yn erbyn Moses." Ac efe a ddywed mewn lle arall am Dduw yn farnol yn danfon i rai na dderbyniasent gariad y gwirionedd "amryfusedd cadarn fel y credont gelwydd." Ai nid ydyw pethau fel hyn i fesur mawr yn y dyddiau hyn oddifewn i'n gwlad a'n teyrnas ni? Edrychwch i Eglwys Loegr. Dyna'r

Defodwyr mewn lliosogrwydd yn cyflymu fwyfwy tuag Eglwys Rhufain; offeiriadyddiaeth a chroesluniadyddiaeth yn ymddyrchafu yn y modd mwyaf rhwysgwych; ac nid yw Cymru yn lân oddiwrthynt. O'r ochr arall, y mae Rhesymoliaeth neu Ammheuyddiaeth yr Eglwyswyr Llydain yn cynnyddu ac yn ymhyfhâu; ac yn eu mysg, drwg oedd genym weled enw y Canon Farrar, awdwr y gyfrol ragorol ar hanes Iesu Grist, yn cael ei ddwyn allan, fel un yn gwneuthur ymosodiad ffyrnig o'r pulpud yn erbyn athrawiaeth cosbedigaeth dragywyddol. A pha le y mae'r dosbarth Efengylaidd yn yr Eglwys Wladol? "Y maent," medd ysgrifenydd craffus, "yn myned yn wanach bob dydd. Ceir hwy eu hunain yn galaru am nad oes dim gwŷr ieuainc addawol yn codi yn eu plith; ac y maent yn gwybod eu bod yn dihoeni a lleihâu. Er mwyn bod yn ffyddlawn i'w Heglwys fel Sefydliad Gwladol, y mae yr *Evangelicals* yn troi yn anffyddlawn i grefydd efengylaidd; ac y mae yn ffaith bruddaidd fod rhai o'u harweinwyr, wedi myned i lawr i'r *Church Congress* yn Croydon, yn dadleu dros ddangos cydoddefiad i Babyddiaeth a Rhesymoliaeth oddifewn i Eglwys Loegr." Ac i ddyfod o'r Eglwys Sefydledig at yr Anghydffurfwyr, y mae yn awr yn rhy amlwg i'w wadu fod dosbarth "Llydan" yn eu mysg hwythau, ac yn enwedig ymysg Annibynwyr Seisonig. Gan gymeryd mantais oddiwrth gynnulliad yr Undeb Cynnulleidfäol yn Leicester, cynnaliwyd yno gynnadledd gan nifer o weinidogion a lleygwyr, y rhai a wrthwynebent bob erthyglau athrawiaethol, ac a ddadleuent dros ryddid barn i ymwrthod â'r hyn a elwir yn uniongrededd ynghylch y Gwyrthiau, ac Ysbrydoliaeth, a'r cyffelyb, ac i estyn deheulaw cymdeithas hyd yn nôd i'r rhai a wadant Dduwdod yr Arglwydd Iesu. Mae yn dda genym weled fod y rhan fwyaf, a'r rhai blaenaf, ymysg y gweinidogion Cynnulleidfäol, yn dal yn ffyddlawn i efengyl ein hiachawdwriaeth; ond y mae'r lefain niweidiol yn gweithio ymysg llaweroedd; ac i ba le yr arweinia hyn oll? Fethodistiaid Calfinaidd, ai ni cheir chwi ymhob man ac ymhob modd yn cydymdrech gyda ffydd yr efengyl—yn ymdrech yn mhlaid y ffydd, yr hon a roddwyd unwaith i'r saint?

---

### HIRHOEDLEDD.

Y MAE y Parch. Canon Beadon, Southampton, yn ddiweddar wedi cyrhaedd ei gan' mlwydd oed; ac efe a dderbyniodd longyfarchiad oddiwrth y Frenines ymysg eraill ar ei gyrhaeddiad o'r goron ganmlwyddol. Dywedir fod boneddiges ryw amser yn ol wedi gofyn i'r henwr hybarch y dirgelwch am ei hir einioes a'i iechyd cryf, ac mai ateb y canon ydoedd, "Nid wyf byth allan o'r gwely ar ol deg o'r gloch y nos, nac yn y gwely ar ol saith yn y bore; ni byddaf byth yn gwneuthur gwaith ymenydd ar ol ciniaw, na byth yn gwisgo côb fawr." Dymunem i'n cyfeillion ieuainc yn gyffredinol ddal sylw ar y cyfryw eglurhâd gan y gŵr llên hirhoedlog, fel y gochelont aros yn hir cyn myned i'r gwely, ac aros yn hir yn y gwely. Dwy awr o gysgu cyn hanner nos, medd yr henair, sydd well na deng awr o gysgu ar ol hyny. Am ochel gwneuthur gwaith yn gofyn egni ymenydd, neu a fyddo yn trethu'r meddwl, yn fuan ar ol ciniaw, mae yn ddigon tebyg mai nid ciniaw salw ac ysgafn yn gyffredin a arferai yr hen ganon parchedig ei gymeryd; ac ar ol ciniaw da gan ŵr mewn oed, bydd cael ychydig gyntyn, neu ychydig hepian, yn lles a mwyniant. Yr hen rigwm Seisonig a ddywed,

"After dinner sit awhile;
After supper walk a mile."

Mae yn ddiau fod ychydig ymarferiad corfforol cyn myned i orphwys y nos, ac yn enwedig yn y gauaf, yn fanteisiol tuag at gynnyrchu gwres, a symbylu'r *system* ddynol. Wedi ychydig lafur, mae gorphwys yn sicrach ac yn felusach. Hawdd y gallasai ein hynafiaid gerdded "y filldir fawr" ar ol swper; oherwydd yr oedd cryn oriau rhwng eu swpera hwy a'u mynediad nosol i orphwys. Dyma un o gynghorion pennilliol yr hen Gymry tuag at gyrhaedd hirhoedledd:—

"Codi bump o'r bore heb fraw,
Ciniawa naw—mae 'n llawnwaith:
Swpera bump, a phan ddêl naw
I'r gwely neidiaw eilwaith:
Wrth wneuthur hyn, cyrhaeddi yn rhwydd
Hyd ganmlwydd hylwydd helaeth."

Tybygem fod lliaws o'n darllenwyr yn cofio yn dda y pennill hwnw gan Ficer Llanymddyfri i'w fab,—

"Cod y bore ar y wawrddydd,
Am y cyntaf a'r uchedydd;
Hyn a'th helpa i gael hir iechyd,
Dysg, a dawn, a chyfoeth hefyd."

Ymhellach, nid oedd y canon oedranus, medd efe, wedi erioed arfer gwisgo côb fawr, neu gôb uchaf. Yr addysg oddiyma ydyw, nad ydym i anwesu gormod ar ein cyrff trwy ddillad a chlydwch. Dylai yn wir fod genym wisgoedd cynhesach yn y gauaf oer nag yn yr haf; ond y mae pobl yn gyffredin yn rhoddi gormod am danynt ar ddyddiau hafaidd, ac felly yn fwy analluog i ddal oerni'r gauaf. Nid da genym weled pregethwyr ieuainc, ac eraill, yn troi *mufflers* tewion o gylch eu gyddfau, yr hyn sydd yn eu gwneyd yn fwy agored i anwyd nag wrth arfer bod heb y cyfryw wddf-lwyth. Na orthrymer y corff trwy ei or-wresogi, mwy na thrwy ei adael i hanner rewi. Dilyner natur, ac na lyffetheirier hi; a gellir dysgwyl daioni yn y canlyniad.

---

### Y PELLSEINYDD.

Y MAE yn awr yn agos i bum' deg a phedair o flynyddoedd er pan gyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf o'r *Christian Philosopher* gan Dr. Thomas Dick, lle y mae efe yn dadleu, oddiwrth brawfiadau penodol, y gellid cludo seiniau i bellder mawr, ac y dywed y deuai

yr amser pryd "y gallai clerigwr yn eistedd yn ei ystafell ei hun yn Edinburgh anerch cynnulleidfa yn Musselburgh neu Dalkeith, neu hyd yn nôd yn Glasgow. Gallai bregethu yr un bregeth i'w gynnulleidfa ei hun, a'r awr nesaf i gynnulliad a fyddai ddeugain milldir oddiwrtho. Ac yn ddiau," ebe yr awdwr, "nis gallai fod un wrthddadl safadwy yn erbyn ymofyn pa effaith a gaffai *pregethwr anweledig* ar gynnulleidfa gristionogol." A dywedai ymhellach, "Na ddychymyged neb fod y cyfryw amcan neu ddyfais yn orwag neu yn anmhosibl." Yr ydym yn cofio y wên anghredinìol oedd yn ymddangos ar wefusau ein cymdeithion gynt pan y darllenid y syniad uchod o'r eiddo Dr. Dick yn eu clyw. Erbyn hyn, wele'r pellseinydd *(telephone)* yn ffaith gelfyddydol, ac yn peri i bawb synu at ei ryfeddodau. Clywsom fod cynnulliad ar arfordir Ffrainc yn gallu deall yn rhwydd pa beth a draethid mewn ystafell yr ochr arall i'r *English Channel*, trwy yr offeryn hynod o ddyfais y Professor Bell. Gallem adrodd llawer o bethau a ddywedir wrthym am wyrthiau ymarferol y pellseinydd. Ond digon genym y tro hwn ddyfynu yr hyn a ddywed y *Liverpool Mercury* am dano yn nechre y mis diweddaf, gan fod hyny yn fath o adsain i'r sylw dywededig o'r eiddo yr hen Ddoctor Dick. "Beth sydd i luddias rhai cannoedd o bellseinyddion," medd y *Mercury*—"ar ol unwaith i gelfyddyd lawn ddwyn allan y ddyfais—gael en hestyn neu yn hytrach eu troi bob boreu Sul oddiwrth Dabernacl Mr. Spurgeon—os gellir gwneuthur y trefniad gyda'r boneddwr parchedig—a chymaint a hyny o gynnulleidfäoedd, dywed-er yn perthyn i Eglwys Loegr o fewn deugain milldir o Lundain, yn cael derbyn, ar ol y gweddïau boreuol, bregeth y pregethwr mawr hwnw? Byddai, yn un peth, yn ffordd ragorol o gyflenwi ardaloedd gwledig â phreg-ethau na weithredent i beri cwsg." Ac efe a â ymlaen i nodi amryw bethau eraill a fyddent yn effeithiau daionus ei gynllun cynnygiol. I ba le yr ydym yn myned? neu I ba le nad awn? Beth fydd y ddyfais nesaf? Cofier, pa fodd bynag, fod yr hyn a ddywed yr ysgrifenydd ysbrydoledig am waith yr arddwr mor briodol am ddyfais y celfyddydwr: "Ei Dduw a'i hyfforddia ef mewn synwyr, ac a'i dysg ef." Ac felly am y ddyfais newydd ddiweddaf, "Hyn hefyd a ddaw oddiwrth Arglwydd y lluoedd, yr hwn sydd ryfedd yn ei gynghor, ac ardderchog yn ei waith."

# Amrywiaethau.

### MEITHRINIAD I'R WEINIDOGAETH.

Dywedir weithiau nad yw'r Bibl yn dysgu dim am feithrin dynion i'r weinidogaeth. Paham y rhaid iddo, os yw naturiaeth ei hun yn dysgu y peth yn ddigonol? Nid y gair ydyw yr unig oleuni o eiddo Duw i ddynion, er mai efe yw y goleuni penaf, a pherffeithydd pob goleuni arall. Am ddyledswyddau pwysicaf deddf natur, y maent yn amlwg ynddo. Ond am bethau eraill, pa rai y mae rheswm yn ddigonol i'w dangos, fe ellid meddwl fod y Bibl yn dywedyd llai, tra y mae yn eglur a phendant am y pethau nad yw hwnw yn yngan dim am danynt. Os yw rheswm a barn, gan hyny, yn dysgu fod dysgyblu'r meddwl, ac eangu'r galon mewn gwybodaeth, yn tueddu i berffeithio gŵr Duw yn ei swydd bwysig, y mae estyn iddo y cyfryw fanteision, i'r graddau ag y mae hyny yn gyrhaeddadwy, yn gymaint o ddyledswydd â phe buasai yn cael ei gorchymyn yn bendant. Hwyrach, hefyd, ped edrychid yn fanylach, y ceid fod y Bibl yn dywedyd mwy ar y mater hwn nag a feddylid. Pa fodd bynag, mae yn gysur meddwl, doed a ddelo, na bu Duw erioed yn fyr o ddynion cymhwys at yr amgylchiadau. Os y deddfwr doeth, y milwr dewr, neu y gweithiwr celfydd, a fyddai yn eisieu, yr oedd ganddo ef Moses a Josua wedi eu donio yn barod i'w gorchestion uchel, a Bezaleel, yntau, i drin y fortais a'r tŷno. Mae yr Ysbryd yn ngweddill ganddo; ac ni adewir byth yr un eglwys ag sydd yn ymddiried yn Nuw, yn adnabod ei gwaith, ac yn meddu ysbryd i'w gyflawni.—*Y diweddar Barch. Henry Rees.*

### YR ENW MWYAF MAWR.

Mae enw Duw mewn llythyrenau mawrion yn y greadigaeth, ac yn y gyfraith, ond nid mor gyflawn ag yn Nghrist, ac nid ychwaith mor barhâus. Y mae'r nefoedd yn dadgan gogoniant Duw; ond ni wna hyny yn ddiddiwedd. Ryw ddydd ä y nefoedd heibio fel mŵg; ond y mae enw Duw, a chyfraith Duw yn yr enw, yn ysgrifenedig ar Berson Crist, ymha le y darllenir ef i dra gywyddoldeb. Bydd ôl y waewffon yn dywedyd am ofynion cyfiawnder pan y bydd Sinai wedi diflanu. Bydd tyllau yr hoelion yn dangos maddeuant pechod pan y bydd pechod ei hun wedi ei ddiddymu. Bydd Person Crist yn ddrych i weled ynddo gyfiawnder a thrugaredd Duw yn oes oesoedd. Dyma fydd colofn a sylfaen y gwirionedd i barhâu byth. Yr eglwys yw colofn y gwirionedd i'r byd, a Christ yw colofn y gwirionedd i'r eglwys, lle yr ysgrifenodd Duw ei enw âg arf ei gyfiawnder.—*Y diweddar Barch. David Charles, Caerfyrddin.*

### DIOLCH AM Y GEMAU.

Yr oedd *mandarin* neu heddynad Chinëaidd, yn un o brif ddinasoedd China, yr hwn oedd agos yn orchuddiedig gan emau gwerthfawr a dysgleirwych, yn myned ar hyd yr heol, pan yr ymgrymodd dyn tlawd o'i flaen, ac y dywedodd "Yr wyf yn diolch i chwi am eich gemau." Nis gallai yr ynad ddeall pa beth yr oedd y dyn yn ei feddwl. Y dydd canlynol, yr oedd yr un dyn yn ei basio ar yr heol drachefn, ac yn ei gyfarch fel o'r blaen, "Yr wyf yn diolch i chwi am eich gemau." "Beth?" ebe yr ynad; "pa emau yw y rhai yr ydych yn diolch am danynt?" "Wel, eich gemau chwi, y rhai a wisgir genych," atebai y Chinëad tlawd. "Pan y gwelwyf chwi, yr wyf hefyd yn cael gweled eich gemau; ac felly yr wyf yn hoffi edrych arnynt bob dydd. Ac nid ydych chwi eich hun yn cael dim mwy, ond yn unig eich bod chwi megys march yn gorfod eu cario, a chenych y drafferth bob nos o'u cadw yn ddiogel, tra yr wyf fi yn cael y mwynhâd o honynt yn gystal a chwithau."

### Y DIAFOL AC AMMHEUAETH.

Un o weithredoedd y diafol yw taflu drygliw trwy yr oesoedd ar gymeriad pur y Duwdod, ac felly cario ymlaen yn yr un modd dichellgar ag y lwyddodd efe gydag Efa yn mharadwys. "Canys

gwybod y mae Duw mai yn y dydd y bwytaoch o hono ef yr agorir eich llygaid, ac y byddwch megys duwiau, yn gwybod da a drwg." Efe a geisia lenwi meddyliau dynion â rhagfarn yn erbyn Duw a'i drefn, i gael ganddynt feddwl mai gŵr caled ydyw, yn medi lle nis hauodd, ac yn casglu lle nis gwasgarodd—ei fod yn anmharod i faddeu, yn hoffi marwolaeth yr annuwiol, a bod rhywbeth yn gyfyng yn ei gynlluniau sydd yn sefyll ar ffordd rhyw ddosbarthiadau o bechaduriaid, pryd y maent oll mewn gwirionedd o ras yn llawn, ac wedi eu bwriadu ar gyfer y pechaduriaid penaf. Ac efe a luchia awgrymiadau ammheus lon'd y meddwl am ddwyfoldeb y Bibl, ac am wirionedd crefydd yr efengyl. Pan fyddo yr ystwff ammheus hwn yn cael ei gynnyg i chwi, gwrthodwch ef gyda'r dirmyg mwyaf, gan benderfynu mai o ddiafol y mae.—*Y diweddar Barch. Ebenezer Davies, Llanerchymedd.*

MERCH YN B.A.

Y MAE Miss Edgar, merch i weinidog Annibynol yn Auckland, New Zealand, ar ol ennill amryw ysgoloriaethau, yn awr wedi llwyddo i gyrhaedd y gradd o *Bachelor of Arts* yn Mhrifysgol New Zealand. Ar y cyflwyniad cyhoeddus o'r B.A. iddi, yr oedd Esgob Cowie a'r Parch. David Bruce yn ei hanerch yn y modd mwyaf canmoliaethol, ac yn sicrhâu fod yr arholiad yr aethai y foneddiges ieuanc dano yn un mor galed ac uchel ag unrhyw arholiad yn mhrifysgolion Lloegr a Scotland. Mae Miss Edgar yn bresennol wedi ei phenodi yn un o athrawesau y *Canterbury Ladies' College*, gyda chyflog o £300 yn y flwyddyn.

Y CAETHFEISTR TROEDIG.

YN y tymmor yr oedd caethwasanaeth mewn grymus oruchafiaeth yn America, cyfrifid un Mr. Ravencross, yr hwn oedd yn perchenogi caethion yn Virginia, ymysg y meistri mwyaf gorthrymus. Yr oedd nifer o'i gaethion truain yn arfer ymgynnull ar nosweithiau mewn bwthyn anghysbell i gadw gwasanaeth crefyddol. Clywodd y meistr am hyny; ac efe a farnodd, oddiar ddrygedd ei galon ei hun, nad oedd y cyfarfod crefyddol gan y caethion ddim ond cochl i guddio amcanion o wrthryfel yn ei erbyn ef fel eu meistr. Felly efe a benderfynodd rwystro eu cynnulliad o hyny allan, gan gosbi y rhai mwyaf blaenllaw ynddo, a gwahardd iddynt ymgynnull drachefn ar unrhyw esgus, dan berygl cosb o'r fath drymaf. Un hwyr ar ol hyny, efe a glywodd fod amryw o'r caethion wedi cael eu gweled yn myned i'r bwthyn dywededig. Wedi mawr ffyrnigo am eu hannufudd-dod, efe a aeth ei hunan y noson hono tua'r bwthyn, i fod yn llygad-dyst o'u gwrthryfel, fel y meddyliai efe, ac i sicrhâu eu cosbedigaeth. Pan gyrhaeddodd y lle, cafodd y drws yn gilagored. Edrychodd i fewn, a chanfu hwy oll ar eu gliniau. Clustwrandawodd: yr oedd negro oedranus iawn yn tywallt ei galon mewn gweddi. A'r geiriau cyntaf a glywodd oedd, "Drugarog Dduw, tro galon massa ni; gwna efe yn drugarog fel y caffo drugaredd; gwna efe yn ddyn da, yn un a gaffo fyned i deyrnas nefoedd." Effeithiodd yr hyn a glywodd arno mor fawr fel y syrthiodd i lewyg yn y fan. Wedi iddo ddyfod ato ei hun, wylodd, ac aeth i mewn i ganol y bwthyn; penliniodd wrth ochr ei hen gaethwas, a cheisiodd weddïo ei hun! Daeth yn wir edifeiriol o hyny allan; ac ymhen rhyw amser, ymgysegrodd i weinidogaeth yr efengyl yn yr Eglwys Esgobyddol; ac yr oedd yn un o'r rhai oedd yn pregethu, a hyny, meddir, gyda nerth, mewn cynnadledd fawr eglwysig a gynnaliwyd yn ninas Philadelphia yn y flwyddyn 1820.

ADNODAU GWERTHFAWROCAF Y BIBL.

GENYF fi, yr adnodau gwerthfawrocaf yn y Bibl yw y rhai sydd yn rhoddi cyfeiriad penodol a neillduol i gynnygion iachawdwriaeth mewn geiriau ag sydd yn cyfreithloni'r darllenydd i'w cymhwyso ato ei hun yn bersonol. Er engraifft: "Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth *bob* pechod." Paham nad oddiwrth fy mhechod i? "Deuwch ataf fi *bawb*." Paham nad myfi? "*Yr hwn* a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." Boed i minnau, gan hyny, ddyfod gan gredu yn nghroesawiad ac ewyllys da'r nefoedd. "Os clyw *neb* fy llais ac agoryd y drws, mi a ddeuaf i mewn ato ef, ac a swperaf gydag ef, ac yntau gyda minnau." Bydded i'r fath fendigedig air fy nghefnogi a'm cymhell. "*Pob un* sydd yn gofyn sydd yn derbyn." Minnau a ofyno nes derbyn, a geisio nes cael, ac a guro nes yr agorir i mi. Nid oes un cymhorth rhwyddach i ffordd tangnefedd na darlleniad gweddïol o'r Bibl, a'i ddarllen gyda hunangymhwysiad, fel pe byddai Duw trwy ei air yn dal ymddyddan personol â mi fy hun.—*Dr. Chalmers.*

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU CASSIA.

### DOSBARTH SHILLONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, HYDREF 18FED, 1877.

[Ymweliad Esgob Calcutta â'r Ysgol Genadol—Marwolaeth U Simon—Arholiad yr Ysgol ddyddiol; ymweliad Prif Ddirprwywr Assam—Arholiad yn llyfr yr Actau. Taith trwy KHADSAWPHRA, neu diriogaeth y Brenin Gwŷn—Mairang—Mawlyngtriang, Nongthymai—Ysgoldŷ newydd—Sabboth yn Nongrang; Nongrymai; derbyniad rhai i'r Eglwys; dylanwad geneth ieuanc; Mawlong. Erfyniad am gynnorthwywyr.]

(*Parhâd o tu dal.* 471.)

NONGTHYMAI.

MAE yr achos yn myned ymlaen yn dda yn y pentref hwn: mae yma yn awr tua 40 yn cadw y Sabboth ac yn dilyn y cyfarfodydd yn rheolaidd, wedi rhoi heibio aberthu yn hollol; ac y mae yma eraill yn dyfod yn achlysurol. Maent agos a gorphen adeiladu ysgoldŷ newydd, rhagorol dros ben. Mesura 26 troedfedd wrth 15; mae yn adeilad ëang, cadarn a chyfleus, y goreu o ddigon yn y Dosbarth hwn oddieithr Shillong. Maent wedi gweithio heb help gan neb. Pan welais fel yr oeddent wedi gweithio, nis gallwn roddi heibio eu canmawl, a rhoddais £1 iddynt i'w helpio i'w lorio. Yn sicr, dylai fod rhyw *Building Fund* fechan yn bwrpasol i roddi help i rai fel hyn sydd wedi dangos y fath weithgarwch a chariad; yn wir, yr oeddwn wedi synu. Nid yw y pentref ond bychan, ond dyma y lle y mae y dyn, U Kypa U Moit, sydd yn gweithio mor ymroddgar a ffyddlawn gydag achos Iesu Grist; dyma un

eglurhâd; mae ei zel yn gwneyd eraill yn zelog. Yn yr ysgoldŷ hwn y cynnelir pob gwasanaeth. Bydd ymdrech y pentref hwn yn sicr o ddylanwadu i gynhyrfu eraill i gael ysgoldai neu gapelau newyddion, ac yr wyf yn clywed sibrwd yn y cyfeiriad hwnw yn barod.

NONGRANG.

Cyrhaeddasom Nongrang am tua hanner dydd Sadwrn, Hydref 13eg, gan mai yno y trefnwyd treulio y Sabboth, o herwydd yr hysbysid mai yno yr oedd y nifer mwyaf yn dyfod i wrando; ac yn fuan yr oedd yr holl gyfeillion wedi cyrhaedd o'r pentrefi eraill yn ol y cyttundeb. Am ddau aethom oll i farchnad oedd gerllaw, i ganu ac i siarad am y Bibl wrth y bobl; ac yno y buom nes yr oedd tua phedwar. Yna cychwynodd U Kypa Ka Hen gyda nifer eraill yn ol tua Mairang i gynnal cyfarfodydd y Sabboth yno, ac arosais innau gyda'r gweddill yn Nongrang. Ac aethum gyda nifer o bobl y pentref, yn cael eu harwain gan un o'r *Sirdars*, i ben bryn gerllaw y pentref, i barotoi pabell o goed *bamboos* i ymgynnull ynddi drannoeth, gan nad oedd yr ysgoldŷ yn hanner digon i gynnwys y gynnulleidfa, a dyna lle y buom oll wrthi â'n holl egni nes yr aeth yn dywyll, ond gwnaed pabell ryfedd mewn mor lleied o amser, a thöwyd hi â matiau. Yn yr hwyr yr oedd yr ysgoldŷ yn llawn o feibion a merched hyd ddeg neu bellach, a ninnau â'n holl egni yn egluro trefn yr efengyl iddynt. Pan oeddent yn myned ymaith i gysgu, dyma benaeth hynaf y pentref i mewn, a dyna lle y buom am dair awr neu fwy yn egluro iddo o Air Duw y ffordd i gael maddeuant pechodau, ac yntau yn gwrando yn astud, weithiau yn gofyn cwestiwn. Yna dechreuodd U Kypa U Moit, *Sirdar* Nongthymai, yr hwn oedd wedi dyfod gyda mi, egluro iddo y ffolineb oedd mewn aberthu, a rhagoriaeth Cristionogaeth ar y grefydd Gassiaidd, a hyny gyda'r fath briodoldeb a chymhwysder nes yr oeddwn yn synu ato. Addefai y *Sirdar* fod yn rhaid mai crefydd y Llyfr oedd yr un iawn, ac y byddai iddo ddyfod i'r cyfarfod drwy y dydd drannoeth er gweled a chlywed drosto ei hun; a chyflawnodd ei addewid.

Dranoeth, yn fuan wedi deg y boreu, yr oedd dros 200 wedi dyfod at eu gilydd, rhai o bentrefi Mawnai, Nongrymai, Nongthymai, a Mawlyngtriang, ond y nifer mwyaf o Nongrang ei hun, ac yr oedd golwg hyfryd arnynt yn eistedd ar laswellt daear Duw i ddarllen ei air, a phawb yn ymddangos yn awyddus i ddysgu. Yna pregethodd U Radonsing, un o'r dynion oedd gyda mi, a phregethais innau; ac yr oedd pawb, er mai paganiaid oeddent, yn eistedd yn dawel ac astud i wrando am ffordd y bywyd. Am tua hanner wedi tri terfynwyd, er i bawb fyned adref mewn pryd. Wedi hyny aeth U Radonsing a rhai o'r cyfeillion i Nongthymai i bregethu y noswaith, ac i ddyfod i Nongrymai bore dranoeth, ac aethum innau gyda'r lleill i ymweled â phentref gerllaw Nongrang, o'r enw

THANGMAW,

yr hwn a gynnwys tua 30 o dai. Safasom ar fryn yn nghanol y pentref, a chanasom i alw y bobl ynghyd, a daeth nifer da at eu gilydd, a chaed ymddyddan â hwynt nes yr oedd wedi tywyllu, a daethom yn ol wrth oleu y lleuad. Ni a gawsom gyfarfod maith yn yr ysgoldŷ heno eto; yr oedd y ddau *Sirdar* yno ac offeiriad y pentref, a chaed ymddyddan am aberthu; dywedent y byddai iddynt ystyried y mater gyda'u gilydd. Y ddau rwystr mawr ar ffordd gair yr Arglwydd i redeg ydyw y ddiod feddwol ac addoliad y cythreuliaid. Ond yn nghanol hyn, ac er gwaethaf hyn, mae yma ryw gynhwrf yn y pentref—rhywbeth fel swn a chynhwrf ymhlith yr esgyrn sychion. "O anadl, tyred, chwyth oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion hyn fel y byddont byw."

"Bywyd y meirw, tyr'd i'n plith,
A thrwy dy Ysbryd arnom chwyth;
Anadla 'n rymus ar y glyn
Fel byddo byw yr esgyrn hyn."

Bore Llun, Hydref 15fed, dechreuasom droi yn ol, a daethom i

NONGRYMAI

erbyn deg, lle yr oeddem i gael cyfarfod eglwysig, a daeth yr holl frawdoliaeth at eu gilydd yn gryno, a chaed cyfarfod am un ar ddeg, yr hwn a barhaodd hyd oddeutu tri. Bedyddiwyd ynddo chwech o bersonau, U Siang, Ka Maroit, Ka Shai, U Donmon, Ka Bermon a Ka Moit,—pedwar mewn oed a dau a blant. Derbyniwyd rhai at Swper yr Arglwydd, a chawsom gyfranogi o hono. Yna derbyniwyd wyth o bersonau i'r eglwys, ar brawf, oll o bentref Nongrymai, sef mam o'r enw Ka Mut, a thair merch iddi, Ka Mala, Ka Kharah, a Ka Bamon a dau blentyn y ferch henaf, Ka Buhmon, a Ka Phaimon, a dau eraill, mab a merch oddeutu 15 mlwydd oed. Bu farw merch i'r nain hon tua thri mis yn ol, yr hon oedd yn lodes hynod iawn, a hi a ddechreuodd arwain y teulu at air Duw; yr oedd yn cadw y Sabboth er ys amser maith, ac yn myned i'r cyfarfodydd yn rheolaidd, ac yn ymddangos yn caru Iesu Grist yn fawr. Ni

bu yn sal ond am un noswaith, ac yna ehedodd ymaith. Yr wythnos cyn iddi farw, dywedai wrth ei rhieni am beidio ei llosgi ond ei chladdu, ei bod hi yn gristion; ac am iddynt beidio tori bedd yn y ddaear a thaflu y pridd arni, ond tori math o *level* yn ochr y bryn, a gwthio yr arch i mewn iddo a chau arni felly, ac fe wnaed yn ol ei dymuniad. Ymddengys iddi fod mewn angladd unwaith a'u gweled yn gollwng y pridd ar yr arch, ac nad oedd yn hoffi hyny mewn un modd. Rai wythnosau cyn ei chymeryd ymaith yr oedd yn gweithio yn y maes wrthi ei hun, a phan ddaethant ati, cawsant hi yn wylo; pan ofynent a oedd yn wael, dywedai nad oedd. Gofynent am ba beth yr oedd yn wylo; dywedai mai teimlo yr oedd wrth weled pawb mor anniolchgar i Dduw, ac yntau mor dda i ni: os daw gwres, cwyno y byddwn; os daw gwlaw, cwyno y byddwn; os na ddaw na gwres na gwlaw, cwyno yr un fath, a'r Duw da yn gwneyd pob peth er ein daioni a'n cysur ni. Cafodd ei marwolaeth effaith ddwys ar yr holl deulu. Yn Mawnai y mae yr unig eglwys yn y rhan hon o'r wlad, ond pan y ceir cyfle i fyned y ffordd hono y tro nesaf bwriedir ffurfio eglwys yn y pentref hwn, ac un arall yn Nongthymai. Mae yn y pentref hwnw 11 neu 12 yn dysgwyl am gael eu derbyn i'r eglwys ar brawf, ac yr oeddent yn ymddyddan am hyny yn y cyfarfod hwn, a chyttunwyd i'w derbyn yr wythnos nesaf.

Tua phedwar, cychwynwyd am

MAWLONG,

a chyrhaeddwyd pan ydoedd yn tywyllu. Bore drannoeth daeth yno gynnulleidfa dda at eu gilydd o wŷr a gwragedd, ac yn eu plith yr oedd y Brenin Gwŷn, a chaed cyhoeddi efengyl y deyrnas iddynt, o saith hyd naw. Wedi hyny cychwynwyd yn ol am Shillong, a chyrhaeddasom oll yn ddiogel a dibrofedigaeth enyd ar ol iddi dywyllu, ond yr oedd y lleuad yn arwain y ffordd. Mae y gwaith yn Khadsawphra yn parhâu i fyned rhagddo, ac yn ol pob arwyddion welir yn awr, ymddengys mai yn ei flaen yr aiff. Mae yno gyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle er ys deuddeng mis; maent fel yn dechreu deffro a rhwbio eu llygaid ar ol bod yn cysgu am oesoedd.

Buasai yn dda iawn genyf allu aros gyda hwynt am fis neu ddau, ond nid oedd modd gwneyd hyn, gan fod Shillong a lleoedd eraill yn galw.

GALWADAU AM HELP.

Pa bryd y daw dau neu dri allan? a oes gobaith? ynte y flwyddyn nesaf a'r flwyddyn nesaf yw hi i fod heb weled gwyneb neb yn nesâu atom i'r byd dwyreiniol hwn i helpu gyda'r gwaith? Yr wyf yn methu yn lân a deall beth sydd yn rhwystro dyn yn caru Iesu Grist ac awydd achub eneidiau i ddyfod drosodd yma i helpu. Ond dyna ddigon; gwell yw myned ymlaen ein goreu mewn gobaith, gan gredu y daw y dydd y daw cynnorthwywyr.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH U SIMON.

Yn y rhan o lythyr y Parch. T. Jerman Jones a gyhoeddwyd yn y rhifyn diweddaf o'r *Cronicl Cenadol*, crybwyllai am farwolaeth un o'r Cristionogion brodorol o'r enw U Simon. Dywed Mr. Jones ei fod, er wedi ei ddwyn i fyny gyda chrefydd, wedi bod am dymmor maith yn lled ddifraw ac esgeulus, ond i gyfnewidiad trwyadl ddyfod trosto tua dwy flynedd yn ol, a'i fod er y pryd hyny yn ymroddi i ddarllen a gweddio a gweithio. Diau mai derbyniol fydd gan ein darllenwyr gael y llythyr a ganlyn a ysgrifenwyd gan U Simon ychydig fisoedd cyn ei farwolaeth at y Parch. W. Lewis a Mrs. Lewis, Wrexham.

Shillong, Chwefror 2il, 1877.

Fy Anwyl Hen Athrawon y rhai wyf yn eu caru,

Yr wyf yn erfyn maddeuant genych, fy anwyl athrawon, am fod mor anfoesgar tuag atoch, byth er pan adawsoch wlad y Cassiaid. Ni ddarfu i mi ysgrifenu atoch, ac ni adewais i chwi wybod dim o berthynas i mi, na dangos i chwi fy mod yn cofio mor dda a charedig a fuoch tuag ataf fi. Gwyddwn nad oeddech yn dysgwyl dim ad-daliad, nac yn dymuno unrhyw gydnabyddiaeth. Yr unig dâl a ofynech, oedd fod i mi fod yn ffyddlawn a llawn o gariad at achos Duw, a pheidio anghofio yr hyn oeddech chwi wedi ei ddysgu i mi mor ffyddlawn a diflino, er fy naioni tymmorol a'm cysur yma; ond pa faint mwy y llafuriech er llesâd fy enaid anfarwol, yr hwn sydd i fyw am dragywyddoldeb? Wrth ddysgu i mi y gwirioneddau hyny, rhoddasoch i mi yr hyn nas gall unrhyw leidr ei gymeryd ymaith, ac nis gellir eu dystrywio.

Yn awr yr oeddwn yn myfyrio, a daeth i'm meddwl, Pa beth a wnaf, pa fodd y gallaf wneuthur ad-daliad am y fath garedigrwydd i mi? Nid oes dim o waith llaw a all byth eich talu, ond pe byddech yma, buaswn yn ceisio eich anrhydeddu mewn rhyw ffordd; ond yr ydych yn awr ymhell, ac nid wyf fi yn ŵr cyfoethog fel ag i allu

rhoddi un math o gydnabyddiaeth am yr oll a wnaethoch erwyf fi. Ond byddaf yn fynych yn meddwl am danoch; llawer tro y gofynais i'r Cenadon yma am danoch eich dau,—pa fodd yr ydych? pa fodd yr ydych yn edrych? Ond teimlwn ynof fy hun, fel pe na buaswn wedi gofyn am danoch chwi y rhai a ddysgasoch i mi ddarllen ac ysgrifenu; ac os na ysgrifenwn fy hunan yr ymddangosai fel pe buaswn wedi anghofio pa fodd i ysgrifenu, felly meddyliais y caech weled fy mod eto yn alluog i wneyd hyny. Ah! mor ddiwyd ac ymroddedig y gweithiasoch tra yr oeddych yn y wlad hon, a byddaf eto yn meddwl nad ydych wedi ein anghofio yn eich gweddïau. Gobeithiaf eich bod yn parhâu i weddïo dros fy nhad a fy mam yn Shella. Drwg genyf ddyweyd nad ydyw U —— a —— yn rhodio yn llwybrau Duw. Yr wyf yn teimlo yn fawr dros U —— a'i deulu, o herwydd y mae arnaf ofn eu bod wedi myned ymhell ar gyfeiliorn, a fod eich llafur wedi bod yn ofer gyda golwg arnynt. Diolchaf i Dduw na syrthiais innau gyda hwynt, a fy mod wedi cael fy nghynnal gyda'i achos Ef hyd y dydd hwn.

Yr wyf yn llawn gobaith, ac yr wyf yn llawenhâu wrth weled gwaith Duw yn llwyddo yn ein gwlad. Mae yn dwyn llawer o ffrwyth mewn llawer o leoedd, ond yn benaf yn Jaintia, Cherra a Shella. Yma hefyd yn Shillong yr wyf yn teimlo yn dra chalonog o berthynas iddo, oblegid y mae ein hathraw, Mr. T. Jerman Jones, yn gweithio yn dra ffyddlawn yn y lle hwn, ac y mae yr Arglwydd gydag ef. Mae cyfnewidiad mawr i'w weled yn ein gwlad o'i gymharu â'r hyn oedd gynt. Yn awr nid ydynt yn meiddio dangos gwrthwynebiad uniongyrchol ac agored. Yr unig beth a glywir yn awr ydyw, Nis gallwn gofleidio eich crefydd chwi. Gynt ni chydsynient i gael ysgol nac i anfon eu plant i ddysgu darllen, rhag ofn iddynt gael cyfnewidiad calon, ac yr oeddynt yn ofni eu duwiau drwg. Ond yn awr y maent yn gwneyd eu hysgoldai eu hunain, ac yn dyfod i erfyn am athrawon; a phe byddai i'w plant, eu ceraint a'u cyfeillion, gredu Gair Duw a dyfod yn aelodau o'r eglwys, ni bydd i neb geisio eu hattal, na gofidio o'u herwydd, fel yr arferent pan yr ymunai un âg eglwys Dduw. Mae lliaws mawr yn gweled fod eu ffordd hwy o addoli yn ddrygionus a ffol. Gynt byddent yn ofni cymeryd meddyginiaeth, ond yn awr yn y rhan fwyaf o leoedd deuant i'w geisio. Gynt byddai arnynt gywilydd dyfod i dŷ Dduw, ond yn awr ânt i chwilio am y rhai na allant ddarllen i fyned gyda hwynt yno. Ië, gwneir hyn gan rai nad ydynt eu hunain yn Gristionogion. Mae Duw yn ymddangos fel yn barod i roddi y fendith, eto anaml yw y llafurwyr, ond, gyda'i allu a'i fendith Ef, ceir y llafurwyr hefyd. Mae y pethau hyn i gyd yn fy ngwneyd yn dra dedwydd a llawen, ac y mae yn cynhyrfu fy holl enaid i ofyn i Dduw a rydd Efe help a gallu i mi i fod yn un o'i lafurwyr Ef, er fy mod yn un o'r gwanaf o'r brodyr. Yr wyf yn erfyn ar Dduw gynnorthwyo fy ymdrechion gweiniaid.

Mae genyf bedwar o blant, dau o fechgyn a dwy eneth. Fy ngwraig yw Armai, merch U Sangot a'i wraig Jermai, o deulu breninol Mawnai. Nith yw hi i U Jidor, y brenin, yr hwn a adwaenech chwi mor dda; ond y mae ef yn awr wedi marw. Yr ydym ni oll fel teulu yn aelodau o eglwys Dduw. Bydd yr holl deulu yn fynych yn siarad am danoch chwi, ac yn eich cofio yn aml iawn. Byddaf yn teimlo nas gall aur ac arian byth ddiwallu fy enaid,—cariad a heddwch Duw yn unig all ein gwneyd yn ddedwydd. Nid yw y dedwyddwch hwn byth yn newid, ac nis gellir ei ddinystrio fel aur ac arian; daw gyda ni i fyd arall.

Buasai yn dda iawn yn wir genyf eich gweled, ond dymuniad ofer iawn ydyw hwn, oblegyd yr wyf yn teimlo na chaf byth eich gweled mwy ar y ddaear hon. Oblegid hyn, a gaf fi erfyn arnoch eich dau dosturio wrthyf, a gweddïo droswyf fi a'm teulu ar i ni gael ein gwneyd yn ostyngedig ac yn ddiysgog, gan rodio yn y llwybr a barotöwyd i ni gan ein Gwaredwr Iesu Grist, Mab y Duw byw, fel y gallom eich cyfarfod ar ol hyn yn nhrigfanau Duw uchod, mewn dedwyddwch perffaith ac anghyfnewidiol, byth bythoedd. Amen.

Yr ydym ein dau yn anfon i chwi a Ka Mem ein diolchiadau goreu a'n cariad; hefyd i'r holl gyfeillion sydd yn perthyn i eglwys Dduw, ac i'r tadau a'r rhai sydd mewn awdurdod yn eich gwlad.

Yr ydym yn parhâu eich cyfeillion gostyngedig,

U Simon Kongor, a
Ka Armai Siim.

---

## DOSBARTH SHELLA.

Mewn llythyr dyddiedig Hydref 17eg, hysbysa y Parch. J. Jones fod deuddeg wedi cael eu derbyn i'r eglwys yn Shella yn ystod y ddau fis blaenorol,—un, U Kurbar, athraw Nongnong, rhan o Shella,—yr hwn sydd yn llafurio yn galonog ymhlith ei gymydogion. Derbyniwyd gwraig a'i dau blentyn; un gŵr priod,—oedd wedi bod yn aelod o'r blaen ond a ddiarddelesid am gydffurfio â defod baganaidd,—dwy ferch ieuanc, a phump o wŷr ieuainc. Bu

adau eraill. Y maent o dymher ystwyth, gyweithas; ac nid bychander eneidiol mo hyny. Ond nid ydyw fod rhai yn medru gwneyd hyny yn hawdd yn esgusodi neb rhag ceisio gosod eu hunain mewn agweddau dymunol at ennill eneidiau. Y mae Brenin Sïon yn dymuno gweled ei holl weision yn rhai *of good address*—yn rhai parod i "ymwneuthur" tuag at fod yn offerynol i "hollol gadw rhai." "A hyn yr wyf yn ei wneuthur," meddai Paul, "er mwyn yr efengyl, fel y'm gwneler yn gydgyfranog o honi." Y meddwl, mae yn debyg, ydyw, fel y cyfranogwyf o'i hysbryd—fel y byddo i'w hamcan hi drwytho fy enaid innau, fel y'm gwneler yn *shareholder* yn ei gwaith. Enw da wedi ei andwyo ydyw Jesuit; ond y mae rhywbeth yn y syniad sydd genym am y gymdeithas hono, hyny yw, ei phethau goreu, yn rhinweddau ag y byddai yn dda bod yn haws eu cyfarfod. Y pwnc mawr yw fod y gwir amcan yn y golwg, sef cael rhai at Grist, ac yn y golwg yn glir, fel delw wên ar ddu, a cher bron bob amser.

Y mae ymwneuthur cymdeithasol yn rhwymedig arnom gan ddeddfau cymdeithas; rhaid meddwl am gysur a theimlad eraill, ac ymddwyn yn gyfatebol. Ond y mae ymwneuthur efengylaidd yn uwch, yn fwy anhawdd, a drutach. Y mae yr amcan yn fwy goruchel—yr hunanymwadiad yn ddyfnach. Y mae yn rhaid fod llawer mwy o galon ynddo; nid ar y wyneb yn unig y mae; teimlir fod ystyr a gafael ynddo.

Dichon fod mwy o edmygedd yn bresennol i neillduolrwydd mewn cymeriad nag i agweddiad ennillgar. Y mae y dyn sy'n *garitor*, fel y dywedir, yn ennill mwy o sylw na chymeriad cyfartal brydferth a deniadol. Y mae Tad yr ysbrydoedd yn anfon rhai anghyffredin; ac y mae ei waith ef yn y rhai hyny yn weddus. Ond y mae yn sicr y bydd i gorff y dylanwad at ennill i Grist fod yn eiddo pobl gyffredin. Ond pa un bynag ai nodwedd neillduol ynte nodweddau cyffredin fydd genym, rhaid wrth raddau mwy neu lai o "ymwneuthur" er mwyn bod yn ennillwyr at yr Iesu. Rhaid i ni ystyried a deall syniadau a theimladau gwahanol i'r eiddom ein hunain, ac ymgyfaddasu ar eu cyfer. Dywedir nas gellir rhoi gwybodaeth newydd yn y meddwl ond trwy ei chydio â'r wybodaeth debycaf iddi sydd yn y meddwl eisoes. Rhaid i ninnau ddysgu cydnabod a deall y daioni y sydd eisoes, er mwyn ceisio arwain ein cydnabod at y daioni penaf.

Y mae gormod o wahaniaeth safle rhwng athraw a dysgybl yn anghymhwysder at gyfranu addysg. Rhaid i'r naill ymwneuthur tuag at fod yn agos at y llall. Dirgelwch mawr dylanwad meistriaid y gynnulleidfa, ydyw eu bod yn abl taro ar dannau cyffredin y ddynoliaeth—bod yn graff i ddeall pethau cyffredin pawb, ac i ddeffro teimladau cyffredinol—bod yn ddoeth i "ymwneuthur." Byddai yn dda pe dygid pob cristion i deimlo y dylai geisio at hyn. Gwell methu wrth geisio na methu wrth beidio. Wrth ymwneuthur, bydded yr amcan yn syml ac yn wastadol ger bron y meddwl. Rhy brin y mae yn ddiogel cymeryd dim llai na chael at Grist yn amcan. Wrth ymwneuthur, byddwn gywir a dirodres. Na chaffed neb le i ammheu mai gwaeledd yn ein crefydd sy'n peri i ni nesâu atynt. "Gwylia arnat dy hun,"—"cadw dy hun yn bur." Nid ydyw yr ymwneuthur hwn yn cynnwys ymwneyd â dim rhith drygioni.

Y mae yn werth i ddyn gyfaddasu ei hun a'i ymddygiad i gydweithio â'r efengyl at ei hamcan mawr. Mae yr efengyl yn cyrhaedd llawer iawn o amcanion rhagorol, ond trwy yr amcan mawr, mewn gwirionedd, y mae yn cyrhaedd pob amcan arall. Dylai y cristion ymgyrhaedd at ymddygiad dengar ond cywirbwyll—y cyfryw ymddygiad ag a argyhoedda bawb ei fod yn barod i aberthu ei gysur a'i les ei hun, os bydd ennill eraill at Grist yn y cwestiwn.

J.

*Llangollen.*

# Hanesynau ac Adroddiadau.

## CATH Y DIACON.

YR hanes canlynol am y diacon a'i gath, a gymerwyd allan o un o gylchgyhoeddiadau crefyddol America.

Adnabyddid Tedy trwy yr holl gymydogaeth fel cath y diacon; ac arferai efe ddywedyd fod ei gath wrryw hwn yn gwybod cymaint â llawer plentyn dynol. Yr oedd peth hynodrwydd yn hanes Tedy o'r dechre. Ryw ddiwrnod er ystalm bellach, gwelwyd y diacon yn myned tua'r afon, â chwd ar ei ysgwydd, yn yr hwn yr oedd careg fawr, gyda rhyw beth neu bethau ynddo yn mewian; ac yr oedd dau fachgen bach, â gwedd wylofus arnynt, yn ei ddilyn rai llatheni o'i ol. Unwaith neu ddwy ceisiodd y diacon droi'r plant adref; ond ar ei ol yr oeddynt eto yn myned, er yn sefyll o birbell; a phan dychwelodd y diacon gyda'r cŵd yn wag, yna yr oedd y plant yn crïo yn dost.

Y bore canlynol clywodd y diacon ei ddau fachgen bach yn siarad â'u gilydd yn eu hystafell-wely, ond mewn dull lled ddystaw a gwyliadwrus, yr hyn oedd yn temtio'r tad i glustymwrando. Deallodd wrth eu hymddyddan fod yno gath fach ganddynt, yr hon a gawsai un o honynt dan y gwair, wedi i'r fam-gath, dybygid, ei chuddio yno tua'r amser yr aethai'r diacon â'i chathod ieuainc eraill, pedair o honynt, i'w boddi. "Rhaid i ni beidio dyweyd fod y gath fach yma genym," ebe Johny wrth Tomy, "ac onidê fe rwystra fy nhad i ni gadw pwssi yn fyw."

"Ni wiw i ni adael i'r ddau hogyn feddwl am fy nhwyllo fel hyn," medd y tad ynddo ei hun, ond nid mewn un modd yn ddigofus; ac efe a ymgynghorodd â'i wraig, mam y plant, pa fodd i weithredu.

Wrth y bwrdd ar y boreubryd, gwelid fod Johny yn gadael cyfran o'i fara a llaeth heb ei fwyta, tra yr oedd Tomy yn troi darn o'i frechdan o'r neilldu; y naill a'r llall, fel yr oedd yn amlwg, yn parotoi i fwydo'r gath fach.

"Ai tybed i mi ddyfod o hyd i'r holl gathod bach, mami?" gofynai'r diacon, yr hyn a wnaeth i Johny a Tomy rythu eu llygaid yn frawychus.

"Buasai yn dda genyf i chwi adael un yn fyw, er mwyn tipyn o ddifyrwch i'r plant yma," ebe y fam.

"Pw, pw, y mae ganddynt ddigon o deganau," meddai'r tad; "ond beth pe bawn i yn myned i chwilio dan y gwair i edrych a oes yno gath fechan?"

"Nac oes yno yr un," ebe Johny; "wedi myned i ffwrdd y mae."

"Myned i ffwrdd! pa le y cawsoch chwi gath fach arall?" gofynai'r tad, gan gymeryd arno edrych yn ddifrifol.

"Os oes genych un, chwi a ellwch ei chadw bellach," meddai'r fam, wrth weled eu golwg brudd ac ofnus, a rhag eu dysgu i beidio dyweyd y gwir.

"O y gath fach dlysaf a welsoch chwi erioed ydyw," medd Johny mewn llawenydd mawr. "Mi âf fi i'w nôl, os caf, rhag i'r peth bach fygu yn y bocs."

"O'r goreu," ebe'r diacon, gan geisio edrych yn ddifrifol; "rhaid i chwi gael magu'r gath a achubasoch rhag boddi."

Felly achubwyd y gath, a thyfu a wnaeth hithau fel y bechgyn; a phan yr oedd Johny yn ddeuddeg oed, a Dic yn ddeg, yr oedd y gath hefyd yn chwe' mlwydd oed; ac nid oedd cath lwyd brydferthach yn yr holl gymydogaeth. Yr oedd hyd yn nôd y diacon yn falch o Tedy, ac yn hoffi dangos campau'r creadur, ac adrodd sut yr achubwyd ef oddiwrth angeu cynnar gan y ddau hogyn oedd ganddo.

Un sabbath hafaidd gwresog, ar ol wythnos o weithio caled gyda lladd a chyweirio gwair, yr oedd y diacon yn myned wrtho ei hun i'r addoldŷ. Yr oedd ei wraig wedi myned i ymweled â'i chwaer mewn tref gymydogaethol, ac yr oedd y ddau fachgen oddicartref yn yr ysgol. Yn awr, megys y mae gwehilion i'r gwenith, rhaid dyweyd y gwir am y diacon nad oedd yntau heb ei fai, a hwnw yn fai ynglŷn â'r addoliad cysegredig: yr oedd efe yn rhy dueddol i gysgu yn yr addoldŷ, yn enwedig ar haf poeth. Byddai ei wraig ar ei goreu yn ceisio ei gadw yn hanner-effro; a'i phryder mwyaf, pan y byddai hi ar sabbath oddicartref, ydoedd ofni i'w phriod ei gywilyddio ei hun trwy gysgu yn ngwydd pawb yn yr addoliad.

Dygwyddai y sabbath hwnw mai gweinidog dyeithr oedd yno yn pregethu; hen frawd gyda phregeth oedd yn cyrhaedd hyd "yn bummed," ac "yn olaf." Pan yr oedd y pregethwr gydag "yn drydydd," dyma'r diacon yn syrthio i gwsg. Yr oedd yr eisteddleoedd o'i flaen ac o'i ôl yn weigion; canys nid oedd yr hen bregethwr yn boblogaidd o gwbl; a chan hyny nid oedd neb yn agos at y diacon i gyffwrdd â'i benelin, hyd yn nôd pan yr oedd yn chwyrnu.

Yr oedd sêdd y diacon ar y llaw ddehau i'r pregethwr yn y pulpud, yn cyrhaedd hyd at y mur, lle yr oedd ffenestr, a hanner hono yn agored y dydd hwnw, oddi fyny i'r gwaelod. Yn rhywle oddeutu "yn bedwerydd," dyma gath lwyd braf yn dyfod i mewn trwy'r ffenestr ac am enyd yn sefyll ar yr astell yno. Edrychai titw oddiamgylch gydag ymddangosiad o ddealltwriaeth oedd yn deilwng o gath diacon. Yr oedd y rhan fwyaf oedd yn bresennol yn adwaen Tedy, a phawb yn gwenu wrth ei weled. Ond ni foddlonai pwss ar aros yn ngwaelod y ffenestr. Mewn dull araf a gochelgar, wele Tedy yn ymgripio i lawr i'r sêdd, ac yno yn aros o'r golwg am ryw hyd, nes iddo ymddangos drachefn, yn myned i fyny yn bwyllog ar hyd braich y diacon, ac o'r diwedd yn ymsefydlu ar ei ysgwydd, gyda gwedd o oruchafiaeth gathol, gan rwngian yn foddlongar. Ond yno yn cysgu eto yr oedd y diacon.

Y gweinidog ar hyn a ddŷg allan "yn bummed," tra yr oedd y gath yn edrych i fyny yn llygadgam ato. Yno ar ysgwydd y diacon, yr oedd Tedy yn eistedd yn dawel, gyda yr holl fechgyn oedd yn y lle yn syllu arno yn chwerthingar, a'r diacon, yntau, yn para i gysgu yn drwm. Nid yn hir y bu'r pregethwr wedi nodi "yn bummed," heb edrych yn nghyfeiriad sêdd y diacon, pan y tarawodd ar yr olwg annysgwyliadwy a nodedig: y diacon â'i ben yn gogwyddo yn ol, ei lygaid yn nghauad, a'i safn yn agored, a'r gath ar ei ysgwydd, fel yn cyfarch y gweinidog, "Pa fodd bynag y mae arnoch chwi yna, dyma

ni yma ill dau yn ddigon comfforddus." Methodd y pregethwr fyned ymlaen. Yr oedd efe yn ymddangos fel mewn ymdrech â rhyw gyffroad tufewnol; ac wedi ymegnïo i ddyweyd, "yn olaf, frodyr, yn olaf, yn olaf," efe a edrychodd eto ar y gath, ac a eisteddodd yn ddisymwth. Yr oedd y pulpud yn dygwydd bod yn un lled ddwfn, ac felly ni welid ei wynebpryd, tra yr oedd efe â'i holl egni yn ceisio ymattal rhag chwerthin allan, ac adennill y difrifwch gweddus i'w le pwysig; o herwydd, yn anffodus iddo ef, byddai golwg sydyn ar y digrifol yn effeithio yn llongynhyrfiol arno. Y cwbl a allodd efe ei wneyd y pryd hwn oedd gosod ei wynebpryd mewn gwedd debyg i fod yn sobr, fel ag i allu codi a dywedyd, "Frodyr, mae y cyfarfod ar ben;" ac yna heb y weddi, heb y fendith, ac heb y canu, dyna'r holl gynnulleidfa yn codi ac yn myned allan, gan adael ceidwad y drws i ddeffro'r diacon a gyru ymaith y gath.

Mae yn beth syn i'w ddywedyd, ond dyna fel y bu: aeth rhai wythnosau heibio ar ol hyn cyn i'r diacon allu deall beth oedd yr achos o'r gwenu neu yr hanner chwerthin a welai ar wynebau ei holl gymydogion pan y cyfarfyddent âg ef. O'r diwedd, dyma yr holl wir yn dyfod allan i'w glyw: eisteddiad y gath ar ei ysgwydd yn ystod ei drwmgwsg, a'r pregethwr yn gorfod terfynu yn y fan, gan yr olwg chwerthinus; ac wele ei holl ddigofaint yn ymdywallt ar Tedy druan, canys dywedai, "Byth nid allasai yr hen gath fawr yma beri i'r holl bobl chwerthin am fy mhen, pe buaswn wedi boddi'r creadur, fel y dylaswn, pan yn gath fach." Ond byw a gafodd Tedy y tro hwn eto. Pa fodd bynag, ceisid yn ofalus wedi hyn ei gloi gartref yn amser yr addoliad; a gofalodd anwyl gymhares y diacon am fod wrth ei ochr yn ei sêdd bob sabbath mwyach.

---

### CLOAD A DADGLOAD Y RHEW.

Un o flaenoriaid hynod yr oes o'r blaen oedd Mr. David Jones, Tŷ gwyn, Bryneglwys, yr hwn oedd frawd i Mr. William Jones, Rhiwaedog, Bala. Bu David Jones rai gweithiau yn Nghymdeithasfäoedd Llangeitho, wedi myned yno o bwrpas i gael cyhoeddiadau pregethwyr o'r Deheudir i ddyfod trwy ddosbarthiadau Cyfarfod Misol Sir Fflint. Pan gaffai efe "yr hwyl," fel y dywedir, byddai ei weddïau a'i anerchiadau yn dra effeithiol.

Unwaith, mewn Cyfarfod Misol yn yr Wyddgrug, pan yr ymdrinid â'r mater o adfywiad crefyddol, sylwai David Jones fod yn berygl i bobl fyned i geisio gwneuthur diwygiad oddiar ryw orchest ddyno', neu zel sectaidd, yn lle ymofyn am dano o'r nef trwy weddïau dyfal; ac medd efe, "Yn ystod rhew mawr y gauaf diweddaf, yr oedd olwyn y felin yn Bryneglwys acw wedi ei chloi i fyny gan y rhew, ac felly nis gellid malu dim. Nid ein harfer ni, ffermwyr Bryneglwys, yw cadw ystôr fawr o flawd yn ein tai, ond myned âg ŷd i'w falu yn fynych yn ol yr anghen. Wel, wrth fod y felin yn cael ei hattal i falu am ddyddiau, ïe, am rai wythnosau, gan y rhew, yr oedd yr ystoc o flawd gartref ar ben; ac yr oedd raid gwneyd rhywbeth tuag at i ni droi yr ŷd yn fara. Dyma amryw o'r ffermwyr gan hyny yn penderfynu uno i wneuthur cais teg am yru'r felin i falu; ac un bore, dyma'r meistri a'r gweision yn myned yn llu tua'r felin gyda morthwylion, trosolion, a beichiau o wellt. Yno yr oeddem bawb yn ymosod ar yr olwyn; un yn cnocio y rhew â morthwyl, y llall yn tyrchu â throsol, ac eraill yn gwneyd coelcerthi o'r gwellt, er mwyn ceisio toddi y rhew â thân. Toc, yr oedd yn ymddangos fod yr ymdrech wedi llwyddo, a dyna ni yn gwaeddi yn siriol, 'Wel, mae yr olwyn yn rhydd o'r rhew; yrwan am falu.' Dyna'r melinydd yn rhoi'r cyfan mewn hwyl cychwyn; ond hynod mor araf yr oedd yr olwyn yn troi, ac ymhen rhyw chwarter awr dyma hi yn rhewi ac yn sefyll drachefn. Aed i ddulio, ffaglu, a baeddu gyda hi eilwaith; ond er i ni wneyd ein goreu, rhewi, rhewi yr oedd yr hen olwyn. Nid oedd genym yn y diwedd ond troi adref yn ddigalon, gan ddyfalu beth, tybed, a ellid ei wneyd nesaf, ac ofni y byddai raid i ni fyned i rywle ymhell i gyrchu ein hymborth. Ond erbyn y bore drannoeth, yr oedd pobpeth yn iawn, yr olwyn yn troi a'r felin yn malu yn ardderchog; pob un o honom yn cael cyfran o'i 'ŷd bara' wedi ei falu cyn nos. Beth a barodd y fath dro? Ho, nid ein morthwylion, ein trosolion, na'n coelcerthi bychain ni; nage! ond y dadmer, y meiriol, a gafwyd o'r nefoedd. Ië, fy nghyfeillion, o'r nefoedd y cawsom y meiriol braf; ac o'r nefoedd hefyd, cofiwn, y cawn ni yr adfywiad ar grefydd. Fe'n gwelwyd ni weithiau yn cnocio ac yn llosgi mewn cyfarfod gweddi, 'neu gyfarfod eglwysig, yn bloeddio gweddïo ac areithio, fel rhai yn gweithio gyda nerth braich ac ysgwydd i fŷnu diwygiad; ac fe allesid meddwl fod y rhew yn dadmer, a'r olwyn yn dechre troi yn chwyrn. Yr oedd acw rywbeth neillduol, meddem ni; ond cafwyd yn fuan mai y rhew oedd yn gorchfygu; yr oedd yr hen galon ynom mor oer a chaled ag erioed; dim tebyg i adfywiad wedi myned o'r capel i'n tai. Ond edrychwn i fyny; gweddïwn, dysgwyliwn am ymweliad o'r nefoedd; a phan y byddom

ni yn methu gwneyd hebddo, ac o ddifrif am ei gael, nid yn hir y byddwn heb ei dderbyn. Ië, y gwlaw graslawn o'r nefoedd,

'A'r awel o Galfaria
Yn chwythu gyda gwres,'

yn unig a wneiff y tro. Oeri a rhewi yn awr y mae cariad llawer; ond hawdd y gall y nefoedd droi y rhew yn llyn dwfr."

Nid rhaid dywedyd fod y fath sylw tarawiadol yn cael ei adrodd gan yr hen flaenor da, a'i dderbyn gan ei wrandäwyr, gyda theimladau bywiog a chynhyrfiol.

---

DUWIOLDEB GYDA BODDLONRWYDD.

Mewn tref fechan yn swydd Gaerefrog, yr oedd yn byw flynyddoedd yn ol wehydd tlawd, yr hwn oedd yn nodedig am ei ysbryd boddlawn a siriol yn nghanol pob blinfyd a thrallodion. Byddai ei wennol yn myned fore a hwyr pan y gallai gael gwaith; ond gan fod y cyflog ar y pryd yn lled isel, nid gorchwyl hawdd oedd iddo allu talu ei rent, a chadw ei deulu. Bu farw ei wraig pryd nad oedd ei dri phlentyn ond ieuainc mewn cymhariaeth; ac wedi hyny daeth ei chwaer ato i gadw ei dŷ; ond yr oedd hi, ysywaeth, yn dra annhebyg i'w anwyl wraig ymadawedig, yn lle bod yn gysur iddo, yn ddraenen yn ei ystlys. Dyn diwyd a glanwaith oedd efe, ond yslyfien ddioglyd oedd ei chwaer; yr oedd efe yn amyneddgar, eithr hi yn rwgnachlyd a thuchanllyd; yr oedd gair yr Arglwydd yn gynghorwr ganddo ef, ond am dani hi, fel dyeithrbeth ei cyfrifid ganddi. Pan ymollyngai'r chwaer i'w natur ddrwg, nid oedd dim rheolaeth ar ei thafod; ac er cymaint oedd amynedd ei brawd, byddai ei thymher a'i hymadrodd ar amserau yn ei brofi yn llym, a da iddo a chanddo ydoedd fod ei wŷdd a'i wennol i ryw radd yn boddi llais y chwaer anynad. Yr oedd ei ymarferiad â gair Duw ac â gweddi mor gysylltiol wrth ei dangnefedd meddwl âg yr oedd yr ystof a'r wê wrth eu gwëu. Mae'r darllenydd yn deall, ond odid, mai yr edefau sydd yn croesi eu gilydd yn y gwëyddiaeth yw yr ystof a'r wê; yr ystof yn rhedeg ar ei hŷd, a'r wê yn myned yn groes. Ac yn gyffelyb, y mae edef auraidd cariad y Tad o'r nef yn rhedeg trwy wê ddnaf bywyd cristion. Ydyw, y mae "pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." Pan y byddai rhywbeth tebyg i galedi yn gwasgu ar y gwehydd tlawd, arferai efe ddywedyd, "Nid drwg yn gwbl ydyw yn awr, a daw yn well eto:

'Pan fyddo 'n dywyll isod,
Mae 'n glir a goleu uchod;
A'r dydd a'r nos—fy nghalon, clyw—
Oddiwrth fy Nuw sy 'n dyfod.'"

Un prydnawn, pan yr oedd y gwehydd wrth ei waith i fyny'r grisiau, a'r plant yn yr ysgol, aeth ei chwaer allan o'r tŷ am awr, gan adael y drws yn agored; ac yn y cyfamser, daeth rhyw leidr o gymydog i mewn, ac a ladratäodd y Bibl mawr oedd ar y drestl *(dresser)* o flaen y drws. "Ha, beth a wnei di yn awr?" gofynai y chwaer, fel pe buasai yn dda ac nid yn ddrwg ganddi am yr hyn a ddygwyddodd. "Beth a wnei di yn awr am dy lyfr, i fod gydag ef byth a hefyd?" ebe hi wrth ei brawd. "Hyn a wnaf," atebai yntau yn dawel; "mi a brynaf Fibl bach nes i mi fod yn alluog i gael un mawr; a diolch i'r Arglwydd am fy mod yn byw yn ngwlad y Biblau!"

Nid yn hir ar ol colli ei Fibl y cyfarfu'r gwehydd â phrofedigaeth chwerw-dost arall. Ryw noson, pan yr oedd efe yn absennol o'r tŷ, aeth un o'r plant i chwilio gyda chanwyll am rywbeth oedd yn yr ystafell wëu, pryd y dygwyddodd i wreichionen syrthio ar yr edafedd yn ddiarwybod i'r plentyn, ac y llosgwyd y gwŷdd agos yn lludw. "Pa fodd y gelli di wëu bellach?" medd y chwaer; "a all dy Fibl newydd brynu i ti wŷdd newydd?" "Wel, Mali, os na wnaiff hyny," atebai efe gyda'i addfwynder arferol, "efe a'm dysg i ddyoddef yn ddiddig y golled am yr hen wŷdd. Ac y mae fy enw da genyf eto, diolch am hyny. Os nas gallaf gael gwŷdd yn eiddo i mi fy hun, mi a allaf gael llogi gwŷdd oddiwrth un o'm cyfeillion."

Ond er fod y gwehydd tlawd wedi prynu iddo ei hun Fibl bach, ac wedi llogi gwŷdd arall, yr oedd ei amgylchiadau yn awr yn hynod wasgedig, gan fod y tymmor hwnw yn dymmor o iselder mawr ar grefft a masnach y gwëu. Eithr nid oedd ei ffydd yn Nuw yn pallu; a phan yr oedd pethau yn ymddangos yn gwisgo gwedd o dywyllwch dudew, dyma'r newydd yn dyfod iddo fod ei hen ewythr, yr hwn a fuasai yn hir yn glaf, wedi marw, ac yn ei ewyllys wedi gadael iddo annedd-dŷ bychan mewn heol gerllaw, a swm o ugain punt gyda hyny. Y cyfryw gymhorth yn dyfod ar y fath amser a barodd i'r gwehydd tlawd foli Duw gyda chalon wir ddiolchgar; canys yr oedd yn teimlo mai i'w Dad nefol yr oedd efe yn ddyledus am bob trugaredd a mwyniant. Gyda dagrau yn ei lygaid, efe a ganmolai garedigrwydd ei ewythr; ond ei chwaer a ddywedai, "Taw a sôn; nid llawer a adawodd efe i ti; ac nid adawodd yr hen genaw ddim i mi."

Masnachydd oedd yn byw ar gongl yr heol, a gynnygiodd brynu'r tŷ a adawsid

i'r gwehydd; ac yr oedd yntau yn barod iawn i'w werthu. Ond pan ddaeth y diwrnod ar ba un yr oedd y fargen i gael ei chwblhâu, dyma'r masnachwr yn dywedyd na chymerai efe mo'r tŷ am bris yn y byd; oherwydd yr oedd wedi cael allan fod yr adeilad yn llawer mwy adfeiliedig nag y meddyliasai efe, ac felly mai gormod a fuasai'r gôst i'w adgyweirio. Yr oedd tafod ei chwaer ar hyn yn uchel a chwerw iawn. "Dyma un o'r pethau y dywedi di, mae yn debyg, eu bod yn cydweithio er daioni," ebe hi wrth ei brawd; ond efe nis atebodd hi, eithr cafodd gymhorth i dreiglo hyny hefyd ar yr Arglwydd, ac yr oedd ei galon yn ddisigl mewn ymddiried ynddo.

Pa fodd bynag, ymhen rhai misoedd ar ol hyn, canfyddodd y gwehydd mai un o'r pethau goreu a allasai ddygwydd ydoedd, fod y tŷ a adawsid iddo yn aros mewn sefyllfa mor adfeiliedig ar y pryd. Pe buasai mewn cyflwr gwell, buasai wedi ei werthu i'r masnachwr; ond, fel yr oedd, bu raid iddo ei gadw ar ei law. Erbyn hyn, yr oedd y tir yr oedd y tŷ yn sefyll arno wedi dyfod yn dra gwerthfawr; o herwydd wele gwmni rheilffordd yn cael fod yn anghenrhaid iddynt hwy ei brynu, gan ei fod yn sefyll ar linell uniongyrchol un o'r ffyrdd oedd ganddynt i'w gwneyd; ac yn awr cafodd y gwehydd gymaint ddwywaith am yr hen annedd-dŷ ag a fuasai yn ei gael gan y masnachwr ar y pryd y bu mor agos iddynt fargenio. Bellach dyma'r gwehydd nid yn unig yn gallu prynu iddo ei hun wŷdd newydd, ond hefyd bwrcasu'r tŷ yr oedd yn byw ynddo, gydag ychydig dros ben mewn llaw ar ol hyny. At hyn gellir chwanegu peth arall, yr hyn, fe allai, oedd yn well ganddo na'r cwbl. Pan y trodd ryw ddiwrnod i fwrw golwg ar werthfainc llyfrau, canfu yno yr hen Fibl mawr a ladratäwyd oddiarno. Wedi cael hwnw i'w feddiant drachefn, dywedai ar y weddi deuluaidd y noson hono, "O Arglwydd, yr wyt yn dda wrthym! ni bu yma erioed well gwŷdd a gwennol; ac ni raid talu am y tŷ hwn ddim rhent ond y rhent o ddiolch i'th enw di; a dyma yr hen Fibl mawr wedi dyfod adref—yr hen ffynnon a'm diododd mor dda am flynyddoedd. O Arglwydd canmoladwy, dyro galon gynhes i'th ganmawl. A pheth sydd yn eisieu arnom eto? Gwna ni, sydd yma mewn oed, yn dduwiol iawn; a'r plant yma a fyddo i ti dy hun yn blant anwyl, yn debyg i'r plentyn Iesu, wrth gynnyddu mewn corffolaeth, yn cynnyddu mewn doethineb, ac mewn ffafr gyda Duw a dynion."

Pwy na wêl oddiwrth yr adroddiad hwn mai "elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd?" Beth oedd yn gwneuthur y gwehydd tlawd mor foddlawn ac mor hapus, tra yr oedd ei chwaer, oedd yn byw gydag ef, mor anniolchgar ac annedwydd? Wedi dewis y rhan dda yr oedd y brawd, ond heb ei chael ac heb ei charu yr oedd y chwaer.

---

## CYFLWR ENBYD AC YSBRYD GWROL TRI CHYMRO CREFYDDOL.

O BOSIBL fod nifer o ddarllenwyr y DRYSORFA yn cofio am adroddiadau a gyhoeddwyd ynddi yn y flwyddyn 1876, tu dalenau 375 a 421, am ffyddlondeb a gweithgarwch crefyddol ychydig o Gymry yn Epsom, Australia. A thybir mai nid annyddorol a fydd yr engraifft ganlynol, yn dyfod o'r un cŵr, am dri Chymro yn ffyddlawn i'r Hwn sydd yn "Obaith holl gyrau y ddaear, a'r rhai sydd bell ar y môr."

Dychwelwyd y tri at grefydd drwy offerynoliaeth Mr. Mesach Bowen, am yr hwn y soniwyd yn yr adroddiadau crybwylledig; a chafwyd hwynt ill tri yn weithgar gyda yr achos goreu, heb un aberth yn ormod ganddynt ei wneuthur er mwyn anrhydedd enw'r Gwaredwr. Yn ngwres eu cariad cyntaf, gwnaethant ammod â'u gilydd, ac â'u Duw, y byddent ffyddlawn i'w proffes, deued a ddeuai i'w cyfarfod. Am oddeutu tair blynedd cawsant dywydd hafaidd gyda chrefydd, heb i un amgylchiad neillduol ddyfod i brofi nerth eu penderfyniad. Ond ymhen hyny o amser, pan nad oeddynt ond teirblwydd oed o grefyddwyr, cododd anesmwythder yn eu meddwl am fyned i New Zealand, i'r dyben o wella eu hamgylchiadau tymmorol; a'r meddwl hwnw a roddwyd mewn gweithrediad. Cyfeiriasant eu camrau yn gyntaf tua Melbourne, ac yno, heb golli dim amser, aethant i chwilio am long i'w cludo drosodd i New Zealand. Ond o herwydd lliosogrwydd ymfudwyr ar y pryd, yr oeddynt yn methu cael yr hyn a geisient; a thaflwyd hwy i fawr ddyrysweh. Eithr ymhen enyd, cawsant hanes llong fach oedd ar fedr hwylio y dydd canlynol; ac aethant yn ebrwydd i'r swyddfa, ac a dalasant ei llong-lôg hi. Y bore dranoeth yr oeddynt ar ei bwrdd, yn gwneyd rhifedi y teithwyr yn un ar bymtheg. Yr oedd y nifer hwn yn gynnwysedig o wahanol genedloedd: Italiaid, Germaniaid, Gwyddelod, a'r tri Chymro. Yr oedd yn rhy amlwg na fwriadesid i'r cyfryw lestr gludo teithwyr; oblegid gorfu arnynt fyned i dwll anghelfydd ymhen blaen y llong, i blith cadwyni yr angor a chwmnïaeth llygod ffreinig oedd bron yn ddirif.

Wedi i'r dwylaw gael pob peth yn barod, codwyd yr hwyliau, a chychwynodd y llestr; ac aeth pob peth ymlaen mor

gysurus ag y dysgwylid o dan y fath amgylchiadau. Ond wedi morio am oddeutu pedwar diwrnod, wele yr oedd blwyddyn newydd y pryd hwnw yn dyfod i mewn; ac yr oedd raid i'r lleill o'r teithwyr, sef y rhai nid oeddynt Gymry, gael rhyw ddifyrwch er croesawu'r flwyddyn newydd; a'r difyrwch y penderfynasant arno oedd cael *spree* iawn, yr hyn ganddynt hwy ydoedd, yfed gwlybyron meddwol i ormodedd. Mae yn ymddangos mai dosbarth o bechaduriaid annuwiol i'r eithaf oedd cymdeithion y tri Chymro ar y fordaith hon; a cheisiasant ganddynt hwythau ymuno â hwy yn nghyfeddach y felldith. Ond ofer fu y cais, canys yr oedd cyd-benderfyniad y tri brawd Cymröaidd i fod yn ffyddlawn i'w Duw, yn ol eu cyfammod dair blynedd yn flaenorol, yn dyfod yn fyw i'w cof. Eu hymwrthodiad a achosodd i ddigofaint eu cyd-deithwyr anwaraidd ennyn ac ymddyrchafu fel cymylau duon uwchben y tri Chymro. Dechreuwyd ar "y *spree*" yn gynnar y prydnawn, a pharhäodd hyd y bore. Wedi myned i waered, ymwthiodd y tri chrefyddwr i ystlys y llong, ar feddwl cael ychydig orphwysdra. Ond yr oedd rhegfeydd ac udiadau y creaduriaid dibris eraill yn gwneyd fod gorphwys a huno yn beth anmhosibl iddynt. Siarad Saesoneg gan mwyaf yr oedd y cyfeddachwyr; a deallid mai prif bwnc eu hymddyddan oedd condemnio'r tri Chymro oedd yn nacâu "cyd-redeg gyda hwynt i'r unrhyw ormod rhysedd." Oddeutu hanner nos, aeth yr oferwyr ati i wneyd rhywbeth a alwent hwy yn ganu, ond oedd yn hytrach yn oernadu annaearol. Yr oedd raid iddynt oll ganu yn eu hiaith eu hunain. Dechreuwyd gan yr Italiaid, ac yna aeth y Gwyddelod ati, ac yna'r Germaniaid. Yr oedd y brodyr Cymreig yn awr yn teimlo eu sefyllfa yn un lwyr enbydus; o herwydd deallent fod yn mryd y giwed anrasol geisio ganddynt hwythau ganu, ac os anufuddhäent i'w cais y byddent yn wrthddrychau eu llid a'u gwrthwynebiad. Ystyriai y tri christion, o'r ochr arall, os cydsynient â'r cyfryw gais, y byddent yn fraich i blant Lot, ac yn cefnogi y gyfeddach annuwiol. Wrth ymddyddan â'u gilydd, dywedai un, o'r enw Lewis Jones, "Mae yn rhaid i ni sefyll yn wrol dros ein penderfyniad yn Epsom, ac ymlynu wrth Dduw, heb ildio yn nydd y brofedigaeth." "Rhaid," ebe yr ail, o'r enw John Parry, "o herwydd 'rhaid yw ufuddhâu i Dduw yn fwy nag i ddynion.'" Ac yr oedd y trydydd o'r un feddwl yn hollol â'i ddau gyfaill. "Nid oes dim yn well i ni," meddai, "nag ymddiried yn y Duw sydd yn abl i'n gwaredu o safn y brofedigaeth sydd ar ein goddiweddyd."

Cyn ymron i'r ymddyddan rhyngddynt derfynu, wele un o'r Germaniaid, dyn talgryf, esgyrnog, yn nesâu atynt, ac yn dywedyd gyda llais awdurdodol fod yno bawb wedi canu ond y tri Chymro, ac mai rhaid yn awr oedd iddynt hwythau roddi iddynt gân, neu os anufuddhäent, y gorfyddai iddynt ddyoddef y canlyniad. Ond atebasant hwy ar unwaith nas gwnaent. Gofynodd yntau am eu rheswm, a'r ateb gan un oedd, y buasai eu hufudd-dod iddynt hwy yn anufudd-dod i Dduw; a'r lleill a atebasant yn benderfynol yr un modd. Parodd hyn i'r creadur aflywodraethus ymgynddeiriogi yn aruthr, a chan falu ewyn tywalltodd gawodydd o regfeydd ar eu penau; ac yna dychwelodd at ei gymdeithion dirinwedd. Ac wedi ychydig o ymddyddan gyda'r rhai hyny, dychwelodd yn ol at y Cymry gyda chyllell hir yn ei law; a chan godi hono i fyny, dywedai, "Chwi a welwch yn awr beth fydd eich tynged os na chenwch fel yr ydym ni yn peri i chwi. Gofynaf i chwi y drydedd waith, A ydych chwi, y Cymry, ar fedr canu i ni?" Ond er ei wedd arswydus, a'i waith yn codi'r gyllell, yr un oedd eu hateb y waith hon â'r tro cyntaf. Y *German* yn gynddeiriogwyllt a chwyrnellodd y gyllell finiog uwch eu penau yn ol ac ymlaen, heb ganddynt hwythau ond dysgwyl bob eiliad iddo ei chladdu yn eu cyrff; a hyn a fu am oddeutu dau neu dr o fynydau. Ond rywfodd, wrth weled gwroldeb di-ildio y tri Chymro, ac yn ddiau trwy oruwchreolaeth y Duw a wasanaethent, gostegodd ei gynddaredd, ac yn ei ol fel y daethai yr aeth at ei gyd-oferwyr; ac ymhen ychydig o amser, yr oedd pobl y *spree* wedi syrthio i drwmgwsg. Gellir yn hawdd gredu na chysgodd y Cymry nemawr drwy'r nos; a'r bore canlynol, gyda bod yr haul wedi codi, dyma'r tri ar y dec, yn ymddyddan am yr hyn oedd wedi cymeryd lle y nos o'r blaen. Yn annysgwyliadwy iddynt, wele'r capten yn dyfod hyd atynt, ac wedi'r cydgyfarch, efe a ofynodd, "Beth oedd y terfysg yn mhen blaen y llong neithiwyr?" "Dim o bwys," oedd eu hateb. "Na," medd efe, "yr wyf fi yn deall yn amgen, ïe, fod ymosodiad beiddgar wedi ei wneyd arnoch chwi, y Cymry; ac yn awr yr wyf yn dymuno arnoch ddywedyd i mi pwy a ymosododd arnoch." Gwyddent ill tri pa fath oedd y cyfreithiau llongwrol; ac ebe Lewis Jones wrth y capten, "Os gwelwch yn dda, syr, ein dymuniad ni ydyw, na byddo i ddim ymchwiliad gael ei wneyd i'r achos neithiwyr." Felly ar eu cais taer hwy, cydsyniodd y llonglywydd i adael ar hyny; ond medd efe wrthynt, "Mi a wnaf hyn: nid oes yr un dafn o wlybwr meddwol i'w arfer gan yr un o'r teithwyr am weddill y fordaith ond trwy eich can-

iatâd chwi." A'r tri Chymro a ddiolchasant yn wresog iddo.

Gyda bod y capten wedi troi ei gefn, pwy a welid yn esgyn i fyny o ben blaen y llong, ac euogrwydd yn argraffedig ar ei wyneb, ond y llarp Germanaidd oedd wedi bod mor ffyrnig wrthynt y noson gynt. Cerddodd yn araf at y Cymry, ac wedi dyfod atynt, gofynodd, "A wnewch chwi faddeu i mi? Bum yn greulawn iawn wrthych neithiwyr." "Do, chwi a fuoch," ebent hwythau; "buom o fewn ychydig â chael ein llofruddio genych; ond er hyny yr ydym yn maddeu i chwi, gan obeithio y maddeua Duw i chwi hefyd, ac na wnewch ymddwyn yn gyffelyb eto tra byddoch byw." "Na wnaf byth, Gymry anwyl," meddai efe; "chwychwi oedd yn eich lle, a minnau yn wallgof." Yr oedd llew'r nos flaenorol yn awr wedi dyfod yn oen; a phe buasai ei allu yn ogymaint â'i edifeirwch, mae yn ddiau mai nid gormod ganddo a fuasai nofio am y gweddill o'r fordaith gyda'r tri Chymro ar ei gefn, pe gwnaethai hyny iawn am ei ymosodiad beiddgar arnynt.

WILLIAM JONES.

*Rhosllanerchrugog.*

---

FFAITH HYNOD GAN MR. SPURGEON.

CENADWR trefol, wrth fyned trwy ran ddeheuol o Lundain, a ddaeth o hyd i hanesyn pur ryfedd, ac o gryn ddyddordeb i mi. Gwn hefyd ei fod yn wir, a chredwyf mai yr Arglwydd yr Ysbryd a'm cyfarwyddodd i ddywedyd gair yn ei bryd, ac mor briodol i'r achlysur. Galwodd un diwrnod mewn siop crydd, a chafodd ef yn eistedd ac yn darllen pregethau; a chan fod y cenadwr yn dymuno cael tipyn o ymgom âg ef, efe a ofynodd iddo, "A ydych chwi yn adnabod Mr. Spurgeon?" "Ydwyf," eb efe, "ac y mae genyf achos da am fy adnabyddiaeth o hono, canys fe fu yn offeryn i'm dwyn i adnabod yr Arglwydd Iesu Grist. Ond," ychwanegai, "fe gymerodd lwybr hynod iawn i ddwyn hyny oddiamgylch; braidd y coeliwch fi wedi ei glywed. Meddyliais ynof fy hun, un bore Sabbath, Mi af i wrandaw y pregethwr newydd hwn; y maent yn dyweyd ei fod yn adrodd pethau pur ryfedd. I ffwrdd â fi i *Surrey Gardens*, ac eisteddais yn hollol gyferbyn âg ef. Wel, yno y dywedodd efe, 'Mae yna ddyn sydd *yn grydd;* y mae yn cadw ei siop yn agored ar y Sabbath, a'r Sul diweddaf fe werthodd eiddo yn costio naw ceiniog, ac yn gadael pedair ceiniog o elw iddo!' Wel, ebe fi, dyna yn union yr hyn a werthais. Mi a werthais bâr o esgidiau plant am naw ceiniog, a phedair ceiniog yn gywir ydoedd yr elw! Yna meddyliais, naill ai ei fod yn ddyn pur ddrwg, neu fod Duw wedi hysbysu hyny iddo; ac aethum adref wedi dychrynu yn ddirfawr. Y Sul nesaf mi a âf drachefn, ond ni roddaf iddo y fath gyfleusdra y tro hwn." Gan hyny ymaith âg ef i fyny i'r oriel uchaf, lle yn sicr na welai llygad neb ef; a gadawodd ei eneth adref i agoryd y siop. "Ond pan aethum i fyny yno," eb efe, "dyma ef yn galw arnaf, 'Ha, y mae pechu trwy ddirprwyaeth yn gwbl mor ddrwg a phe baech yn pechu eich hunain—nid yw hi o ddim defnydd i chwi ddyfod eich hunain, ac ar yr un pryd gadael eich merched i gadw'r siop.' Dyna 'nawr, meddwn ynof fy hun, Duw sydd yn sicr yn siarad â mi; ac mi a grynais o'm pen i'm traed, ac aethum adref, a chyffesais fy mhechodau; a gobeithiaf, trwy ddaionus gynnorthwyon Ysbryd Duw, y deuaf yn ddyn newydd. Ond, syr," ychwanegai, "ni roddaf byth i fyny ryfeddu tra byddwyf byw, y modd y darfu i'r Arglwydd ddefnyddio y fath ffordd a moddion mor hynod i'm dwyn ato ei Hun."

*O gyfieithiad* JOSEPH WILLIAMS.

*Liverpool.*

---

# Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

LUC ii. 30—32: "Canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth, yr hon a barotöaist ger bron wyneb yr holl bobloedd: goleuni i oleuo y Cenedloedd, a gogoniant dy bobl Israel."

YN y baban Iesu, yr oedd Simeon yn gweled iachawdwriaeth Duw. Mae'r gair gwreiddiol, nas gallwn ni yn hawdd ei gyfieithu ond yn *iachawdwriaeth*, nid yn sylweddair, ond yn ansoddair; nid *σωτήριος* ond *σωτήριον* ydyw: "Fy llygaid a welsant dy achubol," neu dy geidwadol—a welsant y peth hwnw sydd yn achub; nid yr iachawdwriaeth yn ei heffeithioldeb yn gweithio, ond yr iachawdwriaeth yn ei dygiad neu ei gweithiad allan. Dyna'r Person sydd yn dwyn iachawdwriaeth Duw i'r byd; megys y dywedai Pedr ar ol esgyniad Crist i'r nefoedd: "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." Yn unol â'r syniad hwn y ceir yr ymadrodd, "yr hwn a barotöaist,"—megys peiriant wedi ei wneyd yn barod. Gellir cymhwyso'r meddwl o barotoi yr iachawdwriaeth at holl drefniadau y ddeddf sere-

moniol. Duw oedd felly trwy yr oesoedd yn parotoi gogyfer âg ymddangosiad y Messïah. Ond y mae'r geiriau, "ger bron wyneb yr holl bobloedd," yn peri i ni yn hytrach gymhwyso hyn at enedigaeth "y dyn bach." Yn ngenedigaeth Crist yr Arglwydd, wele'r Ceidwad wedi ei gyfleu yn barod, fel y gallo yr holl bobloedd gael y fantais o'i weled a'i dderbyn. Dichon fod Simeon wedi defnyddio yr ymadrodd hwn, "ger bron wyneb," neu, yn ngolwg "yr holl bobloedd," oddiar fod golygfa cyflwyniad y baban Iesu yn cymeryd lle yn nghyntedd y Cenedloedd. Ac fel hyn dyma ysbrydoliaeth yn cymeryd mantais oddiar hyny i nodi allan Grist a'i efengyl yn perthyn nid yn unig i bobl Israel, eithr i'r "holl bobloedd." Mae'r geiriau nesaf yn dosbarthu'r meddylddrych crynöawl, neu'r syniad casgledigol—"yr holl bobloedd,"—i'w ddwy elfen hanfodol: y Cenedloedd a'r Israel, y gwrthddrychau cyferbyniol a ddygir ymlaen yn holl hanesiaeth yr Hen Destament a'r Newydd. Paham yr oedd Simeon yma yn gosod y Cenedloedd ger bron yn gyntaf? Ai rhagweled yr oedd yr hynafgwr hybarch na byddai i iachawdwriaeth yr Iuddewon ddygwydd yn ei chyflawnder hyd ar ol goleuo'r Cenedloedd, a thrwy offerynoldeb y Cenedloedd goleuedig? Mae yn ymddangos ei fod, dan gynhyrfiad yr Ysbryd Glân yr hwn oedd arno, yn argyhoeddedig y byddai ei bobl ei hun, fel cenedl, yn gwrthod y Messïah; o herwydd medd efe ymhellach, "Wele, hwn a osodwyd yn gwymp ac yn gyfodiad i lawer yn Israel, ac yn arwydd yr hwn y dywedir yn ei erbyn." Hir y bydd yr Israel yn anghredu ynddo, ond nid yn dragywydd. Goleuo'r Cenedloedd, —dyna a wna Crist a Christionogaeth i ddechreu, tra y bydd pobl hen gyfammod Duw yn gwrthod eu trugaredd eu hun. Ni a welwn y gosodir iachawdwriaeth allan yma mewn dwy wedd wahanol, yn ol fel ei cymhwysir at y Cenedloedd neu at yr Iuddewon. I'r naill y mae'r bachgen a anwyd yn dwyn *goleuni*, ac i'r llall *gogoniant*. Yr oedd y Cenedloedd wedi ymsuddo mewn anwybodaeth; yr oedd y "gorchudd yn gorchuddio yr holl bobloedd, a'r llen wedi ei thaenu ar yr holl genedloedd." Ond byddai y Messïah yn difa'r gorchudd hwnw. Gwir ogoniant pobl Israel yw y Messïah, canys o honynt hwy "yr hanodd Crist yn ol y cnawd;" ond y maent hwy hyd yn hyn wedi taflu ymaith eu gogoniant penaf, tra y caed y paganiaid anwybodus, megys yr oedd pob cenedl oddigerth yr Iuddewon, wedi dyfod i rodio yn ngoleuni'r Dadguddiad Dwyfol, yr hwn yr oeddynt hwy yn amddifad o hono nes ei dderbyn trwy Grist. Ond daw yr Iuddewon o'r diwedd i adnabod a chydnabod eu gogoniant, trwy gredu yn Iesu Grist, "ac felly holl Israel a fydd cadwedig."—Dyledus yw dywedyd y cawsom y meddyliau uchod yn esboniad *Godet* ar Luc, ond i ni eu hysgrifenu yn ein dull ein hun.

---

IOAN i. 51: "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Ar ol hyn y gwelwch y nef yn agored, ac angylion Duw yn esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn."

YMA y mae cyfeiriad, mae yn ddiau genyf, at weledigaeth Jacob yn Bethel; a'r hyn ydoedd yr ysgol iddo ef, sef cyfrwng ar hyd pa un yr oedd angylion Duw yn esgyn ac yn disgyn, dyna a fyddai Crist i'w eglwys ar ol yr adgyfodiad. *I'w eglwys*, meddaf; o herwydd er mai wrth Nathanael y llefarwyd y geiriau, eto nid ydynt yn sôn am beth yr oedd efe i'w weled ar wahân oddiwrth eraill, ond yr hyn a fyddai yn gyffredin i eraill gydag ef. Mae y rhagenw yn y rhif lliosog: "Yn wir, meddaf i *chwi*, Ar ol hyn y *gwelwch*, &c." Ond pa ryw fath ddywediad yw hwn! Pan dywalltwyd digofaint Duw ar fyd euog, yr iaith a arferid ydoedd, "Ffenestri y nefoedd a agorwyd." Beth gan hyny a all yr ymadrodd olygu yma ond y byddai i Dduw, o anrhydedd iddo Ef, i'r Hwn y mae ei enaid yn foddlawn, dywallt dylif o fendithion yn ei enw? Yna, pan ddywedodd yr Iesu wrth ei ddysgyblion, "Felly yr ysgrifenwyd, ac felly yr oedd raid i Grist ddyoddef, a chyfodi o feirw y trydydd dydd, a phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef ymhlith yr holl genedloedd, gan ddechreu yn Jerusalem"—pan yr oedd miloedd o Iuddewon yn cael trugaredd o dan un bregeth, a degau o filoedd o fysg y Cenedloedd yn cyfranogi o fendithion ei angeu—a phan yr aeth efe, fel Archoffeiriad mawr ein cyffes ni, i mewn i'r sanctaidd sancteiddiolaf, ac y cysegrodd efe ffordd newydd a bywiol i sicrhâu y cymundeb agosaf rhwng Duw a'i bobl, yna yr oedd y nef yn agored.—*Andrew Fuller.*

---

IOAN xiv. 12: "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr hwn sydd yn credu ynof fi, y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd a'u gwna, a mwy na'r rhai hyn a wna efe; oblegid yr wyf fi yn myned at fy Nhad."

PA beth a olygir yma wrth "y gweithredoedd mwy?" Yr ydym yn wir yn cael fod rhai o'r apostolion, neu'r dysgyblion, yn gwneuthur gweithredoedd gwyrthiol cyffelyb i'w weithredoedd ef: iachâu cleifion, ac hyd yn nôd codi'r meirw, er nad o dan amgylchiadau mor hynod ag y gwnaethai

E

efe ei weithredoedd. Am y math yma o waith, ymha le y ceir yr adroddiad am waith mwy na gwaith Crist? Ymha le y mae hanes tebyg i'r un am gyfodi Lazarus, yr hwn oedd wedi ei gladdu er ys pedwar niwrnod, a bellach, fel y dywedai ei chwaer, yn llygru ac yn ddrwg ei sawyr? Gwnaethpwyd gweithredoedd rhyfedd gan Pedr a chan Paul, ond nid unpeth, a siarad yn gymhariaethol, i'w gystadlu â'r adgyfodiad hwnw. Ond dywed ein Harglwydd yma, y byddai i gredadyn wneuthur gweithredoedd mwy na'r rhai hyny yr oedd efe ei hun yn eu gwneuthur. Yn awr, sylwer fod y geiriau *mwy* a *llai* yn eiriau cyferbyniol neu gymhariaethol yn eu perthynas â ni; eithr gyda golwg ar Dduw, y mae pob gweithred yr un mor hawdd iddo ef. Felly lleferir am *fwy* a *llai* mewn ymddarostyngiad at ein dealltwriaeth ni. Un o egwyddorion mawrion dysgeidiaeth Crist ydyw, fod pob peth a berthyn i'r enaid anfarwol o fwy gwerth na'r hyn a berthyna i'r corff marwol. "Pa lesâd i ddyn," medd Crist, "os ennill efe yr holl fyd," yr hyn a ddygai fantais fawr i'r corff, "a cholli ei enaid ei hun? neu, pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" A thrachefn: "Nac ofnwch y rhai sydd yn lladd y corff, ac wedi hyny heb ganddynt ddim mwy i'w wneuthur; ond rhagddangosaf i chwi pwy a ofnwch: Ofnwch yr Hwn, wedi y darffo iddo ladd, sydd âg awdurdod ganddo i fwrw i uffern." Yn hyn y mae yn ffaith nodedig ynglŷn â gweinidogaeth yr Iachawdwr, na hynodwyd mo honi er achubiaeth eneidiau lawer. Byw yr oedd yr Arglwydd Iesu i gyfoethogi a sicrhâu yr efengyl yn ei Berson a'i waith, yn fwy nag i'w phregethu. Byw a marw i ddwyn allan yr efengyl yr oedd efe, fel y pregethid hi yn effeithiol ar ol hyny gan ei weision. Y gweithredoedd mwyaf oll ar wyneb y ddaear yw achubiaethau eneidiau dynion. Y mae cadw un ysbryd anfarwol yn beth pwysicach a gwerthfawrocach na gwneuthur a chynnal cyfanfyd materol; a bod yn offerynol er cadwedigaeth yr enaid yw y gwaith mwyaf y gellir codi dyn i'w wneuthur. Ac yr oedd hyny i'w ddwyn ymlaen mewn helaethder ar ol i Grist fyned at y Tad, am mai yn ganlynol yr anfonid yr Ysbryd Glân; a gweinidogaeth yr Ysbryd oedd y weinidogaeth i argyhoeddi'r byd ac i ddychwelyd y llaweroedd i'r ffydd.
—*Dr. Hugh Macneile.*

---

# Barddoniaeth.

## "GWISGWCH AM DANOCH YR ARGLWYDD IESU GRIST."

MAE gan y byd ei wisgoedd drud
  I foddio 'i feilchion o bob rhyw,
Ei borphor a'i ysgarlad gwych,
  Ei aur a'i berlog emau gwiw;
Ond dengmil gwisgoedd Solomon,
Holl wag ogoniant daear gron,
Diflanant oll wrth Iesu Grist
Yn hardd fantellu enaid trist.

"Gwisgwch am danoch Iesu Grist:"
  Yn mhorphor wisg ei waedlyd Iawn
Ymguddiwn: rhown rinweddau 'i oes
  Am danom yn ddysgleirdeb llawn:
Bendithion ei gyfryngdod ef—
Prif ardderchogrwydd nef y nef—
Yw 'r gemwaith aur wna 'r dua 'i liw
Yn harddach nag angylion Duw.

"Gwisgwch am danoch Iesu Grist:"
  Cyfanwisg wych ddiwnïad yw,
Y wisg dragwyddol ei pharhâd—
  Emanuel yn ddyn a Duw!
Profedig wisg: gwrthsefyll bu
Holl fellt a chenllysg uffern ddu
Ar groes Calfaria un prydnawn:
Diogel yw ei chysgod llawn.

Gwisg ddrudfawr prynedigaeth dyn
  Bwrcaswyd dan y goron ddrain,
I wisgo 'r noeth â bonedd pur
  Breninol deulu 'r lliain main:
Tylodi a llygredd wrthi yw
Mwngloddiau Ophir a Pheru,
Ond dyfais ddofn trugaredd hael
A'i rhydd yn rhad i'r euog gwael.

Gwisg oreu 'r Tad i wisgo ei fab
  Afradlawn pan y dêl i'w dŷ;
Unweddwisg* y frawdoliaeth fawr
  Wahanir gan yr afon ddu:
Gwisg y briodas hardd yw hi,
Gwisg yr ystafell wledd a'r bri;
Gwae a ymddengys byth ger bron
Y Brenin heb ymwisgo 'n hon!

Hon gynt fu 'n rhoi agoriad drws
  Y nef i Abel fore 'r byd,
Ac ynddi gwelir myrdd ar fyrdd
  O'r anial yn dyrchafu o hyd
Dros yr Iorddonen ddig ei threm
I eurog byrth Jerusalem:
Tyr'd tithau ymlaen, O enaid trist,
I gysgod haeddiant Iesu Grist.

GLAN ALAW.

*Millom,*
*Cumberland.*

---

## DIWRNOD GYDA'R IESU.

DIWRNOD gyda 'r Iesu,
  Mor hyfryd i ni yw!

---

* *Uniform.*

Sef dydd o gymdeithasu
  Ein hunain gyda 'n Duw:
Boed berw 'r byd tu allan
  A'i holl drafferthion blin,—
Mynydyn gyda 'n Ceidwad,
  Mwy melus yw na gwin.

Diwrnod gyda 'r Iesu
  Y fath ddrychfeddwl gwiw!
O holl ddiwrnodiau bywyd
  Y dymunolaf yw;
Ac O mor ddedwydd ydyw
  Yr hwn sy 'n treulio 'i oes
Yn nghwmni ei Waredwr
  Fu farw ar y groes!

Diwrnod gyda 'r Iesu,
  Sy 'n llawer gwell na mil
O ddyddiau heb ei gwmni
  I bawb o'r dduwiol hil:
Un adlewyrchiad newydd
  O gariad Crist sy 'n troi
Pob gofid yn llawenydd,
  A gyr ddrwg ofn i ffoi.

Diwrnod gyda 'r Iesu,—
  Mae Ef yn well na brawd;
Er treulio oes o bechu
  A phorthi chwantau cnawd,
Un fflachiad bach o'i lygaid,
  Un wên o'i siriol wedd,
Un gair o'i Ddwyfol enau
  A dry ein gwae yn hedd.

Diwrnod gyda 'r Iesu
  Yw perl hawddgaraf byd,
Ac nis gall golud daear
  Bwrcasu perl mor ddrud:
Er dued y tywyllwch
  Yn toi ein bywyd sydd,
Ber enyd gyda 'r Iesu
  A'i try yn oleu ddydd.

Diwrnod gyda 'r Iesu
  Mae 'n syniad llawn o swyn
Gael teimlo presennoldeb
  Un drengodd er ein mwyn;
Ac os yw un diwrnod
  Mor werthfawr gydag Ef,
Pa beth fydd tragwyddoldeb
  O'i gwmni yn y nef?

EVAN JONES.

*Gaerwen.*

---

# Y Wasg.

COFIANT CALEDFRYN, *wedi ei ysgrifenu ganddo ei hun. Dan olygiaeth* SCORPION; *ynghyda Nodiadau arno gan rai o Wŷr blaenaf yr Oes.*

Bala: argraffwyd a chyhoeddwyd gan H. Evans.

PRIN yr ydym ni yn hoffi yr enw Caledfryn, heb ddim arall, ar y wyneb-ddalen, er mor hysbys oedd y cyfryw enw barddonol yn Nghymru; a llawer llai yr ydym yn hoffi y ffugenw *Scorpion* wrtho ei hun am y gweinidog oedd yn golygu y llyfr hwn; ac nid y chwaeth oreu yn ein tyb ni yw yr ymadrodd, "gan rai o wŷr blaenaf yr oes." Ond bydded y pethau hyn fel y byddont, mae y gyfrol yn un wir ddyddorus, fel y gallesid dysgwyl, ac yn portreiadu ei gwrthddrych gyda phob cywirdeb ac eglurdeb.

Y mae Caledfryn yn adrodd ei holl hanes yn y trydydd person; a gwelir yn ebrwydd nas gallasai neb ond efe ei hun fod yr awdwr. Am dano fel beirniad ar farddoniaeth yn y mesurau caethion, dywed y Parch. Robert Thomas *(Ap Fychan)*, wedi ei ganmawl fel "beirniad craff a deallus," "Y prif prif beth a fyddai yn ein hanfoddloni yn ei feirniadaethau ef ydoedd, y llymder a'r toster dianghenrhaid, yn ein bryd ni, oedd weithiau yn rhedeg trwyddynt. Gwnaethai ei sylwadau beirniadol fwy o wir les pe buasai 'mwyneidd-dra doethineb' yn amlycach ynddynt." Ac y mae y llymder a'r toster, a'r diffyg o fwyneidd-dra doethineb, yn rhy amlwg drwy yr holl ymgofiant. Y mae efe, yn wir, yn dywedyd ar y dechre mai un o blant y siomedigaethau ydoedd o gychwyniad ei ddyddiau, ac iddo gael ei ran yn helaeth o honynt yn ystod ei yrfa; a thebygol ydyw fod hyny yn achos o'r olwg lymdost a gymer ar gynifer o bethau a phersonau yn ei hanes. Adrodda am y "siomedigaethau:"—

"Fe gollodd ei ran o'r wobr ugain punt am ei *Awdl ar Ymweliad Siôr IV*. Benthyciodd arian traethawd a ennillodd i fasnachwr anghenus; a chostiodd iddo gymeryd y swm yn fân ddognau, ac mewn hen nwyddau oedd wedi sefyll. Golygodd y *Sylwedydd*, cyhoeddiad misol, heb gael dim ond y golled oddiwrtho. Golygodd y *Seren Ogleddol* heb daliad erioed, a chyn hyny *Tywysog Cymru*. Golygodd *Gylchgrawn Rhyddid* am ddim. Golygodd yr *Amaethydd* heb gael un rhan o bedair o'r tâl a ddylasai gael. Golygodd y *Gwron* am bedair blynedd, a chollodd drwy hyny dros saith bunt a deugain. Ni dderbyniodd ond pum' punt yn lle deg am feirniadu yn Eisteddfod Porthmadog; a chollodd ddeg punt am na fuasai y cyfansoddiadau yn dyfod allan. Aeth yn feichiau dros un am ddeg punt ar hugain, a thros un arall am ddeuddeg punt, a gorfu dalu. Ni dderbyniodd ddim am feirniadu yn Llangollen; ond costiodd iddo dalu am gludo sypynau o'i logell ei hun. Yr oedd dyn yn Nghaernarfon yn ei ddyled o ddeg punt a deugain; addawai dalu ymhen dwy flynedd, ond yr oedd ei amgylchiadau wedi eu chwalu, ac yntau wedi marw, cyn i'r ddwy flynedd ddyfod i ben. Ni chafodd

ffyrling erioed am ddadleu achos y Gymdeithas Genadol gartref nac oddicartref, nac am barotoi yr adroddiad lleol bob blwyddyn tra y bu yn Nghaernarfon. Cerddodd i gyfarfodydd trwy bob tywydd, heb gael unrhyw gydnabyddiaeth am flynyddau; a chadwodd geffyl am flynyddau at wasanaeth eraill heb gael digon o dâl erioed am bedolau. Cyflwynodd holl arian ei briod, yr hyn oedd yn gannoedd lawer, at wasanaeth crefydd; ac ni chafodd neb erioed i gydymdeimlo âg ef, ond ystyriai amryw 'yn fraint iddo gael gwneuthur hyny!'"

Y mae braidd yn syn fod gŵr mor graff âg efe heb ddysgu doethineb oddiwrth y cylchgyhoeddiadau y cymerai efe eu golygiaeth. Wedi colli gyda'r cyntaf, a'r ail, ac ymlaen hyd y pummed, gallesid dysgwyl iddo aros ar hyny heb fyned i gyfarfod y golled chwanegol gyda'r chweched. Ond dyna yr hanes a esyd efe ger ein bron. Pa fodd bynag, yr oedd efe yn ymgysuro yn ei onestrwydd fel un achlysur o'i anghysuron:—

"Y mae yn wir y gallasai efe, fel llawer eraill, fyned drwy y byd yn esmwythach pe caniatasai ei gydwybod iddo ddyweyd yr un ffordd â phob dyn, a pheidio gwrthwynebu neb, neu pe buasai yn tori iddo ei hun lwybr i rodio mewn cyfrwysdra, a thrin gair Duw yn dwyllodrus; ond yr oedd yn well ganddo ef anturio y môr mawr gyda'i lestr na llechu oddeutu y glànau, neu chwilio am y ffordd fwyaf didrafferth i fyned drwy y byd; canys yr oedd efe yn ceisio meddwl yn ddifrifol mai nid yn y byd yma yn unig yr ydym i fyw, ond fod byd ar ol hwn; ac yr oedd efe am gael ymateb cydwybod dda ger bron Duw a dynion. Colledodd ei hun o gannoedd, os nid miloedd o bunnau, drwy ei fod yn rhy onest i redeg gyda'r llïaws, nac i gymeryd ei arwain gan y llïaws. Gwelodd mai y rhai a ddywedent yr un ffordd â phawb a gawsant fwyaf o elw; ond ffieiddiai ef yr egwyddor hon."

Dygwyd Mr. Williams i fyny gyda'r Methodistiaid Calfinaidd yn Ninbych, a chan y rhai y derbyniwyd ef yn gyflawn aelod eglwysig pan yn lled ieuanc. Dysgwylid cryn lawer oddiwrtho fel gŵr ieuanc gwybodus a dawnus; a bu yr ysgrifenydd, pan yn fachgenyn, yn ei ddosbarth yn y sêdd fawr yn nghapel Dinbych am oddeutu pum' mis o amser; ac yr oedd yn un o'i ysgoleigion y Sabboth olaf y bu efe yn Fethodist, a'r nos Lun canlynol yr oedd yn ymgynnyg am aelodaeth gyda'r Annibynwyr. Yr oedd yn athraw rhagorol, yn fedrus mewn darllenyddiaeth, ac yn y modd mwyaf naturiol yn arwain ei ddosbarth i ddeall yr Ysgrythyr Lân. Dywed y Cofiant,

"Yr oedd efe yn cael pob annogaeth i fyned rhagddo gan ei frodyr y Trefnyddion; a phe arosasai gyda hwynt, cawsai ei annog i ddechre llefaru. Yr oedd yn cael mwy o annogaeth ganddynt na nemawr o'i gyfoedion i arfer ei ddoniau yn gyhoeddus; ond rywfodd nid oedd efe yn gallu cyd-dynu yn dda â rhai o'r blaenoriaid, y rhai oeddynt yn dra eiddigeddus wrtho am ei fod yn ormod mewn sylw; ond yr oedd rhai o honynt yn gyfeillion calon iddo, megys Thomas Foulkes, David Edwards, a John Roberts y cantor. * * * Bu ar daith yn 1822 yn dechre yr oedfäon i lefarwr; a mynai rhai gael dodi ei achos i lawr fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Ond teimlai ef gryn wrthwynebiad yn ei feddwl i drefn y Cyfarfod Misol. Nid oedd efe yn gallu gweled y priodoldeb i ddynion dyeithr ymyraeth âg amgylchiadau yr eglwysi; yr oedd arno eisieu i bob eglwys drafod ei materion ei hunan. Ac nid oedd ei waith yn dyweyd hyn wrth ei gyfoedion, ac yn barnu ymddygiadau rhai o'r blaenoriaid mwyaf taiog a chyndyn, yn gymeradwy iawn."

Gallasai ddywedyd iddo ysgrifenu rhai pethau chwerwon iawn am un hen flaenor yn neillduol, ac i un o'i gymdeithion droi yn dyst yn ei erbyn, a mynegu i'r blaenor hwnw rywbeth o bwys am dano; ac nid un hynod am ei ledneisrwydd a'i garueiddwch oedd y cyfryw flaenor. Yr ydym yn cofio y gŵr hwnw yn galw Caledfryn oddiwrth ei ddosbarth yn yr ysgol ar y Sabbath crybwylledig, er mwyn, fel y tybygid, ei argyhoeddi a'i ddwrdio, gan ei rybuddio y trinid ei achos yn y cwrdd eglwysig nesaf. Ond erbyn hyny, yr oedd efe, fel y nodwyd, wedi myned ymaith at enwad arall. Yr oedd hyn, fel y dywed ef ei hun, yn y gwanwyn, 1826. Yn y lle hwn, canfyddir fod y prif-fardd Hiraethog, er yn un a hynodir am gywirdeb yn gystal a dyddordeb ei gofion, wedi syrthio i amryfusedd lled amlwg. Medd efe,

"Dygwyddodd i mi fyned i Ddinbych ar yr 17eg o Awst, 1825. Yr oedd y newydd am farwolaeth Ebenezer Morris wedi cyrhaedd y dref y dydd hwnw, ac yn cyffroi galar dwys yn mynwesau llawer yno. Yr oedd Caledfryn ieuanc i bregethu yn nghapel Lôn Swan yr hwyr hwnw. Arosais innau i'w wrando; a hono oedd y waith gyntaf i mi ei glywed yn pregethu. Ei destun oedd, 'Edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd yn llefaru.' Gwnaeth gyfeiriad cyffrous at y llefarwr mawr y daethai y newydd am ei farwolaeth i Ddinbych y diwrnod hwnw, a'r golled fawr a gawsai Cymru drwy yr amgylchiad. Yr oedd efe yn edmygydd mawr o E. Morris."

Yma mae yn rhaid fod ein hen gyfaill, Dr. W. Rees, rywfodd, wedi gwneuthur camsyniad drwy nodi fel un amgylchiad ddau ddygwyddiad gwahanol. Gan mai yn ngwanwyn 1826 yr ymunodd Mr. Williams â'r Annibynwyr, ac nad oedd efe yn pregethu cyn hyny, nac ar ol hyny cyn pen amryw fisoedd, nid ydym yn gallu gweled pa fodd

y gallasai efe fod yn pregethu yn nghapel yr Annibynwyr yn mis Awst, 1825. Dylasai golygydd y llyfr gadw ei lygaid yn agored fel ag i beidio gollwng i mewn yr amryfusedd amseryddol hwn.

Neillduwyd Caledfryn yn weinidog ar eglwys yr Annibynwyr yn Llanerchymedd, Mehefin, 1829; ac yn Ionawr, 1832, efe a symudodd i gymeryd gofal yr eglwys Annibynol yn Nghaernarfon. Yno, ymhen ychydig flynyddau, bu raid cael addoldŷ newydd i gynnwys y gwrandäwyr, a chafodd hwnw ei lanw; ac yn fuan ar ol agoriad y capel newydd, yr hyn a fu ar Nadolig, 1838, torodd allan ddiwygiad yno, nes yr ychwanegwyd mewn un flwyddyn ddau cant at yr aelodau. Ond nid oedd yno ormod o gysur i'r gweinidog.

"Trwy anesmwythder dynion aflonydd, oedd yn ffaelu gweled eu hunain yn cael digon o le a dyrchafiad, gorfu iddo ddiarddel haid o derfysgwyr, y rhai, drwy annogaeth rhywrai twyllodrus oeddynt yn dra eiddigeddus wrth ei boblogrwydd a'i ddylanwad yn y dref ac yn y sîr, a adeiladasant iddynt eu hunain synagog. Ond profodd pethau yn fuan nad oedd gan y dref na'r wlad oddiamgylch ddim cydymdeimlad â hwynt; a throes y blaenoriaid yn y terfysg allan yn rhai na feddent ddim hawl ar gydymdeimlad neb o'u cydnabyddiaeth."

Yr oedd hefyd yn Nghaernarfon "dri chenllif cryfion yn gweithio yn ei erbyn am flynyddau oddiar ragfarn a chulni," nid amgen "y Trefnyddion, Torïaeth, a Thitotaliaeth." Nis gallwn yn bresennol roddi lle i'w sylwadau ar y tair T anferth yna, er y buasai hyny yn ddifyr i'n därllenwyr; ond cyfeiriwn hwy at y cofiant ei hun am hyn. Ond nid enwad y Methodistiaid yn unig oedd yn ei boeni; canys yn ei eglwys ei hun, "yr oedd amryw o'r aelodau yn dewis cael eu parchu yn ol eu sefyllfäoedd tu allan i'r capel, ac yn eu hystyried eu hunain uwchlaw y bobl gyffredin; ond yr oeddynt yn eithaf boddlawn i fod ar yr un tir a'u brodyr tlodion pan yn talu ceiniog yn yr wythnos at gynnal y weinidogaeth. Dywedir mai ceiniog oedd un dyn dan enw swyddog yn ei rhoddi pan fyddai gartref, ac na thalai ddim am yr amser y byddai yn absennol, er y dygwyddai hyny fod ambell waith am ddau neu dri mis; canys yr oedd y dyn hwnw dan enw marsiandwr. Yr oedd gwŷr Caernarfon yn rhai enwog am ymladd â'u gweinidogion; yr oeddynt fel pe buasent wedi eu gyru â'r anian hono ynddynt,

'With teeth in their heads to bite mankind,'

neu fel y dywedir am ryw fath o gŵn, yr oeddynt wedi cael blas ar waed; ond ffaelodd y rhai mwyaf ystrywddrwg o honynt ei gael ef dan eu traed."

Yn "sŵn y rhyfel" yr oedd Caledfryn drwy yr holl flynyddoedd y bu byw yn mhen tref Arfon; ac ymysg y gelynion, yr oedd y "titotaliaid gwallgof yn malu ewyn mewn cynddaredd, am na buasai efe yn plygu i'r eilun, ac yn parchu y goleuni newydd oedd wedi disgyn o'r nef!" Ond ei elynion penaf, fel yr ymddengys, oedd tylwyth ei dŷ ei hun.

"Bu yn nawdd ac yn amddiffyn i lawer bachgenyn, ac i eraill mewn oed, gyda golwg ar y weinidogaeth, gan fod yn help i'w rhoddi mewn bywioliaethau parchus; ond ni chafodd ond yr anghof a'r anniolchgarwch mwyaf oer oddiwrth amryw o honynt, ïe, terfynodd ymddygiad rhai yn ymyl y fradwriaeth fwyaf ysgeler."

Er y cyfan, cadwyd cyfarfod yn Nghaernarfon i gyflwyno tysteb iddo ar ei ymadawiad oddiyno i gapel Cymreig Aldersgate, Llundain. Nid arosodd ond prin ddwy flynedd yn y brifddinas, ac efe a symudodd i Lanrwst.

"Y mae yn beth i'w ryfeddu na ddygwyddodd i'w ran ef erioed gael eglwys flodeuog dan ei llwyddiant; ond yr oedd yr achos wedi cael ei faeddu yn Llanerchymedd, ac yn Nghaernarfon, ac nid oedd yn llewyrchus yn Llundain, ac yr oedd o dan y dŵr yn Llanrwst. Nid oedd ganddo ond bwrw ei fara ar wyneb y dyfroedd yma, ac ni wnaeth yr eglwys hon mwy nag eglwys Llundain yr hyn a addawsant iddo."

Felly efe a ymadawodd â Llanrwst, ac a fu am beth amser "yn tori bara yn eglwys Beulah gerllaw Bangor." Yr oedd efe wedi cael galwad o hen eglwys enwog y Groes Wen yn y Deheudir pan yr oedd yn Nghaernarfon; ac yn awr adnewyddwyd yr alwad oddiyno, yr hon oedd yn alwad unfrydol; ac yno yr aeth efe, lle y treuliodd yr un mlynedd ar ddeg olaf o'i oes, ac y bu yn offerynol i fawr gynnyddu yr eglwys a'r gynnulleidfa. Ond ni chafodd yno ychwaith ei nef ar y ddaear; ac, ymysg eraill, yr oedd yn cael gweinidogion eiddigeddus yn arfer dylanwadau yn ei erbyn, a rhai yn ymyraeth â materion rhai eraill:—

"Pan ddelai trwy y Deheudir ar ei dro, nid oedd neb a gaffai fwy o barch a derbyniad nag a gawsai ef. Yr oedd pob un yn awyddus am ei gael i'w gymydogaeth. Ond pan ddaeth i'r Groes Wen i aros, edrychai mân weinidogion, ac ambell un canolig yn y gymydogaeth, gyda chryn eiddigedd arno. Prin ar y cyntaf y gwahoddid ef i'w cyfarfodydd; ond daeth yn fuan dro ar bethau, canys mynai y bobl ei gael i bregethu; a gorfu i aml weinidog oedd can gased ato ag oedd Haman at Mordecai, ei wahodd, yn groes i'w ewyllys, i gyfarfodydd rhag ofn y

bobl. * * * Yr oedd efe yn berffaith foddlawn ar ei hanes ei hun; ond yr oedd yn adnabod rhai yn y weinidogaeth oeddynt fel swyddfa newyddiadurol am wybod hanes pob dyn a phob man. Yr oeddynt yn meddu math o adroddwyr *(reporters)* ymhob cymydogaeth. Gwyddai y cyfryw hanes y dref lle yr oedd ef yn preswylio yn well nag y gwyddai ef ei hun o lawer. Bu efe yn derbyn newyddion am bethau oedd yn symud yn yr un dref âg ef o eneuau y cyfryw."

Ond dyma ein dyfyniadau wedi cymeryd gormod o le; a rhaid i ni aros ar hyn hyd ein rhifyn nesaf. Yn y cyfamser, ni a feddyliem fod yn yr hyn a roddasom yma ger bron ein darllenwyr ddigon i godi awydd ynddynt am weled a meddu'r llyfr. Ynddo hwy a gânt Caledfryn, yr oll o Caledfryn, a dim ond Caledfryn.

---

PREGETHAU, DARLITHIAU, A THRAETHODAU *gan y Parch.* ROWLAND HUGHES, *gweinidog gyda'r Wesleyaid. Wedi ei olygu, yn nghyda darlith ar ei fywyd a'i athrylith, gan y Parch.* J. HUGH EVANS.

Caernarfon: H. Humphreys.

UN o bregethwyr enwocaf y Wesleyaid yn Nghymru—un o'u "tri blaenaf"—oedd y diweddar Rowland Hughes, yr hwn a fu farw pan yn ymddangos yn nghanol ei ddyddiau, ac yn nghanol ei waith, yn 50 mlwydd oed. Y Parch. J. Hugh Evans, yr hwn, gyda llaw, sydd erbyn hyn yn fardd cadeiriol, yn gystal â darlithydd ac efengylydd nid anenwog, yn ei ddarlith, a ddengys fod Mr. Hughes yn "ŵr mawr a thywysog yn Israel." Fel gŵr mawr, noda fod ganddo feddwl mawr a chalon fawr: meddwl yn meddu ar fawredd galluoedd, ac ar fawredd ystôr gwybodaeth o'i fewn,—a chalon fawr, sef ffynnonell ddofn a chyfoethog o haelfrydedd yn ganolbwnc y cymeriad, ac yn egwyddor y gweithredoedd a'r ymddygiadau. Ac am dano fel tywysog, dywed Mr. Evans,

"Neillduolion cymeriad tywysog yw nerth, awdurdod, ac urddas: nerth ynddo, awdurdod ganddo, ac urddas arno. A dyma yn arbenig oedd prif nodweddau ein harwr. Nid ydym yn dyweyd na fu ac nad oes bregethwyr mwy sylweddol, tanllyd, a theimladol, ïe, a llwyddiannus; ond yr ydym yn meiddio dyweyd na safodd mewn pulpud erioed bregethwr mwy tywysogaidd. * * Perthyn i'r angylion, ac nid i'r anifeiliaid, oedd yn gweini o gylch gorseddfainc yr efengyl, yr oedd efe. Tra yr oedd ganddo elfenau naturiol gwerthfawr, ei arbenigrwydd oedd y *polish* yr ydoedd wedi allu effeithio ar y cyfryw. Yr oedd y peth a ddywedai yn dda; ond yr oedd y deheuigrwydd celfyddydol â pha un y dywedai'r peth yn well—o leiaf yn annhraethol fwy anghyffredin. Fel mai nid teyrnasu fel y fellten wrth ei thanbeidrwydd, neu y corwynt wrth ei rym, neu y mynydd wrth ei bwysau, yr ydoedd, ond teyrnasu fel tywysog—rhywbeth yn fwy urddasol, yn fwy awdurodol yn ei wedd, yn fwy treiddiol yn ei lais—yn fwy arianaidd yn ei fwa, yn fwy ebedlym yn ei saeth, yn fwy cywrain yn ei nôd, yn fwy uchelwaed yn ei laddedigion, ac yn fwy brigog yn nydd y goresgyniad, na neb o'r rhai oedd megys yn milwrio gydag ef."

Cyfododd o sefyllfa iselradd, heb gael ond ychydig ysgol ac amaethiad meddyliol mewn mebyd ac ieuenctid; ond natur a gras a'i cyfoethogodd âg adnoddau lawer; ac efe a ddechreuodd bregethu pan yn 17 mlwydd oed; ac yn fuan cymerwyd ef i mewn i'r weinidogaeth deithiol Wesleyaidd. Bu yn llafurio o bryd i bryd mewn amryw gylchdeithiau yn Neheudir a Gogledd Cymru, ac yn Liverpool a Manchester. Yn ei gystudd diweddaf, yr oedd yn mwynhâu "tangnefedd gan gredu," ac yn sicrhâu, "Mae y *nuggets* gymaint yn y glyn ag ydynt mewn un lle yn y *diggings.*" Ac ar ddydd Nadolig, chwe' diwrnod cyn ei ymadawiad, pryd yr oedd ei deulu galarus o'i amgylch, gwaeddodd, "Diolch! diolch! diolch! *'tis all right—the Lord is with me!*" Bu farw yn Ninbych, Rhagfyr 31, 1861.

Mae yn ymddangos y cafodd y golygydd lawer o drafferth gyda'r pregethau cyhoeddedig yn y gyfrol hon, i'w dwyn i'r wedd a welir arnynt. Rhyw un neu ddwy o honynt a ysgrifenasid yn orphenedig gan Mr. Hughes; dim ond ychydig *outlines*, a gair neu ddau o ddechre brawddegau nad allasai neb ond efe eu cwblhâu, a geid gan mwyaf o'i bregethau yn ei bapyrau. Cafwyd help gan rai cyfeillion oedd wedi cymeryd cofnodau ysgrifenedig o rai o'i bregethau wrth eu gwrando; a thrwy lawer o egni y llwyddwyd i'w cyhoeddi fel y maent. Dichon y gall y darllenydd feddwl am ambell bregeth a ddarllena yma, ei bod o ran ei chynllun a'i phethau yn lled gyffredin; ond cymered amynedd i'w darllen eilwaith ac eilchwyl, ac efe a'i caiff yn gwella bob tro, ac ond odid na chyfrifa cyn y diwedd ei fod wedi cael ysglyfaeth lawer. Peth a allesid ddysgwyl yn mhregethau gweinidog Wesleyaidd ydoedd, cyfarfod â syniadau heb fod yn gymeradwy gan Galfiniad; ond ychydig yw y rhai hyny yn y llyfr hwn. Mae tôn a dull y weinidogaeth gyda'r Wesleyaid yn y dyddiau hyn yn dra gwahanol i'r eiddo yr oes ddadleugar o'r blaen, megys y mae hefyd gydag enwadau eraill. Mae

y pregethau ger ein bron yn rhoddi yr arbenigrwydd ar "y pethau a gredir yn ddiammheu yn ein plith" yn gyffredinol.

Ceir yma hefyd dair darlith werthfawr ar y materion "Y Deyrnas Gyfryngol—Rhagluniaeth Ddwyfol—a'r Dylif a Daeareg," a thraethodau ar "Y Cyfansoddiad Wesleyaidd, a'r Ysgol Sabbothol." Achlysurwyd y traethawd cyntaf gan y terfysg a achlysurwyd gan y *Fly-sheets*, a throad allan Everett, Dunn, a Griffiths o'r cyfundeb. Ac er nas gallwn synio yr un fath a'r awdwr am ragoriaeth ffurf eglwysig y Wesleyaid, yr ydym yma yn gweled pa beth sydd gan Wesleyad i'w ddywedyd drosto ei hun, tra y ceir hefyd amryw o attegion cryfion y drefn Henaduriaethol. Ar y cyfan, yr ydym yn ddibetrus yn arganmawl y llyfr hwn fel un a wna les i benau a chalonau ei ddarllenwyr. Terfynwn gyda therfyniad ei draethawd ar y Cyfansoddiad Wesleyaidd:

"Tra yr ydym fel gwahanol enwadau crefyddol yn gwahaniaethu mewn rhai pethau, ac heb neb o honom mwy na'n gilydd, mae yn debyg, yn barod i broffesu anffaeledigrwydd, ystyriwn mai ein doethineb yw rhodio mewn cariad, cadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd, a gweddïo dros ein gilydd am arweiniad i bob gwirionedd, a maddeuant o bob diffyg, fel y gwnaeth y Parch. John Evans o New Inn un tro wrth fedyddio, pan ddywedodd, 'Arglwydd, os ydwyf fi yn arfer rhy fychan o ddwfr, maddeu i mi; ac os yw fy mrodyr yn arfer gormod, maddeu iddynt hwythau hefyd.' Beth bynag fyddo ein hoffder yn y gwahanol drefniadau eglwysig, gofalwn rhag anghofio nac esgeuluso ein crefydd bersonol un amser. A pha mor fynych bynag yr awn bawb o amgylch ei Sïon, gan rifo ei thyrau, edrych ar ei phalasau, ac ystyried ei rhagfuriau, gofalwn am fyned i mewn i ddirgelfa y babell. Ymestynwn at y breintiau mawrion a lliosog hyny na fwynheir byth trwy ymwneyd yn unig â phethau allanol crefydd. Ymdrechwn am gymhwysder llawnach beunydd i fyned i mewn i'r wlad ddedwydd hono y bydd ei holl breswylwyr byth yn un, heb neb yn tynu yn groes, ond oll yn uno i ddyrchafu clodydd y Gŵr, 'o'r hwn yr enwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear.' 'Iddo Ef y byddo y gogoniant yn yr eglwys dros yr holl genedlaethau hyd yn oes oesoedd. Amen.'"

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA CONWY,

TACHWEDD 27, 28, A 29, 1877.

*(Parhâd o tu dalen 26.)*

DYDD IAU, TACHWEDD 29AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am ½ awr wedi 8 y boreu.*

CYNNYGIWYD gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan y Parch. W. James, B.A.,—Fod cydymdeimlad y Gymdeithasfa yn cael ei amlygu tuag at Eglwys Beaumaris, yn wyneb y colledion y maent wedi eu cael yn ddiweddar trwy farwolaeth dau weinidog a blaenor defnyddiol, ynghyda symudiadau brodyr defnyddiol i leoedd eraill i fyw.

Aed ymlaen i ymdrin â'r mater athrawiaethol—"*Cyfiawnhâd trwy ffydd.*" Sylwyd fel y canlyn: Yr amlygiad o drefn Duw i gyfiawnhâu sydd yn gwneyd yr efengyl yn "efengyl ein hiachawdwriaeth;" ni buasai ein hiachawdwriaeth yn bosibl oni buasai hyn. Dyma oedd yn gwneyd Paul i deimlo yn ddigywilydd: "Canys nid oes arnaf gywilydd o efengyl Crist, oblegid gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu; i'r Iuddew yn gyntaf, a hefyd i'r Groegwr. Canys ynddi hi y dadguddir cyfiawnder Duw o ffydd i ffydd; megys y mae yn ysgrifenedig, Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd." Dyma waelod ein hiachawdwriaeth; y mae y cwbl yn gorwedd ar hyn—cyfiawnhâu y pechadur, ac yna rhoddir pobpeth iddo i'w gymhwyso i dragywyddol ogoniant.

Y mae argyhoeddiad dwfn o'n trueni fel pechaduriaid—teimlad dwfn o'n heuogrwydd, yn anghenrheidiol i dderbyn ac hyd yn nôd i ddirnad y drefn hon. Nid meddwl cryf, ond y dyn wedi dyfod i'w adnabod ei hun, ydyw y parotöad blaenaf i ddeall y mater hwn. Dywedai Dr. Priestley ei fod yn methu gweled ei hun yn bechadur mor fawr ag yr oedd y Bibl yn desgrifio; nid oedd wedi gweled gwrthuni pechod, nac anghen am y drefn i gyfiawnhâu: felly o fod yn Galfiniad aeth yn Sosiniad. Cyfiawnhâd sydd yn newid *cyflwr* y pechadur, yn ei ryddhâu oddiwrth euogrwydd pechod—oddiwrth y rwymedigaeth i dragywyddol gosb—yn ei *acquittio:* "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Y mae eisieu deall hyn, rhag dyrysu a chymysgu pethau, fel y Pabyddion yn gwneyd cyfiawnhâd yr un peth ag ailenedigaeth. Nid cynnyrchu egwyddor sanctaidd yw cyfiawnhâu, ond newid cyflwr y pechadur yn ei berthynas â gorsedd a chyfraith Duw. Cynnwysa hyn nid yn unig faddeuant pechodau, ond codi y person i ffafr Duw, a rhoddi teitl iddo i fywyd tragywyddol: "Am hyny gan ein bod

wedi ein cyfiawnhâu trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa trwy ffydd i'r gras hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ac yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw."

Fe allai ein bod yn rhy dueddol i gymeryd brig y pren yn lle y gwreiddyn. Cyfyngir yr ymdriniaethau yn ein Cyfarfodydd Misol fe allai yn ormodol at faterion felly: "Na chydymffurfiwch â'r byd hwn"—"Bydded eich ymarweddiad yn onest, &c." Y mae y pethau yna, bid siwr, yn bwysig; ond dylem gofio fod rhywbeth o flaen hynyna. Ni bydd nemawr rym yn yr annogaethau ymarferol, heb fyned at egwyddorion trefn mawr ein hiachawdwriaeth—anfoniad Mab Duw a'i waith. Y peth cyntaf yw *galw:* "Y rhai a alwodd efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhäodd efe." Cynnwysa hyn argyhoeddi; Ysbryd yr Arglwydd yn dangos i'r pechadur ei gyflwr colledig, ac yntau yn marw i bob gobaith byth ynddo ei hunan. Dyma y mynyd mawr. Y mae moment yn hanes pob dyn duwiol pan y mae yn cael ei gyfiawnhâu: moment y credu, yr aileni, y myned trwodd o farwolaeth i fywyd. Gweithred ydyw cyfiawnhâu o eiddo Duw y Tad yn bersonol tuag at bechadur, yn cyfrif—yn estyn cyfiawnder ei Fab o'i blaid. Pan y sonir am gyfiawnhâu cyn credu, y mae hyny i gau allan bob ymffrost oddiwrth ddyn: y mae y gorfoledd yn cael ei gau allan yn gwbl o'r drefn hon. Nid am fod y pechadur yn estyn ei law y mae Duw yn estyn y cyfiawnder. Na: o Dduw y mae ein hiachawdwriaeth yn dechreu; "Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhâu." Ni buasai yr un pechadur yn estyn ei law oni buasai fod Duw yn estyn yn gyntaf—yn anfon ei Ysbryd i ddangos y golledigaeth a'r drefn i gadw. Dyma foment ein hachub—Duw y Tad yn edrych arnom yn nheilyngdod y Mab; y foment yna yr ydym yn ddynion cadwedig; Duw yn rhoddi holl haeddiant marwolaeth y Cyfryngwr o'n plaid, yn eiddo i ni: "*Duw* yw yr hwn sydd yn cyfiawnhâu," ac o'i *ras* y mae yn gwneyd: "A hwy wedi eu cyfiawnhâu yn rhad trwy ei ras ef." Y mae y cyfiawnder hwn i'w dderbyn trwy ffydd. Nid ffydd yw yr haeddiant: y mae yr holl haeddiant (fel y dengys Dr. Edwards) yn Mherson Crist; ac y mae ei Berson Ef yn yr oll ag ydyw yn dyfod yn eiddo i'r pechadur trwy gredu. Y mae maddeuant yn hawdd bellach; y mae y cwbl yn hawdd: "Pa wedd gydag ef hefyd na ddyry Efe i ni bob peth?" Wedi symud y condemniad a'n gwneyd yn gyfiawnder Duw ynddo Ef, "mwy o lawer y'n hachubir trwy ei fywyd ef." Gobeithio fod y foment hono wedi pasio arnom ninnau. Y ffordd i wybod a ydym wedi credu o ddifrif, ydyw ein bod wedi bod yn credu lawer gwaith ar ol hyny. Wedi i Dafydd bechu trwy rifo y bobl, ac i bla y nodau ladd deng mil a thriugain o wŷr, dywedodd yr Arglwydd wrth yr angel dinystriol am attal ei law. Yna cyfododd Dafydd allor i'r Arglwydd, yn ol gorchymyn Gad, yn llawrdyrnu Arafnah y Jebusiad; oblegid "yr Arglwydd a gymododd â'r wlad, a'r pla a attaliwyd oddiwrth Israel." Nid oedd Dafydd wedi bod yn addoli o'r blaen yn y lle hwnw, ond bu yno lawer gwaith ar ol hyny. Felly lle yr aeth yn gymmod â Duw, y mae y pechadur yn cyrchu lawer gwaith i'r lle hwnw.

Gallwn weled gwirionedd yr athrawiaeth hon trwy ddwy ffordd; un ydyw trwy ein hadnabod ein hunain, a'r llall trwy wybod y Bibl. Y mae y ddwy ffordd yn sicr: y mae y Bibl yn feddwl Duw, ac y mae ein hymwybyddiaeth ninnau yn gyfryw nas gallwn ei ammheu. Y mae yr athrawiaeth hon yn y Bibl, ac yn gyson â'r athrawiaethau eraill a ddysgir ynddo. Yr un gwrthddadleuon ag a ddygir yn erbyn athrawiaeth y cyfrifiad a ddygir yn erbyn yr athrawiaethau eraill. Ond y mae y gwirionedd am Dduw yn sail i athrawiaet y cyfiawnhâd. Y mae Duw yn Frenin; y mae ganddo orsedd i lywodraethu, a gorseddfainc i farnu. Gwelir hyn trwy yr holl Fibl: y mae Duw yn llywodraethu, ac y mae yn sicr o farnu. A chan ei fod wedi dadguddio ei ddeddf, yn ol hono y barna: "yr hwn sydd yn barnu yn ol gweithred pob un." Y mae profiad yn dyweyd mai felly y *rhaid* iddo wneyd. Dyna y syniad am lywodraeth—"barnu yn ol *gweithred* pob un:" nid yn ol dialedd, nid yn ol gwendid teimlad, ond yn ol cyfiawnder. Dyna y syniad gore am lywodraeth—nad all hi ddim cau ei llygad ar drosedd o'i deddf. Un o' pethau rhyfeddaf yw euogrwydd. Ni gellir ei olchi. Er golchi y dyn, y ma hwna yn bod; fel yr Ethiop. Er idd ddiwygio, y mae yn euog. Y meddwyn er ei fod yn awr yn sobr, y mae yn rhai iddo fyned i'r carchar. Felly y lleidr; nid yw yn awr yn lladrata, ond y mae y gyfraith yn ymaflyd ynddo am y trosedd a gyflawnodd. Fel yna y mae rhywbeth yn oes pob dyn; y mae o'i blegid hyd y dydd hwn yn euog. Y mae y dyn wed hen edifarhâu, wedi hen ddiwygio; ond teimla yn awr yn euog, yn gondemniedig. Nid yw euogrwydd i'w sylweddoli ymlaen llaw i'r weithred ddrwg. Yr oedd Cain yn meddwl y byddai pobpeth yn hwylus iddo ond unwaith gael gwared o'i frawd. Nid oedd yn gallu cael blaenbrawf o'r

teimlad o euogrwydd. Ond y fynyd gyntaf *ar ol* cyflawni y weithred, dyna y llygad yn cael ei agor, euogrwydd yn ei sylweddoli ei hunan yn y gydwybod, nes y gwaeddai "Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu," neu, "Mwy yw fy nghosbedigaeth nag y gallaf ei goddef." Felly ein rhieni cyntaf; ar ol pechu yr agorwyd eu llygaid i'r hyn a wnaethant. Felly Judas, wedi cyflawni y weithred ofnadwy, yr oedd y teimlad o euogrwydd yn peri nas gallai fyw. Nis gellir gweled euogrwydd fel *pwnc* ymlaen llaw. Gwybodaeth da a *drwg* yw ei gynnwys. Pa fodd i symud yr euogrwydd? Nid oes ond un ffordd—yr un a ddadguddir yn yr efengyl, cyfiawnhâd pechadur trwy ffydd yn nghyfiawnder Crist.

Un ffordd i wybod fod y cyfnewidiad mawr hwn wedi cymeryd lle arnom ydyw, medru edrych ar Dduw, a theimlo tuag ato fel Tad, ac nid fel Brenin digllawn: "y mae genym heddwch tuag at Dduw trwy ein Harglwydd Iesu Grist;" ofni digio Tad, traethu y cwbl wrth ein Tad.

Nid oes dim mwy pwysig i bechadur na gwybod ei fod wedi dianc. Y mae dynion am ddianc hyd yn nod o'r carchar. Nis gallwn wneyd hyny yma: "I ba le y ffoaf o'th wydd?" A yw yn bosibl i un sydd wedi pechu, wedi tori cyfraith y mae yn wybod—a all hwnw ddianc? Yma y mae gwerth yr efengyl yn dyfod i'r golwg. Y mae hi yn dwyn iachawdwriaeth, yn yr hon, er i'r gyfraith gael ei thori, y mae y troseddwr yn dianc—cyfiawnder yn cael boddlonrwydd hollol, a'r pechadur yn dianc yn wyneb y cyfiawnder. Y mae y Bibl yn trin llawer ar y pwnc hwn mewn gwedd nacäol, i gyfarfod â'r Eglwys Iuddewig a'r byd Cenedlig; dengys yn bur bendant mai trwy weithredoedd y ddeddf na chyfiawnhëir un cnawd yn ei olwg ef. Ceisia rhai ddyweyd mai y ddeddf seremonïol a'r enwaediad a feddylir yma. Ond nid yw hyny yn gyson â'r cyd-destun a holl ymresymiad yr Apostol. Y mae yn amlwg mai y ddeddf hon yw y ddeddf ag y mae y Cenedloedd yn dangos ei gweithred yn ysgrifenedig yn eu calonau, y ddeddf ag y mae adnabod pechod trwyddi, y ddeddf ag y mae yr holl Genedloedd yn gystal a'r Iuddewon wedi ei thori, y ddeddf sydd yn wan trwy y cnawd (tra y mae holl nerth y llall yn ngwendid y cnawd). Nis gellir ein cyfiawnhâu yn ngwyneb hon hyd yn nôd trwy ein rhinweddau goreu. Y mae yr holl fyd dan farn Duw. Ni wna ufudd-dod yn y dyfodol ddim iawn am a aeth heibio; yn enwedig i ddeddf sydd yn gofyn y cwbl, o lewyrchiad cyntaf rheswm hyd byth. Pa fodd y deuwn i fyny yn wyneb y fath ddeddf? Nid oes yn bosibl trwy weithredoedd.

Y mae yr ateb yn glir yn yr efengyl: y mae pechadur yn cael ei gyfiawnhâu "trwy y prynedigaeth"—"trwy ras"—"trwy ffydd"—a "thrwy weithredoedd" hefyd, ac nid trwy ffydd yn unig. Y mae cysondeb perffaith yn hyn—dwy ochr i'r un gwirionedd. Yn y prynedigaeth y mae defnydd a sail y cyfiawnder. Nid oes gan y troseddwr ddim ei hunan; ac nid yw y Barnwr yn cyfrif yr anwir yn gyfiawn. Rhaid fod rhyw reswm am fod y dyn yna a dorodd y gyfraith yn cael ei ryddhâu. Y mae y rheswm hwn yn y prynedigaeth, yr haeddiant sydd yn Nghrist; trwy hwn y mae y troseddwr yn "dianc byth gan ei Farnwr." Y mae hynyna yn amlwg "trwy ras:" Duw a osododd ei Fab yn Iawn. "Trwy ffydd" hefyd. Ffydd ydyw yr hyn sydd yn cysylltu y pechadur â'r Iawn. Trwy ffydd y mae y noeth yn dyfod i afael â'r wisg, y tlawd i feddiant o'r anchwiliadwy olud. Ffydd ydyw y ddolen sydd yn cysylltu pechadur â holl gynnwys yr iachawdwriaeth: nid am fod ffydd yn gyfiawnder, onidê byddai yr un dyn yn fwy cyfiawn ar wahanol amserau na'r lleill, ac na dyn arall. Ond cyfiawnhâu *trwy* ffydd, nid am fod gwerth haeddiannol mewn ffydd—*moral quality* fel y sonia rhai—ond am fod ffydd yn dwyn yr enaid allan o hono ei hunan i bwyso yn gwbl ar Grist. Nis meddwn ni ddim yn ddefnydd y cyfiawnder; y mae hyd yn nôd ddagrau edifeirwch i fod dan draed. Arferai yr hen bregethwr John Thomas, Llanberis, ddywedyd fod y cristion yn gwisgo tair *coat*—un ddu wrth orsedd gras, un wèn wrth orsedd barn, ac un goch o flaen y byd. Bydded ein bod ninnau yn gwisgo y tair; ac yn ein bywyd cyffredin yn "harddu athrawiaeth Duw ein Hachubwr ymhob peth."

Rhoddodd y Parch. J. R. (A.) ddarluniad bywiog, ar ddiwedd y cyfarfod hwn, o'r dull y byddai y diweddar Barch. Christmas Evans yn desgrifio yr Arglwydd Iesu yn gwneyd cyfiawnder i'r saint—"y wlanen yn y gwehydd er tragywyddoldeb, yn cael ei gweithio yn araf yn ei fywyd, ond erbyn tri o'r gloch prydnawn y dydd y bu farw, efe a waeddodd *Gorphenwyd!* y wisg berffaith wedi ei gorphen, y 'llïan main, gwŷn a glân, yr hwn yw cyfiawnder y saint.'"

G. PARRY, *Ysgrifenydd.*

---

CYFLWYNIAD TYSTEB YN VICTORIA, AUSTRALIA.

*At Olygydd y* DRYSORFA.

SYR,—Erfyniaf ar i chwi ganiatâu gofod yn eich TRYSORFA i roddi hanes cyflwyn-

iad tysteb i un y mae Cymry Victoria yn dewis ei anrhydeddu, sef y Parch. Robert T. Roberts, gynt o'r Tainant, Rhosllanerchrugog, yn perthyn i ddosbarth Cyfarfod Misol Sir Fflint. Y mae tuag ugain mlynedd o amser er y pryd yr ymfudodd Mr. Roberts o Gymru i'r Drefedigaeth hon. Yn fuan wedi ei ddyfodiad yma, darfu i gywirdeb diammheuol ei grefydd, eglurder ei olygiadau ysgrythyrol, ynghyd a gwerthfawredd ei brofiad fel cristion, ennill sylw yr eglwys Fethodistaidd yr ymunodd â hi, yn gymaint nes peri iddi ei gymhell i bregethu â'i dafod yr efengyl, yr hon a bregethai eisoes mor effeithiol yn ei fywyd. Ac ymhen ychydig wedi hyny, ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth; a byth er yr amser hwnw, y mae wedi bod yn teithio "gan ddysgu ac efengylu gair yr Arglwydd ymhob dinas," a thref o ran hyny, yn Victoria. Ac y mae wedi ennill iddo ei hun safle uchel ac ansigledig yn serchiadau ei gydwladwyr; yn gymaint felly, fel nas gallent aros yn hŵy heb roddi prawf amlwg o'u cariad a'u hedmygedd. Er dwyn hyn i weithrediad, darfu i ychydig o oreuon y genedl yn y parthau pellenig hyn yru tanysgrifresi ar draws y wlad; ac ar y cyntaf o Hydref, 1877, cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn nghapel y Methodistiaid Calfinaidd yn Eaglehawk, Sandhurst, i gyflwyno yr hyn a gasglwyd. Llywyddid y cyfarfod gan y Parch. D. W. Jones o Stawell, gynt o'r America, yr hwn a roddodd araeth ragorol, yn gosod allan werth Mr. Roberts fel cristion a phregethwr. Dywedai fod pobpeth yn cydgyfarfod yn ei frawd parchedig ag sydd yn gwneyd i fyny gristion da, a phregethwr defnyddiol, a'i fod, yn ei farn ef, yn gwir deilyngu yr anrhydedd o gael ei alw yn Robert Dda. Wedi cael amryw o areithiau i'r un perwyl, galwodd Mr. Jones ar Miss Thomas, merch y Trysorydd, i gyflwyno y pyrsaid o benaduron; ac ar Mr. Pascoe, yr Ysgrifenydd, i ddarllen yr anerchiad a ganlyn:—

I'r Parch. Robert T. Roberts,

Barchedig ac anwyl Syr,—Dros Gymry Victoria, y mae genym yr anrhydedd o gyflwyno hyn o anerch i chwi, gyda bwriad ar iddi fod yn dystiolaeth arosol o'r gwerth a'r bri a osodir arnoch fel cristion gwir, a phregethwr difrifol, ac ar eich llafur diflino yn ystod y deunaw mlynedd yr ydych wedi bod yn was cyhoeddus i Grist yn ein plith, ac yn gweini i ddaioni penaf eich cydwladwyr. Awdurdodir ni hefyd i goffa gyda diolch am y zel a'r dyfalwch sydd wedi nodweddu eich holl ymdrechion i ddwyn dynion at y Gwaredwr, ac am y llwyddiant sydd wedi dilyn eich cyhoeddiad syml o'r gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, ond yn benaf oll am y cydgordiad hapus sydd wedi bod rhwng eich bywyd duwiol â chynnwys eich cenadwri, dylanwad yr hwn gydgordiad sydd wedi bod yn foddion i symbylu y rhai crediniol o honom i geisio byw yn deilwng o'r alwedigaeth nefol, ac i argyhoeddi y rhai digred fod crefydd Crist yn meddu ar nerth a phrydferthwch Dwyfol. Ond, tra y gwnawn ddiolch i Dduw am y gras a roddwyd i chwi, yr ydym am wireddu ein cymeradwyaeth o'ch cymeriad a'ch llafur trwy eich anrhegu â phyrsaid o benaduron. Bydded i chwi gan hyny dderbyn y pwrs cydfynedol, a'i gyfrif yn arwydd eiddil o'n cariad atoch fel cristion gloew, a chenad ffyddlawn dros Grist, ac yn nôd o'n teyrngarwch i'r Duw yr ydych yn ei wasanaethu. Wrth derfynu, dymunem eich cyflwyno chwi a'ch teulu i ofal yr Hwn a fedr eich diwallu â thrugaredd, a rhoddi i chwi etifeddiaeth anllygredig a thragywyddol.—Ydym yn y rhwymau goreu,

DAVID THOMAS, *Trysorydd.*
WILLIAM PASCOE, *Ysgrifenydd.*

Wedi i Mr. Roberts dalu diolch yn ei ddull effeithiol arferol, ac i'r cantorion ogleisio ein teimladau â ffrwd o gerddoriaeth, terfynodd un o'r cyfarfodydd mwyaf dyddorol a hapus ag y buom ynddo erioed.

SYLWEDYDD.

*Victoria.*

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

AR yr 16eg o Ragfyr, bu farw Mr. William Hall, Lambeith, gerllaw Penfro, yn 77 mlwydd oed. Mab ydoedd i'r diweddar Mr. Hall o Popton, yr hwn a ymunasai â'r Methodistiaid yn fore, ac er ei fod yn Sais hollol, a elai yn flynyddol i'r hen Gymdeithasfäoedd yn Llangeitho a lleoedd eraill. Dylem ddyweyd mai ffermdŷ yw Popton ar lân y Milford Haven o'r tu dehau iddi, lle y cynnelid pregethu rheolaidd ymhell cyn codi y capel yn Wallaston. Hefyd danfonodd Mr. Hall ei ddau fab, William a James, i'r ysgol yn Nghaerfarchell er mwyn iddynt gael cyfle i ddysgu Cymraeg, fel y gallent fynychu y cynnulliadau crefyddol, yr hyn a lwyddasant i'w wneuthur yn dda iawn. Ymsefydlodd Mr. William Hall yn ieuanc mewn ffermdŷ cyfagos o'r enw Lambeith, ac etholwyd ef yn fuan yn flaenor yn Wallaston, lle y parhäodd yn ffyddlawn. Yr oedd Lambeith bob amser yn un o'r manau mwyaf dymunol i drigiannu ac i lettŷa; a gellid dyweyd fod Mr. Hall yn gristion yn gyntaf ac yna yn ffermwr. Cadwai grefydd deuluaidd yn uchel ei bri; ac nid oes ammheuaeth fod amryw o'i wasanaethddynion o bryd i bryd wedi cael crefydd trwy ei weddïau ef ar yr aelwyd. Ac yr oedd yn hynod ymhlith ei gymydogion fel esiampl o burdeb ymarweddiad

ar bob math o achlysuron. Fel y dywedai hen gymydog iddo, ni chlywyd gair gan neb erioed yn annheilwng am dano. Yr oedd iddo air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun.

Bore dydd Mercher yr 2il o Ionawr, ymadawodd â'r fuchedd hon y blaenor hybarch a galluog, Mr. Hugh Harries, Cefnydre, Abergwaun, yn 84 mlwydd oed. Yr oedd Mr. Harries yn dra adnabyddus drwy'r Deheudir; ac nid oedd ei enw yn anhysbys yn y Gogledd. Bu am rai blynyddau yn gadben llong; ond yr oedd wedi "rhoi'r goreu i'r môr" er ys amser maith, ac ymsefydlu fel ffermwr yn ei ardal enedigol; ac yr oedd er ys blynyddau bellach wedi ymgodi i fod yn un o'r dynion mwyaf cyfrifol yn y Sîr. Yn yr etholiad Seneddol diweddar, efe ydoedd y *nominator*. Yr oedd yn ŵr o gynneddfau naturiol cryfion, ac o synwyr cyffredin mawr. Ac yr oedd yn meddu deall da yn ngwirioneddau'r Bibl, ac nid oedd neb yn gallu mwynhâu pregeth dda yn well. Ac, fel y mae yn wybyddus i lawer, yr oedd yn Fethodist trwyadl, a gwnaeth nid ychydig o wasanaeth i'r achos mawr. Efe ydoedd trysorydd Athrofa Trefecca hyd nes y penodwyd ei nai ychydig flynyddoedd yn ol. Byr fu ei gystudd yntau, fel eiddo Mr. Hall, ac y mae symudiad y ddau frawd parchus ac anwyl hyn wedi creu bwlch mawr yn nghylch y flaenoriaeth yn Sir Benfro.

Gwnaethpwyd defnydd helaeth o ddydd Nadolig eleni eto i gynnal cyfarfodydd pregethu a chyfarfodydd llênyddol. Pregethwyd yn Aberaeron gan y Parchn. D. Saunders, Abertawe; J. F. Jones, B.A., Machynlleth; a T. Thomas (America); yn Llanddewibrefi gan y Parchn. G. Parry, Aberystwyth, a John M. Jones, Caerdydd; yn Cwmystwyth gan y Parchn. John Evans, Abermeurig, W. Evans, M.A., Aberystwyth, a Thomas Edwards, gweinidog y lle; yn Pontmorlais, Merthyr, gan y Parchn. O. Owens, Liverpool, J. Cynddylan Jones, a R. Jones, Treherbert; yn Cwmgïedd, Ystradgynlais, gan y Parchn. T. James, M.A., Llanelli, D. Pritchard, Aberdulais, a L. Jones (A), Tŷ'nycoed; yn Cilycwm gan y Parchn. W. Prytherch, Nantcaredig, a Thomas Edwards, Rhymni; yn Twyn Carno, Rhymni, gan y Parchn. D. Williams, Liverpool, a D. James, Llaneurwg; ac yn Tredegar gan y Parch. M. D. Jones, Casllwchwr. Cynnaliwyd cyfarfodydd neillduol mewn cysylltiad â'r Ysgol Sabbothol i adrodd pwnc a chystadlu am wobrau yn Rock Mynwy, Llanymddyfri, Roath, Caerdydd, Talyllychau, Sir Gaerfyrddin, ac yn Woodstock, lle y traddodwyd darlith gan y Parch. J. D. Symmons, Abergwaun, ar Fahometaniaeth.

Fel yn ddiau y mae yn hysbys i lawer o'n darllenwyr, llwyddodd ein cydwladwr ieuanc, Mr. David Jenkins, Trecastell, Sir Frycheiniog, i ennill y gradd o Mus. Bac. *(Bachelor of Music)* yn yr arholiad diweddar yn Mhrifysgol Caergrawnt. Efe mewn cerddoriaeth yw yr ysgolaig graddoledig cyntaf perthynol i'r Cyfundeb; ac y mae yn llawen genym ddeall ei fod yn Fethodist aiddgar, yn llawn gwaith, ac yn awyddus i wasanaethu ei gydgenedl ymhob modd yn y cysylltiad cerddorol. Mae yn gantor melus, yn arweinydd medrus, ac yn gyfansoddwr galluog. Mae ei Sîr enedigol wedi dechreu gwneuthur defnydd o hono trwy drefnu nifer o gymanfäoedd canu cynnulleidfäol i'w harwain ganddo. Efe bellach, yn ddiammheu, yw y gŵr i lanw lle y diweddar Ieuan Gwyllt. Hyfryd hefyd genym ydyw gallu ychwanegu yn y cysylltiad hwn fod Mr. Edwin Williams, o'r *Collegiate School*, Caerau Park, Casnewydd ar Wysg, wedi graddio yn M.A. yn Rhydychain.

Agorwyd capel newydd Bwlchyllan, gerllaw Aberaeron, ar y 26 a'r 27ain o Ragfyr. Aethpwyd i draul o tua mil o bunnau i godi'r adeilad hwn a'r tŷ capel cysylltiedig. Ac y mae yn glod mawr i'r eglwys a'r gynnulleidfa yn y lle, eu bod wedi agor eu haddoldŷ newydd yn agos os nad yn gwbl ddiddyled. Mae hon yn engraifft deg (canys nid yw Bwlchgwyn y lle cryfaf) o'r hyn y gall eglwysi Sir Aberteifi ei gyflawni ond iddynt ymgymeryd yn galonog âg unrhyw waith a roddir iddynt. Y mae eglwys y Tabernacl, Aberystwyth, yn ddystaw bach, heb yn wybod ymron iddi ei hun, wedi cyfranu rhwng £300 a £400 yn ystod y flwyddyn ddiweddaf tuag at ddileu ei dyled.

Nos Lun, yr 31ain o Ragfyr, cynnaliwyd cyfarfod tra dyddorol yn Pentyrch, Morganwg, dan lywyddiaeth Mr. David Evans, Caerdydd, pryd y cyflwynwyd pwrs yn cynnwys £24 i'r Parch. H. Jones, M.A., ar ei ymadawiad i Hoylake, Sir Gaerlleon, fel arwydd o ewyllys da yr eglwys yn y lle a chyfeillion y dosbarth tuag ato; a chafwyd anerchiadau effeithiol gan y Parchn. T. Rees, Ffynontaf, a J. M. Jones, Caerdydd, a Mr. David Morgan, Canton.

Bu farw dydd Sadwrn cyn y Nadolig y pregethwr ieuanc Mr. Morgan Rowland, Llangeitho. Bu yn Nhrefecca am ddau dymmor, ac am un flwyddyn yn Aberystwyth. Yr oedd yn ŵr ieuanc rhagorol ymhob modd. Teimlid mewn awyrgylch grefyddol bob amser yn ei bresennoldeb.

Efe oedd y cyntaf o'i deulu i ymuno â chrefydd, ac ar unwaith cododd allor deuluaidd. Fel efrydydd yr oedd yn hynod ymroddgar, ac yr oedd yn addaw bod yn bregethwr da a defnyddiol. Ond yr oedd ei gyfansoddiad corfforol yn wan. Wrth farw dywedai, "Bendith y nefoedd arnoch. *Farewell!*" Diau y ceir crybwyllion helaeth am y diweddar Barch. D. Davies, Tanygroes, mewn rhifyn dyfodol.

Y mae yn mwriad yr eglwys yn Treorci, Dyffryn Rhondda, i gychwyn achos Seisonig yn yr ardal boblog hono; ac y maent hefyd wedi cael caniatâd i adeiladu ysgoldŷ yn mhen uchaf y lle. Yr ydys bellach wedi penderfynu cynnal ymlaen yr achosion yn Roath Caerdydd, a Phenarth, yn yr iaith Saesoneg.

Mae yr eglwys yn Broadmead, Bristol, wedi rhoddi gwahoddiad unfrydol i'r Parch. Ezekiel Thomas, Morganwg, fyned yno i'w bugeilio. Ac y mae y priodoldeb o werthu yr hen gapel hanesyddol yn y ddinas hono unwaith eto dan ystyriaeth.

Y mae ysgoldŷ newydd wedi ei adeiladu yn nghefn capel Parkfield, Birkenhead, yn mesur 20 wrth 11 llath, gydag *ante-room, lavatory, boiler-room*, a *coke-room*. Mae y cyfeillion yno wedi cyfranu yn anrhydeddus at yr adeilad, mewn arian ac mewn dodrefn a gwahanol nwyddau; ac nid yn hir, tybygir, y bydd yr holl ddyled heb ei llwyr ddileu. Y mae yr aelodau eglwysig yn y lle yn rhifo dros bedwar cant.

Y cyfeillion Cymreig yn Millom, Cumberland, yn ddiweddar, a gyflwynasant anrheg o oriawr ysblenydd, gwerth deuddeg punt, i'w gweinidog, Mr. Richard Jones *(Glan Alaw)*, yr hwn sydd yn llafurio yno er ys agos i ddwy flynedd. Yn nghyfarfod y cyflwyniad, llywyddwyd gan y Capten W. Morgan, y porthladdfeistr, a'r cyflwyniad ei hun a wnaed, yn y modd gweddusaf, gan Mrs. Morgan, *Sea View*. Cynnorthwywyd gan lïaws o gyfeillion trwy anerchiadau a chaniadau.

Llywyddion Cyfarfod Misol Sir Ddinbych am y chwe' mis cyntaf o'r flwyddyn hon ydynt y Parch. J. Ogwen Jones, B.A., a Mr. W. Jones, Pen y parc, Llanelidan; ac yn Nghyfarfod Misol Sir Fflint, Mr. Owen Williams, Bodffari, a'r Parch. John Pugh, B.A., Treffynnon; pob un i wasanaethu am dri mis.

Coffäwyd yn barchus a theimladol yn Nghyfarfod Misol Sir Fflint am farwolaeth Mr. W. Davies, Wern, Mostyn, un o flaenoriaid yr eglwys yn Rhewl Mostyn. Yr oedd yn gristion cywir, llednais, a gwir foneddigaidd. Wedi bod yn ngwasanaeth Arglwydd Mostyn a'i deulu am dros hanner can' mlynedd, a llawer o'r blynyddoedd hyny yn oruchwyliwr dylanwadol, ceid ef yn wastad yn ffyddlawn ac yn ddifalch, yn cael ei anrhydeddu gan deulu Mostyn, a'i ganmawl gan bawb. Bu farw gan dystiolaethu, "Mi a wn i bwy y credais; ac y mae yn ddiammheu genyf ei fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw."

Yn y cyfarfod blynyddol ynglŷn â'r eglwys a'r gynnulleidfa Gymreig yn Dublin, prifddinas Iwerddon, a gynnaliwyd dydd Nadolig diweddaf, cyflwynwyd anerchiad serchog, destlus, ynghyda phwrs yn cynnwys tuag £20, i'r Parch. Edward Jones, ar ei ymadawiad i'r Felinheli, ar ol deuddeng mlynedd o lafur ffyddlawn gyda'r Cymry yn Nulyn. Cymerid y gadair gan Mr. J. H. Parry o Athrofa'r Bala; darllenwyd yr anerchiad gan Mr. Davies y diacon, a chyflwynwyd y pwrs gan Mrs. Davies. Yr oedd y pwrs o wneuthuriad cywrain Miss Owen, South Frederick Street. O herwydd colli Mr. Jones, mae yr eglwys yn Dublin wedi rhoddi galwad i'r Parch. John Robert Jones, Penycaerau, Lleyn, i ymsefydlu yno fel gweinidog; a chadarnhäwyd yr alwad gan Gyfarfod Misol Môn; a hysbysir fod Mr. J. R. Jones wedi arwyddo ei gydsyniad â'r alwad.

Etholwyd y Parch. Richard Williams, Gosen, i fod yn llywydd Cyfarfod Misol Môn am y chwe' mis cyntaf o'r flwyddyn hon; a phenderfynwyd fod y Parch. John Williams, Llanerchymedd, i barhâu am ddwy flynedd yn ei swydd fel ysgrifenydd.

Yn niwedd mis Rhagfyr, agorwyd capel Seisonig Machynlleth, yr hwn sydd yn sefyll mewn lle canolog a chyfleus yn y dref. Hen dafarn oedd y fan unwaith; ond boneddiges sydd yn hysbys fel un yn "llawn o weithredoedd da ac o elusenau" a brynodd y lle am bum' cant o bunnoedd, tuag at ei gael yn addoldŷ efengylaidd. Costiodd yr adeilad yn unig dros £1300, ac nid oes yn aros o ddyled ond rhwng tri a phedwar cant o bunnoedd. Wrth y pen dwyreiniol iddo y mae ysgoldŷ cyfleus. Y cynllunydd a'r adeiladydd yw Mr. D. Owen, Ivy House, Machynlleth; a chyfrifir y capel yn un o'r rhai mwyaf hapus y gellir eistedd ynddo. Gweinyddwyd ar yr agoriad gan y Parchn. W. Williams o Abertawe, W. Evans, M.A., o Aberystwyth. a D. Ll. Jones, M.A., o Landinam. Defnyddiwyd y cyfarfod prydnawnol i groesawu y Parch. David Jones, yn ddiweddar o Adwy'r Clawdd, fel gweinidog yr eglwys Seisonig; y Parch. J. Foulkes Jones, B.A., yn llywyddu.

Yn Nghyfarfod Misol Sir Fflint, a gynnaliwyd yn Rhosesmor yn niwedd Rhagfyr, derbyniwyd cymaint a phedwar ar hugain o flaenoriaid, y rhai a ddewisasid gan ddeg o eglwysi.

Mae y Parch. Dr. Llugwy Owen wedi symud o'r Acrfair i drigiannu yn Nghonwy. Amlygid teimlad o golled ar ei ol yn Nghyfarfod Misol Sir Fflint.

Yn chwanegol at y capel prydferth a wnaeth Arglwydd Newborough yn Ynys Enlli, dywedir fod y pendefig hybarch yn bwriadu eto wneuthur tŷ i'r gweinidog yno.

Y diweddar Mr. Owen Jones, un o flaenoriaid yr eglwys yn Rhuddlan, a adawodd at wasanaeth yr achos yn Rhuddlan, £20; at y fugeiliaeth yn Sir Ddinbych, £15; at y Genadaeth Dramor, £10; at y Genadaeth Gartrefol, £10; at y Fibl Gymdeithas, £20; at y Brifysgol yn Aberystwyth, £10; at Goleg Athrawol Bangor, £10; ac at Drysorfa Gynnaliaethol y Weinidogaeth, pan ddelo i weithrediad, £20. Cafwyd y symiau, nid trwy ewyllys ysgrifenedig a phrofedig, ond trwy law Mr. Samuel Jones ei frawd, yr hwn yn y modd ffyddlonaf a gyflawnodd ddymuniad ei anwyl frawd ymadawedig. Cyfarfod Misol Sir Ddinbych a gynnaliwyd yn y Rhyl, a gydnabyddodd yn barchus haelioni olaf y diacon caredig, ac yn ddiolchgar ffyddlondeb ei frawd. Dyn didrwst a diymhongar, ond pur ei galon a dyfal ei weithgarwch yn wastad, oedd Mr Owen Jones, gan gyfranu at waith yr Arglwydd ar hyd ei fywyd yn ol fel y llwyddodd Duw ef.

Amlygwyd cydymdeimlad caruaidd Cyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd â'r Parch. Robert Parry, Ffestiniog, gan ei fod yn methu dilyn y Cyfarfodydd Misol na chyflawni ei gyhoeddiadau sabbothol, o herwydd afiechyd.

Y mae Mr. Edward Jones, Dyffryn, Gorllewin Meirionydd, yn myned i weinidogaethu yn Rhydlydan, Dwyrain Meirionydd, a Mr. Evan Jones Evans o'r un lle yn myned i weinidogaethu yn Southport.

Yn Nghyfarfodydd Misol Môn, Arfon, a Gorllewin Meirionydd, pasiwyd penderfyniadau o blaid y priodoldeb i'r deyrnas hon barhâu yn anymyrgar gyda golwg ar y rhyfel presennol yn y Dwyrain, i'w hanfon i Iarll Beaconsfield.

Y Parch. W. Jones, Trawsfynydd, a Mr. Edward Griffith, Dolgellau, a etholwyd yn llywyddion Cyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd am y flwyddyn hon.

Mr. W. Lloyd Griffiths, gynt o Lanllyfni, wedi derbyn galwad unol oddiwrth eglwysi Llanfachreth, Hermon, ac Abergeirw, yn Ngorllewin Meirionydd, i'w gwasanaethu a'u llywodraethu yn yr Arglwydd, a sefydlwyd yn ffurfiol, fel y cyfryw, mewn cyfarfod a gynnaliwyd cyn diwedd mis Rhagfyr. Gan fod Hermon yn sefyll yn y canol rhwng Llanfachreth ac Abergeirw, yno y cynnaliwyd y cyfarfod sefydliad. Llywyddwyd gan Mr. E. Griffith, Springfield House, Dolgellau; a chaed anerchiadau priodol ganddo ef, a chan y Parch. R. Thomas, Llanllyfni, a Mr. D. Griffiths, Nebo, y ddau frawd anfonedig o Gyfarfod Misol Arfon, a'r Parchn. W. Jones o'r Penrhyn, R. Roberts o Ddolgellau, a J. Davies o'r Bontddu, a chafwyd gan Mr. Griffiths ei hun ychydig adroddiad o'i brofiad mewn modd tra theimladol. Pregethwyd ar y nosweithiau i gynnulleidfäoedd lliosog yn y gwahanol gapelau.

Y Parch. Edward Williams, Cynwyd, a etholwyd yn llywydd Cyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd am y chwe' mis cyntaf o'r flwyddyn hon, a'r Parch. Richard Williams, Glan'rafon, am y chwe' mis olaf; a threfnwyd i'r Parch. Evan Peters aros yn ei swydd fel ysgrifenydd am dair blynedd eto.

Mae Mrs. Williams, Ivy House, Dolgellau, wedi anrhegu genethod a bechgyn ieuengaf Ysgol Sabbothol capel Salem, oddeutu chwechugain o nifer, â llyfr bob un; y llyfrau yn gyhoeddedig gan Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, a chan Mri. Hughes, Wrexham, yn amrywio o ran prisiau o swllt i ddwy geiniog.

Y mae capel newydd Talysarn, Arfon, yn awr wedi ei orphen, yr hwn a gostiodd £2500, ac sydd yn gallu cynnwys saith cant o bersonau. Yr oedd eisoes £1200 wedi eu casglu ato gan y gynnulleidfa.

Yn nghapel Llanfwrog, Rhuthyn, ar noson yn mis Rhagfyr, cynnaliwyd cyfarfod i anrhegu Mr. Gee, Dinbych, am ei lafur ymroddgar a llwyddiannus fel holwyddorwr cyfarfodydd yr Ysgolion Sabbothol yn y dosbarth ar hyd y deugain mlynedd diweddaf. Llywyddid y cyfarfod gan y Parch. John Foulkes, Rhuthyn. Darllenodd Mr. Ezra Roberts anerchiad oedd wedi ei weithio yn y modd mwyaf gorphenedig ac addurnedig, a'i arwyddo dros y Cyfarfod Ysgolion gan William Jones, Pen y parc; Thomas Jones, Glanclwyd; David Jones, Caeglas, Llanbedr; ac Ezra Roberts, Rhuthyn; a'i gyfeirio "at Thomas Gee, Ysw., Dinbych." Yna cyflwynodd Mr. W. Jones i Mr. Gee yr anrheg neillduol, sef oriawr aur yn costio deuddeg gini. Traethodd Mr. Gee ei ddiolchgarwch gwresog i w gyfeillion am

eu teimlad caredig, gan adgofio ddarfod i'r dosbarth ei anrhegu ugain mlynedd yn ol â *teapot* a *cream-jug* arian. Ymysg pethau eraill yn ei araeth, dywedodd y bu Mr. Dale o Birmingham ychydig amser yn ol yn treulio Sabbath gydag ef yn Ninbych, pryd yr aethant i weled Ysgolion Sabbothol y dref, ac y sylwai Mr. Dale y buasai efe yn barod i roddi cymaint oll ag a feddai am gael gweled Ysgolion Birmingham yn yr un cyffelyb wedd ag Ysgolion Sabbothol Dinbych, ac hefyd y dylai Ysgolion Sabbothol Cymru, yn y ffurf ragorol sydd arnynt, fagu digon o genadon a phregethwyr i ddiwallu rhan fawr o'r byd. Gwnaed hefyd gyfarchiadau yn y cyfarfod gan y Parchn. W. Evans ac O. Evans o Rhuthyn, a M. M. Davies, Gyffylliog, a chan y Mri. D. Jones, Caeglas; Thomas Jones, Glàn clwyd; a Ioan Jones, Rhuthyn.

Y mae Capten Thomas Williams o Liverpool a Chriccieth, wedi dyfod allan, gyda'i egni nodedig ef, i godi capel Seisonig yn Nghriccieth. Y mae efe wedi casglu eisoes tua phum' cant o bunnoedd at hynyma, a chymeryd i mewn ei rodd ef ei hun o gan' punt. Gosodir y gareg sylfaen i lawr ddydd Llun y Pasc gan Richard Davies, Ysw., yr Aelod Seneddol dros Sir Fôn; a dysgwylir hefyd anerchiadau ar y pryd gan John Roberts, Ysw., Ustus Heddwch, Liverpool ac Abergele; Edward Breese, Ysw., Porthmadog; yr Henadur Lewis Lewis, Caernarfon; a'r Parch. Thomas Owen, Porthmadog. Cafwyd y tir i adeiladu'r capel gan Mr. Watkins, Marian, Criccieth; ac y mae'r Dr. Roberts, Tu hwnt i'r bwlch, Portmadoc, wedi rhoddi darn o dir cysylltiol âg ef, er mwyn cael mwy o le rhwng y capel â'r tai cyfagos.

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### Y PARCH. DAVID HUGHES, LLANENGAN.

(*Parhâd o tu dal.* 33.)

Gallwn eto sylwi, nad rhyw deimladau a feithrinwyd yn ei fynwes wedi iddo gael ei gaethiwo gan afiechyd oedd y pethau hyn; na, dyna yr egwyddorion mawrion a'i llywodraethent ar hyd ei oes. I brofi hyn, ni a ddyfynwn ychydig frawddegau yma ac acw o'i ddyddlyfr.

Ebrill 5, 1870, ysgrifenai,—

"Nertha fi i fod yn ffyddlawn hyd angeu. Mae llawer o'm cyfeillion wedi myned trwy angeu, a minnau eto heb fyned. A gaf fi fod yn ffyddlawn, ac yn ffyddlonach gyda dy waith nag yr wyf wedi bod erioed?"

Y 9fed o'r un mis ysgrifenai fel y canlyn,—

"Dechreu llyfr y Dadguddiad.—Yr argraff ar fy meddwl oedd, mawredd yr Arglwydd Iesu yn ei ddyrchafiad, a'r fath anrhydedd i minnau ydyw bod yn rhywbeth gyda yr un deyrnas ag yr oedd Ioan gyda hi yn cael y gweledigaethau rhyfedd yma; 'y saith seren,' &c. Dymuniad fy enaid ydyw cael fy nal yn yr un llaw alluog, a bod yn seren yn y llaw hono. 'A'r rhai a dröant lawer i gyfiawnder a fyddant fel ser byth ac yn dragywydd.'"

Am Rhagfyr 29ain yn yr un flwyddyn ceir y geiriau canlynol,—

"Mae fy ngweddi am ddau beth yn neillduol,—am gael bod o fwy o ddefnydd gyda gwaith yr Arglwydd o hyn i angeu,—ac hefyd pan ddaw yr ymddattodiad, i mi gael myned ato, a thrwyddo, heb ofn. Gad i mi deimlo presennoldeb yr Archoffeiriad yn ngrym y dwr."

Er cymaint oedd awydd Mr. Hughes am weithio gyda chrefydd, nid gweithio i ennill y nefoedd yr oedd,—nid gweithio am fywyd, ond gweithio oddiar fywyd. Byddai yn wastad yn ofalus yn ei ymddyddanion, ac yn ei bregethau, i ddysgu mai yr unig ffordd i gyrhaedd bywyd tragywyddol ydyw trwy gredu yn Iesu Grist. A hawdd fuasai dyfynu o'i lythyrau, ac o'i nodiadau yn ei ddyddlyfr, brofion eglur mai

"Yr aberth mawr fu ar y groes,
A'r Iawn a roes yr Iesu,"

oedd ei unig obaith yntau ei hun am fynediad i'r Gaersalem Nefol.

Gwelir weithiau mewn fferm, hwsmon yn ddyn rhagorol am weithio ei hun, yn fedrus a diddiogi, ond heb ganddo nemawr fedr i roddi eraill ar waith. Bryd arall gwelir hwsmon yn deall yn dda y ffordd i gael gan ei gydweision gyflawni eu gorchwylion, ond yn deall cystal a hyny pa fodd i'w arbed ei hun. Yr oedd Mr. Hughes yn hwsmon da yn y ddwy ystyr,—yr oedd yn weithiwr ei hun, ac yr oedd ganddo ffordd i gael gan eraill weithio hefyd. Yr ydym yn credu fod cydgyfarfyddiad yr elfenau hyn yn hanfodol i fugeiliaeth lwyddiannus. Yr oedd ein bugail ni yn nodedig am ei barodrwydd i roddi pob help a allai i bawb i fyned ymlaen ymhob cyfeiriad gyda chrefydd. Mae rhywbeth yn ddyddorol yn y ffaith mai "Gweithgarwch Crefyddol" oedd mater y bregeth olaf a gyfansoddodd ac a draddododd, yn seiliedig ar eiriau yr apostol Iago, "Am hyny i'r neb a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo."

Nodwedd arall eglur yn nghymeriad Mr. Hughes, ydoedd ei ofal am y tlawd a'r rheidus. Pan fyddai yn talu ymweliad â gwir dlodion, nid dywedyd, "Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymddigonwch, eto heb roddi iddynt anghenrheidiau y corff," y byddai ef; ond yr oedd ganddo galon a llogell yn agored i gynnorthwyo. Er nad oedd ei gyflog yn fawr mewn ardaloedd

gwledig fel Aberdaron a Llanengan, eto yr oedd yn barod bob amser yn y ddau le i gydgyfranu â gorthrymderau saint tlodion, yr hyn ydoedd "arogl peraidd, aberth cymeradwy, boddlawn gan Dduw" a dynion. Pan y dechreuwyd claddu yn mynwent capel y Bwlch, gwnaeth benderfyniad i beidio derbyn unrhyw gydnabyddiaeth am ei wasanaeth yn nghladdedigaeth neb tlawd neu gyffredin. Dywedai yn fynych fod afiechyd a marwolaeth yn dwyn i'w canlyn ddigon o gostau i deuluoedd cyffredin, heb iddynt orfod talu am ychydig wasanaeth crefyddol ddiwrnod y claddedigaeth. Hefyd yr oedd wedi tynu allan gynllun yn ei feddwl at gael gofal manylach a mwy effeithiol am y dosbarth tlotaf yn eglwys a chynnulleidfa y Bwlch. Ei gynllun ydoedd ffurfio math o "Gymdeithas Dorcas." Yr oedd pawb—meibion a merched—i gyfranu at gyllid y gymdeithas, ond yr holl wasanaeth mewn casglu ati, a chyfranu o honi, i'w ymddiried i'r chwïorydd. Yr oedd ei amcan yn ddeublyg gyda golwg ar y cynllun hwn, sef yn gyntaf a phenaf, cael rhyw ymwared i dlodion mewn cyfyngder, ac heblaw hyny cael rhyw waith neillduol i'r chwïorydd. Ond cyn iddo gael rhoddi ei gynllun mewn gweithrediad, galwyd ef i wlad nad oes neb o'i thrigolion mewn angen am ymborth na dillad y byd hwn, ond

"Oll yn eu gynau gwynion,"

a phawb yn cael eu diwallu â bara angylion, a'u lloni â gwin llysieueg sugn pomgranadau y Baradwys nefol.

Llinell arall ganmoladwy a phrydferth iawn yn nghymeriad Mr. Hughes ydoedd, ei fod yn wrandäwr da ar ei frodyr. Nid pob pregethwr da sydd yn wrandäwr da. Mae ambell i bregethwr a bregetha yn dda, ac a ddysgwylia i'r gynnulleidfa wrando yn dda, ond pan ddelo ei dro ef i wrando, bydd yn ymddangos yn waelach gwrandäwr na'r cyffredin. Ac nid oes braidd ddim yn fwy effeithiol dynu pregethwr i lawr yn ngolwg y byd na'i weled yn ddibris am wrando ar ei frodyr. Byddai Mr. Hughes bob amser yn llawen o gael cyfleusdra i wrando ar bob pregethwr, a gwrandawai yn astud a difrifol, ac nid gwrando i feirniadu y bregeth na'r pregethwr, ond gwrando i fwynhâu bendithion yr efengyl. Bob amser pan ddelai pregethwr dyeithr ar daith trwy y wlad, byddai yn sicr o dderbyniad fel angel Duw ganddo ef; o herwydd yr oedd yn annhraethol rhy fawr mewn doethineb a gras, i deimlo, chwaithach dangos, unrhyw ddifaterwch at un o weision yr Arglwydd Crist. Ac nid gwrando yn siriol ar weinidogion dyeithr mewn un capel y byddai, a chefnu mor fuan ag y gallai ar ol hyny; nage, ond eu canlyn o'r naill gapel i'r llall hyd y gallai gyrhaedd. Felly y gwnai efe yn Aberdaron, a'r un modd yn Llanengan, hyd oni ddarfu i wendid corfforol ei luddias. Yr ydym yn deall y rhoddid gwerth mawr gan bregethwyr ar y caredigrwydd a'r sirioldeb hwn o'i eiddo; a da fyddai i holl weinidogion a phregethwyr y wlad ei efelychu yn y pethau hyn.

Yr oedd yn nodedig o ddifyr ac adeiladol yn ei gymdeithas. Byddai yn llawen yn wastadol, ac nid eisteddai gwg ar ei ael un amser, ac eto ni byddai ei sirioldeb byth yn ymylu ar fod yn wamalrwydd. Yr oedd yn anmhosibl bod yn ei gymdeithas am ychydig amser heb deimlo hapusrwydd, ac ar yr un pryd teimlo fod rhyw iechyd moesol yn ymweithio allan yn a thrwy ei ymddyddanion. Yr oedd y fath swyn yn ei gyfeillach fel y byddai yn denu llawer o'i frodyr ar hyd y wlad i dori gorchymyn Solomon, yr hwn a ddywed, "Cadw dy droed allan o dŷ dy gymydog." Byddai llawer iawn yn ymweled âg ef pan yn iach; ond ar ol i'w iechyd ballu, yr oedd ei gyfeillion yn dylifo o bob rhan o'r wlad, am bymtheng milldir a mwy o amgylchedd, i edrych am dano. Iawn y gallai ddywedyd, "Bum glaf, ac ymwelsoch â mi." Yr oedd yn hoffi cymdeithas ei frodyr, a'i frodyr yn hoffi yr eiddo yntau. Gallasai yn briodol ddefnyddio geiriau Dafydd fu yn y byd o'i flaen, a dywedyd, "Cyfaill ydwyf fi i'r rhai oll a'th ofnant, ac i'r rhai a gadwant dy orchymynion." Cyn gadael y mater hwn ni a ddyfynwn ychydig eto o lythyr Mr. Roberts, Berthaur:

"Cefais Mr. Hughes bob amser yn gyfaill ffyddlawn a chywir. Pan yn aros yn Aberdaron, byddai yn ymweled â ni yma yn fynych iawn, a byddai ei gymdeithas bob amser yn adeiladol a derbyniol iawn genym, ïe yn berarogl, ac yn peri i grefydd gael meddwl yn uchel am dani. A defnyddio geiriau un brawd am dano, byddai ei gymdeithas yn un sanctaidd."

Ni byddai yn deg i ni roddi ein hysgrifell heibio heb wneyd sylw ar Mr. Hughes eto fel dirwestwr. Yr oedd yn ddirwestwr egwyddorol a thrwyadl, ac felly o'i febyd i'w fedd. Nid dirwestwr tymmoraidd ydoedd—weithiau yn areithio o blaid y gymdeithas, a phryd arall yn bradychu ei hegwyddorion. Ac nid llwyrymwrthodwr zelog yn y cyhoedd ac yfwr yn y dirgel ydoedd chwaith. Na, BOD oedd ei arwyddair gwastadol ef gyda phobpeth. Mae llawer o ddynion y byd, a rhai wedi ymwthio i swyddau eglwysig, eu harwyddair ydyw, *ymddangosiad;* nid ydynt yn gofalu am *fod* yn unrhyw beth, ond yn unig am ymddangos. Yr oedd efe yn casâu â chasineb eithaf bob ymddangosiad ffuantus: ymddangosiad o daerineb mewn gweddi, a theimlad mewn pregeth, araeth, neu anerchiad, mewn hyawdledd, gwybodaeth, neu ddoethineb; mewn ffydd, gobaith, cariad, neu unrhyw ras arall. Yr un modd gyda'r achos dirwestol, *bod* oedd ei arwyddair. Ac nid oedd ganddo y gradd lleiaf o gydymdeimlad â'r brodyr oeddynt yn unig am ffugio bod yn ddirwestwyr er mwyn cael llonydd. Yr oedd hefyd yn caru yr egwyddor ddirwestol, pa enw neu ffurf bynag a fyddai arni. Fel yr awgrymwyd, yr oedd yn ddirwestwr cywir a brwdfrydig o dan yr hen oruchwyliaeth, a phan ddaeth yr oruchwyliaeth Demlyddol i mewn, yr oedd efe ar unwaith yn barod i'w chofleidio. Aeth yr holl ffordd o Laneugan i Bwllheli i ymuno â'r gymdeithas, er mwyn parotoi ac ymgymhwyso at sylfaenu Teml yn ei gymydogaeth ei hun. Bu yn brif offeryn i sylfaenu dwy

Deml yn nghapel y Bwlch, sef un i rai mewn oed, ac un arall i'r plant; a bu y ddwy yn gweithio yn dda tra y bu ef yn gallu dilyn eu cyfarfodydd.

Yn ngwanwyn 1874, ymaflodd y darfodedigaeth yn ei gyfansoddiad, a daroganid gan rai nad allai fyw ond am ychydig fisoedd. Ac eto, ar adegau, coleddid gobeithion am ei adferiad. Yr oedd yn fawr ei awydd am gael gwella, ac ymdrechodd lawer am hyny, trwy fyned i wahanol fanau i gael newidiad awyr, a thrwy ymofyn â llawer iawn o wahanol feddygon enwog. Ond er y cwbl,

"disgyn at y dŵr
Hyd risiau brenin braw"

yr oedd o hyd, ond yn araf. Ni bu yn cadw ei wely o gwbl yn ystod y tair blynedd y bu yn wael, oddieithr am ddiwrnod yn achlysurol. Bu yn dilyn ei gyhoeddiadau Sabbothol am fisoedd trwy anhawsder mawr o herwydd diffyg nerth. O'r diwedd gorfu iddo ildio i aros gartref; ond llanwai ei Sabbothau yn y Bwlch, a dilynai y cyfarfodydd eglwysig gyda gradd helaeth o gysondeb hyd o fewn ychydig wythnosau i'r diwedd. Pregethodd ei bregeth olaf yn y Bwlch, nos Sabboth, y 10fed o Ragfyr, 1876. Yr ydym eisoes wedi nodi testun y bregeth hon o'i eiddo; a gallwn ychwanegu, ei fod yn awyddus iawn am gael ei thraddodi, am y rheswm fod sefyllfa pethau yn ein mysg yn gyfryw ag oedd yn gwneyd pregeth o'r fath yn briodol ac anghenrheidiol. Nid ydym yn meddwl ei fod yn credu ar y pryd ei fod yn rhoddi ei gynghor ymadawol i'w gynnulleidfa; ond dyna'r ffaith. Yr oedd yn wan iawn y pryd hwnw, yn gymaint felly fel y gorfu iddo fyned trwy yr holl wasanaeth oddiar ei eistedd yn y gadair freichiau yn y sedd fawr. Yr oedd ei nerth mor fychan, a'i awydd yntau am fyned i'r capel mor fawr, fel yr oedd yn rhaid cael cerbyden fechan i'w gario yno yr wythnosau diweddaf, er fod ei dŷ o fewn ychydig ugeiniau o latheni i ddrws y capel. Bu y Parch. E. Roberts, Caernarfon, yn nghapel y Bwlch yn pregethu dair noswaith yn olynol, sef y 14, 15, a'r 16eg o Chwefror diweddaf (1877); a dygwyd Mr. Hughes yno yn y cerbyd bach y noswaith gyntaf, ac yr oedd yn teimlo yn bur siriol, a'i enaid yn mwynhâu gweinidogaeth yr efengyl. Ar ol yr oedfa cludwyd ef adref; ond yr oedd ei nerth mor ychydig, a'i anadl mor fyr, fel yr ofnwyd, wedi ei gael i'r tŷ, y byddai i'r wreichionen fywiol ehedeg ymaith. Modd bynag, ymhen enyd fe ddadebrodd, a dychwelodd ei nerth a'i anadl i'w maint arferol. Ac ymhen ychydig yr oedd wedi adfeddiannu ei sirioldeb cyffredin, ac yn dechre adrodd y bregeth. Boddlonodd i aros gartref yr ail noswaith. Ond y drydedd noswaith yr oedd yn rhaid iddo gael dyfod i'r capel; a daeth, a dychwelodd gyda llawer llai o anhawsder na'r noswaith gyntaf. Ar ol myned i'r tŷ, dywedodd, "Mi gâf lawer mwy o bleser wrth adfyfyrio eto ar y bregeth ragorol yna nag a gefais wrth ei gwrando. Yr oeddwn yn methu peidio meddwl o hyd am y gorchwyl o ddyfod adref, ofn myned fel yr aethum echnos." Dyna y tro diweddaf iddo fod yn y capel. O hyny allan yr oedd yn amlwg i'r rhai a fyddent yn mynychu ymweled âg ef, ei fod yn cyflymu tua'r bedd; ond nid ymddengys ei fod ef ei hun yn synied felly yn gyffredin; na, yn hytrach gwella, byw, a gweithio, oedd yn llanw ei fryd, a dyna gyfeiriad cyffredinol ei ymddyddanion. Ac er hyny, dyferai rhai ymadroddion dros ei wefusau yn achlysurol oeddynt yn dangos y byddai ar ryw adegau yn meddwl y gallai fod amser ei ymddattodiad wedi nesâu, ac eto yn berffaith dawel a digyffro hyd yn nôd ar yr adegau hyny.

Bu allan brydnawn dydd Llun y 19eg o Fawrth, ac yr oedd ar ei draed prydnawn y dydd Mawrth canlynol hyd 10 neu 11 o'r gloch yr hwyr, a bwytäodd ei swper, ac aeth i'w wely heb iddo ef na neb oedd yn y tŷ feddwl fod angeu mor agos. Rhwng hanner nos ac un o'r gloch bore dydd Mercher yr 21ain o Fawrth, deallodd Mrs. Hughes, er ei mawr ddychryn, fod cyfnewidiad pwysig yn cymeryd lle; a chododd yn y fan, a galwodd ar ei brawd, Mr. Thomas Williams, yr hwn yn ffodus, er yn hollol ddamweiniol, a daethai i edrych am danynt y noswaith hono. Yr adeg hono, dywedodd Mr. Hughes wrth ei briod ei bod wedi myned yn rhy ddiweddar arno ef i feddwl gwella. Dau o'r gloch y bore a nodwyd, hunodd y brawd anwyl a'r gweinidog ffyddlawn hwn yn yr Iesu, pan ond newydd gyrhaedd 46 mlwydd oed. Ei eiriau diweddaf oeddynt, "Dystawa yn yr Arglwydd."

Pan y byddai ein cyfaill anwyl oddicartref ar y ddaear, byddai yn ffyddlawn iawn i ysgrifenu llythyrau atom i adrodd ei helynt— ei brofedigaethau, a'i gysuron, ac yn neillduol y caredigrwydd a dderbyniasai oddiar law ei gyfeillion. Ac ambell waith caem ganddo ddarluniad o'r lle yr arosai ynddo ar y pryd. Braidd na theimlem ar adegau ryw hiraeth yn ein meddiannu am gael llythyr eto oddiwrtho, i'n hysbysu am ei deimladau pan yn croesi yr Iorddonen, ac yn cael yr olwg gyntaf yn sylweddol ar heirdd fryniau y Ganaan Nefol, ac am y croesaw a dderbyniodd gan Lywydd a thrigolion y wlad fendigedig hono. Buasem yn caru gwybod pwy a ddaeth i'w gyfarfod at lân y dŵr. A oedd y diweddar Barch. William Hughes, a'r diweddar Mr. David Jones, a llu eraill o saint sydd yno o Lanengan, ymhlith ei groesäwyr? ac a oeddynt yn teimlo ac yn arddangos rhyw ddyddordeb neillduol yn ei fynediad i'r palas breninol, am ei fod yn dyfod o'u hen gymydogaeth hwy? Gwyddom mai ofer fyddai dysgwyl gair mwyach oddiwrtho ef yn bersonol; ond y mae genym yn ein meddiant lythyr a ysgrifenwyd gan y dysgybl anwyl drosto ef, a thros y rhai oll a hunasant yn yr Iesu, er mwyn tawelu ein meddyliau ar eu hol; a dyma y llythyr:—"Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur; a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt."

*Llanengan.* E. E.

---

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

## Y SENEDD.

PAN gyhoeddid fod y Senedd i gydymgynnull eleni rai wythnosau yn gynt nag arferol, yr oedd hyny yn peri pryder cyffredinol trwy wlad a thref, gan y credid fod prif-weinidog ein Brenines, Iarll Beaconsfield, yn un ag y byddai yn dda ganddo ryfel, ac felly yr ofnid iddo lusgo ein teyrnas i ryfel â Rwssia, ac yn blaid i'r Twrc creulawn, gormesol, dan yr esgus o ofalu am fuddiannau Prydain. Ond deallid fod y dynion goreu oedd yn aelodau o'r weinyddiaeth yn gwrthdystio yn erbyn un ymyriad o'r eiddom rhwng y pleidiau mewn rhyfel; ac erbyn hyn, y mae lleisiau uchel, nas gellir camsynio yn eu cylch, yn seinio o bob parth o'r deyrnas, i wrthdystio yn erbyn pob gweithrediad rhyfelgar o du ein llywodraeth ar hyn o bryd. Ac hyd yma y mae Beaconsfield a'i gydweinidogion yn y Senedd yn dangos mwy o'r oen nag o'r llew; a dysgwylir mai parhâd o heddwch a drefnir i ni. Ond nis gellir, ysywaeth, ymddiried yn Disraeli; eithr pa fath bynag yw ei dueddfryd ef, credwn na welir ein gwlad yn fuan wedi ei thynu i mewn i drobwll rhyfel. Duw yr heddwch a daeno yn barhâus ei aden drosom!

## Y CALEDFYD YN NEHEUDIR CYMRU.

MAE yn awr yn hysbys trwy yr holl deyrnas am y cyfyngder mawr yn Merthyr, Aberdâr, a'r cymydogaethau, ac yn yr ardaloedd gweithfäol yn Siroedd Brycheiniog a Mynwy, mewn canlyniad i'r attaliad neu'r marweidddra ynglŷn â'r gweithfäoedd glo a haiarn. Pe na byddai ond am y lliaws o blant bychain a welid ar newynu, ac yn hanner noethion, yn y tymmor gauafaidd, nis gellid cael golwg mwy gresynus a thorcalonus. Ceir cannoedd ar gannoedd o deuluoedd nad oes ganddynt ddim at dori eu newyn ond yr un pryd o *soup* a bara a estynir iddynt gan law elusen. "Mi a welais," medd un gŵr parchedig, "wŷr cryfion yn tori i lawr ac yn wylo fel plant, pan, ar ol iddynt adael eu cartrefi yn gynnar y bore, heb damaid o ymborth, i chwilio am ryw fath o waith a fuasai yn eu galluogi i ddwyn gyda hwy yn yr hwyr y bara y llefai eu plant bach am dano, yr oeddent yn gorfod dychwel adref yn aflwyddiannus, yn flinedig a chystuddiedig, heb arian, heb fara, ac ymron heb obaith." Nid oes eisieu i ni fanylu ar hyn, gan fod ein holl gyfeillion, yn ddiau, wedi darllen yr adroddiadau pruddaidd. Da genym weled, pa fodd bynag, fod calonau a dwylaw yn ymagor yn dra chyffredinol trwy Loegr a Chymru, i gynnorthwyo y trueiniaid rheidus. Mae ein cydwladwr teilwng, Henry Richard, yr aelod seneddol dros Ferthyr, wedi ac yn gwneyd llawer tuag at eu helpio, ac felly ein cydgenedl, ac eraill, yn Liverpool. Mae chwarelwyr Arfon wedi dyfod allan gydag haelfrydedd ardderchog; ac ni a welsom fod Methodistiaid Môn wedi penodi Sabboth neillduol i gasglu trwy eu holl gynnulleidfäoedd at yr achos crochlefol hwn; ac nid ydym yn ammheu na ddilynir eu hesiampl trwy yr holl Siroedd eraill.

## BASGED Y GWIREBAU.

*Y Fasgedaid Gyntaf.*

I.

YSGRIFENYDD da yw hwnw sydd yn rhoddi i'w ddarllenydd lawer o wybodaeth tra heb ddwyn oddiarno ond ychydig amser.

II.

Nid yw mynediad ymlaen mewn deall yn anghyffelyb i fynediad ymlaen mewn cerddediad corfforol. Nis gall y rhai sydd yn dringo i'r uchelderau ond ysgogi yn arafach na'r rhai hyny nad ydynt ond yn croesi'r gwastadedd; ond y mae'r drafferth o ddringo yn talu yn dda yn y golygfeydd a ennillir.

III.

Nis gellir ennill enw da ond trwy lawer o weithredoedd da; ond gellir ei golli trwy un weithred ddrwg.

IV.

Y mae hunan-adnabyddiaeth yn arwain i adnabyddiaeth o Dduw. Cyhyd ag yr oedd meddwl yr afradlawn ymhell oddiwrtho ei hun, yr oedd efe yn cadw ymhell oddiwrth ei dad; ond pan ddaeth efe ato ei hun, yna yr aeth at ei dad.

V.

Na wrandawn ddrwg am gyfaill, ac na siaradwn ddrwg am elyn. Na chredwn yr oll a glywom, ac nac adroddwn yr oll a gredwn.

VI.

Gellir canfod dau fath o wreiddiolder: y naill yn dyfod oddiwrth athrylith naturiol, a'r llall yn perthyn i galon grediniol. Gwelwyd pobl o ddeall tra chyffredin, oddiar astudio'r Bibl mewn dibyniad ar Ysbryd Duw, yn adrodd ei wirioneddau gyda gwreiddiolder nas gellid ei anghofio gan neb a'u clywent. Yr oeddynt wedi cael "calon newydd," ac yr oedd hyny yn rhoi newydddeb ar eu holl syniadau.

VII.

Byth nis gorchfygir tymher ddrwg hyd nes y teimlir ei bod yn bechod dirfawr, ac nid yn beth nad yw ond anffawd cyfansoddiadol. Pwy a geir yn ei amddiffyn ei hun yn wyneb

y cyhuddiad o gelwydd neu anonestrwydd, trwy ddadleu fod ei duedd naturiol at hyny yn lleihâu ei gyfrifoldeb? a phaham y caiff dyn ei esgusodi ei hun o herwydd gwylltineb a dig anllywodraethus oddiar fod drwg-dymher yn naturiol iddo?

VIII.

Gosoder rheswm yn erbyn nwydwylltedd, barn cariad ar gyfer anghydwelediad, a phwyll i fyned law yn llaw â brwdfrydedd.

IX.

Peidiwch byth a gwario arian cyn cael yr arian i'ch dwylaw. Os penderfynwch beidio gwneuthur hyny, ac os cedwch at y penderfyniad, achubir chwi rhag lliaws o anhawsderau, a rhag nifer o brofedigaethau.

X.

Bod heb weled a chydnabod Duw mewn amgylchiadau bydol sydd atheistiaeth; a bod heb ganfod llywodraethiad y byd yn llaw Crist sydd ddeistiaeth.

XI.

Mae'r weithred leiaf yn myned yn fawr, a'r peth mwyaf cyffredin yn myned yn wych, pan wneir hyny dros Dduw, ac iddo ef. Offrymu o'r galon i'r Arglwydd sydd yn sancteiddio ac yn mawrhâu y rhoddwr a'r rhodd.

XII.

Nid dim dylanwadau yn gweithio oddiallan i ni, ond yr ysbryd sydd yn llywodraethu o'n mewn, sydd yn sefydlu ein cyflwr moesol.

# Amrywiaethau.

LLYFR YR YSGOL SABBOTHOL.

"YR holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder; fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Dyma lyfr, ni a welwn, "wedi ei roddi trwy ysbrydoliaeth Duw;" a phwy a wâd na fedr Duw wneyd llyfr ysgol, fel pob peth arall, yn well na phawb oll? Dyna lyfr sydd yn "fuddiol i athrawiaethu;" a dyna safon-lyfr gan hyny i'r athraw. Y mae yn fuddiol "i argyhoeddi:" felly dyna lyfr a wna i'r dysgybl ddysgu; a phwy a wâd y priodoldeb i hwn fod yn llyfr ysgol? Y mae hefyd yn fuddiol "i geryddu." Dywed rhai nad oes modd cadw ysgol heb geryddu. Dyma, ynte, lyfr sydd yn gwneyd y gwaith hwnw; ac felly gellir arbed y wialen yn yr Ysgol Sul. Ffol yw y rhieni na hoffant i'w plant fyned i ysgol fel hon. Ac fe ellir anfon ambell blentyn go fawr, ac ystyfnig, sydd wedi myned yn rhy fawr ac yn rhy hen i'w geryddu â gwialen, i'r ysgol hon, i fyned o dan geryddon y gair; a gwnânt les iddo. Dyma lyfr sydd fuddiol, eto, "i hyfforddi mewn cyfiawnder;" ac onid lle i hyfforddi ynddi ydyw ysgol? Ac onid hyfforddi yr ieuanc mewn cyfiawnder sydd ddiogel i'r *community?* Dyma y *moral lesson-book* goreu a fedd y ddaear, nas gallai y Nefoedd roddi ei well, a dyma *standard* moesau yr Ysgol Sul. A dyma lyfr sydd yn abl i orphen addysg y dysgybl fyddo wedi gwneyd y goreu o'i amser ynddi. Ni raid iddo fyned i ysgol uwchraddol i *finishio* ei *education*, fel y dywedir; na! "fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Os yw yr Ysgol Sabbothol i sefyll os saif ei llyfr, rhaid i ni ddyweyd ei bod yn addaw yn dda arni; ydyw, yn addaw yn well iddi na llywodraethau cadarnaf y byd. "Hyd onid êl y nef a'r ddaear heibio, nid â un iod nac un tipyn o'r gyfraith heibio, hyd oni chwblhäer oll."—*Y diweddar Barch. Rowland Hughes.*

CYNDDELW A BEDYDDWYR GOGLEDD CYMRU.

SYMUDODD Cynddelw (y Parch. R. Ellis) o Glynceiriog i Sirhowy, Mynwy, yn 1847; a thrwy hyny yr oedd yn gwella cryn lawer ar ei amgylchiadau tymmorol, tra ar yr un pryd yn sicrhâu maes helaethach i'w lafur. Clywsom ef mewn cyfarfod cyhoeddus, ychydig ar ol hyny, yn rhoddi y rhesymau canlynol dros ei symudiad: "Mae rhai yn gofyn paham na buaswn i yn aros yn y Gogledd, yn lle dyfod ar draws gwlad fel hyn i ganol *colliers, miners,* a *phuddlers* y De yma. Mae yn wir fod yn y Gogledd le iachus braf i ddynion fyw yn hir a marw yn hen, os byddan' nhw byw ar uwd blawd, a thatws a llaeth. Ond dyna sydd yn ddigalon i bregethwr yn y Gogledd,—eu bod nhw yno yn gofyn gweinidogaeth dda a bwyd cryf yn y pulpud—yn dysgwyl i'r pregethwr fod yn alluog i fesur a phwyso pob doctor a phob athrawiaeth, a dyweyd i drwch y blewyn wrthynt pa faint o ffordd sydd o Arminiaeth i Ffwleriaeth, ac o Ffwleriaeth i Galfiniaeth, a thrwyddi ymlaen y ffordd yna i Antinomiaeth. Mae arnynt hwy eisieu bwyd cryf iawn yn y pulpud, cig rhost a phwdin fel yna bob tro; ond pan y maent yn talu, talu tatws a llaeth y maent yn wir, ie, tatws a llaeth!"—*Traethawd Bywgraffyddol a Beirniadol ar Cynddelw.*

BARFONIAETH.

BYDDAI Caledfryn yn arfer eillio ei farf yn llwyr; ond cyn diwedd ei oes gadawodd iddi dyfu, a chredai mai hyny fyddai oreu i bawb. Mewn llythyr a dderbyniasom oddiwrtho Ionawr 16, 1866, dywedai fel hyn, "Yr wyf wedi bod yn astudio *barfoniaeth* yn ddiweddar, ac wedi dyfod i'r penderfyniad fod yn well i bob dyn adael i'w farf dyfu na'i thori megys y mae yr arferiad. Cyfansoddais englyn ar y pwnc, a dyma fo,—

Llwyn o dwf llawn a di feth—i wir fardd,
O farf wên sy 'n rhywbeth,
Yn lle gorfod bod yn beth
A gwyneb llwm fel geneth.

Dyma un arall:

Hir wrych oedd gan batrïeirch hen,—ac Aaron,
Ac eraill heb amgen;
I'r eithaf rho'i gwŷr Athen
Barch i wrych hybarch yr ên."

Yna äi ymlaen yn ei lythyr, a dywedai, "Meddyliwch am hyn, a gadewch i'ch barf dyfu cyn y gwelwyf chwi eto. Edrychech yn ddiammheu yn llawer gwell, ac ni fyddech mor chwannog i gael anwyd."—*Hwfa Môn yn* NGHOFIANT CALEDFRYN.

TWYLL YR YMYFED.

YMYSG eraill a arholwyd o flaen y cyfeisteddfod ar anghymedroldeb yn Nhŷ yr Arglwyddi, yr oedd Syr William Gull, y meddyg enwog. Gofynwyd iddo gan Archesgob York, "A wyddoch chwi am amgylchiadau lle yr oedd effeithiau gwirf yn amlwg, er na bu yno feddwi, neu yfed yn anghy-

medrol, fel ei gelwir?" a'i ateb oedd, "Y mae hyny yn bur gyffredin; yr wyf yn tybied mai un o'r pethau mwyaf mynych yw, fod pobl yn cael eu niweidio gan yr ymyfed er na byddont yn feddwon. Mae'r drwg yn myned ymlaen yn dawel, ac yn dra anhawdd i'w gael allan." "Ond yr oedd yr effeithiau," ebe yr archesgob, "yn nodadwy ac eglur i'ch golwg chwi?" "O oeddynt yn gwbl," atebai Syr William, "er mewn llawer amgylchiad fod hyd yn nôd ceraint agosaf dyn heb wybod am hyny. Gallaf grybwyll fy mod ar un achlysur wedi fy ngalw i weled gŵr o feddyg, yr hwn oedd wedi ei ddrygu gymaint gan ddiod nes yr oedd efe wedi melynu fel *lemon*; yr oedd efe mewn cyflwr o *delirium tremens*, a'i gyfansoddiad wedi ei drwytho i'r eithaf âg alcohol. Yr oeddwn yn synu fy mod wedi cael anfon am danaf yno; ac wedi dyfod i lawr y grisiau, dywedais wrth ei wraig, 'Ni raid i mi eich poeni trwy ddyweyd beth yw'r mater gyda'ch priod.' Hi a ddywedodd, 'Syr, nid wyf yn eich deall.' A dywedais, 'Mae eich gŵr yn feddwyn greddfol.' Hithau a ddywedodd, Yn feddwyn, syr! ni wnaethoch chwi erioed gamgymeriad mwy; nid yw efe yn yfed dim ond dwfr;' yr hyn oedd i mi yn ddangosiad amlwg y gall dyn yfed ar ei ben ei hun o ddydd i ddydd, nes iddo agos ladd ei hunan wrth hyny, ac eto ei geraint agosaf heb wybod."

### GWERTHU BYWIOLIAETHAU EGLWYSIG.

Esgob diwyd a hyawdl Manchester, Dr. Fraser, mewn pregeth yn ei eglwys gadeiriol y mis diweddaf, a gyfeiriai at yr hyn a alwai efe yn felldith fawr oedd ynglŷn â'r Eglwys—nid wedi dyfod iddi yn ddiweddar, ond yn gweithio er ys cannoedd o flynyddoedd—y syniad o brynu a gwerthu bywioliaethau eglwysig gydag arian. Yr oedd Simoniaeth, yr hwn a elwir, gan un o'r Gosodedigaethau a'r Canonau, yn ffiaidd bechod, yn anffodus ynglŷn â'u cyfundrefn eglwysyddol. Yr oedd yn un o'r camdriniaethau âg y gobeithiai efe, pan ddelai dynion i weled ychydig yn eglurach i'w natur, ac yn fwy awyddus i wneyd eu Heglwys yn burach nag y mae yn bresennol, y mynid ymwared effeithiol oddiwrtho; ond yn awr yr oedd dynion, rywfodd neu gilydd, yn cyrhaedd swyddogaeth yn yr Eglwys am arian. Nid oedd efe yn dywedyd nas gellid ymhob esgobaeth weled rhai clerigwyr a ddaethent i'w plwyfoliaethau trwy ddylanwad arian, yn gwneuthur gwaith da yn eu lleoedd. Ond eto yr un oedd yr egwyddor. Gwnaethpwyd yn ddiweddar ymgeisiau gan Esgob Peterborough i ryddhâu yr Eglwys o'r camwri hwn; ond yr oedd elw bydol meddiannwyr presennol y nawddogaethau eglwysig yn rhy drech, ac hyd yn hyn nid oes dim effeithiol wedi ei wneyd tuag at wrthsefyll y drwg. Fel hyna y lleferid gan yr Esgob Fraser. Diau fod amryw o'n darllenwyr wedi gweled, o bryd i bryd, mewn newyddiaduron eglwysyddol, fod perigloriaeth y plwyf a'r plwyf ar werth, y degwm yn cynnyrchu hyn a hyn yn y flwyddyn, y persondŷ yn dŷ gwych ac mewn lle dymunol, a'r periglor presennol yn *hen ŵr*, a'r cyffelyb. Dyma un o nodweddau eglwys y gyfraith.

### DYLANWAD MADDEUANT.

Dygwyd milwr o flaen ei ben-swyddog am drosedd penodol. Yr oedd efe yn hen droseddwr, ac wedi cael ei gosbi yn fynych. "Dyma efe eto," ebe y swyddog, pan glywodd ei enw; "y mae pob moddion wedi eu harfer ato: ei garcharu, ei chwipio, a'i warthruddo mewn llawer dull, a'r cyfan yn ofer." Y rhingyll *(sergeant)* a nesäodd ymlaen, ac a ddywedodd, "Maddeuwch i mi fy hyfdra, syr; y mae un peth heb ei wneyd âg ef eto; ac, hwyrach, y gallai hyny effeithio yn dda arno." "Beth ydyw hyny?" gofynai'r swyddog. "Wel, syr," atebai y rhingyll, "ni roddwyd erioed faddeuant iddo." "Maddeu iddo!" ebe'r milwriad, wedi synu wrth y fath awgrym. Ond ar ol rhai mynydau o ystyriaeth, efe a archodd ddwyn y cyhuddedig ato; a phan ddaeth, efe a ofynodd, "Beth sydd genych i'w ddywedyd wrth y cyhuddiad?" "Dim, syr," oedd yr ateb, "ond yn unig fod yn ddrwg genyf am a wnaethum." Nid oedd y dyn yn dysgwyl dim ond i'w gosbedigaeth drymhâu o herwydd ei euogrwydd ychwanegol; eithr, yn lle hyny, wele'r milwriad, gan edrych yn dosturiol arno, yn dywedyd, "Wel, yr ydym wedi treio agos bobpeth gyda chwi; ond heddyw ni a dreiwn beth arall, i edrych a ddwg hyny chwi i drefn well rhagllaw; dyma fi yn maddeu i chwi, a chewch eich rhyddhâu y tro hwn." Yr oedd y milwr wedi ei daro yn fud gan syndod, ac nis gallai wneyd dim ond wylo fel plentyn; a chan ymgrymu yn y modd mwyaf diolchgar o flaen y pen-swyddog, efe a aeth ymaith â'i galon wedi ei darostwng o'i fewn. Pa fodd y cafodd ef yn y canlyniad? ai yn greadur caled, didoriad, nad oedd diwygio arno? O nage! o'r dydd hwnw allan, nid oedd un milwr mwy hywedd, trefnusach, a gwell ei foes, yn gwasanaethu dan faner ei Mawrhydi. Tiriondeb a blygodd un nas gallasai gerwindeb ei dori. Yr hen droseddwr milwrol a orchfygwyd gan drugaredd ac a doddwyd gan gariad.—*Voice of Peace.*

### ANGHYMEDROLDEB BENYWAIDD.

Gwraig o'r enw Mrs. Hurrell, yn perchen digon o eiddo i allu byw yn gysurus, yn ddiweddar a ddygwyd am y bedwaredd waith ar bymtheg o flaen heddynadon Brighton, o herwydd meddwdod ac afreolaeth. Pan y cymerwyd hi i fyny, yr oedd raid ei chludo mewn berfa olwyn; ac yr oedd ganddi gyda hi ar y pryd o ddeugain i hanner cant o bunnoedd. Nid oedd hi ond newydd ei rhyddhâu ar y dydd blaenorol o'r carchar. Gan fod ei chyfeillion yn addaw cymeryd gofal o honi, gollyngwyd hi ymaith gyda dirwy o bunt ynghyda'r costau.

### ERLIDIGAETH.

Nid efengyl Crist, ond efengyl y diafol, yw alltudio, carcharu, yspeilio, newynu, crogi, a llosgi dynion o herwydd crefydd. Pa le bynag y mae erlidigaeth yn dyfod i mewn, yno y mae Cristionogaeth yn myned ymaith. Nid arferodd Crist ddim tebyg i orfodaeth neu orthrech oddigerth unwaith; ac yr oedd hyny i yru dynion drwg allan o'r deml, ac nid i'w gyru i mewn iddi.—*Dr. Jortin.*

### ENAID DYDD SUL.

Dywedai Robert Hall am ryw weinidog cymydogaethol, "Mae ei ben mor lawn o bobpeth ond crefydd, fel y mae yn anhawdd esbonio ei waith yn parhâu i bregethu. Gallai un gael ei demtio i ddychymygu am dano, mai math o enaid dydd Sul sydd ganddo, yr hwn y mae efe yn ei ymnyddu i mewn yn yr amser cyfaddas, ac yn ei gymeryd ymaith drachefn bob bore Llun."

### GWERTH HAIARN WEDI EI WEITHIO.

Dywedir am fàr o haiarn sydd yn costio un bunt, ei fod wedi ei weithio yn bedolau i geffylau yn werth dwy bunt a deg swllt—wedi ei wneyd yn nodwyddau yn werth deg punt a thriugain—wedi ei wneyd yn llafnau *penknives* yn werth chwe' chant o bunnoedd—ac wedi ei wneyd yn *balance-springs* i oriorau yn werth hanner can' mil o bunnoedd.

### SIARAD AM BERSONAU ABSENNOL.

Yr wyf yn credu, medd Pascal, pe byddai pawb yn cael gwybod beth y mae'r naill wedi ei ddywedyd am y llall, na byddai pedwar o gyfeillion yn y byd. Y mae hyn yn amlwg, ebe efe, oddiwrth yr anghydfodau sydd yn codi oblegid adroddiadau anghall gan un i arall.

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU CASSIA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. GRIFFITH HUGHES, DYDDIEDIG JIWAI, TACHWEDD 21AIN, 1877.

Y MAE yn dda genyf allu eich hysbysu ein bod, er pan ysgrifenais y llythyr diweddaf, yn ychwanegol at y teulu a ddywedais oedd yn ymuno â'r eglwys yr wythnos ddyfodol, wedi derbyn dau yn ychwanegol —un yn lodes ieuanc o'r enw Ka Lug, a'r llall yn hen ŵr yn byw ar y lle hwn. Un o bentref oddeutu 12 milldir oddiyma o'r enw San Shung *(y pum' pentref)*, ar y ffordd i'r gwastadedd, yw Ka Lug, oddeutu 16 mlwydd oed. Yn fuan wedi i mi dd'od yma, diangodd yma o herwydd fod ei theulu yn ei hattal i fyned i'r ysgol a chadw y Sabboth. Yr oedd ei brawd hynaf wedi ei churo amryw weithiau am ddianc i'r ysgol; ac felly penderfynodd ddianc yma am noddfa. Cymerasom hi atom ni, a rhoddwyd hi yn yr ysgol am amser. Cynnygiodd ei hun i'r eglwys amser yn ol, ond oedwyd ei derbyn heb ychwaneg o brawf; y mae yn lodes addfwyn a difrifol, ac wedi ymddwyn yn ddichlynaidd bob amser. Rhoddwyd iddi dderbyniad croesawus gan yr eglwys. Yr ydym yn dysgwyl iddi fod yn athrawes dda yn ei phentref ei hun cyn hir. Gŵr un o'r hen wragedd a dderbyniwyd ychydig fisoedd yn ol yw yr hen ŵr; y mae yn ddall er ys peth amser, ac yn byw gyda ei blant, y rhai ydynt oll yn Gristionogion ar y lle hwn. Yr oedd ei wybodaeth ef, fel y gallesid dysgwyl, yn bur fychan, ond yr oedd swn y pechadur yn eglur iawn yn ei brofiad; ac nid oedd ganddo, meddai, ond taflu ei hunan, ar ol treulio ei fywyd yn addoli yr ellyllon, ar drugaredd Duw. Yr oedd wedi clywed fod Duw yn derbyn *hen* bechaduriaid; ac yr oedd yn ymddiried ynddo Ef am fywyd tragywyddol. O mor hapus yw gallu dyweyd wrth rai fel hyn,

"Na wrthodir neb a ddaw,"

ond fod yr Arglwydd yn derbyn rhai i'w winllan ar yr unfed awr ar ddeg. Yr oedd rhywbeth yn ddymunol iawn yn yr hen ŵr, a rhoddwyd derbyniad rhwydd iddo. Ond er llawenhâu fel hyn wrth weled rhai yn ymuno â'r eglwys, yr ydym yn gorfod galaru o herwydd colli cyfeillion anwyl a defnyddiol. Y mae angeu wedi tori i lawr ddau o'n haelodau yn ystod y mis, sef U Riang Mon Doom, a Ka Jong Lakiang. Masnachwr lled gefnog oedd U Riang Mon, ac yr oedd wedi myned i Sylhet i brynu nwyddau, pryd y cymerwyd ef yn glaf gan y *diarrhœa* neu y *cholera*, nis gwyddys pa un, a bu farw yn Jaintiapore wrth droed y Bryniau ar y ffordd adref. Yr oedd yn Gristion cywir a gweithgar—un o'r rhai mwyaf blaenllaw a haelionus gyda'r achos yn Jiwai. Yr oedd yn nodedig fel mab tangnefedd. Pan fyddai rhyw anghydfod neu anghysur yn yr eglwys, byddai ef yn dyweyd, "Gadewch i ni wneyd heddwch fel na ddryger gwaith Duw." Byddai yn hynod gyson yn moddion gras, ac yr wyf yn teimlo hiraeth mawr wrth edrych ar ei le yn wag, a gwybod nas gwelaf ei wyneb ef mwy. Bu farw mewn poen dirfawr, ac felly nis gallodd roddi dim tystiolaeth pa fodd yr oedd crefydd yn talu iddo yn angeu; ond nid oes ammheuaeth yn meddwl neb nad yw U Riang Mon yn awr ymysg y dyrfa ogoneddus sydd yn canu "Iddo Ef." Bu Ka Jong Lakiang farw ar y 10fed cyfisol, gan adael priod a dau o blant bychain ar ei hol. Bu hi yn glaf am bythefnos, a phan ddeallodd fod marw yn agos, nid oedd yn dychrynu ond yn rhoddi tystiolaeth gref i bwy y credodd. Un diwrnod cafodd lewyg, ac wedi bod ynddo am gryn amser, agorodd ei llygaid a dechreuodd ganu â llais clir y cyfieithiad Kassiaeg o'r emyn,

"Lord, dismiss us with thy blessing,  
Bid us all depart in peace;  
Still on Gospel manna feeding,  
Pure seraphic joys increase;  
Fill our hearts with consolation,  
Unto Thee our voices raise;  
When we reach that joyful station,  
We will give Thee nobler praise."

Yr oedd yn awyddus iawn am fyw er mwyn ei gŵr a'i phlant bychain, ac yn gweddïo llawer am hyny, eto yr oedd yn dawel i farw os ei ewyllys Ef oedd hyny. Y bore y bu farw gofynai chwaer grefyddol iddi a oedd yn cofio Duw. "Cofio, ydwyf," meddai, "yr wyf wedi rhoddi fy holl bechodau ar Grist," ac ymhen ychydig fynydau bu farw. Wrth edrych ar y bobl hyn, eu hanwybodaeth a'u hofergoelion, a chanfod rhai o'u plith yn d'od i allu byw i Dduw, a rhoddi tystiolaeth mor eglur wrth farw i ba le y maent yn myned, y mae ein calon yn llawenychu; ac yr ydym yn teimlo, er cymaint o siomedigaethau a phrofedigaethau sydd yn perthyn i fywyd cenadol, fod gweled rhai wedi eu dwyn i garu Duw a gallu wynebu angeu heb ddychryn, yn ddigon o daledigaeth, ac yn ein symbylu i fwy o weithgarwch a ffydd yn Nuw. Y mae marwolaeth y ddau hyn wedi peri argraff ddwys ar bawb sydd yn byw ar y lle hwn.

## LLYDAW.

### Llythyrau oddiwrth y Parch. James Williams.

Yn nechreu Rhagfyr ysgrifenai y Parch. James Williams o Quimper, "Nid wyf yn sicr a ddywedais wrthych yn fy llythyr diweddaf i mi fod gyda'r Rhaglaw ac i mi gael derbyniad caredig. Daeth yntau yma ac ymddyddanai yn rhydd a chyfeillgar â mi am amser maith. Yr wythnos ddiweddaf aethum ato gyda'm *bag* yn llawn o draethodau i gael eu *stampio*, fel yr oedd wedi addaw, ac i gael awdurdodiad i'w dosbarthu. Y boreu heddyw aethum i'r Rhaglawdŷ a chefais yr holl draethodau gyda'r argraff gofynol arnynt; yr oedd y Rhaglaw wedi myned i Paris, ond dywedai yr Ysgrifenydd y cawn y drwydded, ac yna dysgwyliaf y bydd fy hen orchwyl o ddosbarthu traethodau ac ymddyddan â'r werin yn dechreu. Mae Groignec yn awr yn nghymydogaeth Lorient yn gwerthu y llyfryn a elwir 'Almanac y Cynghorion Da.' Cyn diwedd y mis hwn gobeithiaf y bydd gyda mi, ac yna anfonaf i chwi hanes ein llafur yn y wlad hon.

"Yr wyf wedi bod yn ymddyddan âg amryw o'r gwladwyr, ac yr wyf yn rhyfeddu wrth weled y cyfnewidiad sydd wedi dyfod drostynt gyda golwg ar yr offeiriaid. Os sefydlir y Weriniaeth, mae yn dra thebyg y galluogir ni i gynnal cyfarfodydd cyhoeddus, ac agorir felly faes llafur eang iawn,—digon o waith i Gymry.

"Tarawodd i'm meddwl ychydig fynydau yn ol mai gwell i mi gael y drwydded ar unwaith heddyw, rhag y gallai rhyw gyfnewidiad mawr gymeryd lle, ac aethum i'r Rhaglawdŷ yr ail waith, a dyma fi yn ol i orphen fy llythyr, ac yn gallu eich hysbysu fy mod wedi cael y tystysgrif wedi ei harwyddo yn briodol; a'r Arglwydd a'm nertho i wneuthur pobpeth a allwyf er llwyddiant ei achos! Ond ysywaeth yr wyf yn fy chweched flwyddyn a thriugain, ac y mae fy ngwendidau corfforol yn lliosog."

Wedi cyfeirio at y draul yr oedd wedi myned iddi i adgyweirio y tŷ ac i gael ychydig bethau at eu gwasanaeth, dywed, "Cewch weled pan anfonir y cyfrif i'r Cyfeisteddfod fod fy ngwraig wedi arfer pob cynnildeb. Bydd y pethau a brynwyd yma, i'r Cymro, yr hwn a fydd yma yn fuan iawn, fel yr wyf yn gobeithio ac yn hyderu. Yn wir, yr ydym ni yn hollol o'r un farn a'n hen gyfaill rhagorol y Parch. Rees Jones, yr hwn a ddywedai wrthyf fod pobl Sir Gaernarfon yn barnu mai gwell cael dau genadwr Cymreig yn Llydaw. Mae cyfeillion Sir Gaernarfon yn hollol yn eu lle, ac yn fuan cewch brofion eu bod yn iawn."

Ion. 3, 1878, ysgrifenai Mr. Williams drachefn, "Yr wyf bron a chael fy ngorlethu gan waith er pan y daethum i'r wlad hon, dwy bregeth yn y Ffrancaeg bob Sabboth, a dosbarth Biblaidd bob nos Fercher. Dydd Gwener diweddaf aeth fy ngwraig gyda mi i weled y cae a brynwyd i'r tlodion gan y Mil. Hawker, ac i ymweled â'r teuluoedd sydd yn bywarno. Cawsom wlaw trwm iawn. Cefais yr ystafell ymha un yr arferwn gynnal fy nghyfarfodydd gynt mewn cyflwr adfeiliedig iawn. Mae pedwar o'r dynion a arferent ddyfod yno yn fwyaf cyson, a'r rhai a dybiwn i yn fwyaf dyddorol, wedi marw. Mae dau eraill gyda'u teuluoedd wedi gadael y gymydogaeth, a phedair neu bump o'r merched a arferent wrandaw, wedi marw. Yr oeddwn wedi synu yn fawr weled y fath gyfnewidiadau mewn wyth mlynedd. Gobeithiaf allu yn fuan ddechreu y cyfarfodydd eto, ond gyda dosbarth newydd o wrandäwyr. Mae yn ffaith ofidus iawn na chynnaliwyd un math o gyfarfod yn y lle hwnw am wyth mlynedd, oddieithr yn achlysurol gan Groignec pan fyddai yn y rhan hono o'r wlad. Y Sabboth diweddaf aethum i'r wlad i wneyd fy hen waith, rhanu traethodau a siarad â'r bobl. Derbynid fi yn siriol, a chefais rai ymddyddanion dyddorol. Cyn dychwelyd adref daeth diluw drachefn, a chefais innau fy ngwlychu yn arw.

"Y cwestiwn mawr ar hyn o bryd ydyw hwn, a ganiatâ y llywodraeth bresennol yr hawl i gynnal cyfarfodydd cyhoeddus. Cawn weled yn fuan. Hysbysais chwi am y cyfarfodydd a gynnelir gan Mr. Braud yn nhŷ Groignec. Derbyniais lythyr tra dyddorol oddiwrth Mr. Braud ychydig ddyddiau yn ol, yn mha un y rhydd ddarluniad bywiog iawn o'r pregethau a draddodir gan yr offeiriaid yn eglwys Kerentrech, sydd yn bur agos i dŷ Groignec. Tybiai y bobl fod y person wedi colli ei synwyr gan ei fod bron neidio dros y pulpud. 'Beth feddyliech chwi, fy nghyfeillion?' meddai, 'adroddir eich bod yn myned i fysg y Protestaniaid i halogi eich eneidiau.'

"Anfonwyd ysbïwyr i gyfarfodydd Mr. Braud, ac arferwyd bygythion o bob math. Cyhoeddodd Mr. Braud y byddai ar y nos Sabboth cyn dydd Nadolig yn pregethu ar yr "Ymgnawdoliad a'r bendithion trwyddo i'r ddynoliaeth." Daeth triugain o bersonau ynghyd er gwaethaf pregeth gynhyrfus yr offeiriad. Dydd Nadolig yr oedd mwy nag ugain o Babyddion yn ei wrandaw yn y capel yn Lorient; rhwng y rhai hyn a'r Protestaniaid yr oedd ganddo gynnulleidfa dda iawn.

"Clywsoch fod ein Rhaglaw Protestanaidd wedi anfon i mewn ei ymddiswyddiad mewn pryd, cyn i'r gorchymyn i'w symud

ddyfod o Paris. Mae nifer lled dda yn dyfod i'n cyfarfodydd yn Quimper ar y cyfan. Bydd rhai Pabyddion yn troi i mewn yn awr ac eilwaith, ac yn gwrandaw yn astud. Mae nifer da yn dyfod i'r Dosbarth Biblaidd, a llawen genyf weled amryw o rai ieuainc yn eu mysg.

"Gwnawn ein goreu i gael Llyfrgludydd i breswylio yn Quimper. Cychwynwyd y fath waith dyddorol gan Groignec yn nghymydogaeth Lorient, fel na byddai yn ddoeth ei gymeryd yn rhy fynych oddiyno. Af gyda Groignec gymaint ag a allaf, ond y mae fy ngwendidau corfforol yn awr yn fawrion; gwyn fyd na fuaswn ddeng mlynedd ar hugain yn ieuengach, yn lle bod yn y seithfed flwyddyn a thriugain. Pa beth sydd yn dyfod *o'r dyn*, neu y dynion sydd yn dyfod allan i Lydaw? Goddefer i mi erfyn ar y Cyfarwyddwyr, os oes un i'w gael, i'w anfon mor fuan ag y byddo modd. Yr oeddwn yn cael, ar ol fy nhaith y Sabboth diweddaf, fod yn llwyr anmhosibl i mi fyned fawr i'r wlad. Yn wir y mae genyf ddigon o brofion, pe byddai i mi fyned, y byddwn yn rhwym o ddyfod yn gwbl fethiant. Yr ysbryd sydd barod, ond y cnawd sydd wan. Oni fyddai yn dra manteisiol i Genadwr ddyfod allan, os yw yn bosibl, y mis nesaf, fel y gallo fod yma gyda mi a'm gwraig yn ystod ein harosiad byr yn y wlad?"

---

## KERENTRECH, GER LORIENT.

LLYTHYR Y PARCH. A. C. RACINE BRAUD.

PENTREF mawr ydyw Kerentrech, yn agos i Lorient, yn cynnwys o wyth i ddeng mil o drigolion. Y Llydawaeg sydd yn cael ei defnyddio yma fel iaith gyffredin y bobl, ac y mae yn faes rhagorol i Genadwr. Dyma lle y mae Groignec yn anneddu. Yn y llythyr a ganlyn rhydd Mr. Braud hanes un o'r cyfarfodydd a gynnaliwyd ganddo yn nhŷ Groignec, at y rhai y cyfeirir yn llythyr Mr. Williams.

"Yr ydych yn gwybod," meddai Mr. Braud yn ei lythyr at Mr. Williams, "fod ein cyfaill, yr efengylydd, wedi gwerthu llawer o gopïau o'r Bibl yn y gymydogaeth, ac wedi dosbarthu traethodau a chynnal cyfarfodydd bychain, ac ymweled â llawer o deuluoedd. Wedi parotoi y tir yn y dull hwn, hysbysodd amryw bersonau y byddai i weinidog Protestanaidd Lorient gynnal cyfarfod yn ei dŷ ef am saith o'r gloch nos Sabboth yr 2il o Ragfyr. Aethum, yn ol fy addewid, ac er fy mawr syndod, cefais fwy na hanner cant o bersonau, gwŷr a gwragedd (Pabyddion), wedi dyfod ynghyd. Nid yw yr ystafell lle y preswylia Groignec ond un fechan, felly bu raid i'r rhan fwyaf o honynt sefyll yn ystod y gwasanaeth. Ymddangosent oll yn dra difrifol, a dechreuais trwy ddarllen 'Y cyfaddefiad o'n pechodau' o waith Beza; yna darllenais ddwy neu dair o Salmau, a rhan o'r bummed o Matthew, ar yr hon y gwnaethum sylwadau. Gwrandawent yn bur astud, ac ymddangosent fel yn cael boddhâd, a gobeithiaf, adeiladaeth. Dybenais trwy weddi, a hysbysais y cynnelid cyfarfod arall yno yn fuan. Y cwestiwn yn awr yw, a barhânt hwy i ddyfod i wrandaw; rhaid i ni beidio bod yn rhy hyderus. A fydd i'r offeiriaid gynhyrfu y bobl yn ein herbyn a thaflu pob rhwystr yn ein ffordd? Gwyddoch am y dylanwad sydd ganddynt mewn rhyw gylchoedd. Gellwch yn hawdd gredu fod Groignec a minnau yn teimlo yn ddedwydd iawn wrth gael cadw y fath gyfarfod. Pan y gwelwn y bobl yn gwrandaw mor astud ar yr efengyl, mae yn sicr nad oes ganddynt elyniaeth at y gwirionedd. Os ydynt yn siarad yn erbyn crefydd, gyrwyd hwy i wneuthur hyny trwy ormes a thrahausder y trefniant Pabaidd.

"Yr ydych yn cofio i chwi, rai blynyddoedd yn ol, weinyddu priodas yn Lorient, rhwng Ellmyn â Brythones ieuanc. Bydd ef a'i deulu yn dyfod yn bur gyson i'r capel; yr oeddynt yn y gwasanaeth yn nhŷ Groignec, ac ar y diwedd hysbysodd y gŵr fi fod ei wraig yn penderfynu gadael yr Eglwys Babaidd, ac ymuno â'n heglwys fechan ni yn Lorient. Gan ei bod er ys amser maith yn arfer dyfod i'r cyfarfodydd, ac i bob ymddangosiad yn gywir, bwriadwn ei derbyn at fwrdd yr Arglwydd tua'r Nadolig.

"Clywsoch am farwolaeth alarus un o'r Cymry a ddaethant yma i weithio yn y gwaith alcan yn Lochrist. Nid oedd, fe ddywedir, yn arfer yfed diodydd meddwol. Ond un diwrnod temtiwyd ef gan ryw rai i gymeryd *brandy*, ac yn anffodus boddodd yn yr afon Blavet. Nid ydynt eto wedi cael ei gorff. Gadawodd wraig a saith o blant heb ddim i ddibynu arno. Casglodd y gweithwyr yn y gwaith alcan ddeg punt iddo, ac aethum innau oddiamgylch ein cyfeillion, a llwyddais i gael £6 10s. i'w hanfon yn ol i Gymru."

---

## GROIGNEC, Y LLYFRGLUDYDD.

DERBYNIWYD oddiwrth y gŵr hwn, sydd yn awr yn ngwasanaeth y Gymdeithas fel efengylydd, adroddiad am ei lafur yn ystod y misoedd diweddaf. Drwg genym fod yr adroddiad yn rhy faith i'w osod yma yn gyflawn. Bu yn llafurio yn Ponscorff Caudan, Ploemeur, Ploehemec, Riantec, Port Louis, Kerentrech a Lorient. Sylwa ei fod ar y cyfan yn cael derbyniad croesawus, er ei fod weithiau yn cael geiriau

angharedig. Mae gwrthwynebiad mawr mewn rhai parthau i'r offeiriaid yn y dyddiau hyn. Dywed fod yr offeiriaid wedi arfer pob dyfais yn yr etholiadau diweddaf o blaid yr ymgeiswyr clerigol, ac fod y gwrthwynebiad iddynt ar ol yr etholiadau yn fwy nag o'r blaen. Yn ei gymydogaeth ef, er fod yr offeiriad wedi dyweyd y celwyddau mwyaf gwarthus am yr ymgeisydd Rhyddfrydig, eto ni chawsant ond naw ugain o bleidleisiau, tra y cafodd y Rhyddfrydwr ddeuddeg cant allan o bedwar cant ar ddeg oeddynt yn rhoddi eu llais. "Buasid yn tybied," meddai Groignec, "y buasent yn ddystaw wedi cael y fath orchfygiad; ond na, y Sabboth dilynol, bygythiai y Person ei blwyfolion mewn llais yn crynu gan nwydau gwylltion; dywedai na chymerai rhagllaw unrhyw ddyddordeb yn eu llwyddiant. Llefai, 'Pan y bydd arnoch eisieu rhywbeth i chwi eich hunain neu i'ch plant, ataf fi y byddwch yn dyfod, ond rhagllaw anfonaf chwi at y Gwerinwyr.' Gellwch ddychymygu yr effaith a gynnyrchwyd. Yr oedd yn yr eglwys lawer o ddynion yn chwysu am nad oedd ganddynt hawl i'w ateb. Gallech feddwl wrth ddarllen hyn y byddai pobl sydd yn teimlo y fath adgasrwydd at yr offeiriaid yn barod i dderbyn gair Duw fel rheol eu bywyd. Dylai fod felly, ond yn anffodus, i'r gwrthwyneb yn hollol y mae. Nis gallant wahaniaethu rhwng yr efengyl bur ac ystryw yr offeiriadaeth. Tybiai y bobl gan mai y dynion hyn sydd yn cynnrychioli yr efengyl, fod balchder a rhagfarn yr offeiriaid yn cael eu hachosi gan yr efengyl. Yn ddiau, bydd gan yr offeiriaid gyfrif trwm i'w roddi yn nydd y farn. Yr wyf yn barhâus yn cyfarfod â dynion sydd yn dra gelyniaethus i'r offeiriaid, a phan y byddaf fi yn dywedyd fod yr efengyl yn dysgu pethau fel hyn neu fel arall, 'O,' meddant 'na soniwch wrthym ni am yr efengyl; yr ydym yn cael digon o honi gan yr offeiriad.' Mae yr aelod seneddol dros y wlad hon yn awyddus iawn am i ni gael rhyddid i gadw cyfarfodydd, ac yn wir byddai yn fendith i achos y gwirionedd pe diddymid y gyfraith bresennol. Credwyf yn gadarn pe gallem gyfarfod â'r bobl, ac egluro iddynt y gwahaniaeth mawr sydd rhwng yr efengyl ac ystryw yr offeiriaid, y caffai ddylanwad iachusol ar y wlad." Yna rhydd Groignec adroddiad am ei ymweliadau âg amrywiol deuluoedd yn rhai o'r pentrefi a nodir uchod, ei ymddyddanion â'r bobl, &c. Bydd yn troi i un o'r tai, ac yn darllen rhanau o'r ysgrythyr, ac weithiau yn egluro; rai prydiau bydd y cymydogion yn troi i mewn, a chryn ddyddordeb yn cael ei gymeryd yn y rhan a ddarllenir, ac yn yr ymddyddan fydd yn dilyn. Mewn un pentref, ar ol ymddyddan am gyfryngdod y seintiau, fel y dysgir ef gan yr offeiriad, ac am yr "Un Cyfryngwr," y dyn Crist Iesu, cynnyrchodd gryn syndod yn meddyliau ei wrandäwyr trwy ddyweyd, "Mae eich catecism chwi yn dyweyd fod yn bechod o'r fath waethaf i un fwyta cyn myned i'r cymun, ond dysgir ni yr Ysgrythyr mai ar ol swperu y sefydlwyd yr ordinhâd gan ein Gwaredwr." Cafodd gyfleusderau i ymddyddan â'r heddgeidwaid yn Kerentrech a'r gymydogaeth. Dywed eu bod yn gyffredin yn anffyddwyr, ond fod eu gwragedd yn dra ofergoelus. Dywedai un o'r gwragedd hyn yn ystod yr ymddyddan, "Yr ydych yn siarad llawer am Iesu Grist a'r efengyl, ond nid ydych, feddyliwn, yn credu yn St. Anne ac yn ein harglwyddes o Lourdes (Mair), yr hon sydd yn gwneuthur cymaint o wyrthiau. Gofynai a oedd yn credu fod y ddwy hyn yn hollbresennol? "Na," meddai, "ond y mae Duw yn clywed ac yn gweled pob peth, a gall ef ddyweyd wrth y seintiau pwy sydd yn gweddio arnynt." "Felly," meddwn innau, "Duw sydd yn was i'r saint, ac nid y saint yn weision i Dduw. Onid ydych yn gweled eich bod yn gwaradwyddo y Gwaredwr a chariad Duw. Darfu i Iesu Grist wrth ddyfod i'r byd a chymeryd ein natur ni amlygu cariad Duw, a bu farw ar y groes i'n cymmodi â Duw, ac eto yr ydych chwi yn gwrthod rhoddi eich hymddiried ynddo Ef. Heblaw hyny ni chlywsoch fod Sant Mair a Sant Anne erioed wedi gwneyd gwyrthiau pan yma ar y ddaear." Yna adroddodd Groignec wrthynt am un o'r Brythoniaid oedd wedi cael ei gosbi o leiaf ddeuddeg o weithiau yn ei wlad ei hun am amrywiol droseddau, ac a aeth i gŵr arall o'r wlad lle y cymerai arno fod dan y parlys. Y flwyddyn ddiweddaf arwyddodd awydd mawr cael myned i Lourdes, lle y dywedid fod St. Mair yn gwneuthur y fath wyrthiau, ac o'r diwedd caniatäwyd iddo fyned gyda chwmni o bererinion oedd yn myned yno. Aeth trwy amrywiol ddefodau yno, ac yna ymdaflodd i'r ffynnon fawr ei rhinwedd, ac mor fuan ag y gwnaeth hyny, dychwelodd nerth i'w fferau a'i holl aelodau, a daeth yn holliach, a gwaeddai pawb mewn syndod, Gwyrth! gwyrth! Cyhoeddwyd yr hanes yn mhob man, a gwnaed llawer o helynt o'r adferiad gwyrthiol. Ond yn raddol gwnaed ymchwiliad i'r achos, daeth ei holl hanes i'r goleu; cafwyd mai twyll i gyd oedd y wyrth, a chondemniwyd y twyllwr i ddwy flynedd o garchariad.

Mewn tŷ cyhoeddus yn St. Louis, lle yr oedd tuag ugain o bersonau yn ciniawa—amryw o honynt yn bysgotwyr wedi bod bron trwy y nos o'r blaen allan gyda'u cychod,—tynodd eu sylw trwy ddarllen hanes y ddalfa wyrthiol o bysgod, a phryn-

wyd copi gan un o'r cadbeniaid. Yr oedd fel hyn yn ystod yr ychydig fisoedd wedi gwerthu 54 o gopiau o'r Ysgrythyrau.

---

## Y PARCH. HUGH ROBERTS A LLYDAW.

MAE Cyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth, ar ol ystyriaeth bwyllog, ac ar ol cydymgynghori ar yr achos â'r Cyfarwyddwyr Sirol, wrth ystyried amgylchiadau presennol y Genadaeth yn Llydaw, ac amgylchiadau teuluaidd y Parch. H. Roberts, wedi penderfynu ei anfon, am dymmor o leiaf, drosodd i Lydaw. Er y bydd y Genadaeth yn India felly yn colli y fantais o'i brofiad ac o'i gydnabyddiaeth â'r Gassiaeg, eto teimlir yn hyderus na bydd Mr. Roberts yn hir yn meistroli y Llydawaeg, ac y bydd yn fuan yn gallu cyflawni gwaith Cenadwr ymysg y Brythoniaid gyda'r un yni ag yr arferai ei gyflawni yn Cassia.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

DERBYNIODD y Trysorydd Cyffredinol y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf:

| | £. | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Cymunrodd y diweddar Mr. J. Williams, hen aelod o eglwys Pall Mall, Liverpool | 5 | 0 | 0 |
| Y Parch. Thomas Francis, Wrexham.. | 2 | 2 | 0 |
| Aberporth, Sir Aberteifi, trwy law Mr. E. Owen | 2 | 9 | 8 |
| Capel Cymraeg Caerlleon, trwy law Mr. E. Peters | 13 | 10 | 9 |
| Mr. D. R. Roberts, Tanybryn, Llandegai Mountain | 0 | 8 | 9 |
| Blwch cenadol M. E. Pritchard, Bethesda, tuag at ddilladu y ddwy eneth oedd dan ofal Mr. Jerman Jones | 0 | 5 | 0 |
| Dwyrain Meirionydd, trwy law Mr. Jones, Plas yr Acre | 100 | 0 | 0 |
| Mr. J. a Mrs. E. Thomas, Llanbedr.. | 2 | 0 | 0 |
| Dehau Aberteifi, trwy law y Parch. J. Jones, Tregaron | 9 | 13 | 0 |
| Cynnwys Blwch Cenadol dosbarth Miss Mary Roberts, Rhiwenglan, Llanfair, ger Harlech | 0 | 15 | 4 |
| Ysgol Sabbothol Runcorn (Gymraeg) | 2 | 5 | 10 |
| Dehau Aberteifi, trwy law Mr. Griffiths, Aberaeron | 58 | 10 | 0 |
| Lombard St., Liverpool (ychwanegol) | 0 | 5 | 7½ |
| Ysgol Sabbothol Dolgarregddu, Festiniog | 2 | 5 | 5 |
| Gogledd Aberteifi, trwy law Mr. Phillip Williams | 89 | 9 | 3 |
| Capel Trinity, Aberdâr | 1 | 3 | 9 |
| Llanfair Muallt, trwy law y Parch. Moses Williams | 2 | 14 | 10 |
| Blwch Cenadol D. J. Davies, trwy law Mrs. Williams, Trecastell | 0 | 6 | 0 |
| Blwch Cenadol S. A. Davies, trwy law Mrs. Williams, Trecastell | 0 | 6 | 0 |
| Blwch Cenadol Miss Mary Charles, Cwmagol, Sir Gaerfyrddin | 0 | 17 | 6 |
| Blwch Cenadol Mr. John Jones, Cwmagol, Sir Gaerfyrddin | 0 | 3 | 6 |
| Arfon, trwy law Mr. Jonathan | 370 | 0 | 0 |
| Lleyn ac Eifionydd, trwy law Mr. R. Jones | 150 | 0 | 0 |
| Sir Ddinbych, trwy law Mr. P. Roberts | 190 | 0 | 0 |
| Sir Benfro (y rhan Gymraeg), trwy law Mr. Hugh Llwyd Harries, U.H. | 35 | 7 | 11 |
| Sir Benfro (y rhan Seisonig), trwy law y Parch. W. Powell | 51 | 12 | 6 |
| Sir Frycheiniog, trwy law Mr. Edwards | 31 | 5 | 10 |
| Hope Chapel, Merthyr, trwy law Mr. Williams, London House | 11 | 9 | 3 |
| Blychau Cenadol y Plant yn Bethesda, Festiniog | 1 | 1 | 3 |
| Sir Fynwy, trwy law Mr. Evan Jones | 19 | 10 | 8 |
| Sir Fflint, trwy law Mr. W. Jones, Wrexham | 92 | 14 | 11½ |
| Gorllewin Morganwg, trwy law Mr. Griffiths, Taibach | 61 | 3 | 9 |
| Capel Zion, Caerfyrddin (Saesoneg), trwy law y Parch. J. Evans | 1 | 8 | 6 |
| Blychau Cenadol y Plant yn Bethel, Tanygrisiau, Festiniog | 4 | 3 | 5 |
| Capel Seacombe | 6 | 0 | 9 |
| Henaduriaeth Lancashire, &c., trwy law Mr. E. Jones | 17 | 5 | 10 |
| Argyle Chapel (Seisonig), Abertawe .. | 6 | 5 | 8 |
| Capel Philadelphia, Treforis, trwy law Mr. M. Lewis | 7 | 5 | 5½ |
| Capel Heol Dwr, Caerfyrddin, trwy law Mr. W. Davies | 8 | 0 | 0 |
| Capel Widnes, trwy law Mr. R. Jones | 0 | 15 | 8 |
| Casglwyd gan Margaret Parry, Gwernydd, Bethesda | 0 | 18 | 0 |
| Blychau Cenadol capel Seisonig Towyn, trwy law Mr. E. M. Jones | 2 | 17 | 7 |
| Dienw tuag at gapel Mawlyngtriang, Cassia | 10 | 0 | 0 |
| Sir Gaerfyrddin, trwy law Mr. Havard | 59 | 19 | 0 |
| Casglwyd gan Blant Bettws y Coed .. | 1 | 7 | 0 |
| Dwyrain Morganwg, trwy law Mr. D. Evans | 62 | 12 | 4 |
| Gorllewin Meirionydd, trwy law Mr. Rees, Towyn | 208 | 5 | 0 |
| Rhan Isaf Sir Drefaldwyn, trwy law Mr. Jones, U.H., Llanfyllin | 80 | 0 | 0 |
| Cynnwys Blychau Cenadol y Plant yn Nolgellau, trwy law Mr. R. O. Rees | 7 | 3 | 2 |

TUAG AT ACHOS U BORSING.

| | £. | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Dehau Aberteifi, trwy law Mr. W. Griffiths | 6 | 0 | 7 |
| Llanidloes, trwy law Mr. Cleaton .... | 7 | 6 | 2 |
| Seacombe, trwy law Mr. J. Owen .... | 4 | 0 | 0 |
| Dyffryn, Taibach, trwy law Mr. Griffiths | 2 | 12 | 0 |
| Sir Fflint, trwy law Mr. W. Jones .... | 4 | 14 | 8 |

---

D.S. Derbynir rhoddion at y Genadaeth Dramor gan y Trysorydd Cyffredinol, PETER WILLIAMS, *Esq.*, 17, *Percy Street, Liverpool.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. Peter Williams, Treasurer of the W. C. M. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63, *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 569.] MAWRTH, 1878. [LLYFR XLVIII.

## TERFYNIAD MEDDWDOD I'W DDEISYFU.

### PREGETH DDIRWESTOL A DRADDODWYD AR BENODIAD CYFARFOD MISOL SIR FFLINT.

PSALM vii. 9: "Darfydded weithian anwiredd yr annuwiolion."

AMLWG yw fod y dymuniad hwn yn iaith dyn duwiol, un wedi blino ar annuwiolion, ac yn gas ganddo annuwioldeb. Fel Lot yn Sodom, yn gweled ac yn clywed, gan boeni ei enaid cyfiawn o ddydd i ddydd trwy anghyfreithlawn weithredoedd yr anwiriaid, dyma'r Salmydd yn tywallt ei galon o flaen Duw, ac yn llefain, "Darfydded weithian anwiredd yr annuwiolion." Mae rhyw ysbrydiaeth egnïol, teimlad angerddol, taerineb dwys, yn swn y geiriau: Darfydded annuwioldeb bellach; mae yn llawn bryd; goreu po gyntaf; na chaffed ychwaneg o rwysg; "darfydded weithian." Gellir darllen, "Darfydded, attolwg," neu, fel yn y Saesoneg, "O darfydded." Mi a'i cyfrifwn yn nefoedd i mi ar y ddaear pe darfyddai anwiredd o'r tir. O darfydded! Nid oes neb sydd yn ofni a charu Duw na rydd Amen o lwyrfryd calon i'r weddi hon, "Darfydded, weithian anwiredd yr annuwiolion."

Cymerwn ryddid i gymhwyso deisyfiad y testun, sydd yn golygu anwiredd yn gyffredinol, at yr anwiredd neillduol o feddwdod. Aeth ein saethau yn erbyn pechod yn rhy fynych yn ddieffaith o eisieu eu hanelu mewn modd mwy cyfeiriol ac uniongyrchol. Os mynwn iawn gyfranu gair y gwirioneddd, a chynnyrchu argyhoeddiad a diwygiad, mae yn rhaid i ni, o leiaf yn awr ac eilwaith, ergydio at bechodau penodol. Ac os bu achos erioed i'r weinidogaeth a'r eglwysi ymdrechu yn gyhoeddus yn erbyn y pechod o feddwdod, y mae felly yn neillduol yn ein gwlad ni yn y dyddiau hyn.

Llawer o guddio sydd ar feddwdod, ac o ymesgusodi yn ei gylch; ond pa gochl bynag a deflir drosto, "anwiredd yr annuwiolion" ydyw mewn gwirionedd. "Amlwg yw gweithredoedd y cnawd," ac y mae gan "feddwdod a chyfeddach" le mawr yn eu mysg. Nôd penderfynol ar ddyn annuwiol yw y cymeriad o feddwdod. Mae meddwon yn arbenig wedi eu gosod yn rhestr ddu y rhai na chânt "etifeddu teyrnas Dduw." Mae yn wir y gwelir ambell rai yn anfoddlawn i neb edrych arnynt hwy fel pobl feddwon serch eu bod yn awr a phryd arall yn yfed tipyn gormod, fel y dywedant, gan y bydd wythnosau, os nad misoedd o amser, meddynt, rhwng y naill feddwi a'r llall. Ond ni a wyddom nad oes eisieu i ddyn dalu ardreth bob wythnos i ddangos ei fod yn denant i arall; mae talu ardreth ddwywaith neu unwaith yn y flwyddyn yn ddigon i ddangos rhwymedigaeth i feistr tŷ neu dir. Ag i ni gymeryd gair y bobl sydd yn haeru mai meddwi yn anaml y byddant hwy, gorfydd i ni ddywedyd mai euog ydynt o "anwiredd yr annuwiolion," ac y dylent gredu mai gyda yr annuwiolion y gosodir hwy yn y farn, ac y sefydlir eu lle yn oes oesoedd, oni ragflaenir eu haflwydd gan ras y nef. Ac un o anwireddau penaf yr annuwiolion yw meddwdod; arweinydd, cefnogydd, a chymhellydd i fyrdd

o anwireddau eraill. Pechod ydyw sydd yn dywysog pechodau; a phe darfyddai hwn, darfyddai aneirif bechodau ar unwaith.

Gyda ein mater yma, mae yn briodol i ni nodi rhai ystyriaethau i'n cymhell i ddeisyfu diwedd ar feddwdod, ac yna i'n cyfeirio at fesurau y gelwir ni atynt er mwyn hwyluso a phrysuro y diwedd dymunol hwn. Yn fyr, cynnwys ein hymdrin a fydd y paham a'r pa fodd: paham yr ydym yn dywedyd, Darfydded weithian yr anwiredd o feddwdod, a pha fodd yr ydym i wneuthur tuag at gael y cyfryw ddymuniad dedwyddol i ben.

Y mae pob egwyddor dda yn ein natur yn ein cymhell i ddymuno, Darfydded meddwdod weithian! O am wlad sobr, heb feddwyn o'i mewn!

Mae yr egwyddor o *ddyngarwch* yn cynnyrchu y dymuniad hwn. Od oes ynom gariad, haelfrydedd, ewyllys da, at ein cyd-ddynion fel dynion, rhaid yw fod hyny yn creu ynom wrthwynebrwydd a gelyniaeth at yr hyn sydd, o flaen ein llygaid, yn eu gwarthruddo, eu hyspeilio, a'u dinystrio. Gelyn yn gwneyd hafog echryslawn ar ddynoliaeth yw meddwdod. Fel y dywed Paul am bechod arall, ninnau a allwn ddywedyd, "Gochelwch" feddwdod; canys yr hwn sydd yn meddwi "sydd yn pechu yn erbyn ei gorff ei hun." Beth yw'r dwylaw crynedig, y llygaid gwlybion, y wedd bwdr, sydd ynglŷn â llawer un cyn cyrhaedd canol ei ddyddiau, ond baneran buddugoliaeth meddwdod? Ofer i rai fel hyn geisio cuddio eu pechod, o herwydd "dull eu hwynebau a dystiolaetha i'w herbyn?" "I bwy y mae gwae? i bwy y mae ochain? i bwy y mae cynhen? i bwy y mae dadwrdd? i bwy y mae gwelïau heb achos? i bwy y mae llygaid cochion? I'r neb sydd yn aros wrth y gwin; i'r neb sydd yn myned i ymofyn am win cymysgedig." Ac heblaw niweidio'r corff, mae y rheswm, sydd yn goron natur dyn, yn myned yn sathrfa i anghymedroldeb. Nis gall lai na bod dyn yn llwyr anghofio ei le a'i urddas fel dyn cyn y rhoddai ei hun i ddyoddef yr iselhâd a ddyry meddwdod arno. Y creadur ardderchog sydd yn perchen meddwl anfarwol, wedi ei gynnysgaethu â galluoedd i wasanaethu yr anfeidrol Dduw, ac i'w fwynhâu ef yn oes oesoedd,—hwnw yn ymdrybaeddu yn ffos a llaid y trachwant meddwol, gan ei osod ei hun yn nôd dirmygedig i'w hwtio gan gymdeithas fel adyn annheilwng o gariad, o barch, ac o dosturi! Mae yn rhy wir fod dynion o synwyr naturiol mawr, athrylith ëang, a doniau godidog, wedi eu cael o bryd i bryd ymysg y meddwon; ond dylai hyny, nid peri i neb edrych yn ysgafn ar y bai hwn, eithr yn hytrach wasanaethu yn rhybudd difrifol i bawb ymgadw yn ddigon pell oddiwrtho, gan nad yw deall, dysg, na dawn, yn un sicrhâd na syrthia dyn yn ysglyfaeth iddo os unwaith yr ä i gellwair â'i achlysuron. Fel y gawod fall ar flodau a phlanigion, felly yr effeithia meddwdod; mae yn gwywo a dyfetha y cwbl o'i flaen. A fynem ni weled pa fodd y mae ei gaethion truain yn cael eu trin ganddo? Gallwn ganfod llawer o honynt yn pwyso ar eu plwyfydd, yn y tylottai, ac yn yr elusendai, wedi yfed eu hunain a'u meddiannau i dlodi a gwaradwydd; eraill yn yr *hospitals* a'r *infirmaries*, wedi colli eu hiechyd neu ddryllio eu hesgyrn; eraill yn y gwallgofdai, gan i chwa gwenwynig y gwirf ddiffodd canwyll yr Arglwydd o'u mewn; eraill yn y carchardai a'r *hulks*, ïe, a rhai ar y crogbrenau, wedi eu harwain yn dwyllodrus hyd yno gan y ddiod gadarn. Dywedwch chwi am ryw bechod arall sydd yn lladd ei filoedd, a minnau a ddywedaf fod meddwdod yn lladd ei fyrddiwn. Ei erchyllwaith ef a wnaeth aneirif wragedd yn weddwon a phlant yn amddifaid, tra yr ydoedd o'r blaen wedi gwneyd y gwŷr a'r tadau yn debycach i ellyllon nag i ddynion. Pwy wrth olrhain adgofion boreuol, na chaiff achos i resynu ac ocheneidio wrth feddwl, Gymaint o hen gymydogion, hen gydnabod, a hen gymdeithion ieuenctyd, a orchfygwyd gan ddiod gref, ac a syrthiasant cyn eu hamser i fedd y meddwyn! Yn ddiau, nid oes neb âg iawn deimlad dyn yn ei fynwes na ddeisyfa, Darfydded weithian, O darfydded y drwg hwnw sy'n peri yr holl ddrygau hyn! Ymaith bellach â'r meddwdod ffiaidd, creulawn; canys dinystr ac aflwydd sydd yn ei ffyrdd!

Mae yr egwyddor o *wladgarwch* yn ein cynhyrfu i ddymuno darfodiad meddwdod. Cas gŵr ni charo y wlad â'i mago, medd yr hen Gymry. Byddai diffyg cariad at ein gwlad a'n cenedl yn

annaturiol ac yn anghrefyddol. Mawrhâd byth ar enw Mordecai ydyw ei fod "yn ceisio daioni ei bobl." Os ydym ninnau yn ceisio daioni i'n cydddeiliaid a'n cydgenedl, nis gallwn beidio deisyfu, Darfydded anghymedroldeb o'r tir; na weler ynddo feddwon mwy! Mae gwladgarwch yn peri i ni lefain yn ngeiriau teimladol Esther, "Pa fodd y gallaf edrych ar y drygfyd a gaiff fy mhobl? a pha fodd y gallaf edrych ar ddyfetha fy nghenedl?" Cyfrifir y dyfethir trwy ac o herwydd meddwdod yn Mhrydain bob blwyddyn yn rhywle o hanner can' mil i bedwar ugain mil o fywydau dynol. Ni a fyddwn bob wythnos yn clywed am y drygau mwyaf erchyll, ac yn fynych y llofruddiaethau mwyaf anfad, yn cael eu hachosi gan feddwdod. Ac fe ddywedir wrthym nad yw costau arianol y diodydd meddwol, a chymeryd i mewn hefyd y coll amser, y damweiniau, y troseddau, a'r cosbedigaethau, sydd yn canlyn yr ymarferiad â hwy yn ein teyrnas, yn ddim llai na chwech ugain miliwn o bunnoedd yn flynyddol; ac y mae un miliwn, ni a wyddom, yn fil o filoedd.

Y mae llawer o bethau yn peri i ni fel Prydeiniaid fod yn falch o'n gwlad; ond wrth feddwl am ei meddwdod, nis gallwn ond cywilyddio o honi. Prydain, fy ngwlad, fy ngwlad! mae dy gyfoeth yn ddirfawr, dy adnoddau yn helaeth, dy farchnadyddiaeth yn ëang, dy fedr celfyddol yn nodedig, dy drefedigaethau tramor yn lliosog, dy gyfreithiau yn uniawn, a'th gymdeithasau dyngarol a chrefyddol yn ardderchog; ond, fy ngwlad, O fy ngwlad! mae dy feddwdod yn dy osod yn watwargerdd i'r holl fyd! Canfyddir Ffrainc yn ei hoffeiriaid Pabaidd, ac yn ei phobl anffyddol, yn estyn bys at feddwdod Prydain Brotestanaidd. Ac y mae yr un syniad iselhäol am danom yn holl wledydd Ewrop, ac nid, ysywaeth, yn ddiachos. Yr oedd gŵr cyfrifol a chraffus o'r America yn ymweled â'r deyrnas hon rai blynyddoedd yn ol, ac, wedi myned adref, yn adrodd na welsai efe, o'r pryd yr oedd wedi tirio yn Liverpool hyd yr adeg yr hwyliodd oddiyno yn ol, wedi iddo, yn y cyfamser, deithio ar hyd cyfandir Ewrop, gymaint o feddwdod yn un man âg yn Lloegr a Chymru; a dywedai na chanfuasai efe hyd yn nôd yn Holland a Germany, a gyfrifid yn wledydd o yfed mawr, neb yno yn yfed gwirod (*spirits*) ond Prydeinwyr, nac unrhyw rai yn y gwledydd hyny mor feddw â hwynt. Darllenais o bryd i bryd, yn y blynyddoedd diweddaf hyn, adroddiadau cyfeisteddfodau a benodasid gan Gymanfäoedd Eglwysig i wneuthur ymchwiliad ynghylch anghymedroldeb yn ngwahanol barthau ein gwlad; ac am bob cyfryw adroddiad, gallesid dywedyd, "Yr oedd wedi ei ysgrifenu arno, galar, a gruddfan, a gwae." Er fod anghymedroldeb, meddynt, yn ffynu yn benaf ymysg y gwrywod, eto yr oedd yn rhaid iddynt addef fod anghymedroldeb benywaidd yn cynnyddu yn ddirfawr. Nid yn unig yr oedd meddwdod i'w weled ymysg pobl mewn oed, ond yr oedd hyd yn nod bechgyn, llanciau ieuainc iawn, yn y trefi mawrion, ac yn y gweithfäoedd, i'w rhestru yn feddwon. Ac heblaw y dosbarth llaw-weithyddol, ceid fod meddwdod yn gwneyd hafog ymhlith y llafurwyr amaethyddol; ac yr oedd amaethwyr lawer, yn ol yr adroddiadau crybwylledig, yn rhy chwannog i ymyfed a meddwi. Mae yr arferiad o yfed wedi ymwreiddio ac ymledu y fath yn y wlad hon, fel y ceir llaweroedd o bobl nas gallant brynu na gwerthu—priodi, bedyddio, na chladdu—dal gwres nac oerni—dangos cyfeillgarwch, lletŷgarwch, na theyrngarwch, heb gyfranogi mwy neu lai o win neu ddiod gadarn. Mae yr yfed, yfed diddiwedd, o'r ieuenctyd i'r henaint—ymhob man a chyda phob peth—Sul, gŵyl, a gwaith—ar bob achos a phan heb un esgus achos—yn myned dan wraidd sobrwydd ein tir, ac yn ein gwneyd, fel Israel gynt, yn bobl lwythog o bechodau. Nid rhyfedd os dywed Arglwydd y lluoedd, "Onid ymwelaf am y pethau hyn? oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl â hon?" Od oes y fath beth â chosbi gwledydd am feiau gwladol, rhaid gwneyd hyny trwy farnau gwladol, ac felly yn y byd hwn; o herwydd yn nhragywyddoldeb y mae yr Hollalluog yn delio â dynion fel personau unigol, ac nid fel cenedl neu lwyth, gan nad oes iddynt yno hanfodiad cenedlaethol neu wladol megys y mae yma. Dylai gwlad y mae anghymedroldeb yn un o'i phechodau cenedlaethol grynu gan hyny, rhag i'r Arglwydd ddyfod allan o'i

fangre i ymweled â'i hanwiredd, gan ddyweyd, Dan draed y sethrir coron balchder meddwdod Prydain! Er mwyn ein brodyr a'n cyfeillion, er mwyn ein gwlad a'n pobl, y dywedwn yn awr, Darfydded weithian—darfydded, O darfydded diotta, cyfeddach, a meddwdod o holl barthau ein tir.

Mae achos *crefydd efengylaidd* yn ein rhwymo i filwrio yn erbyn anghymedroldeb. Dyma elyn mawr i'n crefydd ni, sydd yn rhyw gawr Goliath yn gwaradwyddo byddinoedd y Duw byw. Er mor alarus yw meddwl mai y wlad lïosocaf ei breintiau crefyddol yw y wlad lle y mae meddwdod yn ffynu fwyaf, eto, ar ryw gyfrif, nid yw hyny yn beth mor rhyfedd; nid yw ond yr hyn y gallesid ei ddysgwyl. Nid fod Cristionogaeth, nid fod Protestaniaeth, nid fod crefydd yr efengyl, mewn un modd yn cynnyrchu meddwdod, ond am fod y diafol, yr hwn sydd yn casâu ac yn ofni yr efengyl yn fwy nag unpeth, wedi dyfod i ddeall nad oes dim yn fwy effeithiol tuag at wrthweithio dylanwad sancteiddhäol yr efengyl ar feddyliau dynion na'u cael i hoffi diod gadarn, megys y canodd rhywun,

"Uffern a chwardd wrth weled meddwol ddiod
Yn diffodd argyhoeddion y gydwybod;
Am hyny ymhob lle caiff Duw addoldŷ,
Y diafol yn ei ymyl gŵyd dafarndŷ."

Mae yr ymarferiad â'r gwlybyroedd meddwol yn cadw lluoedd rhag dyfod i sŵn efengyl. Ar y Sabbath, y dydd penodol i ddyn gael hamdden i addoli Duw a meddwl am ei enaid, y mae llawer brysuraf gyda'r gwpan hudoliaethus, ac yn ymroddi fwyaf i anghymedroldeb. Heblaw yr halogir gorphwysfa sanctaidd y Sabbath yn ngwneuthuriad diodydd meddwol, mae yn wirionedd arswydus fod mwy o feddwdod oddifewn Prydain Fawr, ïe yn Nghymru, ar ddydd yr Arglwydd, yn y cyffredin, nag ar yr un dydd arall o'r wythnos, os nad ar yr holl ddyddiau eraill ynghyd. Ac nid yn unig y mae'r trueiniaid sydd o dan lywodraeth diod gadarn yn dibrisio yr efengyl eu hunain, ond y maent, lawer o honynt, trwy eu hoferedd a'u gwastraff, yn anghymhwyso eu teuluoedd i ymddangos yn weddaidd yn moddion gras. Tra y ceir y gŵr digydwybod yn canu neu yn cynhenu uwch ben ei wydriad yn y dafarn, mae ei wraig dorcalonus, gyda ei phlant bach, yn ei bwthyn tlawd, sydd â'r aelwyd yn oer a'r cwpbwrdd yn wag, yn rhy ddigalon, ac, ond odid, yn rhy garpiog i ddyfod i dŷ Dduw ar ei ddydd. Neu os daw'r diottwr neu'r meddw i'r oedfa grefyddol, ni chaiff yr efengyl ond ei glust, ac *os* ydyw a gaiff hi hyny. Nid oes ganddo yr un galon i dderbyn na chadw'r gwirionedd; oherwydd y mae'r chwant wedi lladrata a dyfetha hono. "Godineb, a gwin, a gwin newydd, a ddwg y galon ymaith." Mae creaduriaid o'r fath yma yn *warranted sermon proof* gan Satan; oblegid fe ŵyr y gelyn am y rhai sydd wedi ymlenwi â diod gadarn, eu bod yn llwyr analluog i gael eu llenwi â'r Ysbryd Glân. A phe byddai y fath beth âg i rai o'r cyfryw deimlo rhywbeth wrth wrandaw—taran o Sinai yn dychrynu'r gydwybod, neu wreichionen o dân uffern yn syrthio ar y meddwl, byddai yn rhywyr ganddynt hwy fyned at y ddiod syfrdanol, i olchi ymaith yr argraffiad dalonus, a chael gwared oddiwrth bob peth sydd yn anesmwytho yr enaid ar ei ffordd i ddystryw. Gellir nodi lleoedd yn Nghymru y gwelir yno bobl ieuainc ac eraill ar nos Sabbath, ar ol bod yn clywed mawrion bethau y gyfraith, yn myned yn heidiau o'r bregeth i'r dafarn; a pha beth sydd felly i'w ddysgwyl ond llwyr fogi pob teimlad crefyddol a allent gael yn nhŷ Dduw?

A chyda rhwystro lluoedd *at* grefydd, mae'r chwant hwn wedi tynu llaweroedd yn ol *oddiwrth* grefydd. Achan ydyw sydd wedi dwyn drallodi gwersyll yr Arglwydd, neu Ahab sydd wedi hir flino Israel. Ymholwch i hanes eglwysi Crist ymysg pob enwad yn Nghymru yn y blynyddoedd hyn, a chwi a gewch fod llawer mwy o broffeswyr wedi gwrthgilio a gwadu'r ffydd o herwydd diotta a meddwdod nag o herwydd un achos arall. Mae'r chwant i wlybyron meddwol, fel draig goch fawr y Dadguddiad, wedi tynu â'i chynffon lawer o ser y nef, a pheri iddynt syrthio ar y ddaear fel ffigys gleision. Llawer aelod parchus, ac ambell ddiacon defnyddiol, ïe ac ambell bregethwr dawnus a chymeradwy, a glwyfwyd, a yspeiliwyd, ac a ddinystriwyd trwy anrheithiau meddwdod. Israel Duw, cofia yr hyn a wnaeth yr Amalec

hwn; pa fodd y lladdodd efe y rhai olaf o honot, a'r gweiniaid o'th ôl; cofia ef i'w ddifa, a gwylia ddangos un math o drugaredd iddo.

Yr ydym bellach i nodi pa fodd yr ydym i ymdrechu yn ymarferol tuag at hwyluso a dwyn i ben y deisyfiad hwn,—Darfydded weithian anwiredd y meddwon.

Gellir, yn wir, fod gyda'r dymuniad hwn fel y mae'r diog yn deisyf ac heb gael dim. Hen ddiareb Gymreig a ddywed, 'E fynai'r gath bysgod, ond ni fynai wlychu ei throed.' Nid oes neb na ddywed yr hoffai efe weled y llwyddiant dymunol; ond pa gymaint y sydd a'r na fynant ymgymeryd â'r llafur angenrheidiol? A ddymunech chwi weled gwlad sobr, oes sobr—neb, neb yn meddwi mwyach? Dymunem yn sicr, medd yr ateb cyffredinol; henffych well i'r fath hapus dymmor! Wel, mynwch ddangos fod y fath ddymuniad yn gywir a diffuant, trwy wneyd yr oll a alloch o blaid sobrwydd.

Tuag at gael terfyn ar feddwdod, *yr ydym i ymdrech am gael attalfeydd cyfraith ar y fasnach feddwol;* y fasnach mewn gwlybwr meddwol fel diod gyffredin. Addefir gan agos bawb mai un o brif achosion cynnydd meddwdod yn ein gwlad yw amlhâd tafarndai. Gŵyr pawb y rhaid wrth lëoedd i lettŷa fforddolion; ond nid rhaid wrth leoedd i feddwi dynion. Melldith gwlad a thref yw'r teïau a agorwyd yn benodol er mwyn i bobl o agos, yn gystal ag o bell, eisteddian ynddynt i yfed eu hunain, ac estyn i eraill, y ddiod sy'n meddwi. Nid ydym yn ammheu na welir rhai tafarndai yma a thraw yn cael eu cadw mor weddaidd a threfnus ag y mae yn bosibl cadw y fath lëoedd; ond hyd yn nôd yn y tai hyny, y mae teimladau goreu'r fynwes yn methu ymgymmodi â masnach yr ymyfed. Pan ofynwyd i ŵr o gymeriad da a pharchus, yr hwn a roesai i fyny gadw tafarn, wedi bod ynddi yn unig am flwyddyn o amser, paham y gadawsai efe'r fasnach pryd yr oedd pob a wydd y buasai ynddi yn gwneyd arian lawer, ei ateb ydoedd, "Dyma oedd yn fy lladd: gweled nad allaswn weddïo ar yr Hollalluog y bore am ei fendith ar fy llafur y dydd; oherwydd po fwyaf o yfwyr ac o yfed a fyddai yn fy nhŷ, mwyaf a fyddai fy ennill innau." Masnach yw hon sydd fel pryf y bedd yn brasâu ar lygredigaeth, fel y dywedai y diweddar William Arnott, y pregethwr a'r ysgrifenydd gwych hwnw yn Eglwys Rydd Scotland, Bara i'r naill ddyn yw gwerthu yr hyn sydd yn angeu i'r dyn arall ei brynu.

Paham y rhaid i chwi ddywedyd dim yn erbyn tafarndai? medd rhywun; rhaid mai y bobl sydd yn awyddus am ddiod, onidê ni byddai o un dyben codi tafarndai ar eu cyfer. Na, y mae'r fasnach yn y pethau meddwol yn creu yr yfed yn gystal â bod yr yfed yn creu'r fasnach. Mae'r lle a'r gyfeillach yn temtio dyn i yfed; a pho fwyaf a yfo, cryfaf fydd ei flys, a gwanaf ei synwyr. Nid efe ei hunan yw'r ymyfwr bellach; mae ynddo wanc am ddiod heb reswm yn effro i allu rheoli ei flys; ac elw i'r tafarnwr yw porthi'r blys hwnw. Ond y mae Gwae'r Bibl yn gwneyd y cyfryw elw yn hynod ddrud. "Gwae a roddo ddiod i'w gymydog, yr hwn ydwyt yn rhoddi iddo dy gostrel, ac yn ei feddwi hefyd." Wrth fyned heibio i'r *gin palaces* yn y trefi mawrion, a gweled pob peth ynglŷn â hwy mor wahoddgar, ac edrych ar y creaduriaid llymion, budron, teneuon, yn feibion a merched, a welir yn heidio iddynt, nis gellir llai na meddwl am y cymeriad hwnw a ddesgrifir gan y Salmydd, "Efe a gynllwyna mewn dirgelwch, megys llew yn ei ffau; cynllwyn y mae i ddal y tlawd; efe a ddeil y tlawd, gan ei dynu i'w rwyd; efe a ymgryma ac a ymostwng, fel y cwympo tyrfa trueiniaid gan ei gedyrn ef." Mi a glywais am garcharor yn dyweyd wrth gaplan y carchar, "Byddai yn llawer gwell nacâu rhoi *licenses* i dai er gwerthu diodydd sy'n meddwi pobl, na chosbi a charcharu pobl am wneuthur drygau ar ol iddynt feddwi yn y tai hyny. Pe buaswn i heb weled tafarn," medd efe, "ni buaswn yn meddwl am yfed." Yr oedd Dr. Guthrie, cyn ei ddyfod i weinidogaethu yn Edinburgh, yn weinidog mewn plwyf gwledig, yr hwn blwyf, meddai, oedd yn hynod am ei sobrwydd, lle nad oedd yn unig ond rhyw ddau y gellid eu galw yn feddwon; a'r rheswm a roddai efe am hyny ydoedd, nad oedd yno ond un tafarndŷ, a hwnw yn mhen eithaf y plwyf. Mae yn dda genyf ddeall fod rhyw ychydig o foneddwyr yn Nghymru na chaniatânt i deïau er gwerthu diodydd

meddwol fod ar eu hetifeddiaethau hwynt; ac y maent yn cael eu gwobrwyo yn dda yn y wedd rinweddol a llwyddiannus sydd ar eu cymydogaethau. Dylid gwerthfawrogi y gymdeithas benodol yn ein tir, yr *Alliance*, Cynghrair y Deyrnas Gyfunol, i oleuo a chynhyrfu y wlad tuag at gael cyfraith i rwystro'r fasnach mewn gwlybon meddwol fel diodydd cyffredin mewn tref ac ardal, os bydd dwy ran o dair o'r trethdalwyr yno am ei hattal. Nid l endith fechan i'r holl deyrnas a fyddai cael cyfraith i gau'r tafarnau ar y Sabbath; ac y mae yn drueni na cheffid hyny; ond pe caffai yr *Alliance* ei hamcan yn llawn, gwelid gwedd newydd ar ein gwlad trwy holl ddyddiau yr wythnos; attelid drygau lawer, a mwynheid daioni helaeth. Da y gwnawn ninnau roddi ein dylanwad a'n hymdrech o'i phlaid.

Mae yn rhy amlwg nad yw'r wladwriaeth eto wedi dyfod i weled yn iawn y cyfrifoldeb ofnadwy sydd ynglŷn â thrwyddedu'r fasnach feddwol. Yr oedd yn ddeddf yn nghyfraith Moses, os byddai i ŷch unwaith gornio rhywun neu ei ladd, fod yn rhaid llabyddio yr ŷch hwnw; ac ni chaniateid i neb fwyta ei gig; eithr yr oedd perchen yr ŷch i fod yn rhydd, heb un gosb bersonol arno. Ond os byddai yr ŷch yn un oedd yn arfer cornio o'r blaen, a thystion wedi gwneuthur hyny yn hysbys i'w berchenog, ac yntau, ar ol derbyn yr hysbysiad, yn gadael yr ŷch yn rhydd ar y maes, nes iddo ryw ddiwrnod ladd mab neu ferch, yna yr oedd raid nid yn unig labyddio yr ŷch, ond marwolaethu ei berchen hefyd. Beth yw yr addysg i ni oddiwrth gyfryw ddeddf? Dysgir i ni fod y Duw byw yn dal dynion yn gyfrifol am ganlyniadau gofidus y gallasent hwy eu rhagflaenu, ond yr hyn yn ddiofal a esgeuluswyd ganddynt. Ni wrandewid ar berchen yr ŷch yn dyweyd wedi'r lladdedigaeth, "Mae yn ddrwg iawn genyf i'r ŷch oedd yn eiddof fi ladd dyn; ni feddyliais erioed y gallasai ladd neb, ac onidê mi a'i cadwaswn yn rhwym." Na, hysbyswyd yn amserol iddo am yr ŷch, fod ynddo duedd rhuthro ar bobl; ac o herwydd na chymerodd efe y rhybudd yn ei gylch, wele fywyd dynol wedi ei ddwyn ymaith; a rhaid i fywyd y perchenog am hyny fyned yn fforffed. Pwy nid ŵyr fod gwerthu diod feddwol i bawb a'i ceisio yn peri a meithrin anghymedroldeb? Ond er i mi werthu'r ddiod, nid oes arnaf eisieu i ddynion feddwi, medd y tafarnwr. Ië, ond ti a wyddit fod dy fasnach di yn creu meddwdod, a bod meddwdod yn cynnyrchu pob drwg. Nis gallwn ninnau bawb lai na gwybod am beryglon a niweidiau'r fasnach feddwol; ac felly ni a ddylem ei gwrthwynebu ymhob modd dyladwy. Wrth hyny ni a hyrwyddwn gwblhâd y dymuniad daionus, Darfydded weithian feddwdod ein gwlad.

Er mwyn hwyluso diwedd meddwdod, *gelwir arnom i lwyrymattal yn bersonol oddiwrth ddiodydd meddwol.* Yr wyf yn gobeithio y cewch chwi weled y Cynghrair a enwyd wedi cyrhaedd ei nôd, neu ryw foddion eraill yn peri i'r gwirf peryglus gael ei gyfyngu i'w le ei hun, i'w werthu yn unig at ddybenion celfyddol a meddygol. Eithr nis gellir dysgwyl hyny yn ebrwydd. Bydd raid wrth lawer o athrawiaethu ac addysgu, deisebu a dylanwadu, cyn y llwyddir i gyrhaedd y cyfryw nôd. Ond yn y cyfamser, ni a allwn, ac, yn sicr, ni a ddylem, bob un yn bersonol, anghefnogi meddwdod, diogelu ein hunain rhagddo, ac egnïo achub eraill oddiwrtho, trwy ymgyfammodi yn ddifrifol, a chadw ein cyfammod yn ddiffuant, i beidio yfed fel diod gyffredin ddim gwlybwr meddwol. Nid wyf yma yn cyffwrdd dim â'r defnyddiad meddygol o'r gwlybyroedd hyn mewn achosion anhebgorol, o dan gyfarwyddyd a gocheliad priodol. Mae yn ddiau fod llawer o ddrwg wedi ei gyflawni o bryd i bryd trwy gynghori cleifion o bob math i gymeryd dognau o ddiodydd meddwol, heb ystyried yr enbydrwydd o'u hymarfer; ond eto nid wyf yn ammheu nad oes ambell Timotheus y dyddiau hyn ag y byddai yn gymhwys dywedyd wrtho, "Nac yf ddwfr yn hŵy, eithr arfer ychydig win, er mwyn dy gylla a'th fynych wendid." Ond dywedyd yr wyf yn erbyn yr ymarferiad o honynt fel diodydd beunyddiol a chyffredin.

Y mae yn eglur ddigon, dybygid, fod sefyllfa feddwol ein gwlad yn galw ar bob un a fynai wasanaethu Duw a'i genedlaeth, a chadw ei hunan yn bur, i lwyrymwrthod â'r hyn sydd yn cynnyrchu meddwdod. Gwrthddadleua llaweroedd mai yfed ychydig y bydd-

ant hwy, a rhoddi i fyny ar hyny, ac na welid neb yn feddw pe byddai pawb yn gwneyd eu hesiampl hwynt. Ond y mae yn beth a addefir yn gyffredinol, ac yn amlwg ynddo ei hun, nad oes dim llai na llwyrymattal oddiwrth y pethau meddwol a all sobri meddwon, gan na fedrant hwy yfed rhywfaint heb yfed gormod. Pe heb y gwydriad cyntaf, hwy a ymgadwent yn sobr; ond unwaith y caffont hwnw, bydd raid cael yr ail a'r trydydd, ac felly ymlaen, nes gwneyd eu hunain yn ddirmygedicach na'r anifail a ddyfethir. Myned yn llwyrymattalwyr yn unig a wna'r tro iddynt hwy; a chan fod esiampl yr yfwr cymedrol yn llefaru yn uchel fod yr ymarferiad â'r gwlybyroedd syfrdanol yn rhagori ar lwyrymwrthod â hwynt, wrth ei ddilyn ef ni bydd y rhai hyn byth yn waredol rhag meddwdod. Yr oedd yr hen Ficer da o Lanymddyfri, yr hwn a oesai ddau can' mlynedd yn ol, wedi dyfod i lawn ddeall mai yn unig wrth gilio rhag y ddiod yr oedd gobaith i'r meddwyn; ac yr oedd efe ei hunan, pan yn ŵr ieuanc, wedi bod yn chwannog i yfed a meddwi. Yn ei "Gynghor i'r Meddwyn," mae yn dyweyd yn ei ffordd syml a chyrhaeddgar ef,

"Nid gwell meddwyn er gweddïo
Heb ochelyd ac ymprydio;
Gweddi ac ympryd sydd yn gröew
Yn gorchfygu 'r cythraul meddw.

Os gweddïi 'n erbyn meddwdod
Ac heb ochel teïau 'r ddiod,
Ni thâl gweddi iti ddimai,
Eisieu gochel y tafarnau.

Tŷn o'r dafarn, gochel feddwdod,
Na chais fyn'd yn drech na'r ddiod;
Ni chas un mo 'r trechaf arni
Ond a giliai 'n ebrwydd rhagddi.

Gwell yw dianc nag ymdrechu,
Gwell yw cilio nag ymdynu;
Gwell rhoi goreu i'r anfad gwrw
Nag ymostwng iddo 'n feddw.

Treiaist, feddwyn, dy rym ddengwaith,
Cwympaist dan y ddiod ganwaith;
Oni chymri 'r traed oddiwrthi,
Hi rydd eto godwm iti."

Gyda yr yfed ychydig, yr yfed cymedrol, y dechreuodd y dyn meddwaf yn y wlad; ac ni ddychymygodd efe yn y dechre y gwelsid ef byth yn ddyn meddw. Mae'r cylch nesaf allan o'r rhai sy'n cylchynu llyn tro meddwdod, yn ymddangos mor llyfn a thawel a hyfryd, fel nad oes ofn ar neb wrth hwylio i mewn, a phob un yn meddwl fod ganddo ddigon o allu a phenderfyniad i droi yn ol pan fyno. Ond y mae'r yfed yn awr ac eilwaith, a gychwynwyd, fe ddichon, er mwyn cyfeillach, yn myned cyn hir yn arfer, a'r arfer yn myned yn reddf ac yn natur; ac y mae'r truan yn ei gael ei hun yn nghanol dinystr cyn iddo dybied ei fod mewn un perygl. A phan ddechreuo dyn deimlo fod chwant i ddiod yn cael goruchafiaeth arno, dyna egwyddor newydd o ddinystr yn ymddangos yn rhwym wrtho. Mae ing meddwl yn ei arteithio am ei anghymedroldeb; a'i unig ymwared rhag yr ing hwnw yw ymroddi i fyned yn fwy anghymedrol. Mae'r diafol wedi llwyddo i osod y pechadur megys ar sigl-dongian arswydlawn, nes y mae pob cynhyrfiad a theimlad ac addewid yn ei adael yn yr un man. Mae ei holl ogwydd oddiyma yna, ac oddiyna yma: o feddwdod i gnofeydd meddwl, ac o gnofeydd meddwl i feddwdod; o yfed i edifaru, ac o edifaru i yfed; meddwi a chyffesu, cyffesu a meddwi, nes o'r diwedd iddo farw yn nghyflwr a chymeriad meddwyn. Tydi, gyfaill, sydd yn tybied fod genyt ddigonedd o reswm a chraffder meddwl i allu rhoddi i fyny ar y dogn a ferni yn gymhwys o'r ddiod gadarn, heb berygl i ti gael dy orchfygu gan feddwdod: gwell i ti beidio hunanhyderu, a meddwl dy fod yn ddigon o ddyn i wrthsefyll grym a thwyll yr hudoles a laddodd wŷr grymus lawer. "Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn; yn y diwedd efe a frâth fel sarph, ac a biga fel neidr.' Nis gwn pa fodd y gall hwnw ddyweyd ei bader o ddifrif, "Nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg," sydd yn chware â'r peiriant mwyaf llwyddiannus o holl demtasiynau'r fall. Os mynech fod yn ddiogel rhag syrthio dros y dibyn, sefwch ar ganol y ffordd. Os na chwenynychech eich nodi â drygioni amlwg, "ymgedwch rhag pob rhith drygioni."

Rieni, os oes rhai o honoch heb weled cymaint o anghen am lwyrymattal er eich mwyn eich hunain, beth meddech chwi am wneyd hyny er mwyn eich plant? O'r holl faglau

sydd ar lwybrau dyn ieuanc, y fwyaf dystrywiol yw y ddiod feddwol. Diau na ddymunech chwi byth weled eich plant yn feddwon; arweiniwch hwy, ynte, â'ch esiampl i'r unig ffordd sicr rhag hyny. I ba le bynag yr elont, a pha beth bynag â'u cyferfydd, gyda dirwest yn gydymaith iddynt, hwy a gedwir rhag myrdd o ddrygau a anrheithiasant wŷr ieuainc a welsid yn cychwyn yn dra gobeithiol. Gyda'r gŵr doeth, dyweded pob tad wrth ei blentyn, "Erglyw, fy mab, a bydd ddoeth: na fydd ymysg y rhai sydd yn meddwi ar win; canys y meddw a'r glwth a ddaw i dlodi." O fy mrodyr, os methwn ni sobri hen feddwon, gadewch i ni wneyd a allom i gael yr oes sy'n codi yn oes sobr; ac felly fe ddarfyddai meddwdod gyda'r oes bresenrol. Bydded i ni, fel y dywedai y diweddar enwog ac anwyl Henry Rees, fod gyda hyn fel yn debyg i'r *firemen* yn y trefi. Pan y byddant hwy yn methu diffodd y tân yn y tŷ lle y mae'r cyfan yn wei fflam, maent yn troi y *fire-engine* ar y tai nesaf, i gadw'r tân rhag ennyn ymhellach. Mae yn lled annhebyg y gellir diffodd chwant cynddeiriog yr ymyfed yn y rhai y mae wedi cael blynyddoedd o rwysg; ond ymrown ati i geisio dyfrhâu yn dda âg egwyddorion sobrwydd blant ac ieuenctyd, fel, os yw bosibl, yr achuber hwynt rhag y felldith ddifäol o anghymedroldeb.

Ond ni raid i ni eto anobeithio uwch ben cyflwr y meddwon, ïe, a hen feddwon; mae gobaith yn llewyrchu, hyd yn nôd ar eu hachos gresynol hwy. Mae gras yr efengyl yn ddigon rhinweddol i ddileu euogrwydd yr hen feddwi a aeth heibio; ac fe all ymgeledd effeithiol yr egwyddor lwyrymattaliol eu cadw yn sobr rhagllaw. Daeth Mab Duw, nid i alw rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch. Tröed y meddwon eu hwynebau ato ef, ac efe a'u hachub. Er düed y maent wedi myned wrth orwedd o honynt ymysg y crochanau, eto wedi eu golchi yn ei waed, hwy a fyddant wynach na'r eira. Pe byddai yma feddwon ger fy mron, gallwn yn hyf eu cyfarch: Mae Iesu Grist yn para i dderbyn pechaduriaid; ydyw, a meddwon yn eu mysg. Deuwch ato yr awr hon, mae ganddo awdurdod i faddeu'r meddwi a'r holl bechu blaenorol; ac y mae yn barod i'ch cymeryd i'w wasanaeth ei hun. Ond gan eich bod wedi myned mor wan ac afiach trwy yr hen glefyd meddwol, mae agos yn sicr, cyn y rhydd efe un gorchwyl i chwi yn neu o amgylch ei dŷ, yr enfyn efe chwi yn gyntaf at Doctor Dirwest; ac mae hwnw y fath feddyg, ond i chwi aros dan ei law, ag a'ch llwyr iachâ o'ch hen anhwyldeb. Chwithau y cymedrolion, fel eu gelwir, arferwch hunanymwadiad, os rhaid yw, tuag at waredu y rhai a lusgir i angeu, a'u gosod ar dir diogelwch. Mae yr hwn sydd yn arfer yfed hyd yn nôd yr hyn a gyfrifir yn gymedroldeb o ddiod feddwol, yn dywedyd yn ei ymddygiad, Parhaed, parhaed dioddydd y meddwon i mi, serch i feddwdod ddal i fyny byth. Nid oes ond y neb sydd yn llwyrymattal a all ddyweyd yn effeithiol ac ymarferol, Darfydded holl achosion ac effeithiau meddwdod.

Ymhellach, yn yr ymgyrch i brysuro darfodiad meddwdod, gelwir ar bobl yr Arglwydd yn gyffredinol *i ymroddi mewn gweddïau gwresog am oruchafiaeth ar ddiotta, cyfeddach, a meddwdod, ac i bob ymarferiad cyson ac anghenrheidiol tuag at ddwyn hyny i ben.* Gweddi ar Dduw, fe welir, yw geiriau'r testun, "Darfydded weithian anwiredd yr annuwiolion." Ac yn ein hymdrech yn erbyn meddwdod, yn gystal â chyda phob achos da arall, yr ydym i edrych i fyny at Dduw am ei arweiniad, ei help, a'i fendith. Mae genym achos i alw, "Ha wŷr Israeliaid, cynnorthwywch." Cynnorthwywch yn gyntaf ac yn benaf oll â'ch gweddïau. Nid ydych yn Israeliaid yn wir os nad ydych o genedlaeth y rhai a geisiant Dduw, ac a ymdrechant âg ef am y fendith anghenrheidiol. A ydyw gweled mawr gynnydd meddwdod y dyddiau hyn yn peri i ni resynu nes ocheneidio a gwaeddi i'r nefoedd, Cyfoded Duw; deffröed, dyosged ei fraich, fel y byddo meddwdod a phob anwiredd yn ffoi o'i flaen! Ac y mae eisieu i ni ddangos ein bod o ddifrif yn ein gweddïau yn erbyn meddwdod, trwy ddyfod allan ymhob ymdrech dichonadwy i'w wrthsefyll. Cynnaliwn gyfarfodydd, rhanwn draethodau, cynghorwn a rhybuddiwn yn bersonol mewn mwyneidd-dra doethineb; arferwn bob moddion i ddenu yr ieuenctyd at bleserau purach na hudoliaethau cyfeddach a diotta; rhoddwn ein wyneb a'n dylanwad o blaid codi tai cyhoeddus, lle y galler diwallu cyf-

**reidiau natur, mwynhâu rhyddymddyddan, gwneuthur bargenion, a'r cyffelyb, heb fod yn agos at wlybyroedd meddwol; a phenderfynwn fod yn ein hegnïon a'n hesiamplau yn gyfryw ag y gallom yn ddibetrus ddywedyd am y meddwon sydd yn debyg o feirw yn eu hanwiredd, Glân ydym oddiwrth eu gwaed!**

**Wrth lafurio yn y modd hwn, ni a fyddwn yn digaregu ffordd yr Arglwydd—yn cyfodi y rhwystr o ffordd llaweroedd at grefydd. Ond, onid ydych, wrth bregethu fel hyn, gwrthddadleua rhywun, yn dodi dirwest o flaen yr efengyl? Wel, gyfaill, fe all hyny fod; canys erbyn sylwi yn fanwl, gwelir mai dyna le priodol dirwest. Fel Ioan Fedyddiwr o flaen Crist, y mae dirwest i fod o flaen yr efengyl, "i barotoi i'r Arglwydd bobl barod." Mynwn ymgymeryd â phob rhinwedd moesol, tuag at wneuthur llwybrau uniawn i'n traed; a chyda hyny gweddïwn, "Crea galon lân ynof, O Dduw."**

---

## Y GYMANFA GYFFREDINOL.

*Gan y Parch.* DAVID EDWARDS, *Casnewydd, Cynlywydd Cymdeithasfa y Deheudir.*

GAN fod y cyfarfod De-Ogleddol ar achos y Gymanfa Gyffredinol ar fin ymgynnull yn Machynlleth, dichon yr hoffai darllenwyr y DRYSORFA gael ychydig eglurhâd o berthynas i waith y cyfarfod hwnw.

Er iawn ddeall y pwnc, mae yn angenrheidiol crybwyll rhai o'r prif ffeithiau cysylltiedig â sefydliad a chyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol. Yn ol Cyfansoddiad y Corff, y Gymdeithasfa Chwarterol ydyw prif lŷs eglwysig y Corff Methodistaidd. Yr un yw y Gymdeithasfa Chwarterol yn y De a'r Gogledd. Pa le bynag yr ymgynnullo, golygir fod yr holl Gorff, trwy gynnrychioliad swyddogol, yn bresennol. Medda y Gymdeithasfa Chwarterol, pa le bynag y dygwyddo fod yn gynnulledig, yn y De neu'r Gogledd, gyflawn awdurdod i benderfynu achosion ac arolygu holl eglwysi y Cyfundeb trwy Gymru a Lloegr. Ond y mae pob achos o bwys i gael ymdriniaeth mewn dwy neu dair o Gymdeithasfäoedd yn y De a'r Gogledd yn olynol, cyn ei benderfynu mewn modd hollol a gorphenol.

Tra nad oedd y Corff Methodistaidd ond bychan mewn cymhariaeth i'r hyn ydyw erbyn hyn, a thra yr oedd ei arweinyddion yn rhoddi eu presennoldeb gyda graddau o gysondeb yn Nghymdeithasfäoedd y De a'r Gogledd, yr oedd y trefniant cymanfäol hwn yn ateb yn weddol er cadw y Cyfundeb mewn trefn. Ond er pan mae y Gymdeithasfa Chwarterol wedi ymwahanu, a myned i ddybenion ymarferol yn ddwy Gymanfa, y naill i lywodraethu y De, a'r llall y Gogledd, mae y trefniant cymdeithasfäol cyfansoddiadol wedi profi yn ddiffygiol. Nid oes mwyach un rhwymyn cymanfäol cyffredinol er diogelu undeb a chydweithrediad rhwng y De a'r Gogledd.

Y teimlad o'r diffyg hwn a achlysurodd y cynnygiad am sefydlu "Y Gymanfa Gorfforedig," fel ei gelwid, fwy na deg ar hugain o flynyddau yn ol, a'r hwn a drôdd allan yn fethiant o ddiffyg cefnogaeth ddigonol. Wedi marwolaeth y Gymanfa Gorfforedig, bu y De a'r Gogledd dros amryw flynyddau heb un cyfarfod undebol ond Cyfeisteddfod y Genadaeth Dramor, a gyfarfyddai yn flynyddol yn Lerpwl mewn cysylltiad â Chymanfa leol y Sulgwyn.

Ar yr adeg hon yr oedd amryw gwestiynau pwysig, perthynol i'r Methodistiaid yn gyffredinol, yn ymwthio i sylw; a theimlid anghyfleusdra cynnyddol o ddiffyg rhyw gyfarfod unol rhwng y De a'r Gogledd, i gael ymdrafod â'r cyfryw achosion. Ofnid hefyd rhag i'r dyeithrwch rhwng y ddwy dalaeth gynnyddu, ac arwain i ganlyniadau mwy pwysig yn y dyfodol. Y teimlad cynnyddol hwn trwy y De a'r Gogledd a roddodd ysgogiad adnewyddol i'r ymgais am gyfarfod undebol, ac a esgorodd ar y Gymanfa Gyffredinol fel y mae yn bod yn bresennol.

Wedi cydymgynghoriad mewn amryw Gymdeithasfäoedd Chwarterol yn y De a'r Gogledd, penodwyd cyfeisteddfod unol i gyfarfod yn yr Amwythig; ac yn y cyfarfod hwnw y cyttunwyd ar Reolau Cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol, y rhai, wedi hyny, a gawsant eu cymeradwyo a'u cadarnhâu gan Gymdeithasfäoedd Chwarterol y De a'r Gogledd. Tra, mewn barn cariad, y credwn fod pob Methodist trwy holl gyrau y Cyfundeb yn gwir ddymuno ar fod undeb a chydweithrediad rhwng y De a'r Gogledd, teg yw adgoffa fod rhai o'n brodyr, a'r rhai hyny yn ddynion o ddylanwad mawr, nad oeddynt yn bleidiol i'r Gymanfa Gyffredinol ar ei dechreuad. Dadleuai y brodyr hyny yn ddoniol dros eu golygiadau gwrthwynebol, gan haeru fod yn anmhosibl asio y De a'r Gogledd mewn rhwymau Cymanfäol, oddiar fod, meddynt, y teimlad gwrth-Ogleddol yn y De, a gwrth-Ddeheuol yn y Gogledd, yn gyfryw nas gellid ei ddarostwng. Gyda llawer o bryder gan hyny yr ymgyfarfu y brodyr o'r De a'r Gogledd yn y Gymanfa Gyffredinol gyntaf. Ond trôdd y Gymanfa

hono allan yn well na'r dysgwyliad, a'r un modd y rhai canlynol, nes yn raddol i'r daroganwyr gwrthwynebol orfod dystewi, a hyny mor hollol fel na chlywir mwyach mo'u llais. Mewn gair, càn belled ag y mae wedi profi fod digon o elfenau undeb a chydweithrediad gwirioneddol rhwng y De a'r Gogledd, mae y Gymanfa Gyffredinol, o'i sefydliad hyd yma, wedi troi allan yn llawn cystal â'r dysgwyliad.

Am y bwgan o ddrwgdeimlad rhwng y De a'r Gogledd, os bu iddo fodolaeth o gwbl yn rhywle heblaw yn nychymyg y rhai a siaradent am dano, nid amlygodd ei hun mewn un wedd yn y Gymanfa Gyffredinol. Yr wyf yn appelio at yr holl frodyr a fuont yn bresennol yn ngwahanol gyfarfodydd y Gymanfa o'i dechreuad, os nad gwirionedd yw fod pawb yno megys yn anghofio De a Gogledd, gan ymdeimlo yn unig fel aelodau o'r Corff, yn gynnulledig i'r dyben o drefnu mesurau er llwyddiant cyffredinol y Cyfundeb. Mae yn wir fod ymresymu a dadleu teg wedi bod rhwng personau ar wahanol bynciau, fel y dylai fod, mewn ysbryd da, er mwyn dyfod i gydolygiad; ond ni bu un ddadl o gwbl rhwng y De a'r Gogledd. Yr wyf yn crybwyll hyn gyda dymuniad na byddo i'r chwedl am ddrwgdeimlad rhwng De a Gogledd gael ei chredu mwy. O ran y teimlad da sydd yn ffynu rhwng y brodyr a'r ddwy Dalaeth yn y Gymanfa Gyffredinol, gellir canu,—

"Mae pawb o'r brodyr yno 'n un,
Heb neb yn tynu 'n groes."

Ond os yw'r Gymanfa Gyffredinol mor heddychol a llwyddiannus, pa anghenrhaid sydd am gyfarfod yn Machynlleth i gymeryd ei hachos i ystyriaeth? Atebaf mai llwyddiant yn hytrach nag aflwyddiant y Gymanfa Gyffredinol sydd wedi achlysuro y cyfarfod sydd i fod ar ei hachos. Y gwirionedd am dani yw, ei bod yn tyfu allan o'i dillad, a'i bod yn amser darparu *suit* newydd iddi. Nid yw y dillad bychain a barotöwyd iddi yn nghyfarfod yr Amwythig cyn ei geni, yn ei *ffitio* pan y mae yn llawn bymtheng mlwydd oed. Mae yn wir fod ymysg dilladyddion yr Amwythig frodyr nid anenwog am eu medrusrwydd a'u doethineb, nid amgen, heblaw eraill, y diweddar Barchedigion H. Rees, D. Howells, a Dr. Phillips. Ond yn sicr nid yw yn ddianrhydedd ar yr anfarwolion hyny i adolygu eu gwaith dan yr amgylchiadau presennol. Na fydded camsyniad am hyn. Caredigion y Gymanfa Gyffredinol, a rhai a wir ddymunant ei pharhâd a'i llwyddiant ychwanegol, sydd wrth wraidd y symudiad presennol. Pe ei dinystrio a'i chladdu a fuasai yr amcan, gallesid dwyn hyny oddiamgylch heb y drafferth a'r draul o ymgyfarfod yn Machynlleth.

Dealler hefyd nad yw Cymdeithasfa y De, trwy ei gwaith yn gwahodd brodyr y Gogledd i adolygu rheolau cyfansoddiadol y Gymanfa Gyffredinol, yn dwyn unrhyw gynnygion *cut and dry*, fel y dywedir, i'w cymhell ar y cyfarfod. Mae Cymdeithasfa y De, mewn modd unfrydol, wedi dyfod i'r penderfyniad y byddai yn dda adolygu Cyfansoddiad y Gymanfa, yn ngoleuni hanes ei gweithrediadau o'i dechreuad hyd yn hyn, gyda'r amcan o ychwanegu ei llwyddiant. Ond nid ydym yn barnu yn briodol rhagdybied y diwygiadau y ceir, trwy ymgynghoriad pwyllog a hamddenol, eu bod yn anghenrheidiol. Megys yn nghynnulliadau y Gymanfa Gyffredinol ei hun, yr ydys wedi cadw allan y gwahaniaeth rhwng De a Gogledd, felly bydd yn ddymunol gwneyd yn nghyfarfod Machynlleth. Bydd y maes yn agored yno i bob cenadwr fyddo yn bresennol gynnyg yr hyn a welo yn dda; neu os barna y Cyfarfodydd Misol yn briodol amlygu eu golygiadau trwy eu cenadau, bydd hyny yn ddiau yn rheolaidd a derbyniol.

Ond er nad yw y cyfarfod yn cael ei alw, nac yn ymgynnull, i gymeryd i ystyriaeth unrhyw gynnygion penodol wedi cyttuno arnynt gan Gymdeithasfa y De yn flaenorol, dealler nad yw brodyr y De wedi rhyfygu galw y cyfryw gyfarfod heb fod neb wedi rhagfeddwl na rhagddarparu dim penodol i'w gosod ger bron fel testynau ystyriaeth ac ymdriniaeth. Na feddylied neb y bydd y cenadau, wedi ymgyfarfod, dan yr anghenrheidrwydd o ddysgwyl wrth y naill y llall, hyd nes y byddo i rywbeth daro ar feddwl rhyw frawd i'w gynnyg. Ymddiriedwn y bydd yno frodyr o'r De ac o'r Gogledd wedi rhagfeddwl a rhagdrefnu ar gyfer y cyfarfod.

Os ewyllysia darllenwyr y Drysorfa gael rhyw grybwylliad am rai o'r pethau sydd yn debyg o fod yn destynau ymdriniaeth, er nad oes genyf awdurdod i nodi dim mewn modd sicr, dichon na chamgymerwn yn hollol pe dywedwn y gelwir ystyriaeth y cyfarfod at y dymunoldeb o sefydlu y Gymanfa Gyffredinol mewn modd cyfansoddiadol fel uchel lŷs y Cyfundeb. Mae yn hysbys nad ydyw yn bodoli yn bresennol ond trwy ganiatâd y Gymdeithasfa Chwarterol. Er mewn enw ac ymddangosiad ei bod o ran ei safle a'i hawdurdod uwchlaw y Gymanfa Chwarterol, ac yn penderfynu materion a drosglwyddir iddi o'r Cymdeithasfäoedd Chwarterol, nid ydyw mewn modd gwirioneddol felly, gan nad oes son am dani yn y *Constitutional Deed* nac yn y *Cyffes Ffydd*. A oes modd, os bernir ei fod yn ddymunol, sefydlu y Gymanfa Gyffredinol i'r Method-

istiaid yn brif lŷs eglwysig y Cyfundeb, fel y mae *General Assemblies* yr Eglwysi Henaduriaethol? Pa un bynag a roddir atebiad cadarnhäol neu nacaol i'r cwestiwn hwn, mae cwestiynau eraill yn codi mewn cysylltiad âg ef nas goddef gofod y DRYSORFA i ni gymaint a'u henwi, er fod o bwys mawr cael dealltwriaeth da o berthynas iddynt, ac nas gellir dysgwyl i'r Gymanfa Gyffredinol barhâu a llwyddo heb gael hyny. Ymhlith llawer o bethau eraill, mae yn ddiau yn bricdol ystyried, A oes modd cael diwygiad yn y gynnrychiolaeth? a pha fodd y mae cael darpariaeth briodol ar gyfer cynnal y Gymanfa, o ran lleoedd i'w derbyn, a'r draul sydd mewn cysylltiad â hi? Mae yn hysbys i'r brodyr oedd yn bresennol yn y Gymanfa ddiweddaf nad dianghenrhaid fydd cael sylw ar hyn.

Os gofyn neb, Paham y gelwir am gyfarfod o'r fath ag y bwriedir ei gael yn Machynlleth ar achos y Gymanfa Gyffredinol, yn hytrach nag ymddiried i'r Gymanfa ei hun adolygu a diwygio ei chyfansoddiad a'i rheolau, os barna yn briodol? atebwn, Nid oes gan y Gymanfa Gyffredinol ei hun nac amser nac awdurdod i ymgymeryd â'r gwaith. Mae mwy o waith ganddi yn bresennol nag y mae yn alluog i'w droi o law, mewn modd priodol, o fewn i'r amser sydd ganddi i fod yn gynnulledig. Yn ol ei chyfansoddiad presennol, nid oes ganddi awdurdod i ddim ond a dderbynio o'r Gymdeithasfa Chwarterol. Trwy gyfrwng cyfarfod unol dan nawdd a thrwy awdurdod y Cymdeithasfäoedd Taleithiol y cafodd ei bodolaeth; ac os oes galwad am iddi fyned dan orchwyliaeth adenedigaeth, cyfarfod o'r un natur fydd yn fwyaf tebyg o fod yn effeithiol i hyny. Bid sicr, ni fydd cyfarfod Machynlleth yn gwneyd dim yn orphenol. Pa benderfyniadau bynag y cyttunir arnynt yno, rhaid eu cyflwyno i'r Cymdeithasfäoedd Chwarterol er eu cadarnhâu.

Rhag fod dim camsyniad o berthynas i'r syniadau uchod, bydded hysbys nad oes neb ond yr ysgrifenydd yn gyfrifol am danynt.

---

## "BYW A MARW SANCTAIDD" JEREMY TAYLOR.

*Gan y Parch.* O. JONES, B.A., *Drefnewydd.*

VI.

Y MAE y bennod nesaf ar Gystudd. Y perygl cyntaf mewn afiechyd yw diffyg amynedd; ac y mae yr awdwr hybarch yn nodi amryw ystyriaethau tueddol i gynnyrchu amynedd a dyoddefgarwch:—Nid oes un afiechyd mor fawr nad yw plant yn ei dyoddef. Ac nid yw poen un afiechyd yn dyfod i gyd ar unwaith, ond i bob mynyd ei ran—ac a ydyw un mynydyn o boen yn annyoddefol? Edrychwn hefyd gymaint y mae dynion yn ei ddyoddef er mwyn pethau dibwys iawn. Gymaint a ddyoddefai y cleddyfwyr Rhufeinig yn yr ymdrechfa; ac os deuent allan yn fyw, nid ennillent ond yr enw o ymladdwyr. Fel y dyoddefa cybyddion a dynion uchelgeisiol a dialgar! Ac os yw pechod yn galluogi dynion i ddyoddef yr arteithiau llymaf, a gaiff crefydd fod yn llai galluog? Ond y mae afiechyd hefyd yn gwaredu dynion o ddrygau lawer. Y mae pob colled, pob gwaradwydd, gofalon teuluaidd, a drygau gwladwriaethol, trallodion uchelgais, ac ofn eisieu, yn gorwedd yn ddigon tawel ar obenydd y claf, yr hwn y mae ei holl ofalon aneirif bellach wedi ei dwyn i lawr i un. Y mae llawer pagan hefyd pan yn amddifad o oleuni yr efengyl wedi dyoddef poen yn ardderchog. Pan oedd Pompey yn dychwelyd o Syria, aeth i Rhodes i weled Pondonius* yr athronydd, ac fe'i cafodd mewn poen dirfawr dan y troedwst *(gout)*; a phan welodd efe hyny, amlygodd ei ofid am na chawsai glywed ei ddarlithoedd. "Ond gellwch eu clywed er hyny," meddai yr athronydd, ac fe siaradodd yn ardderchog yn nghanol ei boenau—nad oedd dim yn dda ond rhinwedd, ac felly nad oedd dim yn ddrwg ond pechod; ac fe symiodd i fyny yn y geiriau, "O boen, yn ofer y'm temti, oblegid byth ni chyfaddefaf dy fod yn ddrwg tra gallaf dy ddyoddef yn anrhydeddus." Cofier hefyd nad yw bod yn ddiamynedd yn gwella dim ar yr afiechyd, ond yn hytrach yn chwanegu'r gofid. Nid yw yr afiechyd hwn ychwaith ond am dymmor byr; os angerddol, ni phery yn hir; os maith, mae yn esmwyth a hawdd ei ddyoddef. Y mae Duw hefyd yn rhoddi nerth yn awr y brofedigaeth. Attalied dyn wylltedd ei ysbryd, drwy gymeryd ei afiechyd yn achlysur diolchgarwch i Dduw. Penderfyned wneyd ei oreu ynddo; cofied ei fod yn ddyn ac yn gristion, ac mai dyma fe allai y cyfleusdra olaf a gaiff efe byth i ddangos rhinwedd, ac i wasanaethu ei Dduw. Y mae manteision afiechyd yn fawr iawn hefyd:—

"Mewn afiechyd, y mae'r enaid yn dechre ymwisgo ar gyfer anfarwoldeb. Y

---

* Athronydd Stoicaidd, yr hwn fu yn llwyddiannus iawn fel dysgawdwr yn Rhodes. Yr oedd Cicero yn un o'r rhai fu yn eistedd wrth ei draed, a dyma Pompey y llywydd Rhufeinig yn awr yn ymweled âg ef. Yn niwedd ei oes, symudodd i Rufain, lle y bu farw yn 84 mlwydd oed.

mae'n gyntaf yn dattod y llinynau gwagedd a barent i'w huwchwisg lynu yn y byd a gorwedd mor anesmwyth; y mae'n gyntaf yn tynu ymaith ei hoew-oleu fantell haf o chwant a nwyfus flysiau; ............... yna y gorwedd y cnawd yn anesmwyth, ac y trig mewn trallod, ac y teimla yr ysbryd ei hun wedi ei ollwng, ac yn rhydd oddiwrth ysgogiadau anniddig y chwantau hyny, y rhai mewn iechyd oeddynt mor brysur a diorphwys â'r brychau a chwareuent yn yr heulwen, byth yn dawnsio, byth yn ddiwyd, byth yn gorphwys, nes y tŷn noson drist o ofid ac anesmwythyd y llen arnynt, ac y diflanant yn unig mewn gwaradwydd dirgelaidd. Ar ol hyn, drwy gymhorth cystudd, fe gura yr enaid lyffetheiriau balchder a gwag foddhâd ymaith. Yna fe dŷn y lleni ac a geidw y goleuni rhag dyfod i mewn, ac a dŷn i lawr y darluniau, y delweddau dychymygol hyny o hunangariad a nwyfus adgofiant o wag opiniwn a thrydar y bobl. Yna yr ymostwng yr enaid at sobrwydd a meddyliau iselfryd, ac y teimla fod llygredigaeth yn lliniaru chwimder dychymyg, ac yn lleddfu tawch hunandyb a meddyliau terfysglyd. Oblegid bedd yr enaid yw gostyngeiddrwydd, i ba un yr ä, nid i farw, ond i fyfyrio, ac i gladdu rhai o'r ymlyniadau mwyaf blinderus." *

Drachefn, y mae afiechyd yn dderbyniol am ei fod yn rhoddi cyfleusdra, a'r cyfleusdra goreu i ymarfer rhai rhinweddau. Dyma'r ymdrechfa lle treia'r dynion am goron.

"Yn nydd pleser ac yn nos poen y mae ffydd i ymladd ei *hagonisticon*."

"Oblegid mewn iechyd a hawddfyd hawdd siarad am ymddiried yn Nuw; hawdd genym ymddiried ynddo am fywyd pan yn iach; am ymborth, pan y mae genym gyflawnder o arian; am waredigaeth pan newydd gael diangfa; ond deued yr amser i ni eistedd ar lân y bedd ............ a fedrwch chwi gredu pan nas clywch, pan nas gwelwch, pan nas teimlwch ddim ond anhawsderau?"

Wedi dyweyd mai priodol waith afiechyd ydyw rhoddi lle i ddangos y grasau o ffydd, gobaith, cariad ac amynedd, dywed,

"Rhinweddau ydyw y rhai hyn ag sydd yn ymawyddu am beryglon; ac nid anrhydeddwyd neb erioed gan ddyn call a synwyrol am ei fod wedi gwledda ar garpedau dysgleirwych, ac ni wobrwywyd neb â choron am ei fod mewn esmwythyd. Y tân a ddŷg anrhydedd i Mutius Scævola;† tlodi a wnaeth Fabricius * yn enwog; yr oedd Rutulius † yn ardderchog drwy alltudiaeth; Regulius ‡ drwy arteithiau; Socrates ‖ drwy garchar; Cato § drwy ei farwolaeth; ac y mae Duw wedi coroni coffadwriaeth Job â choron gogoniant, am ei fod wedi eistedd yn dawel a doeth ar ei domen; ac yr oedd ei gragen a'i ruddfanau yn gymysgedig â moliant a chyfiawnder i'w Dduw, mor ddewisol yn ei olwg ef âg anthem angylion foreu yr adgyfodiad." **

Yr ail demtasiwn i ddyn mewn afiechyd yw ofn marw. Y mae yma resymau dros fod yn dawel yn ei wyneb. Y mae yn anhebgorol anghenrheidiol ac yn anocheladwy; ac nid yw ychwaith ddim ryw lawer o beth ynddo ei hunan:—

"Y mae marw yn beth ag y mae pawb yn ei wneyd, hyd yn nôd personau heb ddim penderfyniad, heb ddim rhinwedd, heb ddim dygiad i fyny, heb ddim dysgeidiaeth. Tynwch ymaith rwysgfëydd marwolaeth, yr ymrithiadau, a'r sobr ddychrynfäau, y gwychder a'r symudiadau wrth oleu'r ganwyll, y seremoniau priodol a dychymygol, y cerddorion a'r ymdyrfwyr, y gwragedd a'r galarwyr, y dolefain a'r llesmair, y gweinyddion a'r meddygon, yr ystafell dywyll a'r gweinidogion, y perthynasau a'r gwylwyr,—cymerwch ymaith y pethau hyn, ac yna y mae marw yn beth hawdd ac esmwyth, ac wedi ei ddyosg o bob amgylchiadau poenus. Y peth diniwed hwnw ydyw yr hwn a ddyoddefodd y bugail tlawd ddoe, neu y lawforwyn heddyw; ac yn yr amser y byddwch chwithau feirw, y noswaith hono y bydd marw mil o greaduriaid gyda chwi, rhai dynion doethion a llawer o ffyliaid; a doethineb y cyntaf nis ceidw rhagddo, a ffolineb yr olaf nis analluoga i farw." ††

Ac heblaw hyny, o bob drwg a gondemnir yn y byd, marw yw y mwyaf dieuog o honynt. Y mae mor ddiniwed fel na thybiwyd erioed fod yr un dyn da

* "Holy Dying," iii. 6.

† Pan oedd y brenin Porsenna yn gwarchae ar Rufain, aeth Scævola allan i dreio ei ladd. Ond lladdodd un arall yn ei le, a chondemniwyd ef i gael ei losgi yn fyw. Ar hyn dododd Scævola ei law ddehau mewn tân oedd eisoes wedi ei gynneu, a daliodd hi yno nes y llosgodd. Wrth weled ei wroldeb, maddeuodd y brenin iddo.

* Rhufeinwr o gymeriad dilwgr, ac a fu byw yn dlawd, er ei fod yn llanw y swydd uchaf yn y Weriniaeth Rufeinig.

† Rhufeinwr arall a ddangosodd gymaint o gyfiawnder a gonestrwydd i ddarostwng trais a gormes ei gydwladwyr yn Asia, fel y camgyhuddwyd ef, ac y condemniwyd ef i alltudiaeth.

‡ Cymerwyd Regulius yn garcharor gan y Carthaginiaid; ac er iddo gael caniatâd i ddyfod gyda'r cenadau heddwch yn ol i Rufain, eto annogodd y Senedd Rufeinig i beidio gwneyd heddwch, a dychwelodd yn ol i Carthage, er ei fod yn gwybod nad oedd ond merthyrdod yn ei aros.

‖ Yr athronydd Groegaidd yr hwn tra yn y carchar cyn ei ddienyddio, a ymddyddanai â'i gyfeillion am anfarwoldeb yr enaid, yr hwn ymddyddan a ddadblygwyd gan Plato yn y llyfr a elwir y Phædo.

§ Rhufeinwr arall, yr hwn, yn hytrach nag ymostwng i Cesar, a laddodd ei hun, a chyn gwneyd hyny a ddarllenai y Phædo ar anfarwoldeb yr enaid.

** "Holy Dying," iii. 6. †† "Holy Dying," iii. 7.

yn fwy annedwydd am ei fod wedi marw, ond yn fwy dedwydd o lawer :—

"Os mynit farw yn ddiofn, myn fod mewn cariad â dedwyddwch saint ac angylion............ Ac yn wir, pwy ni theimlai fod ei sefyllfa wedi gwella, pe yn lle cymdeithasu â marwolion cyffredin, â phersonau anwybodus a ffol, â gorthrymwyr a gelynion dysgeidiaeth—y gwelai ei hun yn dechreu cymdeithasu â Homer a Plato, â Socrates a Cicero, â Plutarch a Fabricius? Felly y siaradai paganiaid; ond nyni a siaradwn yn fwy rhagorol. Fe gymdeithasa 'y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd' â Phaul a holl frawdoliaeth yr apostolion; â'r holl saint a'r merthyron, gyda'r holl ddynion da y mae eu coffadwriaeth yn fendigedig genym; â breninoedd ardderchog ac esgobion sanctaidd, a chyda Bugail mawr ac Esgob ein heneidiau, Crist Iesu, a chyda Duw ei hun." *

Y mae rhai yn teimlo yn anmharod i farw am eu bod heb orphen y gwaith oedd ganddynt mewn llaw; gorphen y llyfr, pregethu eu pregethau, neu godi cynnysgaeth i'w plant. Y mae Jeremy Taylor yn annog i beidio gwneyd dim esgusodion o'r fath. Nid yw dynion segur byth yn barod, ac y mae gan ddynion prysur yn wastad rywbeth heb ei orphen.

"Ond dylem gofio nad yw amserau Duw i'w mesur gan ein hamgylchiadau ni, ac nad yw Duw yn cyfrif yn werthfawr yr hyn sydd yn werthfawr genym ni; neu os ydyw yn werthfawr i ddynolryw, fe ofala Duw am dano yn nhroion ei Ragluniaeth; a phe buasai marw Epaphroditus pan y bu mor agos i angeu, fel y dywed Paul, fe ofalasai Duw am waith yr efengyl hebddo. Gallasai ef hebgor Epaphroditus yn gystal a Stephan, a Phedr yn gystal ag Iago. Na ddywed air mwy; ond pan y geilw Duw, dod dy bapyrau heibio, a pharotô yn gyntaf dy enaid, ac yna dy elorgerbyd." †

Y mae gweddill y llyfr ar weithrediad y grasusau o Ffydd, Edifeirwch, &c., ar wely cystudd, ac ar waith y gweinidog wrth wely y claf. Y mae yma lawer o bethau da; ond y mae y pennodau cyntaf yn rhagori. Y mae yma ddetholiad da iawn o'r Ysgrythyrau mwyaf addas i'r amgylchiad. Y mae yn y ddwy ran hefyd amryw weddïau; ond ni ddodwn yma ond darn bychan o weddi y claf ar ei wely :—

"O fy Nuw, clyw weddïau a llefain un sydd yn gwaeddi yn ddifrifol am drugaredd. Arglwydd, mae fy anghenion yn ddyfnach na holl fesurau fy nymuniad; os na thrugarhei di wrthyf, yr wyf yn marw byth mewn poenau; ac yna fe gollir un llais o gôr y cantorion fydd yn canu dy fawl yn oes oesoedd. Ond O Arglwydd, mewn tosturi gwared fy enaid. Oblegid yn yr ail farwolaeth nid oes goffa am danat, ac yn y bedd hwnw pwy a'th folianna?" *

Ond rhaid i ni yn awr ymattal, gan ofni hefyd ein bod wedi bod yn lled faith. Eithr yr ydym yn meddwl ein bod wedi bod gyda llyfr gwirioneddol dda, a chydag awdwr gwirioneddol fawr. Y mae yntau wedi marw; ac erbyn heddyw, y mae dros ddwy ganrif wedi treiglo er pan oedd y llais peroriaethus fu yn dadsain yn eglwys Llanfihangel yn darfod "fel adsain egwan y dyffryn pell." Er hyny, ni fuasai yr oes hon, fe allai, yn newid llawer ar y geiriau a lefarwyd am dano gan Dr. Rust yn ei bregeth angladdol :—

"Yr oedd yn feddiannol ar natur dda y boneddwr, hyawdledd yr areithydd, dychymyg y bardd, cywreinrwydd yr ysgolddyn, dyfnder yr athronydd, doethineb y canghellydd, craffder y prophwyd, rheswm yr angel a duwioldeb y sant. Yr oedd ei ddefosiwn yn ddigon i fynachdy, ei ddysgeidiaeth yn ddigon i brifysgol, ei ddeall yn ddigon i goleg o ddoethion; a phe rhanesid ei gynneddfau a'i ddoniau ymhlith y clerigwyr a adawodd ar ei ol, fe wnaethai, fe allai, yr esgobaeth oreu yn y byd."

* "Holy Dying," iii. 8. † "Holy Dying," iii. 8.

* "Holy Dying," iv. 7.

---

## NEILLDUOLION YR EFENGYL.

*Gan y Parch.* JOHN PUGH, B.A., *Treffynnon.*

WRTH droi ein sylw at y mater hwn, yr ydym yn cymeryd ystyr eang i'r gair efengyl. Yr ydym yn ei ddefnyddio gan olygu y gyfundrefn o wirioneddau cynnwysedig yn nghynllun mawr y prynedigaeth. Gellir edrych ar y gwirioneddau hyn yn rhanedig i ddau ddosbarth. Un dosbarth ydyw y rhai y mae natur mewn rhan yn eu hamlygu, a'r rhai y gellir eu deall a'u dysgu i fesur trwy gyfrwng rheswm coethedig. Y rhai hyn yw y gwirioneddau a olygir yn gyffredin yn yr ymadrodd, Crefydd Naturiol. Y dosbarth arall ydyw y rhai y mae natur yn gwbl ddystaw mewn perthynas iddynt, a'r rhai nad oes gan feddwl dyn, tra yn cael ei adael i'w oleuni ei hun, ddim dirnadaeth am danynt; ac o herwydd hyn mae yr oll a allwn wybod am danynt yn effaith dadguddiad goruwchnaturiol. Y rhai hyn yw y rhai a olygwn yma fel Neillduolion yr Efengyl.

Cyn myned ymlaen i wneyd ychydig sylwadau arnynt, tueddir ni i wneyd rhai crybwylliadau mewn perthynas i'r dosbarth blaenorol, sef y gwirioneddau y mae natur

ac efengyl yn eu dysgu. Rhai o wersi crefydd natur ydynt, fod Duw yn bôd; fod y Duw hwnw i'w barchu a'i addoli; fod ystâd bresennol y byd yn arwydd fod y mater yn ddrwg rhwng Duw a dynion, neu fod Duw wedi cael ei ddigio, ac am hyny fod anghen am ryw gyfrwng neillduol tuag at sicrhâu ei ffafr, ac hefyd fod gwirionedd, gonestrwydd, a charedigrwydd, yn ddyledswyddau ar ddynion tuag at eu gilydd. Ond er fod y gwersi hyn a'u cyffelyb i'w cael yn ngoleuni natur, eto mae yn eglur mai hynod anmherffaith, diffygiol, a chymysglyd ydyw gwybodaeth dynion o honynt, hyd yn nôd yn yr ystad fwyaf manteisiol, tra na byddo ganddynt ond goleuni eu rheswm eu hunain i'w hyfforddi. Gwir y ceir rhai dywediadau ardderchog am Dduw, a moeswersi o'r fath fwyaf buddiol yn ysgrifeniadau rhai o'r hen ddoethion paganaidd; eto y mae yn lled sicr fod eu goleuni hwy i fesur helaeth yn adlewyrchiad o oleuni y dadguddiad ag oedd er ys oesau yn tywynu yn ngwlad Judea. Eglurodd Duw ei ewyllys yn gynnar i'r Iuddewon, a thrwy hyn cawsant hwy fantais i gyrhaedd y ddoethineb ragoraf. A thrwy gyfrwng ymwelwyr a theithwyr, lledodd eu goleuni hwy, i raddau, i fysg cenedloedd eraill; a gwnaeth y rhai mwyaf craff eu meddwl a threiddgar eu galluoedd ddefnydd o hono; a thrwy hyn hynodwyd hwynt fel goleuadau lled ddysglaer yn nghanol y tywyllwch ag oedd yn eu cylchynu. Ac o herwydd hyn mae llawer o'r hyn a briodolir i oleuni natur yn effaith anuniongyrchol goleuni dadguddiad. Tybiem fod y Philistiaid yn dra ymffrostgar wedi iddynt ddyfod allan o'r dyryswch a barodd dychymyg Samson iddynt; eto gwyddai efe yn dda mai yn y dyryswch y buasent yn parhâu oni buasai yr awgrym a gawsent gan ei gymhar ef ei hun. "Oni buasai i chwi aredig â'm hanner i," medd efe, "ni chawsech allan y dychymyg." Mewn modd cyffelyb gall dynion eto siarad yn uchel am orchestion rheswm dynol, heb ystyried pa mor ddyledus ydynt i oleuni benthyciol na fynant ei gydnabod.

A gellir sylwi ymhellach, gyda golwg ar y gwersi sydd i'w cael trwy oleuni natur, eu bod yn cael eu rhoddi gan yr efengyl mewn modd tra gwahanol. Ynddi hi y maent yn cael eu rhoddi yn eglur, yn gyflawn, yn gyfeiriol, ac awdurdodol. Mae y gwahaniaeth yn gyffelyb i'r hyn a ellir ei weled yn ngwahanol ddulliau y ddau a ddaeth at Dafydd yn ei ddyddiau olaf i siarad ar fater penodol perthynol i'r deyrnas. Daeth un ato, sef Bathseba, gan siarad mewn modd cyffredinol, ammheus, a phetrusgar. Ond tra yr oedd hi yn ymddyddan, daeth Nathan y prophwyd i mewn. Mae yntau yn cymeryd y mater i fyny; mae efe yn egluro yr holl achos; yn cadarnhâu ei thystiolaeth hi; ac y mae awdurdod prophwyd yn dyfod i'r golwg yn ei holl ymadroddion. Mewn modd cyffelyb mae rhywbeth gwanaidd, aneglur, ac anmhenodol yn y dull y mae natur yn siarad; ond pan ddaw yr efengyl i mewn a chymeryd y mater i fyny, mae hi yn siarad yn eglur, yn eang, a phenderfynol, neu mewn modd ag sydd yn arwyddo fod awdurdod Ddwyfol yn ei thystiolaeth.

Ond fel yr awgrymwyd eisoes, mae gan yr efengyl wirioneddau i'w dysgu sydd yn arbenig yn perthyn iddi hi ei hun. A thrwy gyfrwng ei haddysg hi, mae dynion yn dyfod i weled ac i gael golwg ar wrthddrychau gogoneddusach nag y gallasent ei gael trwy unrhyw foddion cyffredin. Gall dyn â llygad noeth ddyfod yn gyfarwydd â gwahanol raniadau yr wybren, ac y mae yn gweled amrywiaeth mawr o wrthddrychau yn cael eu cyflwyno i'w sylw; ond pan gymero yr yspïenddrych, ac edrych trwy hwnw, mae cylch ei weledïad yn ymëangu yn ddirfawr, ac y mae bodau newyddion aneirif yn dyfod i'r golwg, ac yn cynnyrchu ynddo deimladau o wylder a rhyfeddod. Felly hefyd, pa mor ragorol bynag yw y wybodaeth y dichon i ddynion ei chyrhaedd trwy gyfrwng natur a rheswm, y mae yr hyn a geir trwy yr efengyl yn tra rhagori, gan ei fod, fel yr yspïenddrych, yn ëangu yn ddirfawr eu golygiadau, a chan eu bod yn cyflwyno i'n sylw wirioneddau mor fawrion, dirgelaidd, a gogoneddus, fel na buasai gan galon anianol un dychymyg am danynt. Rhai o'r gwirioneddau mawrion hyn ydynt—mai un Duw sydd, ac ei fod yn Dri o Bersonau; fod holl weithrediadau Duw mewn rhagluniaeth a gras yn cael eu dwyn ymlaen yn ol cynghor neu ragfwriadau tragywyddol; fod y Mab wedi cymeryd natur dyn, fel ag i gyfansoddi er hyny un Person gogoneddus; mai trwy ffydd yn Nghrist a'r hyn a wnaeth ef y mae i bechaduriaid gael eu cyfiawnhâu; fod sefyllfa dynion trwy bechod y fath fel y mae anghenrheidrwydd am waith goruwchnaturiol Ysbryd Duw ar eu calonau tuag at eu hachub; fod pethau mawrion o flaen dynion ar ol eu hymadawiad â'r fuchedd hon—mynediad i fyd yr ysbrydoedd, adgyfodiad y meirw, barn gyffredinol, ac un o ddwy sefyllfa i fod ynddi am byth yn ol eu cyflwr pan yn ymadael â'r byd presenol. Dyma y neillduolion sydd genym mewn golwg, ar ba rai yr ydym yn bwriadu gwneyd ychydig sylwadau.

A'r sylw cyntaf yr ewyllysiem ei wneyd ydyw,

*Eu bod mewn modd diymwad yn cael eu hamlygu yn y Dadguddiad y mae Duw wedi ei roddi i ddynion.*

Pwy bynag a gydnabyddo fod y Bibl yn ddadguddiad oddiwrth Dduw, rhaid iddo gredu fod y pethau hyn yn rhan bwysig o'r dadguddiad hwnw. Pwy bynag a gredo ei dystiolaethau, rhaid iddo gredu fod y pethau hyn yn wirioneddau. Mae yr athrawiaethau hyn wedi ymwâu trwy ei holl ranau; maent ar ryw achlysuron yn cael eu dysgu yn y modd mwyaf eglur; maent mewn gwahanol ddulliau yn cael eu cyflwyno i sylw drachefn a thrachefn; ac y mae yr ysgrifenwyr yn siarad am danynt fel rhai yn meddu y sicrwydd mwyaf yn eu cylch. Os cymerir geiriau y Bibl yn ol yr ystyr cyffredin a roddir iddynt mewn llyfrau eraill, os defnyddir rheolau arferol iaith wrth ffurfio barn am wir ystyr ei ymadroddion, rhaid i ddynion gydnabod fod y gwirioneddau uchod yn cael eu dysgu ynddo yn y modd mwyaf diammwys.

Afreidiol yw crybwyll fod rhai, tra yn defnyddio geiriau y Bibl, yn rhoddi iddynt ystyr yn ol eu barnau a'u tybiau eu hunain, ac felly yn ymwrthod â'r gwirioneddau y mae y geiriau yn eu dadguddio. Mae y cyfryw yn ymddwyn at rai o wirioneddau mawrion yr efengyl yn gyffelyb fel y gwnaeth Michal at Dafydd, pan y gosododd ddelw a chlustog o flew geifr yn ei le yn y gwely, gan adael iddo ef ddianc am ei einioes. Ond y mae nerth a bywyd yn perthyn i'r gwirionedd, ac y mae yn sicr o orchfygu yn y diwedd. Tra yn arfer ei ddylanwad dystaw, ni wna fawr o gyfrif o athrylith, dysg, hyawdledd, nac athroniaeth, os ceisiant ei ddymchwelyd ef; efe a wthia y cwbl o'r neilldu mewn dibrisdod, ac a sicrhâ iddo ei hun y safle urddasol sydd yn briodol iddo ei hunan.

Prawf hynod o amlygrwydd y gwirioneddau hyn yn y gair ydyw yr hanes hynod a rydd yr esboniwr hybarch, Thomas Scott, am dano ei hun yn y llyfr, "*The Force of Truth.*" Addefa am dano ei hun pan yn ddyn ieuanc, ac yn cychwyn gyda'i waith fel gweinidog yr efengyl, ei fod yn llawn o ragfarn yn erbyn ei hathrawiaethau neillduol, ac ei fod yn ddirgelaidd yn dirmygu y rhai oedd yn eu credu a'u dysgu. Mae yn cydnabod gyda chywilydd ddarfod iddo bechu yn fawr trwy wneyd cyffes o'i grediniaeth o honynt pan yn derbyn urddau, gan fod ei feddwl a'i galon mewn ystâd mor anffafriol gyda golwg arnynt. Yr oedd wedi darllen rhai awduron enwog, y rhai oeddynt yn ei gadarnhâu yn y golygiadau ag oedd mor foddhäol i'w galon ei hun. Trwy hyn cynnyddodd ei hunandybiaeth a'i ddiystyrwch o'r rhai ag oedd yn coleddu y syniadau ag oedd ef mor benderfynol yn eu dibrisio. O'r diwedd, darfu i amryw bethau effeithio arno er nawseiddio ac ystwytho ei feddwl, yn enwedig gohebiaeth a fu rhyngddo â'r Parch. John Newton. Tueddwyd ef bellach i wneyd ymchwiliad cydwybodol drosto ei hun i'r gwirionedd. Darllenodd y Bibl yn fanwl drosodd a throsodd; a myfyriodd yn ddwys ar bob rhan ag oedd yn dysgu unrhyw wirionedd athrawiaethol. Yr oedd ei sylw yn flaenorol wedi ei ennill at yr adnod, "O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, gofyned gan Dduw." Yr oedd trwy hyn wedi ei argyhoeddi o'i ffolineb yn ymddiried i'w ddeall ei hun, ac o herwydd hyn gwnaeth ef yn fater gweddi ddifrifol am iddo gael ei dywys i'r gwirionedd. Yn fuan gwelodd a theimlodd fod yn rhaid iddo roddi i fyny amryw o'i syniadau a'i ddeongliadau blaenorol. Yr oedd yr adnodau yn eglur o flaen ei lygaid; ni chymerent eu dirdynu a'u camesbonio. Mynent ddysgu Dwyfoldeb Person yr Arglwydd Iesu, ei aberth dirprwyol yn iawn dros bechodau, yr anghenrheidrwydd am waith yr Ysbryd Glân er adnewyddu calon pechadur, etholedigaeth gras, a Thrindod o Bersonau. Ar ol hyn, tueddwyd ef i ddarllen rhai o'r hen awduron perthynol i Eglwys Loegr a'r Ymneillduwyr. Ac er ei fawr syndod, gwelodd fod y gwirioneddau ag oedd ef wedi cael ei wthio atynt, megys o'i anfodd, yn cael sôn am danynt ganddynt hwy fel hen athrawiaethau adnabyddus, ac eu bod yn gyfryw ag oedd yn cael eu haddef gan Gristionogion yn gyffredinol. "Byth ar ol hyn," medd efe, "y mae yr hyn ydwyf yn weled ac yn glywed, ynghyda'm profiad fy hun, yn cadarnhâu y gwirioneddau hyn. Ac nis gallaf mwyach ammheu eu bod o Dduw, mwy nas gallaf ammheu fod yr haul yn tywynu pan ydwyf yn gweled ei oleuni ac yn teimlo ei wres."

Mae pob un hefyd ag sydd yn gyfarwydd yn hanes y Diwygiad Protestanaidd wedi sylwi ar y cydgyfarfyddiad nodedig sydd i'w weled yn ngolygiadau y gwahanol ddiwygwyr mewn perthynas i'r prif athrawiaethau, er fod pob un o honynt wedi ffurfio ei farn mewn modd annibynol trwy ymchwiliad personol o'r Ysgrythyrau. Yr oedd Wessel yn un o ragredegwyr y Diwygiad, ac yr oedd yn deall ac yn dysgu yr efengyl mor glir fel y gelwid ef yn "Oleuni y byd." Ac ar ol i Luther ddarllen ac astudio llawer ar y Bibl, a ffurfio barn drosto ei hun, ïe, wedi iddo fyned ymlaen ymhell yn ei lafur fel diwygiwr, cafodd afael ar weithoedd y dyn hynod hwn. Ac wedi eu darllen gyda llawer o hyfrydwch, dywedai, "Pe buaswn wedi darllen ei weithoedd yn gynt, buasai fy ngwrthwynebwyr yn dyweyd fy mod wedi cael y cwbl allan o Wessel, gan ein bod gymaint o'r un meddwl." Ac ar achlysur arall dywedai, "Yr ydwyf wedi credu ac wedi

dysgu athrawiaethau John Huss, er nad oeddwn yn gwybod hyny. Mewn gwirionedd, er yn anymwybodol o hyny, yr ydym oll yn Hussiaid."

Nid peth anfynych er hyny ydyw gweled tuedd hyd yn nôd mewn rhai pobl dda i ogwyddo oddiwrth athrawiaethau yr efengyl yn ol fel y maent yn cael eu dysgu yn yr Ysgrythyrau. O herwydd y gweddillion o dywyllwch a rhagfarn, pa rai sydd yn aros, i raddau, yn eu meddwl, nid yw y gwirioneddau hyn yn cymeryd y ffurf hono yn eu golygiadau ac yn eu hysgrifeniadau, ymha un y maent yn ymddangos yn ngair yr Arglwydd. Mae yn ddigon posibl o herwydd hyn i ambell gyfundrefn daclus o dduwinyddiaeth gael ei ffurfio, ac eto fod y gogwydd hwn i rhyw gyfeiriad yn perthyn iddi. Darllenais am dŵr uchel a chadarn mewn rhyw fan âg y mae sylw pob ymwelydd yn cael ei dynu ato am ei fod yn ogwyddedig. Dyma ei ffurf yn ol fel y gwelwyd ef gan bawb sydd yn ei gofio gyntaf; ac nid oes neb yn gallu rhoddi rheswm pa fodd y bu iddo beidio a bod yn unionsyth; ac fe dybia rhai mai felly y cafodd ar y cyntaf ei adeiladu. Anhawdd ydyw cael unrhyw gyfundrefn o ffurfiad dynol na byddo gogwydd ynddi yn gyffelyb i'r tŵr i ryw bwynt neu gilydd. Ond rhagorfraint werthfawr ydyw yr hawl sydd gan ddynion i farnu drostynt eu hunain. Ac i'r graddau y bydd i wybodaeth ysgrythyrol a goleuni ysbrydol fyned ar gynnydd, bydd i syniadau dynion a thystiolaethau y Gair gyd-daro yn brydferth â'u gilydd.

Y sylw nesaf sydd genym i'w wneyd ydyw,

*Fod tystiolaeth Duw am danynt yn rheswm priodol dros y derbyniad crediniol o honynt.*

"Mwy yw Duw na dyn." Pa beth yw dyn i'w gymhâru â Duw mewn deall a gwybodaeth? Ac am hyny rhesymol i ni gydnabod y dichon iddo Ef amlygu pethau pa rai yr ydym ni yn fwy analluog i'w hamgyffred nag a fyddai cornant fechan i gynnwys dyfroedd mawrion yr afon Amazon. Mae y gwirioneddau a grybwyllwyd yn fawrion a dirgelaidd, ac yn rhy ëang i gael eu cynnwys gan ddeall dynol; eto dyma ddigon o reswm dros eu derbyn yn grediniol, sef bod Duw wedi eu dadguddio. Ac y mae hyn yn rhan o'r parch sydd yn ddyledus oddiwrthym i Dduw fel un sydd yn anfeidrol uwchlaw i ni. Mae natur yn ein dysgu i roddi parch i dystiolaethau dynion yn ol graddau eu teilyngdod. Pa mor fynych y mae y plentyn yn derbyn ac yn credu pethau, nid am ei fod yn eu deall neu eu dirnad, ond yn unig am fod ei dad yn eu dysgu. A phe deuai y gwladwr cyffredin i dderbyn gwersi oddiwrth y doethawr dysgedig, byddai raid iddo dros dymmor maith dderbyn amryw bethau yn unig am fod ei athraw yn eu dysgu, gan eu bod ymhell tu hwnt i'w ddirnadaeth. Ac os yw Duw wedi gweled yn dda ein dysgu am ei bethau mawrion Ef, pa faint mwy rhesymol ydyw ein bod yn parchu ei awdurdod trwy dderbyn ei dystiolaeth?

Priodol iawn y sylwa Isaac Taylor ein bod ni yn analluog i amgyffred rhyw bethau yn y dadguddiad y mae Duw wedi ei roddi i ni, am nad ydym yn deall y cysylltiad sydd rhwng ein byd ni a rhanau eraill yn ei ymherodraeth fawr Ef. Wrth ddadguddio y pethau y mae efe yn ewyllysio i ni eu credu, mae efe yn ymwneyd â ni yn ol yr egwyddorion mawrion wrth ba rai y mae yn rheoli y bydoedd aneirif sydd dan ei lywodraeth. Ac o herwydd hyn addefa hyd yn nôd yr ysgrifenwyr sanctaidd, "O ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo."

Ysmotyn bach, bach, yw yr hwn yr ydym ni yn sefyll arno; ac o anghenrheidrwydd mae ein gwybodaeth am yr hyn a gymerodd ac a gymer le mewn amser yn fychan a chyfyng iawn. Yr ydym yn gweled ein hunain yn nghanol ëangder diderfyn, yr hyn sydd yn peri i ni gydnabod ein bychander a'n diddymdra; ac nid ydym yn gallu cael cymaint ag un cipdrem tufewn i lèni y byd mawr ysbrydol a thragywyddol; ac am hyny gwylder a pharch sydd yn briodol i ni uwchben y gwirioneddau mawrion y mae Duw wedi eu dadguddio. Amlygir i ni fod tynged ofnadwy yn aros y rhai a barhânt i ddirmygu yr amlygiadau o'i ras a'i drugaredd Ef. Ac er fod y cyfryw wirionedd yn gyfaddas i beri i ni ofni a chrynu, eto, gan nad beth sydd yn gynnwysedig yn y dynged hon, rhoddir sicrwydd i ni y bydd daioni, doethineb, gwirionedd, sancteiddrwydd, a chyfiawnder Duw yn ymddysgleirio yn y gweinyddiad. A phan geir llawn olwg ar amcanion Duw a chymeriadau dynion, pan amlygir holl amgylchiadau amser, a chysylltiadau pethau â'u gilydd, gwelir nad oedd yn bosibl ymddwyn yn fwy doeth, a da, a chyfiawn. Yr ydym ni, yn ein sefyllfa bresennol, mor analluog ac anfedrus i ffurfio barn beth sydd yn briodol yn llywodraeth y Brenin mawr ag a fyddai cogfran, yn y goedwig, i farnu beth sydd gyfaddas mewn gwladweiniaeth.

"Meddyliau Duw," wedi eu hamlygu i ni, ydyw y tystiolaethau am "Dduw wedi ymddangos yn y cnawd;" "Tri yn tystiolaethu yn y nef;" "creu o newydd yn Nghrist Iesu;" "bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni." "Uwch" o lawer yw y rhai hyn na meddyliau dyn.

Ac os bydd i ddyn geisio eu cynnwys o fewn cwmpas ei reswm ei hun, gwel yn fuan ei fod yn ymwneyd â phethau "rhy fawr" iddo. Ac os bydd iddo, o'r ochr arall, eu hesgeuluso a'u gwrthod am nas gall eu hamgyffred, byddant hwy, er y cwbl, fel y ser yn yr wybren, y rhai sydd yn parhâu i oleuo ac i droi yn eu cylchoedd, er pob math o ddychymygion a ddichon i bethau anwybodus y ddaear ffurfio am danynt.

Mae y rhai na fynant dderbyn ond yr hyn a all eu rheswm ei amgyffred, yn gyffelyb i'r morwyr yn yr hen oesau, y rhai a hwylient yn eu cychod bychain yn agos i'r glànau, ac a gymerent ofal nad aent un amser o olwg y tir. Ond y mae y rhai sydd yn derbyn ac yn crédu y tystiolaethau am bethau mawrion Duw yn gyffelyb i'r morwyr yn yr oesau diweddaf, y rhai sydd yn hwylio ar draws ac ar hyd y moroedd mawrion; ac wrth wneyd maent yn barod i dori allan gan ddyweyd, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!"

Deuwn at y pwnc eto, os cawn hamdden, ar achlysur dyfodol.

---

# Hanesynau ac Adroddiadau.

## UN O HEN GYMERIADAU HYNOD RHOSLLANERCHRUGOG.

Enw yr hen gyfaill yr adroddwn yma am dano oedd John Owen, hen ŵr ag oedd o ran ei faint yn tueddu at fod yn fyr yn hytrach nag yn dàl, o gorff cydnerth, ac, yn chwanegol at hyny, yn unllygeidiog, gyda natur boethlyd a sydyn, a thymher led afrywiog ganddo, ac wedi ei ddwyn i fyny yn hollol anllythyrenog. Am y rhan fwyaf o'i oes, gallesid dyweyd am dano nad ofnai Dduw ac na pharchai ddyn. Yr oedd yn byw mewn bwthyn tô gwellt ar làn afonig fechan, a chanddo ddarn o ardd yn agos i'r tŷ; ac yno y gwelid ef agos bob amser, sul, gŵyl, a gwaith; canys yr oedd ganddo feddwl mawr o'i ardd, ac os dygwyddai i rywun gyffwrdd hyd yn nôd â'i gwrŷch, byddai yn barod i dywallt cawod o felldithion ar ben hwnw neu hono yn y fan.

Ond ni adawodd gras y Nefoedd i John Owen aros hyd ei ddiwedd yn ei gyflwr digrefydd. Fe dybygid iddo gael ei ddarparu i'r Arglwydd yn un o'i bobl barod, i ddechre, trwy ymddyddanion cymydog crefyddol iddo; ond yr hyn a benderfynodd y ddadl gydag ef i roddi ei hunan yn bechadur mawr fel yr oedd, i Iesu Grist ac i'w bobl, oedd pregeth nerthol yn adeg adfywiad dechre y flwyddyn 1840. Yr oedd yr awelon nefol yn chwythu yn rymus "o fryn Caersalem newydd," a'r weinidogaeth yn effeithio yn gynhyrfiol ar holl dyrfa'r capel mawr; ac ar ddiwedd y gwasanaeth cyhoeddus, rhoddwyd gwahoddiad serchog i bawb oedd yn ewyllysio dilyn Crist ymuno â'r eglwys y noson hono heb oedi. Arosodd lliaws o'r newydd; ac yn eu mysg, er syndod a llawenydd i bawb oedd yn ei adwaen, wele yr henwr hynod John Owen, ïe hynod am ei anghrefydd blaenorol, wedi dyfod i ymofyn lle yn eglwys y Duw byw. Y blaenor arbenig, William Dodd, a ddywedai o'r sêdd fawr; "Wel, dyma lawer, dybygaf, o'r newydd wedi dyfod atom; yn awr, gyfeillion, gwnewch le iddynt hwy, sydd yma am y tro cyntaf, yn yr eisteddleoedd nesaf yma, fel y caffom eu henwau, ac y dywedom air wrthynt. Dewch chwi, y rhai a ddaeth atom o'r newydd, ymlaen i'r fan yma." Yr oedd John Owen ar y pryd yn un o'r eisteddleoedd pellaf ar y llawr ar gyfer y pulpud; ac yr oedd cefn yr eisteddle cyfuwch â'i ben, neu yn uwch o dipyn, a mynedfa agored o'r tu ôl. Gadawn i John Owen ddyweyd yr hanes yn ei eiriau ei hunan. "Pan glywais William Dodd yn dyweyd wrth y bobl newydd am ddyfod ymlaen at y *seat* fawr, dywedais ynof fy hun, Wel, wel, mi gaf yrŵan fy holi yn ngwydd pawb, a minnau yn methu ateb; rhywbeth tebyg i'm blingo yn fyw. Yn ddigon siŵr, mi rof naid dros gefn y *seat* yma, ac a gymeraf y goes i redeg adref.' Ond yn y fan, dyna rywbeth yn dyweyd o'm mewn, 'John Owen, paid bod yn ffŵl; oni wyddost ti mai Satan sydd yn dy ddychrynu di ac yn dy berswadio i redeg i ffwrdd? Gŵyr ef fod yna gryn ddyfnder o *dop* y *seat* i waelod y llawr tu cefn, ac mai un llygad sydd genyt tithau fel na weli ymha le y byddi di yn disgyn; am i ti syrthio ar dy ben y mae'r gŵr drwg, a marw i fyned ato fo yn lle myned i'r *seiat*.' Wel, ïe yn wir, meddwn innau; yr ydwyf wedi gwrando gormod ar Satan; ond ffarwel iddo fo bellach am byth. Ac felly mi fentrais ymlaen gyda'r *rest*, ac nid wyf wedi edifaru eto."

Gan na chawsai John ddim amaethiad meddyliol, ac iddo fod gymaint o amser yn ngwasanaeth tywysog y tywyllwch, a henaint wedi ei ddal, nis gellid dysgwyl iddo feddu dawn taclus a deheudra cyhoeddus i siarad am bethau ei Feistr newydd. Yn ei ffordd wreiddiol ei hun yr oedd efe yn myned ymlaen; ond yr oedd yn amlwg fod rhad ras yn gweithio yn wych ar ddefnyddiau naturiol pur anghelfydd.

Deuai yn ffyddlawn iawn i bob moddion crefyddol; ac ymhen amser, daeth i feddwl y Parch. Robert Roberts, Tan-y-clawdd, yr hen weinidog hybarch yn y lle, annog John Owen ar derfyniad un cyfarfod eglwysig i ddybenu. Gofynodd iddo, "A wnewch chwi, John Owen, fyned am ychydig ar eich gliniau i ddiweddu y *society!*" Edrychodd yr hen gyfaill yn syn ar y gweinidog parchus, a dywedodd, "Wn i ddim beth i'w ddyweyd, Mr. Roberts?" "Wel, gofynwch i Dduw am faddeuant, ac am ras, ac am iddo roi ei wyneb arnom trwy Iesu Grist," ebe Mr. Roberts, gan ddysgwyl i'r cyfryw faterion fod fel agor drws i John Owen fyned drwyddo yn lled hwylus. Ar ei liniau yr aeth yr henwr annefodol o ufudd-dod i'r gweinidog; a dechreuodd ar y weddi; ond yn ebrwydd dyna efe wedi myned trwy y rhestr geiriau a estynasid iddo; a dyma hi yn *full and long stop* arno, a phawb a phobpeth mor ddystaw â'r bedd. Wedi i fynyd neu ddwy fyned heibio, troes yr hen John at y gweinidog, a chan edrych yn ddifrifol yn ei wyneb gofynodd, "Beth a ddywedaf fi yn rhagor, Mr. Roberts?" Cafodd yr hen dad o Dan-y-clawdd, er mor *staunch* a chadarn ydoedd, ormod o waith i ymgadw yn ei sobrwydd arferol y tro hwnw; a gwelodd mai doethineb oedd peidio cymhell John Owen i weddïo yn gyhoeddus ar ol hyny am gryn dymmor beth bynag.

Ond er ei fusgrellni a'i anfedrusrwydd gyda gweddïo yn gyhoeddus, yr oedd yn eglur ei fod yn weddïwr mawr yn ei ffordd ei hun, ac ar ei ben ei hun, a bod Duw o'r nef yn ei wrando. Yr oedd ynddo galon lawn o gariad at ei Waredwr; ac ar brydiau gwaeddai allan yr hen eiriau anwyl sydd er ys llawer dydd wedi myned ar goll o'n hoedtäon, megys, "Gogoniant! Bendigedig! ac O diolch!" Gan fod ei glyw yn drwm, arferai wrandaw pregethau ar risiau'r pulpud. Un Sabboth, pan oedd y pregethwr—gŵr ymhell o gyrhaedd henaint—mewn hwyl yn gwaeddi fwy nag unwaith, "Y mae afon â'i ffrydiau a lawenhânt ddinas Duw," yr oedd John Owen yn ymddangos â'i lygaid yn llygaid y pregethwr, ac â'i safn yn agored, a'i holl natur fel yn ymwingo, a golwg wyllt arno; ac o'r diwedd yn ateb i floedd y pregethwr, "Y mae afon," dyma yntau hefyd yn gwaeddi nerth asgwrn ei ben, "Oes, 'machgen i; oes, 'machgen i; y mae afon; *tumble* iddi am dy fywyd!"

Yr oedd ganddo yn ei feddiant gâth fawr, ac yr oedd yn meddwl llawer o honi, a'i ofal yn fawr am dani. Un wythnos, collwyd y gâth o'r tŷ, yr hyn oedd yn brofedigaeth chwerw ar y pryd i'r hen frawd. Y prydnawn Sabboth canlynol, ar ddiwedd yr Ysgol Sabbothol, wele John Owen i'w ganfod yn ymsythu, ac yna â'i holl egni yn cyhoeddi: "Aroswch, gyfeillion. Y mae genyf air bach i'w ddywedyd wrthych cyn i chwi fyned allan, Gwrandewch yrwan!" Ac fel y gallesid dysgwyl, dyma bawb yn glustiau i gyd; canys gwyddent mai nid dim byd arferol a chyffredin a gaent gan yr hen John Owen. A'r llîth ganddo oedd, "Yr ydwyf wedi colli câth lwyd fawr, a *stripiau* duon arni; ac os daw rhywun o hyd iddi, a dyfod â hi i mi, mi fyddaf yn ddiolchgar iawn iddo." Hawdd dirnad mai gwrthwyneb i effaith wylofus oedd canlyniad y cyfryw hysbysiad ar bawb oedd yn clywed. Ond er mor chwithig oedd dyweyd am golli'r gâth yn y capel ar y Sul, ystyrid hyny yn beth nid anghymhwys nac anmhriodol o enau yr hynod John Owen. Mewn un cwrdd eglwysig, rhoddid cyfarwyddiadau a chynghorion perthynol i bobl ieuainc; a chyn y diwedd, cododd ein hen gyfaill yn sydyn, a dywedodd, "Y mae genyf finnau air i'w ddyweyd. Mi wn am rai o'r genethod yma eu bod yn falch iawn, ac eto yn ddiog iawn. Oes, mae yma rai, os bydd twll yn eu hosan, yn lle ei bwytho, a rônt barddu huddugl o'r simnai i guddio'r twll, am fod hwnw o'r un lliw â'r hosan; ac mi allwn i eu henwi nhw'r fynyd yma o ran hyny." "Na, gwell i chwi beidio enwi neb yma heno?" medd un o'r blaenoriaid.

Mae yn ddiau fod nifer o ddarllenwyr y DRYSORFA yn cofio am yr anghydfod eglwysig ymysg Methodistiaid Rhosllanerchrugog, a dorodd allan yn y flwyddyn 1843; a chan fod ar y pryd, nid yn unig ddwy blaid yn eglwys y Rhos, ond dwy blaid yn Nghyfarfod Misol Sir Fflint yn barnu yn wahanol yn ei gylch, gorfuwyd cyflwyno yr achos i'r Gymdeithasfa Chwarterol; ac wedi llawer o ymdrafod, bu raid barnu nad oedd dim i'w wneyd ond diaelodi neu ddiarddelwi yr holl eglwys; a hyny a wnaed yn y fl. 1844. Am amryw fisoedd, nid oedd yno un cyfarfod eglwysig. Eto yr oedd ymhlith y llïaws diarddeledig amryw hen frodyr a chwïorydd oedd yn "heddychol ffyddloniaid Israel," y rhai oedd brudd am y gymanfa, fel y dywed y prophwyd, ac i'r rhai yr oedd eu gwaradwydd yn faich, ac ymysg y rhai diargyhoedd a diniwed hyny yr oedd John Owen i'w restru. O'r diwedd, tua dechre 1845, daeth dedfryd yr esgymundod i'r pen, a rhoddwyd caniatâd i adffurfio yr eglwys, ar yr ammod i bawb gadw yr heddwch rhagllaw. Anfonwyd gan y Gymdeithasfa frodyr i'r Rhos i dderbyn y cyfeillion i'r eglwys, gan eu rhwymo âg ardystiad y tangnefedd; dau frawd neu ychwaneg i weini ar y tro; a chymerwyd amryw

ddyddiau at hyny. Ac yn benaf anfonwyd yno i'r perwyl, y diweddar Barchn. Henry Rees, ac Humphrey Gwalchmai, a'r Parchn. Roger Edwards a William Pierce.

Ar ol amryw gyfarfodydd o dderbyn i mewn, sylwodd Mr. Edwards nad oedd John Owen, o'r hwn yr oedd efe weithian yn dra adnabyddus, wedi cynnyg ei hun yn ol i'r eglwys; ac un canol dydd efe a aeth i ymweled yn bersonol âg ef, pan ei cafodd yn edrych yn bruddaidd, ac eto yn hanner sarug. Wedi gofyn iddo paham na ddaethai, gyda'r hen frodyr a'r chwïorydd eraill, yn ol i'r eglwys, ei ateb oedd, "Na, nid wyf fi ddim yn meddwl dyfod yna byth eto. Fy nhroi allan o'r *seiat* am ddim yn y byd! pa *sense* oedd yn hyny? Os oedd yma greaduriaid yn ffraeo, nid oedd gen' i ddim help am hyny; nid y fi oedd yn un o bobl y *cnecs;* a pham yr oedd raid ysgubo pawb i ffwrdd am fod y tŵr yma a'r tŵr acw yn ffraeo? Na, rhyngoch chwi a'ch gilydd, bellach." "Wel," ebe Mr. Edwards, "mae yn ddrwg iawn genyf eich gweled chwi, John Owen, yn rhoi lle eto i ddiafol. Ai nid ydych yn cofio fel yr oedd Satan yn ceisio genych neidio dros gefn y *seat* i fyned ymaith y noson gyntaf y darfu i chwi aros yn y *society?*" "Ydwyf, yn ddigon siŵr; ond beth am hyny?" "Sut yr ydych chwi heb weled mai Satan sydd yn awr yn eich perswadio i beidio dyfod yn ol? Dyma John Owen wedi myned yn hen, medd Satan; nis gall efe fyw yn hir eto; mi chwythaf fi ei feddwl i ddigio am y diarddel mawr a fu yn y Rhos, ac felly i aros allan o eglwys Dduw, nes iddo farw heb fod enw crefyddwr arno." "Beth?" meddai John Owen yn sydyn ac yn gyffrous, "a ydych chwi yn dyweyd mai yr hen Satan gas sydd yn fy mherswadio fel hyn?" "Ydwyf; ac yr oeddwn yn dysgwyl i chwithau adnabod ei ddichellion ef." "O'r goreu; ni chaiff y gŵr drwg mo'i ewyllys arnaf fi eto; mi ddôf atoch heddyw'r prydnawn." Ac felly y daeth i'r cwrdd eglwysig prydnawnol; ac yno, yn yr ymddyddan âg ef, efe a adroddodd y penderfyniad a wnaethai, a dywedodd, "Ni fuaswn i ddim yn dyfod yma, ond fel y darfu iddo fo," gan bwyntio â'i fys at Mr. Edwards, "yn bur garedig ddyfod i edrych am danaf, a dangos i mi mai Satan oedd yn fy mherswadio i sefyll draw." Yr oedd Mr. Gwalchmai yn arwain yr ymddyddan; ac meddai efe, "Ni wnewch chwi ddim gwrando ar Satan eto, ynte?" "Gwrando ar y peth cas eto!" atebai John Owen; "na, mi a'i *scaldiaf* ef â dŵr poeth berwedig os na bydd o yn peidio gadael llonydd i mi eto." Yr oedd son am y fath ddull o drin y diafol yn peri effaith drydanol ar bawb yn y lle; ac nis gallodd Mr. Gwalchmai ymattal heb chwerthin allan yn galonog.

Mae yn ymddangos mai nid dyna yr unig dro iddo fygwth *scaldio'r* diafol. Dywedodd unwaith wrth gyfaill, "Yr wyf yn methu yn fy myw gael llonydd gan y diafol yma; ond os na bydd ef yn ddystaw wrthyf, mi rof y *sospan* mawr â'i lonaid o ddŵr ar y tân, ac a fyddaf can sicred o'i *scaldio* a'i fod o yn fyw." Fe gofia y darllenydd fod Paul yn dyweyd wrth yr Ephesiaid, "Uwchlaw pob dim wedi cymeryd tarian y ffydd, â'r hon y gellwch ddiffoddi holl bicellau tanllyd y fall." Nid oedd John Owen yn gwybod dim am darian; ond fe wyddai am ddŵr berwedig, a pheth oedd effaith ei losgiad; ac felly yr adnod o'i wneuthuriad ef a fuasai, "Uwchlaw pob dim, wedi cymeryd dŵr poeth y ffydd, â'r hwn y gellwch losgboenydio tywysog y fall."

Gellir chwanegu yn y lle hwn mai cyfarfodydd gwir effeithiol, nad anghofir mohonynt gan y rhai oedd ynddynt, ydoedd cyfarfodydd eglwysig y derbyniadau cyntaf i mewn ar ol chwalfa'r eglwys. Wrth ymddyddan y dwthwn hwnw âg un o'r hen famau yn y Rhos, gofynwyd iddi, "Ai nid oeddech yn teimlo yn lled rydd pan nad oedd yma yr un *society?* Pe buasech yn myned yn fwy llac mewn cadw'r Sabbath, neu yn ymrafaelio tipyn â chymydoges, neu wneyd rhywbeth allan o'i le, gallasech deimlo nad oedd achos i chwi boeni cymaint o'r herwydd, gan nad oedd yma eglwys i drin eich achos." A'i hateb difrifol hi ydoedd, "Na, yn wir, os bum i erioed yn wyliadwrus rhag pechu, yr oeddwn felly yn benodol yr hanner blwyddyn diweddaf. Nid oes arnaf yn bresennol ddim rhwymau *seiat,* meddwn; yn awr am effaith ofni Duw arnaf; ac felly am dori'r Sabbath, neu ffraeo, neu feïau eraill, mi allaf ddyweyd am y tymmor hwn fel Nehemïah, 'Ni wnaethum i felly rhag ofn Duw.'"

Cyn ei ymddattodiad, yr oedd John Owen yn gwaelu yn raddol; a'i chwithdod mwyaf yn ei wendid a'i gystudd oedd am ei fod yn methu myned i foddion gras. Yr oedd wrtho ei hun yn ei annedd, heb wraig na phlant i weini arno; ond mawr ganmolai wragedd y tai nesaf am eu bod hwy, y naill yn olynu'r llall, yn dyfod i roddi pob help ag a allent iddo. Ond rhedai yn ebrwydd yn ei ymddyddanion at Iesu Grist, i'w ganmawl ef fel ei Gyfaill penaf a gwastadol. Un Sabbath, yr oedd gweinidog parchus o'r sir wedi myned i ymweled âg ef, yr hwn a ddywedai, "Yr ydych yn bur unig yn awr, John Owen." Cododd yntau ei ben i fyny ac atebodd, "Nid wyf mor unig ag y gellid meddwl; na, y mae Iesu Grist yma yn fynych, ac

yr ydym yn cael aml ymgòm ddifyr gyda'n gilydd. Mewn gwirionedd, mae yn nefoedd ar y ddaear arnaf pan y bydd fy Ngheidwad anwyl yma. A welwch chwi y gadair acw?" meddai, gan gyfeirio â'i law deneu at gadair o'r hen ddull, un ddwyfraich gyda thrithroed, oedd yn segur wrth ochr y tân. "Bydd ef," sef Iesu Grist, "yn eistedd ar y gadair yna; ac y mae hi yn gysegredig iawn genyf." "Ydyw, yn ddiddadl," ebe'r gweinidog. A John Owen, gyda'i un llygad yn tanio, a ddywedai ymhellach, "Os bydd Iesu Grist yn *misio* dyfod iddi am un noson, fe fydd Satan mor wynebgaled a haerllug a dyfod i eistedd yn nghadair fy Ngheidwad; a bydd yn ffrae rhyngom yn y man." "Wel, pwy a fydd yn gorchfygu?" gofynai'r gweinidog. "Ho, welwch chwi," atebai John Owen, "mae o yn llawer cryfach a sleiach na mi; bu iddo agos a fy ngorchfygu un noswaith trwy ddannod i mi fy mhechodau, a dyweyd na chawn faddeuant byth. Yr oedd o bron â gwneyd i mi ei gredu; ond pan yr oedd Satan ar ennill y frwydr, mi gofiais yr adnod anwyl hono, 'A gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod;' a'r foment nesaf yr oedd yr hen gadair freichiau yn wag, a thad y celwydd wedi ffoi ymaith, a minnau ar fy uchelfanau yn gwaeddi, Concwest unwaith yn rhagor ar ddiafol!" Felly dyna beth oedd y "dŵr poeth berwedig" gan John Owen y tro hwnw i "*scaldio* Satan,"—yr hen adnod hoff am y gwaed yn glanhâu.

Nid annhebyg i hyna oedd y mynegiad o'r eiddo John Owen a adroddwyd gan barchedig olygydd y DRYSORFA yn "*seiat* fawr Cymanfa Liverpool," flynyddoedd yn ol. Yr oedd yntau, wrth ymweled â'r hen frawd yn adeg ei waeledd diweddaf, yn cyfeirio at ei unigrwydd, a John Owen yn sicrhâu iddo fod ganddo, serch yn byw ei hunan, y cwmni goreu. "Fe fydd Iesu Grist a minnau o bobtu i'r tân," meddai, "yn *ysgwrsio* yn *right* rhydd; ac a wyddoch chwi beth a ddywedodd efe wrthyf un noson? 'John Owen,' meddai fo wrthyf, 'ni rôf fi mohonot ti i fyny byth.'" Yr oedd yr hen gyfaill o ran ei feddwl yn cymdeithasu â Christ trwy ffydd, nes yr oedd yn teimlo ei bresennoldeb mor wirioneddol â phe buasai efe yn bersonol yn weledig i'w lygad. Ac felly yn wir yr oedd efe hefyd yn sylweddoli'r diafol iddo ei hun, fel y nodwyd. Yr oedd dychymyg ei feddylfryd yn myned yn *reality* iddo.

Gellid ysgrifenu llawer am gymeriadau nodedig eraill ymysg hen gyfeillion ymadawedig Rhosllanerchrugog. Ond rhaid ymattal y waith hon rhag gormod meithder.

*Rhos.* W. JONES.

GWERSI Y DDAU RICHARDS I FLAENORIAID.

MEWN Cymdeithasfa yn y Bala, yn nghyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, sylwai y Parch. Ebenezer Richard, "Y mae o bwys i swyddogion eglwysig ymddangos yn naturiol a dirodres ymhob man, heb hòni pwysfawrogrwydd mawr oblegid swydd a lle. Bydd ambell i flaenor ieuanc yn ei swydd yn gwneyd rhyw wep sanctaidd, yn crymu ei ben a'i ysgwyddau, ac yn rhoi allan ryw ocheneidiau llaesion, fel un am dynu sylw dyeithriaid ato ei hun megys un hynod bwysfawr. Bydd hyny yn peri i un feddwl am chwedl y gwibedyn a'r tarw. Y gwibedyn wrth ehedeg a ddisgynodd ar gorn y tarw, ac a ofynodd yno, 'A odw'i yn drwm?' 'Pwy 'n wyt ti?' ebe'r tarw. 'Gwibedyn; odw'i yn drwm?' 'Pa le'r wyt?' 'Ar dy gorn di. Odw'i'n drwm?' 'Yn wir, ni buaswn i yn gwybod dy fod di yma pe buasit heb weyd.' Felly'r blaenor yn gwneyd gwyneb ac osgo fel sant arbenig, yn edrych yn hynod ddifrifol, ac yn hyny yn gofyn, 'A odwi'n drwm? odwi'n bwysig?' Pwy'n wyt ti? 'Wel blaenor y fan a'r fan ydwyf; onid wyf yn ŵr pwysig?' Ho, ni buasem ni yn gwybod mai blaenor oeddit pe buasit heb weyd. Gwaith, ac nid gwêdd, sydd i ddangos beth ydym. Gwelir ambell i flaenor, ïe, ac ambell i bregethwr, na chyfrifir hwynt yn rhai mawrion gan eraill, yn edrych yn ostyngedig i'w ryfeddu, ac yn eu sylwadau a'u trefniadau yn rhoi ar ddeall mai ymostwng y maent hwy at wendid y rhai gweiniaid; yn debyg i'r ŵydd, wrth nofio dan fwa'r bont yn gostwng ei phen rhag taro wrth dop yr *arch*. O druan fach, gelli di adael dy ben i fyny; mae yna latheni rhyngot â'r top. Felly ni raid i'r cyfeillion hyny drafferthu cymaint i ymostwng at ein hamgyffredion gweinion ni; aent mor uchel ag y medront; nid oes berygl iddynt hwy, druain, fyned allan o'n golwg."

Ei frawd, y Parch. Thomas Richard, a fu yn dywedyd mewn cyfarfod eglwysig, ac mewn Cyfarfod Misol, "Y mae enw blaenor, y'ch i'n deall, ar y dyn; ond gofynwch ai efe yw un o'r rhai blaenaf am ddyfod i'r cwrdd eglwysig a chyrddau eraill, a'r ateb fydd, O na, ni welir byth mo hono fe ar ddechre cwrdd; bydd y pennill wedi ei ganu, a'r bennod wedi ei darllen, os nad y weddi wedi myned drosodd, cyn y gwelir ef i mewn. Wel, wel! na alwer hwna yn *flaenor*, ond dyweder mai *olor* yw. Ië, blaenor yw'r gŵr; ac y mae efe felly ar y blaen mewn rhoddi a chyfranu; yn ol ei allu ac uwchlaw ei allu, y mae efe yn arwain y casgliadau. O nag

yw; un lled law-gauad yw efe, rhaid addef; ac y mae arno ofn rhag i'r cyrddau misol feichio yr eglwysi â gormodedd casgliadau. Hawyr fach, y blaenor yn olor, ai ïe? O resyn i neb blaenoriaid mewn enw fyned yn oloriaid mewn gwirionedd!"

Ceir sylw nid anghyffelyb yn Nghofiant y Parch. Ebenezer Richard gan ei Feibion. Mewn cyfarchiad i flaenoriaid, dywedai, "Cofiwch mai blaenoriaid ydych. Dylai blaenor fod *ymlaen* ymhob peth: mewn gwybodaeth, mewn profiad, mewn defnyddioldeb. Fel y dyn sydd yn arwain y fedel: os bydd y bachgen ar ben y fedel yn rhyw greadur diog a diddym, yn rhwystro eraill i fyned ymlaen, ac heb roi digon o waith i'r bobl drwy'r dydd, mae'r meistr yn anfoddlawn, ac yn digio yn ddirfawr; ac y mae'r cynauaf yn cael ei gadw yn ôl yn enbyd,—felly chwithau, fy nghyfeillion, peidiwch sefyll ar ffordd y fedel. Mynwch gryman ac awch arno, a thorwch ymlaen i roi digon o le i'r medelwyr. Hyn a ddylai fod amcan pob blaenor, ar iddo fod y dyn duwiolaf a mwyaf defnyddiol yn yr eglwys; 'yn hynod ymhlith yr apostolion.'"

---

GWELL GWEITHIO NA CHARDOTA.

YR oedd gŵr o ymddangosiad boneddigaidd yn cerdded un prydnawn ar hyd un o heolydd P——, pryd y darfu i gardotyn ymbil âg ef am ychydig geiniogau i dalu am letty y noson hono. Edrychodd y boneddwr yn ddifrifol ar y creadur tlawd, ac a ofynodd, "Paham na weithiwch chwi? dylai fod arnoch gywilydd o gardota fel hyn." "O syr, nid wn i ddim pa le i gael gwaith." "*Nonsense*," ebe'r llall, "chwi a ellwch weithio os mynwch. Yn awr gwrandewch arnaf. Bum i unwaith yn gardotyn fel chwi. Ond gŵr cyfrifol a haelionus a roes i mi ddernyn coron, ac a ddywedodd wrthyf, 'Gweithiwch, ac na chardotwch. Mae Duw yn helpio y rhai hyny sydd yn eu helpio eu hunain.' Yn ddioed mi a adewais y dref lle yr oeddwn, ac a aethum ymaith o ffordd fy hen gymdeithion. Mi gofiais y cynghor a roisai fy mam i mi cyn ei marw, ac a ddechreuais weddïo ar Dduw am fy nghadw rhag pechu, a'm cynnorthwyo o ddydd i ddydd. Yna mi a aethum oddiamgylch i alw wrth liaws o dai yn y wlad, ac a ddechreuais brynu hen garpiau. Dygais y rhai hyny i felin bapyr, a chefais beth elw oddiwrth eu gwerthiant. Yr oeddwn yn ewyllysgar yn wastad i roddi pris teg am yr hyn a brynwn, ac ni cheisiais werthu dim am fwy nag y credwn eu bod o werth. Penderfynais fod yn onest, a'r Hollalluog a'm llwyddodd. Yr oedd fy mhryniadau a'm hennillion yn myned fwy fwy; ac erbyn hyn y mae genyf fwy na deng mil o ddarnau coronau y gallaf eu galw yn eiddo fy hun."

Wedi dywedyd hyn, y gŵr boneddigaidd a ddyg allan ei bwrs, ac a dynodd ddernyn coron o hono, a chan ei estyn i'r cardotyn synedig, efe a ddywedodd, "Yn awr, dyma genych yr un fantais i wneyd eich ffordd ymlaen yn y byd ag a fu genyf finnau. Ewch a gweithiwch, a pheidiwch a gadael i mi eich gweled yn cardota drachefn. Os gwnaf, mi a'ch rhoddaf yn nwylaw yr heddgeidwaid."

Aeth blynyddoedd heibio. Yr oedd y boneddwr wedi anghofio yr amgylchiad, hyd nes y darfu iddo un diwrnod, pan yn teithio drwy dref P——, droi i mewn i fasnachdŷ llyfrwerthwr, i brynu rhyw lyfrau yr oedd arno eu heisieu. Ni bu efe ond ychydig fynydau yn ymddyddan â'r llyfrwerthwr cyn i hwnw edrych yn graff yn ei wyneb, a gofyn, "Ai nid chwychwi, syr, yw'r boneddwr a roes, er ys amryw flynyddoedd yn ol, ddernyn coron i gardotyn tlawd tua gwaelod yr heol hon?"

"Wel ïe, yn wir; yr wyf yn awr yn cofio am hyny."

"Felly, syr, dyma'r tŷ hwn, a'r *shop* lawn hon, yn ffrwyth y dernyn coron hwnw."

Yr oedd dagrau llawenydd a diolchgarwch yn treiglo dros ei ruddiau wrth iddo alw sylw ei wraig a'i blant dedwyddol at y boneddwr oedd wedi bod y fath gymwynaswr iddo. Yr oedd raid i'r gŵr dyeithr gymeryd cwpanaid o dê gyda hwy; ac wrth y ford, y llyfrwerthwr a adroddodd ei hanes ei hun er y diwrnod y cawsai efe y dernyn côron. Yr oedd yn dra chyffelyb i'r eiddo yr ymwelwr teilwng. Trwy ddiwydrwydd, gonestrwydd, a dibyniad ar help a bendith Duw, yr oedd efe wedi codi o ris i ris, o brynu carpiau i werthu papyrau a thraethodau ar yr heol, yna i gadw hen lyfrwerthfa, ac erbyn hyn i fod yn berchenog y masnachdŷ llyfrau mwyaf yn y dref. Cyn ymwahanu, dygwyd yr hen Fibl teuluaidd mawr ger bron, o ba un y darllenwyd salm glodforus, ac yna y penliniwyd o gylch yr allor deuluaidd. Nis gallasai geiriau draethu teimladau y rhai oedd yn gwneyd i fyny y cynnulliad bychan hwnw. Yr oedd yno ddagrau lawer, ac Amenau cynhes.

Wedi codi oddiar eu gliniau, wrth ffarwelio y llyfrwerthydd a ddywedai, "Diolch i'r Arglwydd! mi a brofais wirionedd eich geiriau. Ydyw, y mae Duw yn helpio y rhai sydd yn eu helpio eu hunain. Gwell gweithio na chardota."

---

# Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

**Exodus xv. 23, 27: "A phan ddaethant i Marah, ni allent yfed dyfroedd Marah, am eu bod yn chwerwon; o herwydd hyny y gelwir ei henw hi Marah.——A daethant i Elim; ac yno yr oedd deuddeg ffynnon o ddwfr, a deg palmwydden a thriugain; a hwy a wersyllasant yno wrth y dyfroedd."**

**Marah ac Elim! mor agos at eu gilydd y maent yn gorwedd! Fel hyn agos y naill at y llall yw chwerwder a melusder bywyd, tristedd a gorfoledd amser. Ceir hwynt yn yr un anialwch, ac yn fynych yn canlyn eu gilydd yn ystod un dydd,** **neu un awr. Y chwerw hefyd yw y cyntaf, ac wedi hyny y peraidd. Nid Elim yn gyntaf, ac yna Marah; ond Marah i ddechre, ac yna Elim; yn gyntaf y cwmwl, ac wedi hyny yr haulwen—yn gyntaf y blino, ac ar ei ol y gorphwyso.** Yn gofnod o hyn, ni a dorasom gangen fechan o balmwydd o un o'r prenau hyny yn Elim; a chan ei dodi ar gangen gyffelyb a ddygasom o Marah, ni a'u rhwymasom ynghyd, i'w cadw yn gofarwydd parhâus, nid yn unig o'r golygfeydd, ond o'r gwirionedd a ddysgir mor fywiog ganddynt.—*Dr Horatius Bonar's Desert of Sinai: Notes of a Spring Journey from Cairo to Beersheba.*

---

Esaiah xlvi. 1: "Crymodd Bèl, plygodd Nebo; eu delwau oedd ar fwystfilod, ac ar anifeiliaid; eich clud a lwythwyd yn drwm; llwyth ydynt i'r diffygiol."

Y mae yn beth hynod i'w ddywedyd y gwelir yn awr yn y *British Museum* yn Llundain ddwy ddelw gareg o'r duw Nebo; delwau a ddygwyd o Ninefeh. Wrth syllu arnynt, nis gall yr edrychydd lai na gofyn, Ai dyma yn wir rai o'r duwiau yr oedd Rabsaceh yn ymddiried ynddynt, pan yr oedd efe yn cablu y Duw byw? A all y bu y rhai hyn ymysg yr eilunod yn Ninefeh y bu Senacherib yn hyderu arnynt? Yn ddiau, dyma gyflawniad o eiriau Esaiah, "Plygodd," neu gostyngodd "Nebo." Cyn i'r eilunod ddyfod i'r Amgueddfa Frytanaidd, llwyth oeddynt i'r anifail diffygiol oedd yn tynu y gludfèn ymha un eu dygid. Yr oedd y ddwy ddelw hyn ar gael cyn dyddiau Senacherib; o herwydd cyflwynasid hwy i Pul, am yr hwn y crybwyllir yn 2 Bren. xv. 19. Y mae cerfysgrif ar bob un o honynt i'r perwyl hwn, "Nebo: *cyflwynedig i Phaluc II., a'i Frenines Sammyramit;*" **a'r un yw Phaluc â Phul. Mae yr eilunddduw oddeutu pum' troedfedd o uchder, y farf yn addurnedig; y dwylaw ymhleth, gyda gwisg yn cyrhaedd i lawr at y traed. Iё, meddwn eto, ai dyma'r duw Nebo? Mae yr hyn a welir yn y *British Museum* yn ernes o lawn gyflawniad y brophwydoliaeth, "A'r eilunod a fwrw efe ymaith yn hollol."**

---

Amos vii. 2: "**Pwy a gyfyd Jacob?**"

**Pwy? Neb llai na Duw Jacob. Ond nid yn ddigyfrwng y gwna Duw ei gyfodi. Os** cyfodir Jacob, rhaid i feibion Jacob fod yn "gydweithwyr Duw." Yr ydym yn darllen am waith ffydd a llafur cariad y cristionogion boreuol. Nid dymuniadau, neu areithiau, nac hyd yn nôd gweddïau ffydd a chariad yn unig, a wnânt y tro; ond rhaid cael eu gwaith a'u llafur. Pan yr oedd gan y bobl "galon," nid i siarad nac i ddeisyfu, ond "i weithio," y cyfodwyd muriau Jerusalem o'u hadfeilion. "Pwy a gyfyd Jacob?" Pwy yn egnïol a gyfyd grefydd yn y dyddiau hyn? Aelodau eglwysig, yn ddiau, yn bersonol ac yn gyfunol. Deffröed pawb at eu dyledswydd; gweithied pob un ar gyfer ei dŷ ei hun, a'r holl fur a adeiledir. Gosoder yr hwyliau i fyny, a'r nefoedd a enfyn yr awelon. Gwaith heb weddi sydd ryfyg, a gweddi heb waith sydd ragrith. Doed yr eglwys i alw ar Dduw, ac i weithio dros Dduw; ac nid ar lawr y gwelir Jacob.

---

1 Timotheus iii. 16: "Duw a ymddangosodd yn y cnawd."

Pan y clywi am Grist, paid a meddwl am dano fel Duw yn unig, nac fel dyn yn unig, ond fel y naill a'r llall ynghyd. O herwydd mi a wn y bu Crist yn newynog, ac mi a wn hefyd iddo gyda phum' torth borthi pum' mil o wŷr, heblaw gwragedd a phlant. Mi a wn y bu Crist yn sychedig, ac mi a wn hefyd iddo droi'r dwfr yn win. Mi a wn i Grist gael ei gludo mewn llong, ac mi a wn hefyd iddo rodio ar y dyfroedd. Mi a wn i Grist sefyll o flaen Pilat, ac mi a wn hefyd ei fod yn eistedd gyda'r Tad. Mi a wn y codwyd cèryg i'w labyddio gan yr Iuddewon, ac mi a wn hefyd yr addolwyd ef gan yr angylion. Yr wyf yn priodoli y naill bethau i'w natur ddynol, a'r pethau eraill i'w natur Ddwyfol, ac yn ei weled yn Dduw a dyn ynghyd.—*Chrysostom.*

# Barddoniaeth.

## YR ADDEWIDION.

YMDDOLENA 'r addewidion
Fel cadwynau wrth dy draed:
Cydia ynddynt, enaid euog,
D' eiddo ydynt drwy y gwaed:
Er ucheled yw y bryniau,
Paid ymollwng, dringa 'n daer;
Hapus gorphwys wedi darfod
Dringo i'r Baradwys glaer.

Gwel eu llwybrau clir yn tywys
Tua 'r nefol hyfryd wlad,
Dros y cyfryw teithia dithau
Draw i'r etifeddiaeth rad;
Ac fel byddi 'n dringo i fyny
Derfydd twrw gwag y byd,
Ac yn ngrym yr addewidion
Deui trwy dy ofnau i gyd.

Cydia 'n dynach ynddynt, enaid,
Clyw y llais yn disgyn lawr,
Llais yr Iesu yn dy wahodd
I'r orphwysfa deg ei gwawr:

Gwel ei law yn estynedig
Yn yr addewidion gwir;
Cydia ynddi, ac fe 'th dyna
Idd ei fynwes cyn bo hir.

ALARCH GWYRFAI.

*Llanberis.*

## SEN I'R DIOTTWR.

DIOD gawd gan Greawdwr—ni foddia
Wŷn feddwol diottwr:
'E leibia ddamniol wlybwr
Yn lle 'r wiwglod ddiod ddŵr.

T. E. G.

## YR ARDYSTIAD DIRWESTOL.

ADDUNED wir haeddiannol—o'i pharchu
Ei pherchen wna 'n siriol;
Moddion ffawd i'r meddwyn ffol,
Rhag loesion moddion meddwol.

T. E. G.

# Bwrdd y Golygydd.

### ANWEDDEIDD-DRA MEWN ADDOLIAD.

ANWYL SYR,—Yr wyf yn gorfod credu mai ychydig yw y rhai sydd yn meddu dysgyblaeth a meistrolaeth hollol ar eu meddyliau a'u myfyrdodau; ac ychydig hefyd, tybygaf, ydyw y rhai sydd yn ymwybodol cân lleied o'r gallu gwerthfawr hwn y maent yn feddiannol arno. Nid ydyw diffyg dysgyblaeth meddwl yn dyfod yn fwy i'r golwg yn unman nag yn yr addoldŷ; a buom yn rhyfeddu lawer gwaith fod yr amlygiad o hono heb ddyrysu y pregethwr, a pheri iddo yntau fyned yn grwydredig ei feddwl.

Rhoddwn ein hunain am fynyd yn lle y pregethwr. Dacw fo wedi cau ei hun i fyny yn y pulpud ar fur pellaf yr addoldŷ. Mae efe yn awr yn darllen y bennod, fel nad ydyw, o drugaredd, yn gallu gweled yr hyn sydd yn cymeryd lle o'i flaen. Y mae oddeutu dwy ran o dair o'r gynnulleidfa arferol eisoes yn eu heisteddleoedd, ac y mae y rhan arall yn dyfod i mewn *drib drab*, fel y dywedir. Y mae un yn dyfod i mewn trwy y drws ar y ddê—nid mor ddystaw ag y gallai, y mae yn wir—ond gyda ei fod yn y golwg, y mae yr holl gynnulleidfa ag sydd yn gallu ei weled yn troi eu llygaid ato, ac yn cadw eu llygaid arno nes iddo gyrhaedd ei eisteddle, a rhoi ei het yn ei lle priodol—gyda'r hwn orchwyl y bydd ystŵr nid ychydig, weithiau. Ac wedi iddo roddi ei ben i lawr, neu ynte roddi ei law ar ei dalcen, bydd y gynnulleidfa wedi darfod gydag *ef*. Gyda bod hyn drosodd, y mae dynes barchus yn dyfod i mewn, trwy y drws ar yr ochr chwith; ac er ei bod yn aelod ffyddlawn o'r gynnulleidfa, a phawb yn ei hadwaen yn dda, eto y mae yn rhaid i'r gynnulleidfa gael edrych arni hithau, a'i dilyn â'u llygaid nes y bydd wedi eistedd i lawr, fel pe byddent yn ofni ei bod er y Sabboth blaenorol wedi anghofio pa le yr oedd ei heisteddle arferol. Os bydd ambell un yn para i ddyfod i mewn ar ol dechre y bregeth, bydd y gynnulleidfa yn ymddwyn yn gyffelyb at y rhai hyny.

Yn hyn oll, y mae lle i gredu, nad ydyw y gynnulleidfa yn gyffredinol yn ymwybodol o'u hymddygiad, a llawer llai o wrthuni y peth; ond i un fydd yn y pulpud neu y *sêt* fawr, y mae yr olygfa yn ddigrifol ac anweddaidd. Ac mor ddiddysgyblaeth ydyw meddwl dyn yn gyffredin fel y gwna y trwst lleiaf, a'r amgylchiad distadlaf, dynu ei sylw oddiar yr hyn a ddywed y pregethwr. Dim ond i blentyn bach waeddi, a gwelir yr holl gynnulleidfa bron yn troi eu llygaid i chwilio plentyn pwy ydyw, er aflonyddwch i'r pregethwr, a phoen dirfawr i fam y bychan, yr hon sydd yn gwrido ac yn chwysu dan lygaid anfoddus y gynnulleidfa. Ni wnai swn plentyn bach beri llawer o ddyryswch i'r addoliad oni byddai fod y gwrandäwyr yn tynu eu sylw oddiar y pregethwr, ac yn ei osod ar y plentyn, ac o ganlyniad yn peri i'r pregethwr anghofio ei lith. Os dygwydd i'r nwy fod â gormod o *force* arni, ac i frawd caredig frysio i wastadhâu y goleuni, pa raid sydd ar y gynnulleidfa adael i'r pregethwr rwyfo ymlaen ei hun, a gwneyd eu hunain yn oruchwylwyr ar y dyn sydd yn ceisio cywiro y gwall, i weled a ydyw yn gwneyd yn iawn ai peidio? Bydd ambell un yn yr addoliad yn gwneyd sŵn uchel trwy ei ffroenau gyda chynnorthwy ei gadach poced; ac er nad ydyw y dyn ond yn awgrymu i'ch meddwl y gwnaethai aelod rhagorol mewn

seindorf bres, eto rhaid i'r gynnulleidfa gael edrych arno!

Hwyrach, wedi ystyried, fod y pethau y cyfeiriwyd atynt yn arwydd o lawn cymaint o ddiffyg defosiwn ag ydyw o ddiffyg dysgyblaeth meddwl. Cadarnhëir hyn, yr ydym yn meddwl, ar adeg y weddi. Pe byddai i un wneyd ei hun yn sylwedydd am dro, yn lle yn addolwr, pan fydd y pregethwr yn gweddïo, gymaint o ddiffyg defosiwn a ganfyddai yn ymddangosiad llawer o'r dyrfa. Canfyddai fod y nifer llïosocaf â'u penau i lawr, neu o leiaf ar ffurf ag sydd yn dangos eu bod yn ceisio cydweddïo â'r pregethwr; ond canfyddai hefyd, ddosbarth arall ag y mae eu hymddangosiad yn dangos yn amlwg fod eu meddwl yn hollol ddyeithr i'r weddi. Bydd wyneb ambell un yn dangos cymaint o wagder a syrthni nes peri i un ammheu a ydyw yn ymwybodol o gwbl pa beth sydd yn myned ymlaen. Bydd eraill i'w gweled â'u llygaid yn cynniwair drwy y dorf i archwilio dilladau eu cydaddolwyr. Ac yn wir, y maent yn cael digon o wrthddrychau gwerth syllu arnynt yn y ffordd hon, oni bae fod y lle a'r amser yn anghyfaddas. Gallwn edmygu gwisgoedd gwerthfawr a gweddus cystal ag undyn; ond onid oes lle i ofni fod llawer merch ieuanc, er hwyrach yn ei diniweidrwydd, ac yn ddiarwybod o anweddusrwydd y peth, yn edrych ar yr addoldŷ fel rhyw fath o *exhibition*, lle y mae ganddi *stall* i ddangos ei nwyddau, y rhai na chaiff neb eu rhagori hyd y mae yn ei gallu hi. Pa ryfedd os na fedrir dyweyd ar ol dyfod allan o'r addoldŷ pa beth oedd y testun, heb son am y bregeth? Pa ryfedd fod llawer yn mynychu ein capelydd heb ddeall y gwasanaeth, ac yn tyfu i fyny heb wneyd un ymdrech at hyny? Pa ryfedd os ydyw y pregethwr yn gorfod gofyn yn feunyddiol, "Pwy a gredodd i'n hymadrodd?" Yr ydym yn addef y gall un ymddangos yn bur ddefosiynol, ac eto fod ei ysbryd ymhell oddiwrth y pethau Dwyfol, ac i un arall ymddangos yn bur aflêr a'i enaid yn nghanol y pethau. Ond eithriadau ydyw y rhai hyn; ac yr ydym yn credu fod hyfforddiant mewn astudrwydd a gweddusrwydd yn yr addoliad cyhoeddus wedi ei esgeuluso yn fawr genym. Dylid, ar bob cyfrif, beidio rhoi un achlysur i arwain y meddwl oddiwrth ysbryd y weddi a mater y bregeth. Dylai y neb sydd yn dyfod i'r moddion ar ol i'r gwasanaeth ddechre fyned i'w heisteddle mor ddystaw ag y mae yn bosibl iddo wneyd; ac yr wyf yn barod i feddwl na ddylai yr un foneddiges sydd yn gwisgo gŵn sidan fod hanner mynyd ar ol yr amser priodol. Bydd y sŵn fel awel o wynt a achosir gan y dilledyn prydferth hwn yn aflonyddu yr addoliad yn fynych, ac yn peri i ambell un ddymuno am i'r rhai sydd yn ei wisgo fod, er yn anamserol,

"Oll yn eu gynau gwynion,
Ac ar eu newydd wêdd."

Oni fyddai yn beth da mabwysiadu y cynllun sydd eisoes wedi ei fabwysiadu mewn llawer man yn Lloegr, sef cloi drysau yr addoldŷ wedi i'r gwasanaeth ddechre hyd nes i'r weddi fyned drosodd, ac yna eu hagor, ac aros rhyw ddau fynyd nes i bawb ymdawelu? Gellir credu yr atebai hyny ddyben da. Yr eiddoch, &c.,

D. O.

---

ATEBION I'R "CEISIADAU AM ESBONIAD."

MR. GOLYGYDD, — Y mae ffurf wylaidd *Ioan Arthur* yn y DRYSORFA am Ionawr, tu dalen 16, yn gofyn esboniad, yn teilyngu eglurhâd ar yr hyn sydd yn ymddangos iddo ef fel anghysondeb mewn cysylltiad â'r adnodau yn *Genesis* vi. 5, 6, 7, ac viii. 20, 21.

Nid ydyw y gair "*bod,*" fel y gwêl, yn y testun gwreiddiol. *Cyfiawnder* y dinystr oedd, am mai aml oedd drygioni dyn ar y ddaear; a'r prawf o hyny oedd, yn ol y gwreiddiol, "fod bwriad, meddylfryd ei galon, yn unig yn ddrygionus bob amser" neu bob dydd. Ond *tosturiaethau* y Jehofah anfeidrol at y ddynoliaeth, a phob peth byw ar y ddaear, sydd yn cael eu dadgan yn y rhai olaf. "A'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth, a dywedodd yr Arglwydd yn ei galon, Ni chwanegaf felldithio y ddaear mwy er mwyn dyn, (yn ol y gwreiddiol) *er bod* bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctyd."

Y mae ynddynt y cysondeb perffeithiaf—y gwreiddyn tarddiadol o'r tosturiaethau a ganfyddir. "Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni, ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni. Canys efe a edwyn ein defnydd ni; cofia mai llwch ydym." Y mae yn dyfod i'r golwg yn barhâus nid yn unig mewn ysgrythyr, ond mewn amser, ac arwydd cyfammod.

Mae yn gofyn esboniad hefyd ar yr adnodau yn Ioan xv. 15, a xvi. 12, 13. Yn y rhai blaenaf, dadgan y mae yr Arglwydd Iesu Grist iddo hysbysu iddynt hwy, y dysgyblion, bob peth a'r a glywodd gan ei Dad mewn perthynas i deyrnas Dduw, yn ei natur, ei hegwyddorion, ei haberth anfeidrol, ei bendithion grasusol, a'i haddewidion anghyfnewidiol mewn bywyd o anfarwoldeb a gogoniant tragywyddol. Ac megys i goroni yr holl ymddyddan yn yr oruwchystafell y noson hono, y mae Mab Duw yn ei weddi ryfeddol ar ddiwedd y cyfarfod, yn cyfeirio at yr un pethau," pen. xvii. 6, 7, 8. Cyfeiriodd at y pethau hyn pan yn ddeuddeng mlwydd oed: "Oni wyddoch chwi fod yn rhaid i mi fod ynghylch y *pethau* a berthyn i'm Tad?" Dyma ydyw "a lefarodd wrthym ni yn ei Fab." Ac fel y sylwodd yr enwog J. Harris, D.D., "Dysgeidiaeth yr Athraw Mawr yn yr Efengylau, ydyw testynau yr holl epistolau." Paul hefyd a gadarnhâ hyn. "Trwy yr hwn y bu efe helaeth i ni ymhob doethineb a deall."

Yn yr ymadroddion olaf o'r ymddyddan y noson hono, ar ol sylfaeniad ordinhâd goffadwriaethol y deyrnas, neu y testament newydd, dywedyd y mae Mab Duw, "Y mae genyf *eto lawer* o *bethau* i'w dywedyd wrthych; ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon," gan gyfeirio at yr hyn a ddywedodd eisoes o'r elfenau a barai iddynt drallodion mawrion ar ol ei ymadawiad ef oddiwrthynt oblegid

eu cysylltiad â'i achos a'i deyrnas dragywyddol; o herwydd "tristwch a lanwodd eu calon" oblegid iddo ddywedyd rhai pethau, yn enwedig am ei farwolaeth, yr hyn a fu y dydd canlynol. "Ond yr wyf fi yn dywedyd gwirionedd i chwi: Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith." Oblegid fel pe y dywedasai, Fe ddaw yr Ysbryd Glân, y Dyddanydd, i'ch cynnal a'ch cysuro yn eich holl helbulon a'ch trallodion mawrion; ac nid yn unig hyny ond i argyhoeddi y byd gwrthryfelgar o'i anghrediniaeth annuwiol, a'i syniadau cyfeiliornus am danaf ac yn eich cylch chwithau, ac hefyd o gyfiawnder fy honiadau fel Mab Duw, ac uniondeb yr egwyddorion yr ydych yn eu cofleidio, ynghyda'r farn annuwiol y mae wedi ei ddadgan mewn perthynas i mi, a'r farn a ddadgan am danoch chwithau.

"Y mae genyf eto lawer o bethau, ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon;" megys diddymiad llwyr yr oruchwyliaeth Foesenaidd—gwrthodiad yr Iuddewon—galwad y Cenedloedd, a'r holl drallodion ofnadwy a'ch cyferfydd chwi oll yn bersonol. Ar ol yr adgyfodiad, ac ar ol llefaru "tangnefedd" wrthynt unwaith ac *eilwaith*, y cafodd Pedr yr amnaid cyntaf mai ei ladd trwy groeshoeliad a gymerai le; ond ni chafodd Iago brawd Ioan wybod y buasai Herod yn tori ei ben; ond dywedodd Crist wrthynt mewn gair, "Yn y byd gorthrymder a gewch; ond cymerwch gysur, myfi a orchfygais y byd."

PROTESTANT CYMREIG.

---

# Y Wasg.

DETHOLION O YSGRIFENIADAU Y DIWEDDAR BARCH. DAVID CHARLES, CAERFYRDDIN. *Wedi eu casglu a'u trefnu gan Fab yr Awdwr. Gyda Rhagdraeth gan y Parch.* H. REES.

Wrexham: Hughes and Son.

YR oedd y llyfr hwn, neu lawer o hono, fe welir, yn barotöedig i'r wasg cyn marw y diweddar enwog a gwir Barchedig Henry Rees, gan iddo ef ysgrifenu y Rhagdraeth iddo. Pa fodd y gohiriwyd ei gyhoeddi hyd yn awr, nis gallwn ddywedyd. Ond dyma efe bellach ger bron y wlad; a hyderwn y rhoddir derbyniad parod iddo, ac y gwneir llawer o ddefnydd o hono.

Nis gallwn wneyd yn well â'n darllenwyr, i eglurhâu nodwedd y llyfr iddynt, na dyfynnodi yr hyn a ganlyn, allan o Ragdraeth rhagorol Mr. Rees:—

"Pan yr elai Mr. Charles i'r pulpud i bregethu, byddai ganddo, nid yn unig gyflawnder o ddefnyddiau at ei wasanaeth, ond y defnyddiau hyny wedi eu berwi yn dda ganddo; ei feddwl wedi eu meddiannu yn drwyadl. Ac felly deuent oddiwrtho fel ei bethau ei hun, gyda gradd helaeth o sicrwydd a newydd-deb, ac weithiau, yr wyf yn deall, gyda nerth mawr. Hwyrach nad oedd ganddo ond ychydig o allu i fod yn amleiriog; pa fodd bynag, mae yn sicr nad oedd ganddo ddim ewyllys i hyny. Y mater yn ei noethder oedd hynodrwydd ei bregeth ef, a dim corff iddi ond yn unig yr hyn ag oedd yn anghenrheidiol i ysbryd y mater hwnw ddyfod i'r golwg ynddo. Byddai ei ddywediadau yn gynnwysfawr, ond yn gyffredin yn fyrion, a'r ychydig eiriau a arferai yn syml a sathredig. Y mae yn rhaid i mi, gan hyny, gyfaddef fy mod yn profi i raddau yn siomedig ar y cyntaf, pan y clywais fod ei fab yn bwriadu gwneuthur rhyw ddetholion allan o bregethau y fath bregethwr a'i dad. Buaswn yn dysgwyl yn hytrach iddo gyhoeddi y cwbl, ac nid pigo, o fysg eraill, ryw nifer o'i feddyliau ac o'i ddywediadau ef, a chyhoeddi y cyfryw wrthynt eu hunain. * * * Ar yr un pryd, yr wyf yn cydnabod fy mod, ar ol ail edrych dros ei bregethau ef, yn newid fy meddwl i raddau. Fe ellir, yr wyf yn argyhoeddedig, grynhoi pigion gwir fuddiol allan o honynt; nid nad yw yr oll o'i waith yn dda, ond y mae ymysg yr holl bethau da a gynnwysa lawer o feddyliau sydd yn rhagori mewn daioni a gwerth. Yr ydym yn ei gael yn fynych wedi ei dryfritho o ddywediadau ag sydd yn gyflawn o feddwl a doethineb, a pha rai, dybygid, a oddefant eu tynu allan o'u cysylltiadau gwreiddiol, a'u cyhoeddi arnynt eu hunain, heb niweidio dim ar eu hystyr, na'u gwneyd mewn un modd yn llai buddiol i'r darllenydd. Yn wir, ag edrych arno fel cyfansoddiad, mae yn haws, dybygid, gwneyd detholiadau felly allan o waith Mr. Charles, nag o waith llawer o ysgrifenwyr eraill; oblegid, yn un peth, y mae ei feddyliau a'i ddywediadau ef â'u hystyried *ynddynt eu hunain*, yn wir gynnwysfawr, tra nad ydynt, o'r ochr arall, yn y dilyniad o honynt *mor gyfan a chymhlethedig â'u gilydd*, fel ag i'n gorfodi i deimlo bod yn rhaid i ni naill ai eu cymeryd bwy yn gwbl, neu fod heb ddim. I'r gwrthwyneb, y maent wedi eu crynhoi ynghyd mewn dull rhydd a diofal; ac un achos, dybygid, o'u bod yn gymaint felly ydyw, ei fod ef pan yn eu crynhoi a'u hysgrifenu, yn gwneuthur hyny yn unig iddo ei hun, heb un bwriad i'w cyhoeddi. Ond bydded a fyddo am gysylltiad a threfn ei ddrychfeddyliau, nid oes dim dadl am eu rhagoroldeb. Mae yn sicr am bob meddwl arno ei hunan, ei fod yn cael ei ddirnad yn glir, a phob un hefyd yn cael ei adrodd mewn dull eglur a chynnwysfawr. Yn fynych iawn, ni a gawn ei ddywediadau ef yn gyffelyb i ddiarebion Solomon: y naill ran o'r ymadrodd wedi ei osod mewn cyferbyniad â rhan arall o hono, tra mae pob un yn gyflawn o ystyr, ac ystyr pob un yn gyflawn ynddo ei hun."

Cawn y Detholion yn cynnwys amrywiol faterion, a dywediadau tarawiadol, gwerth eu cadw yn y cof, a'u trosi yn y myfyrdod, yn cael eu cyflwyno i ni dan

bob un o honynt. Nid annhebyg ydynt, o ran eu gwiwdeb a'u hireiddrwydd, i *Pascal's Thoughts*. Y mae yma bwysau trymion o feddwl wedi eu lapio mewn ymadroddion byrion. Ymhob tu dalen, ceir y cyfryw berlau â'r rhai canlynol:—

Mae cariad Duw a chariad y creadur yn wahanol i'w gilydd. "Yr wyf fi yn wag," medd cariad y creadur; "mae peth gan y creadur acw a'm llanwai." Ond cariad Duw a waedda, "Yr wyf fi yn llawn; dewch â chreaduriaid gweigion i'w llenwi o honof."

Rhoddi'r Mab oedd prif helaethrwydd Trugaredd; ei drefnu oedd prif weithrediad Doethineb; ei daro oedd prif ddysgleiriad Cyfiawnder; ei ddadguddio yw prif waith yr Ysbryd; ei dderbyn yw prif ddyledswydd pechadur, a'i wrthod yw ei brif bechod.

Nis boddlonwyd cariad Crist nes bod yn debyg i'w frodyr; nis boddlonir cariad yr eglwys nes bod yn debyg i Grist.

Yr oedd gan yr Arglwydd Iesu ddagrau i Jerusalem, pan nad oedd ganddi hi ond croeshoeliad iddo ef.

"Gwna hyn," medd y ddeddf, "a thi a gedwi yr hyn sydd genyt." "Cred hyn," ebe yr efengyl, "a thi a gei yr hyn nad yw genyt."

Oriau tywyll Golgotha sydd yn ei goleuo i Abraham yn y drydedd nef.

Duwiolion yn fynych a ofnant nad ydynt dan sylw Duw, am hyny y llesgânt; annuwiolion a dybiant felly, am hyny y rhyfygant.

"Hauwyd goleuni i'r cyfiawn." Pa le y tyf? Mae'r maes mor helaeth a natur Duw, a'r cynauaf cyhyd â thragywyddoldeb.

Tlodi mewn teimlad, a chyfoeth mewn gobaith, a wna weddïwr.

Ymhoffa yn y peth a fyni o'r ddaear; naill ai ni elli ei gael, neu ni elli ei gadw wedi ei gael.

Y mae llawer am wybod a gânt hwy y nefoedd. Mae'r nefoedd fel pe byddai yn gofyn yn ôl, "A gaiff fy mhethau le yn eich calon?" "A gaf fi le ynot ti, nefoedd?" medd y pechadur. "A gâf fi le ynot ti?" medd y nefoedd; "wele yr wyf yn sefyll wrth y drws ac yn curo."

Gwnaeth Herod lawer o bethau wedi clywed Ioan, ond ei weithred olaf oedd tori ei ben. Oni chewch anian eich argyhoeddiadau, y peth diweddaf a wnewch fydd tori eu penau.

Nid arwydd da i elynion yr Iuddewon oedd gweled y caethion mor agos i'r orsedd yn mherson Esther. Nid arwydd da i uffern oedd gweled ein natur mewn undeb â Mab Duw. Arwydd codi miloedd oedd codi ein natur yn Mherson Crist.

Y mae digon o ddefnyddiau yn yr eglwys buraf dan y nef i Satan wneyd synagog iddo ei hun o honi.

Y cenadon lleiaf eu dawn, nid ydynt lai na moddion, na'r mwyaf yn fwy na moddion.

Nid yw hynyna o'r holl lyfr ond megys y *sample* yn llaw yr amaethwr o'r llwythau ŷd yn ei ysguboriau.

THE HAPPY MAN, *or, the Essential Principles of Happiness described. By the Rev.* JOHN PUGH, B.A. Second Edition.

Holywell: P. M. Evans & Son.
London: W. Kent & Co.

RHODDASOM adolygiad byr ar yr argraffiad cyntaf o'r *Happy Man* gan ein cyfaill Mr. Pugh. Dywedem y pryd hwnw fod pob dalen o hono yn llawn o athroniaeth a duwinyddiaeth ragorol, ynghyd a barddoniaeth hefyd, gan y ceir eglûriadau a chyffelybiaethau ynglŷn â phob mater mewn modd hollol naturiol a dirodres. Yn yr argraffiad hwn, gwelir fod y gwaith wedi ei helaethu yn fawr. Mae yma bedair o bennodau chwanegol; a chynnwysa y llyfr ddeuddeg o bennodau yn gwbl. Dangos y mae yr awdwr beth yw yr egwyddorion a'r ymarferion, banfodol a chynnorthwyol, sydd yn ffurfio cymeriad dyn dedwydd mewn gwirionedd. Pa fodd i fod yn hapus yn y byd drwg presennol, ac i gyrhaedd gwynfyd yn y byd mawr tragywyddol, yw y pwnc pwysicaf i ddyn ar y ddaear; a'r pwnc dwysfawr hwn a eglurir ac a gymhwysir yma yn ei holl gysylltiadau.

Gosodir allan y dyn dedwydd yn meddu cydwybod wedi ei thawelu, a thueddfryd wedi ei unioni—ei feddwl yn gorphwys yn ngwirionedd dadguddiad yr efengyl, ac yn noethineb a daioni rhagluniaeth—yn ol ei gyfleusderau yn ymdrech am wybodaeth ac amaethiad meddyliol—yn defnyddio pob achlysur i ymarfer serchiadau cymdeithasol, ac i ddwyn ymlaen les eraill—yn ceisio cymesuro pethau yn ei ymarferiad yn ol eu maint a'u gwerth—yn gwylio yn erbyn neillduolion dygwyddiadol sydd yn tueddu i leihâu dedwyddwch—yn dangos cywiredd ei gred mewn dyledswyddau ymarferol—yn amlygu rhinweddau neillduol cyfaddas i amgylchiadau neillduol—yn meithrin ysbryd defosiynol—ac yn treulio'r bywyd hwn gyda golwg ar dragywyddoldeb. Mae yr awdwr yn trin yr holl faterion hyn yn y modd manylaf ac egluraf, a hyny hefyd mewn dull hynod ddeniadol. Yr ydym yn sicr y bydd pob un a ddarlleno y llyfr hwn, ac a'i hystyrio, yn ei deimlo ei hun ar ei ennill. Ac i'n holl gyfeillion ieuainc yn enwedig, nis gallwn wneyd yn well nag arganmawl yr *Happy Man* iddynt, i'w astudio yn drwyadl.

Am yr argraffwaith, canfyddir ei fod, er wedi ei wneuthur yn Nghymru, yn deilwng o Lundain—yn glaer ac yn brydferth.

---

**A Short Memoir,** *with some Writings, of the Rev.* **J. A. Jackson,** *B.A., Diocesan Inspector for the Diocese of St. Asaph. Edited by the Rev.* **William Hughes,** *Chester.*

**Rhyl: J. Morris. 1877.**

Yn y Rhagymadrodd, dywedir, "Mae yr Eglwys yn Nghymru wedi bod, ac felly eto, yn alarus o ddiffygiol mewn bywgraffiad eglwysyddol a chlerigol—cyhuddiad nas gellir ei ddwyn yn erbyn ein cydeglwyswyr Seisonig. Y canlyniad ydyw, fod bywgraffiad enwogion Cymreig, i fesur mawr, wedi ei gymeryd i fyny gan Anghydffurfwyr, y rhai oedd yn ysgrifenu yn bleidgarol *(as partisans)*, yr hyn sydd yn effeithio yn niweidiol ar yr Eglwys Gymreig; effaith a ochelasid pe buasai ein rhagflaenoriaid yn ofalus i groniclo yr Eglwyswyr cyfoesol." Nis gwyddom yn iawn pa beth a olyga Mr. Hughes wrth ysgrifenu bywgraffiad yn bleidgarol; ond os nodir hyny fel peth beïus ymysg Anghydffurfwyr, nid oes dim sydd amlycach na'i fod ef ei hun yn y cofiant ger ein bron yn ysgrifenu fel *partisan* trylwyr.

Pan yn cyfeirio at newyddiaduron Cymru, efe a ddywed,

"Yr ydym am rai blynyddoedd wedi sylwi yn fanwl ar dôn a thuedd y wasg ymneillduol Gymreig, ac y mae cynnydd y teimlad gelynol at yr Eglwys yn bur amlwg. Mae y rhan fwyaf o'r papyrau hyn yn cael eu dwyn ymlaen gan ddynion 'a alwyd' gan eu cynnulleidfäoedd i weinidogaethu iddynt, ac ar gyfraniadau pa rai y maent yn dibynu gan mwyaf am gynnaliaeth; a chan ei fod yn beth o bwys arianol iddynt hwy fod eu cynnulleidfäoedd yn gryfion o ran rhifedi, nid anfynych y mae yn dygwydd fod llawer o'r dynion hyn yn cael eu llywio gan gymhellion annheilwng, ac yn ymdrechu drwy eu pregethau a thrwy y wasg i ddiffoddi pob teimlad tyner sydd yn ffynu tuag at yr Eglwys. Darllenasom yn ngholofnau rhai o'r newyddiaduron hyn erthyglau wedi eu gosod allan mewn iaith ddifoes o erwindeb anfesurol, a pha rai a arddangosent anwybodaeth dybryd am yr Eglwys, ei chlerigwyr, a'i ffurfwasanaeth. Er nad yw yr Eglwys yn cydnabod yr un blaid boliticaidd fel yn perthyn iddi ei hun yn unig a hollol *(exclusively)*, hynod fel y gwelir y camddarluniau a gynnwysir yn rhai o'r papyrau hyn. Edrychir ar eglwyswr a cheidwadwr fel yn anwahanol; a darlunir anghydffurfiwr mewn crefydd a cheidwadwr mewn gwladyddiaeth fel yn anghydfodol. Darllenasom yn un o'r papyrau hyn gyhoeddlythyr etholiadol gan weinidog ymneillduol o ddylanwad, o ran sylwedd yn dyfod i hyn, os oedd etholwr wedi addaw, dan ddirwasgiad ofn, pleidleisio dros ymgeisydd penodol, y gallai gymeryd mantais o'r ballot i bleidleisio *yn ddirgel* dros berson gwahanol, ac yn cyflawnhâu y ddysg hon trwy ddyweyd mai gwell a fuasai i Herod dori ei addewid yn hytrach na thori pen Ioan Fedyddiwr. Ond nis cyflawnwn ni yr anghyfiawnder â'n cydwladwyr o warthnodi y mwyafrif o honynt fel yn cydweled â'r golygiadau arswydus hyn; canys y mae eto yn Nghymru ddosbarth o anghydffurfwyr sydd â chanddynt deimlad dwfn o barchedigaeth i'r Eglwys ymha le y derbyniasant fanteision rhai o'i defodau mwyaf arbenig—Bedydd, Conffirmasiwn, a Phriodas, ac yn ceisio claddedigaeth o fewn ei chorlan gysegredig, a buddiolder a dyddanwch ei Gwasanaeth Claddu."

Y mae yn newydd i ni fod gweinidogion Ymneillduol yn Nghymru yn golygu newyddiaduron er mwyn parhâu a chwanegu cryfder eu cynnulleidfäoedd, a'u bod yn pregethu yn erbyn "yr Eglwys." Os bu Mr. Hughes yn wrandawydd mewn capelau Ymneillduol, yr ydym yn sicr mai efengylaidd, ac nid eglwysyddol na gwrtheglwysyddol, oedd nodwedd y pregethau a wrandawodd yno. Dichon i rai o'n brodyr yn y blynyddoedd hyn gyfeirio yn awr ac eilwaith at gynnydd echrys gorddefodaeth ac egwyddorion hanfodol Pabyddiaeth yn y Sefydliad Eglwysig Gwladwriaethol, ond nid dim yn debyg i bregethau ac ysgrifeniadau y clerigwyr a'r esgobion efengylaidd yn Eglwys Loegr yn erbyn hyny. Da genym ei weled yn anfoddlawn i neb restru yr holl eglwyswyr yn gwbl fel ceidwadwyr; ond, attolwg, pa faint o glerigwyr Cymru sydd yn rhyddfrydwyr? Hyderwn, fel hyn, pa fodd bynag, na welir y Parchedig William Hughes, Caerlleon, yn pleidleisio fel Tory yn yr etholiad nesaf y cymero ran ynddi. Ac am "y dosbarth o Anghydffurfwyr" a ganmola efe, y mae yn ddios ei fod ef yn gwybod yn dda am danynt, er eu bod i ni yn anhysbys.

Am Gymry yn nhrefi Lloegr, dywed Mr. H.,

"Yn Nghaerlleon, er mai dinas Seisonig ydyw, nid rhyfedd ydyw, gyda ei chwe' mil o bobl yn siarad Cymraeg, ein bod yn anfynych y rhodio yr heolydd heb glywed yr iaith Gymraeg yn cael ei llefaru. Ac y mae'r sylw hwn yn un mor gymhwys at Liverpool gyda'i hanner can' mil o breswylwyr Cymreig. Pan y mae Cymry yn croesi gororau Cymru i Loegr, y mae profiad wedi dangos, os na wneir darpariaeth i Eglwyswyr Cymreig dderbyn manteision Gwasanaeth yr Eglwys yn eu tafodiaeth eu hunain, yr ymlithrant hwy i'r tŷ cwrdd Cymreig, lle y clywant yr iaith ymha un eu ganed; o herwydd ni ddylid anghofio mai ei iaith enedigol sydd i'r Cymro yn iaith ei grefydd."

Nis mynem ddywedyd dim yn erbyn adeiladu Eglwysi Cymreig yn nhrefi Lloegr er mwyn y Cymry yno; ond y mae'r cyfryw adeiladau yn gwasanaethu yn wych i ddangos i'r Saeson oruchafiaeth Anghydffurf-

iaeth ymysg y Cymry. Pa faint o Gymry yn Nghaerlleon sydd yn myned i'r "eglwys" y mae Mr. Hughes yn gweinidogaethu ynddi, a pha faint i'r capeli Ymneillduol yno? A mwy fyth yw y gwahaniaeth rhif rhwng Eglwyswyr ac Ymneillduwyr yn Llundain, ac yn enwedig yn Liverpool.

Am Mr. Jackson y cawn yma ei fywgraffiad, dywedir wrthym y ganwyd ef yn y flwyddyn 1845 yn Llandebie, Sir Gaerfyrddin. Mab i bwy ydoedd, ni ddywedir. Paham na roddir cymaint âg enwau ei rieni, nis gwyddom. Ai am nad oeddynt o uchelradd bydol? neu, Ai Anghydffurfwyr oeddynt yn grefyddol? Hyfforddiwyd ef, pa fodd bynag, yn yr Ysgol Genedlaethol yn y lle hwnw, ac efe a ddaeth yn *pupil teacher* yn yr ysgol hono; ac ymhen amser, aeth i Goleg Hyfforddiadol Caerfyrddin, lle yr ymgymhwysodd fel ysgolfeistr, ac y cyfrifid ef yn un o'r ysgoleigion penaf. Cymerodd arolygiaeth Ysgol Genedlaethol Pwllheli, yr hon oedd yr ysgol gyntaf a'r olaf y bu yn feistr arni. Yn y flwyddyn 1868, efe a aeth i Goleg Llanbedr fel efrydydd duwinyddol, a chafodd ordeiniad clerigol gan yr Esgob Thirlwall yn 1870, a dechreuodd ar ei yrfa weinidogaethol fel curad Llanbedr, tra ar yr un amser yr elai ymlaen gyda'i astudiaethau yn y coleg. Dywedir y bu yn dra gweithgar a llwyddiannus fel clerigwr yn Llanbedr; ac ymysg pethau eraill, sefydlodd *cottage lecture* mewn tŷ yn Pentre Bach; a phan benodwyd ef yn arolygwr eglwysig ysgolion esgobaeth Llanelwy yn y fl. 1872, cyflwynwyd iddo dysteb hael gan ei blwyfolion yn Llanbedr.

Yr oedd Mr. Jackson, fel y mynegir yma, yn ysgrifenydd a chyfansoddydd medrus yn y Gymraeg a'r Saesonaeg; a chawn rai o'i gyfansoddiadau ar Addysg, a materion eraill, yn y llyfryn hwn. Yr oedd efe hefyd yn fardd da. Dyma benillion o'i waith ar "Afon Angeu:"

"Mae afon ddofn a'i dychrynfeydd
Yn croesi llwybrau holl dorfeydd
Plant Adda i gyd:
Yr helyg dyfant ar ei glàn,
A galar sydd yn gwlitho 'r fan
A dagrau 'r byd.

"Y doeth, y cryf, yr hardd, a'r cu,
Ddylifant gyda'r afon ddu,
Yn dyrfa fawr:
O galon dyn! mae clwyfau 'th serch
Yn gwaedu 'n ffrwd i'r afon erch
O awr i awr.

"Gwel'd ein hanwyliaid ar y làn
Yn myn'd o'n golwg —dyna 'n rhan,
Dim, dim ond hyn!
Mae dagrau 'n dallu 'n llygaid llawn,
A dim ond t'wyllwch dudew iawn
Yn cuddio 'r glyn.

"Mor dywyll! ond na dd'wedwch im'
Yn mro marwolaeth nad oes dim
Ond cwmwl prudd:
Mi welaf Seren Gobaith byw
Yn ngwenu 'n llon dros fedd Mab Duw—
Y Seren Ddydd.

"Y cwmwl du ein Iesu dŷr,
Ceir goleu dros y dòn, a bŷr
Fydd nos y bedd:
Can's nefol wawr tragwyddol ddydd
A dry yn olwg hardd ein ffydd
Yn ngwlad yr hedd."

Yr oedd efe, meddir wrthym, yn rhagori fel pregethwr Cymreig ymysg lliaws ei frodyr; ac mewn Cyfarfodydd Clerigol a Gwŷliau Diolchgarwch am y Cynauaf, ac ar achlysuron eraill, yr oedd galwad parhâus am ei wasanaeth yn y pulpud. Ond gorfu iddo groesi "afon angeu" yn gynnar; ei anhwyldeb a ddechreuodd mewn anwyd trwm; ac efe a fu farw Tachwedd 26, 1875, yn 30 ml. oed, gan adael ar ei ol wraig a chwech o blant, yr ieuengaf o ba rai a anwyd ar ddydd ei gladdedigaeth.

Ceir yn y llyfr amryw sylwadau dyddorol ar gadwedigaeth y Gymraeg, ei hemynau, a'i phulpud, &c., ond y cyfan, wrth gwrs, oddiar safle offeiriadol. Hyderwn y daw ein cyfeillion clerigol i ddysgu yn fuan mai dilesâd iddynt hwy yn Nghymru yw cyfundrefn y "Na nesâ ataf fi, canys sancteiddiach ydwyf na thydi." Os ä creadur dynol i ffrostio yn ein hymyl, "Nid oes arnaf fi mo'ch eisieu chwi," ni a deimlwn fod ynom ddigon o ddynoliaeth i ateb, "Gallwn ninnau wneuthur heboch chwithau."

---

Gofyniadau ar Efengyl Matthew, *yn rhifo dros wyth mil. Gan* W. Edwards, *Cwmbach, St. Clears.*

Treherbert: I. Jones. 1877.

Mae y llyfr hwn yn gymhorth rhagorol i Athrawon ac Athrawesau ynghydag ysgoleigion ein Hysgolion Sabbothol. Dywed yr awdwr iddo ffurfio y cwestiynau i ddechre er ymarferiad iddo ei hun yn unig yn ystod ei oriau hamddenol, ond y tueddwyd ef i'w cyhoeddi ar geisiadau taer amryw gyfeillion, a'i fod yn bwriadu eto ddwyn allan ofyniadau pwysicach neu galetach. Mae y gofyniadau sydd yma, pa fodd bynag, yn darpar, fel yr hysbysa y Rhagymadrodd, ar gyfer y gwan a'r cryf. Tra y gellir ateb y lliaws yn ebrwydd o'r adnodau eu hunain, dodir ger bron lawer o ofynion nas gellir eu hateb heb ymchwil a llafur meddwl.

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## CENADAETH DREFOL METHODISTIAID CALFINAIDD CYMREIG LIVERPOOL.

GYDA llawer o briodoldeb y dywedodd Mr. Bright unwaith y gellir ystyried Liverpool fel prifddinas Cymru. Y mae yn debyg nad oes yr un dref yn Lloegr, os oes yn wir yn Nghymru, â chynifer o Gymry yn preswylio ynddi â Liverpool. Hanner can' mlynedd yn ol, nid oedd rhif y Cymry yn Liverpool ond oddeutu pymtheng mil. Ond erbyn hyn fe fernir fod o leiaf hanner can' mil o Gymry yma yn byw. Nid oes odid bentref neu gwmwd yn Nghymru heb fod rhai o'i blant yn byw yn Liverpool. O ganlyniad, y mae sefyllfa y Cymry yn Liverpool, yn wladol, moesol, a chrefyddol, yn ddyddorol a phwysig i Gymry Cymru yn gyffredinol. Adeg bryderus ar feddwl llawer tad a mam yn Nghymru ydyw yr adeg pan y mae eu bachgen yn ymadael â'i gartref am y waith gyntaf erioed, i ddyfod i Liverpool i'r ysgol neu i'r *office*, neu yr adeg pan y mae eu geneth wylaidd a chrefyddol yn gadael y cwmwd tawel a di-demtasiynau, yn myned o gyrhaedd gwyliadwriaeth tad a mam gofalus, i ymsefydlu yn y *shop*, neu mewn gwasanaeth yn nhref fawr, wyllt, ac annuwiol Llynlleifiad. O amser gwir bwysig i rieni a phlant! Dyma adeg yr wyf yn ofni y bydd llawer Cymro a Chymraes yn ei gofio er eu gofid am dragywyddoldeb!

Y mae yn awr, pa fodd bynag, yn gysur i rieni duwiol yn Nghymru, pan fyddo eu plant yn symud i Liverpool, i ddeall fod yma bob darpariaeth ar eu cyfer mewn breintiau crefyddol yn iaith eu mamau, ac fod pob gofal, a ellir yn rhesymol ei ddysgwyl, yn cael ei gymeryd gyda y rhai sydd yn symud yma yn barhâus o'r Dywysogaeth. Y mae breintiau crefyddol, yn wir, wedi llïosogi yn ddirfawr yn Nghymru yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf. Ond o bosibl fod breintiau crefyddol Cymry Liverpool wedi cynnyddu mwy nag eiddo y Cymry mewn unrhyw barth o'u hen wlad eu hunain. Bedair blynedd ar ddeg a deugain yn ol, nid oedd gan yr holl enwadau gyda'u gilydd ond pump o gapelau bychain: un gan y Bedyddwyr, un gan yr Annibynwyr, un gan y Wesleyaid, a dau gan y Methodistiaid Calfinaidd. Mewn "History of Liverpool," a gyhoeddwyd yn 1825, ceir yr hyn a ganlyn:—"There are 15,000 Welsh inhabitants in Liverpool, but not one church of the Establishment for performing divine service in the Welsh language." Felly nid oedd gan yr Eglwys Wladol y pryd hwnw unrhyw ddarpariaeth yn yr iaith Gymraeg ar gyfer y pymtheng mil hyn. Ond erbyn hyn, pan y mae y pymtheng mil wedi myned yn hanner can' mil, y mae y Sefydliad gwladol yn ystod y tair blynedd ar ddeg a deugain yna wedi codi un Eglwys Gymreig fechan ar eu cyfer! Tybiwyf na byddai yn hawdd iawn hyd yn nôd i Ddeon Parchedig allu profi fod Cymry Liverpool yn rhyw hynod ymlyngar wrth yr Eglwys Sefydledig. Eithr y mae gan y Methodistiaid Calfinaidd yn unig, yn Liverpool a'r cyffiniau, bedwar ar ddeg o gapelau, a thri ar ddeg o ysgoldai, lle y cynnelir gwasanaeth Cymreig yn gyson. Buasai nifer o ysgrifau yn y DRYSORFA, neu lyfryn bychan ar ddechreuad a chynnydd Methodistiaeth yn Liverpool, yn ddyddorol iawn pe byddai i rywun sydd yn feddiannol ar ddefnyddiau ymgymeryd â hyny. Yn y cyfamser, y mae y Parch. Owen Thomas, D.D., yn garedig wedi rhoddi yr adroddiad a ganlyn i mi, yr hyn, yn ddiau, a ddarllenir gyda blas gan ddarllenwyr y DRYSORFA.

"Dechreuwyd achos crefyddol yn Gymraeg yn Liverpool trwy i ddau o wŷr ieuainc gyttuno â'u gilydd i fyned i le neillduedig ychydig y tu allan i'r dref i gydweddïo. Y lle oedd gloddfa geryg fawr, a ddefnyddir yn awr yn gladdfa y meirw, ac a elwir *St. James's Cemetery*. Yr oedd hyny yn y flwyddyn 1782. Cawsant afael ar ddau eraill o'r un tueddfryd crefyddol, y rhai a gydgyfarfuasant â hwy yno amryw Sabbothau, gan fwynhâu hyfrydwch mawr. Nid ydyw enwau y gwŷr ieuainc hyny yn adnabyddus. Ond mi a glywais mai Israel Matthew, gŵr o Sir Fôn, oedd un o honynt. Daethant i ymholi ai nid oedd Cymry crefyddol yn y dref; a chawsant afael ar un William Llwyd a'i wraig Mary—rhai o Sir Fflint, ond wedi gorfod ffoi oddiyno oblegid eu crefydd, ac wedi ymuno yn Liverpool â'r Methodistiaid Wesleyaidd yn nghapel Seisonig Pitt Street. Cawsant afael hefyd ar un Grace Lewis, gwraig o Sir Fôn, oedd wedi bod yn aelod yno gyda'r Methodistiaid, ond yn awr wedi ymuno â chynnulleidfa o Fedyddwyr Seisonig. Wedi cael gafael ar y rhai hyn, dechreuasant gadw cyfarfod gweddi yn nhŷ William Llwyd, yr hwn oedd yntau yn byw yn Pitt Street. William Llwyd, ac Owen William Morgan, cadben llong o Sir Fôn, ac Israel Matthew, oeddent y tri a gymerasant ran yn y cyfarfod gweddi cyntaf ar ol gadael y gloddfa.

"Daeth hen bregethwr o Sir Fôn i'r dref ar neges fasnachol, a dadganodd wrth William Llwyd ei awydd am gael pregethu i'w gydwladwyr cyn ymadael. Aethant o amgylch i hysbysu i'w cydnabyddiaeth am y bregeth, a phregethodd yn nhŷ William Llwyd. An-

fonwyd William Llwyd i Gyfarfod Misol Sir Fflint a Dinbych, yr hwn nad oedd y pryd hwnw ond un, i geisio pregethwr i'w gwasanaethu ar y Sabbothau. Llwyddwyd i gael i bregethu bob trydydd Sabboth, Humphrey Owen, Berthen gron; William Davies, Golch, gerllaw Treffynnon; a Robert Prys. Daeth y tri hyn yn eu tro—bob trydydd Sabboth, tra parhâodd y drefn hono. Aeth tŷ William Llwyd yn rhy fychan i gynnal y cyfarfodydd hyn. Cymerwyd *warehouse* wael yn North Street yn ngwaelod Dale Street, a elwid, *Warehouse Merchant Billy.* Yno y pregethid, ond cedwid y *society* yn nhŷ William Llwyd. Buwyd yno am tua thair blynedd.

"Adeiladwyd capel Pall Mall yn 1787. Helaethwyd y capel trwy osod *gallery* ar bob pen iddo yn 1789. Yn 1799 fe'i helaethwyd drachefn nes ei fod gymaint ddwywaith. Pan oedd capel Pall Mall yn cael ei adeiladu yn 1799, meddyliodd rhai o'r brodyr oeddynt yn byw yn y rhan ddeheuol o'r dref y gellid codi achos yno, gan fod y Cymry yn lliosogi. Dechreuwyd trwy gynnal cyfarfodydd gweddi mewn tŷ yn New Bird Street. Wedi hyny cymerwyd ystafell helaeth yn Jamaica Street, lle y cynnelid moddion yn rheolaidd. Yn 1806 agorwyd hen gapel Bedford. Helaethwyd ef yn 1841. Ailadeiladwyd capel Pall Mall i gyd o'r newydd yn 1816. Cymerwyd hefyd gan y Methodistiaid gapel gan y Bedyddwyr yn Great Crosshall Street yn 1824; ond gan fod dadl ynghylch yr hawl i'w werthu i neb ond Bedyddwyr, penderfynwyd cael capel newydd, ac adeiladwyd Rose Place. Agorwyd capel Rose Place ddydd Gwener y Groglith, 1826. Yn 1834 dechreuwyd lle newydd yn Oil Street. Adeiladwyd Burlington i gynnulleidfa Oil Street yn 1839. Adeiladwyd capel cyntaf Birkenhead yn 1837, a chapel cyntaf Seacombe yn 1838."

O'r adeg yna hyd yn awr, y mae Methodistiaeth wedi cynnyddu yn ddirfawr yn Liverpool. Ond er lliosoced breintiau crefyddol y Cymry yn Liverpool, ac er yr holl ymdrechion a wneir mewn gwahanol ffyrdd i'w cadw ar lwybrau rhinwedd, y mae yn ddrwg genyf orfod dyweyd fod llawer o bobl ieuainc Cymru, yn fuan wedi eu dyfodiad yma, yn syrthio yn ysglyfaeth i demtasiynau y gelyn, ac yn myned i ryw dir pell, pell. Ac amcan uniongyrchol y *Genadaeth Drefol* ydyw myned ar ol y rhai hyn; myned ar ol y ddafad gyfeiliornus a chrwydredig; ceisio codi y mab afradlawn o'r wlad bell, i ddychwelyd i dŷ ei Dad.

Y mae'r cenadon yn cael llawer golygfa resynol a thorcalonus i'r eithaf. Ac yr wyf yn bwriadu mewn ychydig ysgrifau geisio cyflwyno i'r darllenydd rai o'r golygfeydd truenus a fyddaf yn eu cael fel cenadwr trefol yma, er mwyn iddo allu gweled natur maes ein cenadaeth hon, a theilyngdod ei hamcan, gan hyderu y bydd hyny, nid yn unig yn ddyddorol i lawer, ond yn foddion i ddwyn y Cymry ymhob man i gydymdeimlo yn ddwys a dwfn â hi. Yr wyf yn credu fod y genadaeth hon o ran teilyngdod ei hamcan, a'i llwyddiant i gyrhaedd yr amcan hwnw, yn gyfryw ag y dylai y Cymry yn gyffredinol ei chefnogi. Nid cenadaeth Liverpool ydyw mewn gwirionedd, ond cenadaeth y Cymry.

Y mae boneddigesau ieuainc, o dan nawdd y genadaeth hon, yn gwneyd daioni dirfawr, yr hyn a ddaw o dan sylw eto. Pwy bynag a all ddarllen y llinellau hyn yn Nghymru a chanddo berthynas yn Liverpool am yr hwn y bydd efe yn ofni ei fod wedi myned ar gyfeiliorn, neu y gall fod mewn tlodi mawr, bydd yn dda genym glywed oddiwrtho, a gwnawn ein goreu er ceisio ymgeleddu y cyfryw. Yr ydym eisoes wedi cael hyny gan rai, ac wedi llwyddo i wneuthur tipyn o ddaioni, ni a hyderwn.

R. C. OWEN.

11, *Celtic Street,*
*Toxteth Park, Liverpool.*

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

MR. Edward Thomas, ac nid y Parch. Ezekiel Thomas, sydd wedi ymgymeryd â gofal bugeiliol yr eglwys Fethodistaidd Gymreig yn Bristol. Dechreuodd ar ei waith yn y ddinas hono y Sabbath cyntaf yn Chwefror.

Cynnaliwyd cyfarfod neillduol ar y 14eg o Ionawr, yn nghapel Tanycastell, Crughywel, mewn cysylltiad âg ymsefydliad y Parch. John Evans fel gweinidog yr eglwys yno. Llywyddid gan Mr. Edwards o'r Bwlch; rhoddwyd annogaethau a chynghorion buddiol i'r eglwys a'r gweinidog gan y Parchn. Dr. Harries Jones, Trefecca; a David Edwards, Casnewydd. Yr oedd y Parch. John Davies, Pandŷ, yn cymeryd rhan yn y gweithrediadau, a rhoddodd ychydig o hanes Methodistiaeth yn yr ardal. Cafwyd pregethau hefyd ar yr achlysur gan y brodyr a enwyd.

Y mae Mr. T. Lloyd Jones, Talsarn, Arfon, yn garedig iawn wedi anrhegu efrydwyr Coleg Trefecca â chopi bob un o'r ail gyfrol o bregethau ei enwog dad, y diweddar Barch. John Jones.

Cynnelir Cymdeithasfa mis Awst eleni yn Llansamlet, gerllaw Abertawe, lle mae hen achos cryf, a chapel mawr a hardd.

Mae'r Parch. E. W. James, Brynllys, Borth, wedi ei enwi gan Gyfarfod Misol Gogledd Ceredigion; y Parch. D. Phillips,

Abertawe, gan Gyfarfod Misol Gorllewin Morganwg; a'r Parch. D. Evans, B.A., Eglwys Newydd, gan Henaduriaeth Mynwy a Morganwg, i fod yn oruchwylwyr y casgliad mawr yn eu Siroedd perthynol at Drysorfa Gweinidogion y Deau. Y mae'r blaenor parchus, Mr. Llewelyn, Grange, Swydd Benfro, yn ddiweddar wedi cyfranu rhodd o Ddeg Punt at yr achos hwn.

Yn un o bapyrau Merthyr Tydfil am fis Ionawr, rhoddid braslun o hanes bywyd Mr. Rees Lewis, un o flaenoriaid yr eglwys yn nghapel Pontmorlais; ac ar yr 28ain o'r mis hwnw cyflwynwyd iddo gan ei gyddrefwyr anerchiad, a phwrs yn cynnwys can' gini, fel arwydd o barch a gwerthfawrogiad o'i wasanaeth hirfaith mewn gwahanol gylchoedd, ac yn enwedig mewn cysylltiad â Dirwest a Llenyddiaeth. Y mae Mr. Lewis bellach wedi cyrhaedd gwth o oedran; ond y mae yn parhâu i fod yn alluog i wasanaethu yr achos mawr, ac i lanw ei le fel aelod o gymdeithas; ac amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedwyd ar achlysur y cyflwyniad ydyw, ei fod yn sefyll yn uchel yn mharch trigolion Merthyr. Llywyddid y cyfarfod gan brif swyddog y dref; ac yr oedd yn bresennol rai o'r preswylwyr mwyaf cyfrifol perthynol i'r gwahanol enwadau crefyddol.

Y mae yr olaf o deulu y diweddar Barch. William Morris, Tŷddewi, bellach wedi ei symud, sef ei weddw, yr hon a fu farw tua phum' mis yn ol. Ei henw cyn priodi ydoedd Miss Bowen, ac yr oedd yn chwaer i'r diweddar Mr. Bowen, o Trelethyn, ger Tŷddewi. Ail wraig ydoedd i Mr. Morris.

Mae yn hyfrydwch genym grybwyll fod casgliad cenadol dosbarth Seisonig Sir Benfro am 1877 wedi cyrhaedd y swm hardd o £129. Nid yw nifer yr eglwysi yn y cylch ond pedair ar bymtheg, ac y mae amryw o honynt yn fychain a gwan. Trefniad da, yn cael ei weithio allan yn egnïol, sydd wedi cynnyrchu'r fath ffrwyth rhagorol.

Dymunir arnom grybwyll fod casgliad eglwys y Tabernacl, Aberystwyth, i symud ymaith ei dyled, wedi cyrhaedd y swm o £516.

Yr hen wron gweinidogaethol, teithiol, esboniol, a darlithiol, y Parch. John Davies, Nerquis, yn ddiweddar a draddododd ei ddarlith ar "Jacob ac Esau" yn nghapel Higher Ardwick, Manchester. Y mae pawb a gawsant yr hyfrydwch o glywed y ddarlith nodedig hon yn tystio ei bod yn eu boddhâu ac yn eu llesâu. Hysbys yw fod gan ein hybarch dad erbyn hyn gryn nifer o ddarlithiau hynodol ac addysgiadol; ac oni fyddai yn dda gan wlad a thref iddo eto gyhoeddi ei ddarlithiau yn un llyfr, megys y cyhoeddodd efe ei "Esboniad ar y Diarebion?"—*J. M. J.*

Bu y Parch. Joseph Jones, o Bont Menai, yn traddodi tair o ddarlithiau ar "Grefyddau Ewrop," ychydig amser yn ol, yn nghymydogaethau Ffestiniog.

Cynnaliwyd cyfarfod llïosog yn Mrynsiencyn, Môn, ar yr achlysur o sefydliad Mr. J. Williams, Beaumaris, yno fel bugail. Y cadeirydd oedd Mr. John Hughes, Llyslew; ac efe, a'r diaconiaid eraill, Mri. Robert Pritchard, Thomas Hughes, a David Williams, a anerchasant y cyfarfod. Cynnrychiolid y Cyfarfod Misol gan y Parchn. J. Donne, J. Pritchard, a D. Roberts, a'r Proffeswyr o Athrofa y Bala, y Parchn. H. Williams, M.A., ac E. Edwards, M.A., a gymerasant ran yn y gwasanaeth, ynghyda Mri. W. Roberts, a J. Grey Jones, dau o gydefrydwyr Mr. Williams o Fôn. Cafwyd pregethau hefyd gan y Parchn. J. Pritchard, J. Donne, ac E. Edwards.

Derbyniwyd y Parch. R Llugwy Owen, M.A. a Ph.D., yn groesawgar gan Gyfarfod Misol Sir Ddinbych. Mae yn hysbys fod rhywun, oddiar ysbryd dirieidus neu faleisus, wedi anfon i newyddiadur Seisonig fod Dr. Ll. Owen yn symud o Acrfair am ei fod yn myned yn offeiriad yn Eglwys Loegr, ond am yr hyn nad oedd rhith o wirionedd.

Mae hen gapel Pall Mall, Liverpool, wedi cael ei werthu, ac yn barod i'w dynu i lawr; ac adeiledir capel prydferth a hylaw yn ei le.

Cynnulleidfa y *Lodge*, gerllaw Croesoswallt, ond yn perthyn i Gyfarfod Misol Sir Fflint, a gynnaliasant *bazaar* er mwyn cael cynnorthwy at dalu dyled y capel. Cafwyd yn elw clir, ar ol talu yr holl gostau, y swm o £306 16s. 11c. Yr oedd Mr. Barnes, Quinta, a'i deulu, yn hynaws yn agor y Quinta Park, a'r Ysgoldŷ, at wasanaeth cyfeillion y Lodge ar yr achlysur, a thrwy foddion eraill yn cynnorthwyo yr amcan.

Agoriad capel newydd ardderchog Talysarn, Arfon, a gymerodd le mewn cysylltiad â chynnaliad y Cyfarfod Misol yno y mis diweddaf. Costiodd y capel o fewn ychydig i dair mil o bunnoedd; ac nid oes yn awr ond ychydig dros bymtheg cant o bunnoedd o ddyled yn aros arno. Yr oedd cyfanswm holl gasgliadau yr eglwys a'r gynnulleidfa y flwyddyn ddiweddaf dros fil o bunnoedd. Gweinyddwyd yn yr oedfaon

cyhoeddus gan y Parchn. Dr. O. Thomas a Dr. Hughes o Liverpool, ac E. Jones a J. Griffith o Gaernarfon.

Rhoes eglwys Hockley Hill, Birmingham, alwad unfrydol i'r Parch. John Prichard, Liverpool, ddyfod yn weinidog iddynt; ac yr ydym yn deall ei fod yntau wedi cydsynio â'r alwad. Mae yr eglwys hon, er yn ieuanc a bechan mewn cymhariaeth, yn para mor weithgar a haelfrydig ag erioed. Barnwyd fod anghen gwneuthur rhai adgyweiriadau ar y capel; a hyderir y ceir modd i dalu yr holl dreuliadau cyn diwrnod yr ailagoriad. Dysgwylir a gweddïir am i'r cysylltiad rhwng Mr. Prichard a'r eglwys fod yn un maith a dedwydd a llwyddiannus.

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### Y DWYRAIN A PHRYDAIN FAWR.

Y MAE Rwssia wedi cael goruchafiaeth lwyr ar Twrci, a'r Tyrciaid yn gweled nad oes ganddynt ddim i'w wneyd ond ymddarostwng i'w gorchfygwyr. Ond fe welir, ysywaeth, fod teulu mawr yn ein gwlad ni yn perthyn i'r "bobl y mae yn dda ganddynt ryfel." Taflwyd y Senedd i gyffro tost gan y newydd cyffrous, fod y Rwssiaid, er iddynt wneuthur cyttundeb heddwch â'r Twrc, yn anfon eu lluoedd i Constantinople gyda'r amcan o feddiannu y ddinas. Yr oedd Mr. Layard, ein cenadwr yno, wedi anfon yr hysbysiad gyda'r pellebyr; a rhaid dywedyd am y gŵr hwnw ei fod wedi dangos yn rhy amlwg ei fod yn llawn rhagfarnau yn erbyn Rwssia, ac yn erbyn pawb oedd yn gwrthdystio yn erbyn creulonderau llywodraeth y Twrc, ac nad ydyw ei bwyll yn un o'i rinweddau egluraf. Ymhen ychydig oriau, cafwyd fod Mr Layard rywfodd wedi cael ei gamarwain, ac nad oedd raid i ni ofni ar hyn o bryd am y "*British interests*" yn y Dwyrain. Yr oedd ein llynges ninnau wedi ei hanfon i'r Dardanelles, i amddiffyn yr "*interests*" hyny, ac wedi myned i fyny yno er gwaethaf gwrthdystiad y llywodraeth Dyrciaidd; ac ofnid y buasai gwrthdarawiad yn dygwydd rhwng y milwyr Rwssiaidd a'n llynges. Ond erbyn hyn, mae'r wybren yn siriolach, a gobaith nad ä yn rhyferthwy rhyfel arnom. Eithr nid oes ddiolch i Beaconsfield a lliaws y Toriaid am hyny. Ni raid i ni fyned dros yr holl newyddion ynghylch hyn, y rhai yn ddiau a ddarllenwyd ac a ddarllenir gan gorff ein derbynwyr, allan o'r newyddiaduron. Dysgwylir yn awyddus bellach am y Gynnadledd a gynnelir gan gynnrychiolwyr prif Alluoedd Ewrop, i geisio penderfynu ar wastadhâu yr amgylchiadau Dwyreiniol rhagllaw. Yr unig ddoeth Dduw a roddo ei arweiniad a'i danguefedd!

### MARWOLAETH PIUS IX.

NID yn hir yr ymadawodd Victor Emmanuel, brenin gwladgarol Italy, â'r fuchedd hon, cyn iddo gael ei ddilyn gan ei gymydog anghymmodlawn hyd y diwedd, y Pab o Rufain, i'r byd anweledig. Bu efe farw yn y chwechfed flwydd a phedwar ugain o'i oed, ac yn y ddeuddegfed flwydd ar hugain o'i babaeth. Mynegid er ys blynyddoedd fod ei iechyd yn wanaidd, a dysgwylid ei farwolaeth er ys llawer o amser; ond parhâu i fyw yr oedd efe, gan areithio yn erbyn ei elynion, a derbyn gwarogaeth ac arian gan ei gyfeillion, nes o'r diwedd y cymerwyd ef ymaith. Efe, dybygid, oedd y diweddaf o'r Pabau a fu yn dal llywodraeth dymmorol yn gystal âg eglwysig; a chwyno am golli y llywodraeth hono y byddai yr hen dad yn ddibaid. Ar ddechreuad ei babaeth, edrychid arno fel diwygiwr cymdeithasol a gwladol; ond buan y taflodd ymaith ei ryddfrydiaeth; a bu raid iddo am amser gilio o Rufain, gan fel yr oedd y Rhufeinwyr wedi cynddeiriogi i'w erbyn. Dychwelodd yno dan nawdd y Ffrancod; ac yr oedd y milwyr Ffrengig yn ei ddal i fyny, hyd nes yr aeth Napoleon Bonaparte i ryfel â'r Prwssiaid, ac y trechwyd ef ganddynt; a chafodd Garibaldi a Cavour y maes yn rhydd i adferu Rhufain i'r Italiaid. Cawn eto, ysgatfydd, le i ddwyn gerbron ei hynodion, a'r pethau neillduol a gyflawnwyd ganddo fel Pab. Mae ei olynydd yn awr wedi cael ei ethol, y Cardinal Pecci, yr hwn a adnabyddir bellach fel Leo XIII. Italiad ydyw yntau, a'i oedran yn 68. Dysgwylir nad ydyw mor eithafol ei syniadau a'i ragflaenydd.

### LLAWER MEWN YCHYDIG.

DR. Duff, o Eglwys Rydd Scotland, adnabyddus fel tywysog cenadol, a fu farw y 12fed o Chwefror, pan o fewn ychydig i fod yn 72 mlwydd oed. Dysgwyliwn ysgrif ddyddorol, yn rhoddi golwg ar ei fywyd a'i nodweddion yn ein rhifyn nesaf.—Y mae trefniadau wedi eu gwneuthur i Mr. Gough, yr areithiwr dirwestol enwog, ymweled â'r wlad hon yn ystod y flwyddyn bresennol. Nid oes neb a'i gwrandawodd yn areithio unwaith a'r na wna ymdrech i'w glywed eto.—Mae yr iaith Rwssiaidd wedi ei chymeryd i mewn yn fater dysg ac arholiad yn y fyddin Frytanaidd.—Esgob Ynys Manaw, neu Sodor and Man, fel ei gelwir, yr hwn oedd yn ddiweddar yn ficer Sheffield, a anrhegwyd gan ei ddiweddar blwyfolion â cherbyd a phâr o geffylau, yr oll yn werth saith gant o bunnau.—Mae "*bowl*" Mr. Simpson, ar y *pier-head*, Liverpool, wedi derbyn o'r dechreu yn agos i fil o bunnoedd at gynnorthwyo y dyoddefwyr anghenog yn Neheudir Cymru.—George Cruikshank, enwog fel arluniwr ac fel dirwestwr, a fu farw'r mis diweddaf mewn henaint teg. Er nad oedd efe yn areithydd nac ysgrifenydd, gwnaeth

lawer gyda'i bwyntil arluniol i ddangos ffoledd a drygedd anghymeiroldeb. Fel y rhan fwyaf o bobl yr athrylith, bu farw yn dlawd; ond cafodd gladdedigaeth anrhydeddus; a lliaws o bobl fawr ac enwog wedi dyfod i'w hebrwng i dŷ ei hir gartref.—Y mae llwyddiant mawr ar achos yr efengyl, meddir, yn Ynysoedd Fiji.—Adroddir fod adfywiad crefyddol grymus yn myned ymlaen yn Natal, Affrica. Yr oedd gôf wedi derbyn bendith wrth wrando Mr. Moody; ac yn fuan ar ol hyny, cafodd alwad, yn llaw rhagluniaeth Duw, i ymfudo i Natal; a chan weddïo a llafurio yno yn ysbryd a nerth Mr. Moody, cychwynodd ysgogiad sydd eisoes, meddir, wedi bod yn offerynol i ennill tri chant o eneidiau at y Gwaredwr.—Miss Waldegrave, yn nghyfarfod y *Mildmay Association of Female Workers* yn ddiweddar, a adroddai fod cant a hanner o filoedd o Destamentau wedi eu pwrcasu gan filwyr Rwssiaidd, a'u dwyn gyda hwynt i'r meusydd rhyfel, a bod arwyddion sicr eu bod nid yn unig yn cael eu darllen, ond eu gwerthfawrogi. Mae pedwar ar ddeg o gyfarfodydd efengylaidd yn cael yn awr eu cynnal bob wythnos yn ninas Moscow—rhai yn y carcharau, ymha leoedd y mae cyfnewidiad rhyfedd wedi cymeryd lle ar rai o'r creaduriaid ffyrnicaf.—Boneddwr o'r enw Mr. R. S. Hudson, a roes addewid o bum' mil o bunnoedd, i'w talu mewn tua phum' mlynedd, at Gymdeithas yr Annibynwyr Seisonig i Adeiladu Capelau.—Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, cynnulleidfa y Parch. Dr. Edmunds, Highbury, Llundain, a gasglasant y swm o £3816 at ei gwahanol achosion crefyddol; a chynnulleidfa y Parch. Dr. Mac-Ewan, yn Clapham, Llundain, a gasglasant y swm haelionus o £5500. Presbyteriaid, fel y mae yn hysbys, yw y naill a'r llall.—Ar y 4ydd o Ionawr diweddaf, yr oedd yn y *Bank of England* gymaint a £858,669 yn ddyledus i'r cyfranddalwyr, heb fod neb yn gofyn am danynt.—Y mae rhyw gyfrifydd manwl wedi cyfrif fod bywyd Iuddew ar gyfartaledd yn para wyth mlynedd a deugain a naw mis, a bywyd Cristion un mlynedd ar bymtheg ar hugain ac un mis ar ddeg. Bernir fod yr Iuddewon, ar y cyfan, yn iachach na nyni, o herwydd eu dull symlach o fyw.—Tri o forwyr Cymreig a ymdrechasant yn llwyddiannus i achub bywyd naw o ddynion oedd ar fwrdd yr agerlong *Pioneer*, pan orfodwyd hi gan dymhestl yn agos i Ynys Seiriol, gerllaw Beaumaris. Pan ofynodd yr awdurdodau morwrol yn Llundain pa beth a ddysgwylient fel tâl am eu gwasanaeth gwerthfawr a theilwng, eu hateb oedd, "Yr ydym wedi cael yr hyn yr oeddem yn ei ddymuno—gwaredu bywydau y dynion."—Thomas Carlyle, yr athronydd a'r llenor mawr, ag na fu yn nodedig am ei efengyleiddrwydd a'i ysgrythyroldeb, a ysgrifenai yn ddiweddar, "Po'r hynaf yr wyf yn myned,—ac yr wyf yn awr yn sefyll ar fin tragywyddoldeb, mwyaf y dychwela ataf y frawddeg yn y catecism (Catecism y Gymanfa) a ddysgais pan yn blentyn, a chyflawnaf a dyfnaf y daw i mi ei hystyr: 'Beth yw dyben penaf dyn? Gogoneddu Duw, a'i fwynhâu ef yn dragywydd.'"—Bachgen gwyllt ac anwybodus o Wyddel, wedi ei ennill i un o'r *mission schools* yn yr Iwerddon, pan ofynwyd iddo, "Beth yw ffydd gadwedigol?" a atebodd, "Ein calon yn cydio yn Nghrist."—Y llythyrau diweddaf oddiwrth Mr. Spurgeon o Mentone ar oror Ffrainc, a hysbysant fod ei iechyd yn parhâu i wella, er y gall fod eto amryw wythnosau cyn y bydd yn abl i adymaflyd yn ei ddyledswyddau fel bugail yn y *Metropolitan Tabernacle.*—Dywedir fod Cymdeithas Ryddfrydig ar gyfer bwrdeisdrefi a Sir Gaernarfon, wedi ei sefydlu ar gynllun y gymdeithas sydd yn gweithio mor effeithiol yn Birmingham.—Mynegir fod hen foneddiges yn byw yn nghymydogaeth yr Abermaw sydd wedi cyrhaedd y ganfed flwydd o'i hoedran, ac yn gallu nyddu, gwnïo, a gwëu, heb gymhorth gwydrddrychau, a cherdded milldir bob Sabboth i'r addolfa lle bydd yn arfer myned.—Y mae yr ysgol ferched, o waddoliad Dr. Daniel Williams, wedi ei hagor yn Nolgellau. Enw y brif athrawes yw Miss Emily Armstrong. Yr oedd cymaint ag 84 wedi gofyn am dderbyniad i mewn, ac y mae 22 yn byrddu yn nhŷ yr ysgol.

---

## BASGED Y GWIREBAU.

*Yr Ail Fasgedaid.*

### XIII.

GWELL yw mesur bywyd wrth ei led nag wrth ei hŷd. Mae blwyddyn yn ngoleu yr haul yn hyfrydach nag ugain mewn ogof danddaearol. Gan mai nid dymunol yw byw i fod yn hen iawn, ymdreched yr ieuenctyd a'r canol oedran, ynte, am wir fwynhâu bywyd; a hyny a wneir yn unig trwy fyw yn dduwiol a byw yn ddefnyddiol.

### XIV.

"Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gariad," medd y gŵr doeth, neu, "dangosed ei hun yn gyfeillgar," yn ol y darlleniad Seisonig. Pan fyddo dyn yn cwyno nad oes iddo ef gyfeillion, ai onid oes achos i ofni nad yw hwnw wedi profi ei hunan yn gyfaill i neb arall?

### XV.

Ni ddylai dyn byth gofio y cymwynasau a wnaeth, na byth anghofio y cymwynasau a dderbyniodd.

### XVI.

Mae llwyddiant mewn unrhyw alwedigaeth i'w ddysgwyl, dan fendith Duw, pan fyddo dyn yn caru'r gwaith yr ymgymerodd âg ef, ac yn rhoi ei grêd (mewn ystyr dymmorol) ynddo. Ceir fod llafur cydwybodol, llafur o ddifrif, yn llwyddo i wneyd mwy o orchestion yn y diwedd, na neidiadau a rhuthriadau yr athrylith mwyaf galluog.

### XVII.

Nid oes neb yn fwy awyddus am dderbyn cyfrinachau na'r bobl hyny ag nas gallant ac

na fwriadant gadw cyfrinach. Mae'r cyfryw rai yn awchus am wybod cyfrinachau oddiar yr un egwyddor ag y mae'r oferddyn yn awyddus am arian, yr hyn sydd er mwyn eu gwario.

XVIII.

Gellir gwneyd hapusrwydd o ddefnyddiau agos a rhadlawn, yn gystal, os nid yn well, â'r hapusrwydd o geisir o ddefnyddiau a gludir o bell, ac y telir yn ddrud am danynt.

XIX.

"Pe byddwn mewn sefyllfa wahanol," medd llawer un, "mi fyddwn felly yn fwy ymroddgar gyda chrefydd." Dyna ddysgeidiaeth sydd yn ddyfod oddiwrth Satan, ac nid oddiwrth Grist. Pa le bynag y mae efe yn gosod ei bobl, yn y sefyllfa hono digon iddynt hwy yw ei ras ef, ac yn y lle hwnw y mae efe yn dysgwyl iddynt fynegu ei rinweddau.

XX.

Y dyn sydd, fel ceiliog gwynt, yn troi gyda phob awel, nid ennilla hwnw barch oddiwrth eraill, na thawelwch iddo ei hun; ond am y dyn ymofyngar am wybod ei ddyledswydd, a phenderfynol i'w chyflawni, y mae hwnw i'w gael yn rhywle ar ffyn ysgol llwyddiant ac anrhydedd.

XXI.

Yn nhaith bywyd, rhaid i ni fod yn wyliadwrus rhag troi i'r croesffyrdd lle y mae difyrwch yn ymwahanu oddiwrth grefydd, medrusrwydd oddiwrth wirionedd, a thrafodaeth fasnachol oddiwrth gydwybod dda.

XXII.

Beth bynag a gymerom gan bobl eraill, gochelwn rhag cymeryd eu rhagfarnau. Os gallwn ledu neu ëangu ein cymeradwyaethau ein hunain—meddwl yn dda a dyweyd yn dda am eraill—trwy glywed eraill yn cymeradwyo, bydded i ni wneyd hyny gyda pharodrwydd; ond na chyfyngwn ac na ddirwasgwn ein hunain trwy dderbyn eu hanghymeradwyaethau a gweithredu arnynt; canys os gwnawn, buan y llethir ni â chyfryw feichiau, o herwydd y pethau y mae pobl yn fwyaf chwannog i'w dadlwytho wrth ddrysau eu cydnabod a'u cymydogion yw eu drwgdybiau a'u câs-deimladau.

XXIII.

Mae'r pethau mwyaf effeithiol mewn natur a gras yn gweithio yn ddystaw, ac heb fod mor hawdd eu canfod. Mae'r nant fâs wrth redeg yn cadw dadwrdd a glywir gan bawb a ddêl yn agos ati, tra y mae'r tymmorau, sydd i ni mor bwysig, yn dyfod atom mewn dystawrwydd a dull anweledig. Mae'r dymhestl yn ymgynddeiriogi a pheri cyffro; ond mae ei ffyrnigrwydd ar ben yn fuan, a'i heffeithiau yn myned o'r golwg yn ebrwydd; ond y mae'r gwlith, er yn dawel, heb ddim sŵn, yn disgyn yn faethlawn ar hyd wyneb yr holl feusydd a'r gerddi; a gellir dywedyd ei fod yn fywyd i gyfranau helaeth o'r ddaear. Ac yn gyffelyb y mae gras yn yr eglwys ac yn yr enaid.

XXIV.

Nis gallwn byth ddywedyd yn gywir, "Heddwch, heddwch," heb i ni gyntaf fod mewn ymdrech â chwantau anghyfreithlawn, ac ennill goruchafiaeth arnynt. O ryfel y daw buddugoliaeth, ac o ymryson y daw tangnefedd.

---

# Amrywiaethau.

Y DADGUDDIAD MAWR DYFODOL.

Y MAE ein hoes yma yn rhy fer, ein galluoedd yn rhy weiniaid, a'r anghenrheidrwydd a osodwyd arnom i ofalu am y corff, yn gofyn am ormod o'n hamser a'n sylw i ganiatâu i ni wneuthur mwy na chael cipolwg ar wirioneddau moesol ac ysbrydol. Ond er mwyn deall eu cysondeb a'u cysylltiadau â'u gilydd, pa beth sydd genym ond dyhëu am fyd ar ol hwn? Unwaith yn fy oes y bum ar ben y Wydda. Wedi cyrhaedd yno ar ganol nos, gwelais yr haul yn codi fel pe buasai yn ymwybyddus iddo gael ei greu yn frenin i lywodraethu y dydd. Wrth edrych i lawr, yr oll a welais oedd cribau y mynyddoedd uwchlaw niwl tew, yr hwn oedd fel môr yn gorchuddio y gwastad-diroedd, y dyffrynoedd, a'r bryniau bychain. Hawdd oedd eu hadnabod wrth eu llun a'u cyfeiriad: Cadair Idris, y ddwy Aran, a Phlunlumon. Nid oedd yr oerni yn caniatâu i mi aros yno i weled y niwl yn gwasgaru oddiar y dyffrynoedd; ond yr oedd yn ddigon o dâl am yr holl lafur i gyrhaedd yno, i weled yr haul yn codi, a chanfod penau y mynyddoedd uchaf. Felly y mae ein sefyllfa ni yn y byd hwn mewn ystyr foesol. Ni a welsom yma doriad y dydd, ac Ysbryd y gogoniant yn codi i'n goleuo. Yn ei oleuni, mi a welaf benau y mynyddoedd: rhyddid ewyllys Duw—rhyddid a rhwymau ewyllys dyn—yr Ymgnawdoliad—cyfiawnhâd—ffydd—maddeuant—geni drachefn—ac acw Y TRI uwchlaw y niwl. Pe na byddai byd ar ol hwn, pe bawn yn darfod â bôd wrth dynu yr anadliad olaf yn angeu, mi a deimlwn i mi gael peth annhraethol fwy na gwerth hyn am hanner can' mlynedd mewn un edrychiad ar y fath olygfa. Ond yr ydwyf yn edrych ymlaen at ddiwrnod y bydd yr Haul Dwyfol wedi codi i'w anterth, pan y bydd llygaid fy meddwl wedi eu cryfhâu, fel y gallwyf ddefnyddio ei belydrau heb fy nallu gan ei ddysgleirdeb—pan y bydd y tarth wedi gwasgaru, fel y gallwyf weled cysondeb yr holl bynciau â'u gilydd—pan y bydd gwirioneddau Dwyfol yn ymëangu o fy amgylch am byth, yn un cyfandir difesur a diderfyn—a minnau yn eu canol yn cofio, os nad yn canu, yr hen bennill Cymraeg,

"Pan bwy 'n rhyfeddu unpeth,
Peth arall ddaw i'm bryd;
O iachawdwriaeth rasol,
Rhyfeddol wyt i gyd!"

—*Darlith ar Anffyddwyr yr Oes Hon, gan y Parch. D. Charles Davies, M.A., Llundain.*

BWRDD EIN TAD.

Yr oedd hen weinidog Cynnulleidfäol adnabyddus iawn yn Lloegr Newydd, America, wrth yr enw *Father Sewall*, a elwid felly yn dad ar gyfrif ei henaint, ei ddylanwad, a pharchusrwydd ei gymeriad. Un eglwys berthynol i'r Bedyddwyr yn Nhalaeth Maine a fu am ryw dymmor yn analluog i gynnal gweinidog sefydlog; ac yn y cyfamser, byddent yn fynych yn galw ac yn cael yr hen dad Sewall i bregethu iddynt; ac yr oedd ei grefydd-oldeb dwys a'i weinidogaeth fuddiol yn ennill eu mawr ganmoliaeth. Un tro, yr oeddynt wedi cael gweinidog o'u henwad eu hunain i ddyfod atynt, i weini swper yr Arglwydd iddynt; ond, wele, yr oedd Mr. Sewall hefyd yn bresennol yn y cyfarfod; a daeth yn bryder ar y brodyr yn ei gylch. Yr oedd yn debygol y byddai iddo ef ddyfod ymlaen at y bwrdd i gydgyfranogi â hwynt, os na waherddid iddo. Ond pa fodd y gallent wahardd yr hen sant—y pregethwr yr oeddynt wedi eistedd dan ei weinidogaeth gyda'r fath fudd a hyfrydwch? O'r diwedd, cafodd rhyw ddau o honynt ddigon o wroldeb i ddywedyd wrtho nas gallai efe, yn ol rheolau eglwys o Fedyddwyr, gael caniatâd i gydgymuno â hwynt. "Beth!" ebe efe, "ai nid bwrdd ein Tad yw hwn?" "Wel, ie, wrth gwrs," oedd yr ateb. "Ai nid ydych, ynte, yn edrych arnaf fi yn blentyn i Dduw?" "O ydym," meddai un o honynt; "yr ydym yn llawer mwy sicr am eich duwioldeb chwi nag am yr eiddom ein hunain." "Wel, os ydwyf yn blentyn i Dduw, paham na chaf ddyfod at fwrdd fy Nhad fy hun?" Yr oedd yn hawdd gweled eu bod yn ymdeimlo fel rhai mewn petrusder a dyryswch, a'r unig beth a allent ei roddi yn rheswm ydoedd, fod hyny yn groes i reolau eu heglwys. "Wele, ynte," medd yr hen weinidog, "os na adewch i mi ddyfod at fwrdd fy Nhad, mi a af oddiyma at fy Nhad, ac a ddywedaf hyn wrtho." Felly cymerodd ei het, ac a symudodd tua'r drws; ond y ddau frawd, wedi eu gorchfygu gan rym ei eiriau syml, a aethant ar ei ol, ac a ddywedasant, "Na, peidiwch a dyweyd wrth eich Tad; ond deuwch gyda ni at y bwrdd."

Y NEFOEDD AC ANIFEILIAID.

Hen Ysgotwraig, i'r hon y perthynai cryn hynodrwydd a llawer o ddawn siarad, a alwodd gyda'i gweinidog un diwrnod, ac a ddywedodd, "Yr oeddech chwi yn pregethu am y nefoedd y Sabbath diweddaf; ond nid oeddwn i yn cael fy llawn foddloni, am na chliriwyd genych yr anhawsderau yn yr hyn a ddywed y Bibl am y nefoedd." "Pa beth yw y rhai hyny?" gofynai'r gweinidog. "Wel," ebe hi, "un peth sydd yn fy nyrysu i yw fod anifeiliaid yn y nefoedd. Darllenaf yn llyfr y Dadguddiad am bedwar anifail yn benodol." "Ho," medd y gweinidog, "gwell a fuasai cyfieithu yno, 'y pedwar peth byw.'" "Nis gwn i ddim am hyny," ebe hithau; "ond dyma i chwi anhawsder eto, na bydd dim mor hawdd i chwi, dybygaf fi, ei symud trwy gyfieithu. Gwelodd Pedr lenlliain fawr yn cael ei gollwng i lawr o'r nef wrth ei phedair congl; ac yr oedd yn hono bedwarcarnolion daear, a gwylltfilod, ac ymlusgiaid, ac adar yr awyr." "O," atebai'r gweinidog, "yn unig mewn gweledigaeth yr oedd hyny." "Gweledigaeth neu beidio," meddai yr hen Ysgotwraig; "fe aeth y llenlliain, a'r holl greaduriaid hyny oedd ynddi, i fyny i'r nefoedd yn ol; ac yno y maent wedi aros, goeliaf fi."

CARIAD DYNOL.

Beth yw cariad dynol? gofynai rhywun; ac atebai'r llall, "Dyn yn dair blwydd oed yn caru ei fam, yn chwech yn caru ei dad, yn ddeg yn caru toriad yr ysgol, yn un ar bymtheg yn caru dilladau, yn ugain yn caru llancesau, yn bump ar hugain yn caru ei wraig, yn ddeugain yn caru ei blant, ac yn driugain yn ei garu ei hun, neu yn caru hunan-esmwythder."

GWISG O WEOEDD PRYF COPYN.

Darfu i Ymherodres Brazil yn ddiweddar anrhegu y Frenines Victoria â *dress* na welwyd erioed o'r blaen ei chyffelyb. Mae wedi ei gwau o wëoedd copynod; ac y mae, fel y gellid dychymygu, yn waith odiaeth o ran ansawdd a phrydferthwch. Nid yw y *dress* sidan harddaf ddim i'w chymharu â hi; ond nid yn hawdd y gellir gwneyd gwisg arall cyffelyb iddi o ran defnydd. Yn y flwyddyn 1710, darganfyddwyd y buasai raid cael gwëoedd saith gan' mil o bryfcopynod i wneyd yr hyn a elwir yn ddarn *(piece)* o sidan.. Yr oedd yr Hispaeniaid eisoes wedi ceisio defnyddio gwëoedd copynod, a gwneuthur hosanau, menyg, a phethau eraill, o honynt; ond yr oedd yn waith mor drafferthus, ac yn rhoddi can lleied o elw, er yr holl brisiau uchel a delid, fel y bu raid rhoddi i fyny'r fasnach. Mewn rhai rhanau o Ddeheudir America, gwisgir gwisgoedd wedi eu gwneyd o'r edefau hyn; ond y mae'r pryf copyn yn y gwledydd hyny yn anferthol fawr. Am y wisg yr anrhegwyd ein Brenines â hi, mae yn debyg y gwnaed hi o wëoedd y copynod Americaidd lleiaf. Hwyrach cyn hir, gan fod dyfeisiau celfyddol yn amlhâu ac yn ymberffeithio mor rhyfedd yn y dyddiau hyn, y caiff y *fashionable ladies* yn lled gyffredinol y boddhâd o wisgo *dress* harddwych o fanwe gywrain y pryf copyn.

MOODY A SANKEY.

Mae Moody a Sankey yn awr yn llafurio yn Hartford, Connecticut, gydag arwyddion llawer o lwyddiant. Maent yn derbyn cydymdeimlad a chynnorthwy gweinidogion efengylaidd y ddinas yn gyffredinol; a dywed y Dr. Crane, yn llefaru ar ol profiad o ddeunaw mlynedd yn Hartford, na welodd efe erioed yr eglwysi yno dan y fath arwyddion o'r dylanwad Dwyfol ag yn awr.—Mae gan Mr. Moody eglwys [capel] yn Chicago, wedi costio pedwar ugain a phedair o filoedd o ddoleri, ac yn glir o ddyled. Dichon, ymhen ychydig o flynyddau, bydd iddo aros yno fel bugail arni.—*Y Cyfaill o'r Hen Wlad am Chwefror*, 1878.

IAWNDERAU MERCHED.

Y mae llawer o dwrf yn y dyddiau darganfyddol hyn am iawnderau a breinioliaethau ein hystlen ni. Ai nid oes perygl i ledneisrwydd a neillduolrwydd priodol merch *fel merch* fyned ar goll neu yn anghof? "Gwnaf iddo ymgeledd cymhwys iddo," medd y Llais Dwyfol am Adda pan yr oedd ef ei hunan yn Mharadwys; nid tegan iddo, nid llyffethair wrtho, nid ymladdwraig âg ef; nage, ond "ymgeledd cymhwys iddo," yr hyn oedd weddus i ddyn ddymuno, ac i ferch fod. Gwir fonedd merch yw cadw ac addurno ei chylch ei hun; nid fel seren gynffonog, yn myned ar draws cyfundrefnau, ond fel y wir seren yn ei lle, yr hon a geir yn gyntaf i oleuo'r dydd, ac yn olaf i'w adael. Wragedd, mamau! onid yw eich iawnderau yn ddigon eang—gorsedd y galon, cysegrfa cartref, cael y meddwl yn nechre ei weithrediad i'w lywio genych, gweini i symud anwybodaeth, i ddiwallu anghen, i esmwythâu dyoddefaint, i ymarfer gweinidogaeth cariad o'r cryd i'r beddrod?—*Mrs. L. H. Sigourney.*

CEISIER Y PENNILL CYMHWYSAF.

Mewn cyfarfod gweddi yn rhywle, yr arweinydd yno, ar y diwedd, a ddywedai, "Gyfeillion, yr wyf newydd gael hysbysiad trwm a phruddaidd iawn; y mae ein hanwyl frawd, y bu mor dda genym yn fynych ei glywed yn gweddïo yma, sef ——, wedi rhoi yr anadl olaf. Ni a ganwn yn awr cyn ymadael,

'O down yn unfryd ger ei fron
A chalon bur ddiolchgar;
Brysiwn at Dduw dan lawenhâu,
A chanwn salmau 'n llafar.'"

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU CASSIA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. GRIFFITH HUGHES, DYDDIEDIG JIWAI, RHAGFYR 5ED, 1877.

Y MAE yn hyfrydwch genyf anfon i chwi hanes fy nhaith i ranau o Ddyffrynoedd Jaintia, sef Sohka a Nongtalang. Gan i mi gael fy siomi mewn cael cludwyr i gychwyn ddydd Gwener, y 29ain Tachwedd, cychwynais ddydd Sadwrn, y 30ain, gan wneyd y daith mewn diwrnod; a daliodd y tywyllwch ni ymhell cyn cyrhaedd pen ein taith, a bu raid ymbalfalu ar hyd llwybr caregog ac anwastad iawn, trwy goedwig am gryn filldiroedd wrth oleuni ffaglau, cyn cyrhaedd Sohka. Cafwyd pen y daith o'r diwedd yn bur hwyr, a ninnau oll yn flinedig iawn. Da oedd cael gorphwys yn union ar ol cael ychydig luniaeth. Bore drannoeth (y Sabboth) cafwyd cyfarfod eglwysig i ymddyddan â'r rhai oedd i'w bedyddio a'u derbyn at Fwrdd yr Arglwydd. Yr oedd wyth o ymgeiswyr, saith yn fechgyn ieuainc o 17 i 24 mlwydd oed, ac un yn ŵr priod mewn oedran. Yr oedd yn bleser bod yno gyda hwy, i glywed eu profiad a gwrando ar eu hatebion. Yr oeddynt yn ateb yn rhagorol, wedi bod yn parotoi er's misoedd. Yr oeddwn i yn cael perffaith foddlonrwydd eu bod yn gymhwys o ran profiad a gwybodaeth i fod yn gyflawn aelodau, a chael holl ragorfreintiau eglwys Dduw. Wedi hyny cafwyd Ysgol Sabbothol, ac oddeutu 50 yn bresennol. Yr oeddwn yn cael fy synu yn y cynnydd oedd wedi cymeryd lle yn nifer y gwrandäwyr er pan fum yno o'r blaen. Yna cafwyd oedfa. Ar y dechreu bedyddiwyd yr wyth yn ngolwg cynnulleidfa dda oddifewn ac oddiallan. Yr oedd fy nghalon yn llawenychu wrth weled y fath nifer o ddynion ieuainc bywiog yn cymeryd arnynt iau Crist yn eu hieuenctyd, a'r oll o honynt heb eu magu yn grefyddol, ond yn hytrach yn cael pob gwrthwynebiad gan eu teuluoedd. O mor hyfryd oedd bod yno yn gwrando arnynt yn dyweyd eu bod yn cymeryd Crist a'i groes yn eiddo iddynt mwy, ac yn nerth Duw yn penderfynu ei chario hyd angeu; ac ar yr un pryd, wrth edrych ar y gynnulleidfa, weled yn eglur nad rhai diog oeddynt yn ngwinllan yr Arglwydd. Eto yr oeddwn yn llawenhâu mewn dychryn wrth edrych ar eu hieuenctyd a'r temtasiynau yr oeddynt ynddynt. Y mae gan "chwantau ieuenctyd" fwy o afael ar y dosbarth ieuanc yn y wlad hon nag hyd yn nod yn Nghymru. Bydded i Dduw gadw y bechgyn anwyl hyn! Ac O frodyr, gweddïwch drostynt. Yr oeddwn yn cael cryn bleser wrth geisio pregethu, a phawb yn astud a llonydd yr holl amser. Wedi hyny cawsom y fraint o gofio angeu ein Gwaredwr. Cafwyd cyfarfod hyfryd iawn drwyddo, a gobeithio y bydd yr efengyl yn cyrhaedd ei hamcan eithaf ar y bobl. Wedi hyny aethum gyda nifer o bobl Sohka i Lamin, pentref mawr tua milldir o Sohka, lle y mae ysgol er ys yn agos i flwyddyn. Yr oedd yma lïaws mawr drachefn o fewn ac o faes wedi dyfod ynghyd, a cheisiais ddangos iddynt mor eglur ag y gallwn drefn yr efengyl ar gyfer dyn colledig. Yr oeddynt yn gwrando yn astud. Pan oedd yn dechreu tywyllu aethom yn ol tua Sohka, a chafwyd cyfarfod i ddarllen y Bibl drachefn gyda'r cyfeillion. Yn ol y rhagolygon presennol y mae gobaith achos da yn Sohka, ac hefyd yn Lamin ymhen amser. Y mae saith wedi marw o'r eglwys er pan fum yno yn Mai diweddaf, a theulu yn awr yn cynnyg eu hunain o newydd. Y pryd hwnw nid oedd ond un ferch mewn oed yn yr eglwys na'r gynnulleidfa; yn awr y mae pump yn yr eglwys, ac yr oedd deg, heblaw y ddwy athrawes, yn yr Ysgol Sabbothol y Sabboth diweddaf. Y mae yr athraw a'i wraig yn gweithio yn dda. Nid oes ond ychydig o blant yn yr ysgol ddyddiol, ond y mae cryn nifer o ddynion ieuainc, yr hyn sydd yn fwy gobeithiol mewn ystyr genadol. Y maent hwy a'r Cristionogion yn *myned at y bobl.* Y mae rhai fel yn nyddiau yr apostolion yn gwrthddywedyd, a'u gelyniaeth at Gristionogaeth yn myned yn chwerwach, ond eraill yn gwrando ac yn ystyried, a rhai o honynt yn dilyn moddion gras. Yr ydwyf yn dra diolchgar i Mr. Ellis, Abergele, ac "Un o Sir Aberteifi," am eu rhoddion caredig at gynnal y ddwy eneth o Sohka. Bu y ddwy yma am amser, ond anfonodd teulu un i erfyn ar iddi ddychwelyd, y cai bob rhyddid crefyddol, ac yr oedd gwrthwynebiad teulu y llall wedi lleddfu cymaint, fel na wnaent niwed iddi, ond na dderbynient hi i dŷ. Dychwelodd y ddwy ac ymunasant â'r eglwys yno, gan fyw mewn tŷ o eiddo y Cristionogion, a chael eu cynnal mewn rhan ganddynt. Y mae bywyd y ddwy hyd yn hyn wedi bod yn harddwch i'w proffes. Yr wyf yn cymeryd un lodes oddiyno atom ni i'r ysgol am ychydig, ac yn gobeithio y gwna athrawes dda yn y Dyffrynoedd, a christion da hefyd mewn amser. Y mae hyn wedi dangos i'r pentref, nad yw y Cristionogion yn hollol ddiamddiffyn, ac y mae ar rai ofn myned

i'r eithafion yr aeth teuluoedd y ddwy lodes hyn. Eto gweithio yn erbyn y llif yw hi gydag addysg y benywod yno.

Yn Lamin drachefn y mae nifer da yn yr ysgol ddyddiol; ac ar y Sabboth, ar ol moddion boreuol yno, ä'r athraw a'r athrawes a nifer o'r bobl i Sohka i'r Ysgol Sabbothol a'r bregeth, ac yna ä cyfeillion Sohka yn ol gyda hwy i gynnal moddion drachefn. Y mae un o Lamin wedi ymuno â'r eglwys yn Sohka, eraill wedi amlygu dymuniad i fod yn Gristionogion, ac amryw eraill yn d'od i'r moddion yn lled gyson, heb wneyd eu meddwl i fyny hyd yn hyn. Wrth edrych ar y ddau bentref, yr oeddwn yn barnu y llwydda yr efengyl i gael dylanwad ynddynt cyn hir nas gellir ei ddiystyru, ond gweithio mewn ffydd ac yn nerth Duw.

Ddydd Llun, ar ol treulio ychydig amser drachefn a rhoddi meddyginiaeth, aed tua Nongtalang, oddeutu tair milldir a hanner o ffordd. Y mae y pentref hwn, fel yr hysbysais o'r blaen, ar *plateau*, neu wastad-dir helaeth, a golygfeydd ardderchog i'w cael ar bob tu, yn enwedig ar Wastadedd Bengal, tua'r deau a'r dwyrain. Yn awr, yn y tymmor sych, dyma un o'r lleoedd mwyaf hyfryd a dymunol ar y Bryniau. Y mae y pentref yn un o'r rhai mwyaf yn Jaintia, ac y mae yn ganolbwynt da gweithrediadau yn y Dyffrynoedd. Y mae ysgol ddyddiol dda yma, ond marwaidd iawn yw achos crefydd, dim cynnydd yn ystod y flwyddyn. Y mae yma nifer lled dda o feibion yn d'od ar y Sabboth, a rhai yn d'od o newydd, ond dim merched, ond y tair sydd yn perthyn i'r eglwys. Y mae arnaf ofn fod llawer o hyn i'w briodoli i ddiffyg ymdrech o du yr athraw a'i wraig, ond nid oes genyf arall i'w roddi yn ei le. Cafwyd cyfarfod gweddi lled lïosog y nos, a cheisiais eu symbylu i fwy o weithgarwch. Ar ol arholi yr ysgol bore drannoeth, trowyd tuag adref, lle y cyrhaeddwyd yn yr hwyr. Yr oeddwn yn teimlo awydd mawr i aros ychydig gyda'r bobl yn y ddau le, ond nis gellid—rhaid gofalu am yr ysgol a'r achos yma. Fel y mae, yr wyf yn gorfod bod llawer iawn oddicartref.

Y mae Sïon yma yn Jiwai yn parhâu i gael ei cheisio. Yr wythnos ddiweddaf derbyniwyd gwraig o newydd i'r eglwys. Yr oedd ei gŵr wedi ymuno er ys tua thair blynedd, a hithau yn dilyn y moddion yn gyson er's amser. Yr oedd rhyw ddifrifwch a dwysder yn ei phrofiad, na chanfyddir yn aml mewn rhai yn cynnyg eu hunain o newydd y tro cyntaf. Dywedai mai marwolaeth ddedwydd Ka Jong Lakiang a effeithiodd fwyaf arni i beri iddi benderfynu rhoi ei hun i Dduw a'i bobl, er ei bod yn meddwl am hyn er's rhai misoedd.

Yr ydym yn brysur yr wythnos hon yn cario dau o dai o'r pentref i'r lle hwn. Un tŷ yn perthyn i deulu cynnwysedig o ŵr a gwraig a phlentyn, a'r llall wraig a dau blentyn. Y mae eraill yn son am dd'od y gauaf a'r gwanwyn hwn. Ein profedigaeth fawr yw diffyg lle, a'r anhawsder i gael ychwaneg o dir. Ein cwyn a'n cri yw, "Dod i mi le fel y preswyliwyf, oblegid y mae y lle hwn wedi myned yn rhy gyfyng i ni." Yr wyf yn anfon i chwi adroddiadau Captain Williamson (Cymro o Dreffynnon), a Colonel Clarke, *Deputy Commissioner* Shillong.

"I have visited the Jiwai Mission School this morning, and spent a long time examining the first classes in the boys' and girls' school, and I was very much pleased with the result of my examination. Both the boys and girls read and write English very well, and they thoroughly understood what they were reading. The boys have a good knowledge of geography, and answered the numerous questions I put them with great facility. Mr. and Mrs. Hughes then had the whole school assembled, when several songs and hymns were sung. I was charmed with the way the children sang. The state of this school reflects great credit on the management.

"J. W. Williamson,
"Officiating Inspector General Police,
"Assam.
"Oct. 2nd, 1877."

"I have again had the pleasure of visiting the Jiwai Mission Schools. I examined the classes in reading, dictation, and mental arithmetic. The 1st and 2nd classes in both the boys' and girls' schools are very well advanced. The two schools joined in singing some extremly pretty songs, which they sang really very well. Mr. and Mrs. Hughes evidently take a very kindly interest in the children, and the schools do them much credit.

"W. L. Clarke, D.C.,
"Shillong.
"Nov. 27th, 1877."

---

### Llythyr oddiwrth y Parch. John Jones, Shella, dyddiedig Tachwedd 22ain, 1877.

Ni chawsom Henaduriaeth diwedd y mis diweddaf fel yr oeddym yn dysgwyl, gan fod y *cholera* wedi tori allan yma wythnos union cyn yr amser i'w chynnal, ac felly fe'i gohiriwyd hyd mis Mawrth, y 9fed a'r 10fed, 1878. Y mae y *cholera* wedi bod yn difa mewn tri o leoedd yn arbenig yn y dosbarth hwn er pan yr ysgrifenais ddiweddaf, sef Dewsaw, Shella, a Laitkynsew. Nid yw Dewsaw ond pentref bychan, ond bu ugain feirw o hono yno. Yn Shella hefyd bu tua phymtheg feirw,

ac yn eu plith, ac yn gyntaf o honynt oll, U Jitrai Wadar, y penaeth caredig hwnw a roddodd wledd i'r Cristionogion amser yr Henaduriaeth ddiweddaf; yr oedd yn ei fwriad wneyd yr un modd yn yr Henaduriaeth hon, ond fe'i tarawyd yn sâl yn Sylhet, i'r hwn le yr oedd wedi myned i bwrcasu amryw o bethau, ac yn eu plith ddefnydd gorchudd neu dô i'r babell oeddym yn fwriadu ei chodi i bregethu ynddi amser y *Presbytery*. Dygwyd ef adref i Shella ddydd Sadwrn, ond cyn boreu Sabboth ehedodd ei enaid ymaith i dragywyddoldeb.

Y trydydd lle yw Lait. Cymerwyd pedwar ar ddeg ymaith yn y pentref hwn, a chan ei ofn rhedodd y trigolion oll, oddieithr ychydig, i'r anialwch i breswylio; ond er iddynt geisio dianc o'i gyrhaedd daeth o hyd iddynt yno, fel y bu farw pedwar o honynt yn y diffaethwch. O bob clefyd ag sydd yn ymweled â ni yma, dyma yr un sydd yn creu mwyaf o fraw a dychryn yn y bobl eu hunain; ac yn wir y mae yn ddigon i gynnyrchu dychryn yn y mwyaf anystyriol, gan nad oes ond gobaith gwan, wedi y cymer afael mewn dyn, na fydd wedi ehedeg i'r byd arall cyn pedair ar hugain o oriau—angeu ei hun megys yn dyfod ar unwaith i syllu yn ei wyneb. Y mae wedi clirio yn llwyr o Dewsaw a Shella erbyn hyn, ond y mae eto yn Lait. Gobeithio y bydd i'r Arglwydd ei symud ymaith yn fuan. Diolch a ddylem i Dduw am ei gadwraeth trosom fel Cristionogion, canys ni bu farw cymaint ag un o honom o hono yn ystod ei ymweliad â ni y tro hwn eto.

Bu genym gyfarfodydd gweddïo i erfyn ar i'r Arglwydd ei symud ymaith, ac efe a'n gwrandawodd. Ond er na chymerwyd yr un o honom ymaith trwy y *cholera*, bu farw U Juban, athraw Mynteng, yn Shella, yr 16eg o'r mis hwn, gan adael geneth fach saith mlwydd oed heb yr un fam i ofalu am dani, ond dywedai ei fod wedi ei hymddiried i ofal Duw. Ei ddymuniad olaf oedd ar i ni ei chymeryd dan ein gofal fel yr eiddom ein hunain. Nis gallem wrthod ei gais, felly ni a gydsyniasom, a chyda ni y mae hi. Nid oes yr ammheuaeth lleiaf yn ein meddwl nad oedd U Juban yn Israeliad yn wir yn yr hwn nid oedd dwyll. Cawsom amryw o gyfleusderau i siarad âg ef yn ei gystudd yn nghylch ei brofiad o bethau yr efengyl.

Ymhlith pethau eraill gofynem iddo unwaith, Pa sawl blwyddyn y sydd er pan ydych wedi dechreu gwasanaethu yr Arglwydd? "Ugain mlynedd," meddai. "A ydyw yn edifar genych eich bod wedi ei wasanaethu y blynyddau hyn?" "O nac ydyw; bum yn hir iawn cyn dechreu; maddeued yr Arglwydd i mi, ond wedi i mi ddechreu ni bu erioed edifar genyf." Unwaith drachefn dywedai, "Y mae genyf ychydig o arian yn y *box* yna," gan gyfeirio ato; "cymerwch yr agoriadau, a phan y byddaf farw defnyddiwch hwynt at waith yr Arglwydd yn Nosbarth Shella." Ceisiais ganddo amryw weithiau eu gadael i'w ferch fach, ond ni chydsyniai â hyny ar un cyfrif; "at waith yr Arglwydd yr wyf wedi eu casglu," meddai. Felly rhaid oedd rhoi i fyny iddo. Gwedi agor y *box* yr oedd ynddo £6 6s., dyma swm cymunrodd U Juban.

Y noswaith olaf y gwelais ef cyn iddo ymadael â'r byd hwn,—"Ffarwel, Saheb," meddai, ac yna ar yr un anadliad adroddai y geiriau hyny o eiddo Paul, "Mi a ymdrechais ymdrech deg," &c., 2 Tim. iv. 7, 8; a dyma fe wedi myned i dderbyn ei goron gan ei Arglwydd. Gadawodd argraff dda ar ei holl gyfeillion a'i gymydogion mewn perthynas i grefydd ein Harglwydd Iesu Grist; tystiant na welsant neb yn marw yn fwy hyderus a hapus. Pe cawsai ein cyfeillion twym eu calonau ag sydd yn cyfranu at, ac yn gweddïo am lwyddiant yr efengyl yn Khassia ond bod am un awr wrth wely marw U Juban, gwelsent ar unwaith mai nid ofer yw eu llafur yn yr Arglwydd, a fod gobaith yr efengyl yr un i'r Khassi melynddu a fagwyd yn nghanol tywyllwch ofergoeledd, ag ydyw i'r Cymro gwỳn a fagwyd yn ngwlad efengyl, ond iddo ei dderbyn; ei bod yn clirio tragywyddoldeb ei hun o'i flaen. "Bendigedig fyddo Duw am ei ddawn annhraethol!"

Yr wythnos ddiweddaf bum yn ymweled â Nonglait a Mawdon. Cawsom gyfarfod canu nos Lun yn Nonglait, a chyfarfod i weddïo, canu, darllen, ac esbonio boreu drannoeth cyn ymadael am Mawdon. Daeth oddeutu ugain ynghyd, ac yn eu plith y dyn ag sydd yn arfer tori wyau ar ran y pentref. Rhoisant wrandawiad astud a phob parch allanol i'r addoliad. Mae gwell golwg ar yr achos yn y pentref hwn, a'r bobl yn rhoi eu presennoldeb yn fwy cyson y Sabbothau, ac yn arbenig felly pan y bydd arnynt eisieu meddyginiaeth.

Yn Mawdon derbyniwyd pedwar i'r eglwys, ac yn eu plith cyn-offeiriad y pentref. Dygwyd tystiolaeth dda iddynt oll am eu ffyddlondeb i foddion gras, ac am burdeb eu hymarweddiad.

Bu gan y *Sudrees* gyfarfod cyhoeddus y Sabboth diweddaf yn lled agos i'n hysgol yn Mawryngkong (Shella). Eu hamcan oedd cael ein cynnulleidfa i wrando arnynt, a buont mor garedig a gofyn i minnau roddi fy mhresennoldeb gyda hwynt er sicrhâu hyny, mi dybiwn. Ond y mae yn llawenydd genyf allu dyweyd ddarfod i'r rhai sydd yn arfer d'od

i wrando i'r ysgoldy sefyll fel un gŵr at eu gwasanaeth crefyddol eu hunain. A mwy na hyn, er dangos eu hochr darfu i'r tair cynnulleidfa ymuno ynghyd, a thrwy hyn yr oedd oddeutu dau cant a hanner o wrandäwyr yn bresennol. Felly ni a gawsom *ddemonstration* rhagorol ar ran yr efengyl, pryd nad oedd gan y *Sudrees* ddim hanner cant o wrandäwyr.

---

## LLYTHYRAU ODDIWRTH RAI O'R BRODORION.

DIAU mai dymunol gan ddarllenwyr y CRONICL CENADOL fydd gweled y dyfyniadau canlynol o lythyrau a dderbyniodd y Parch. W. Lewis a'i briod oddiwrth Ka Hyrmon, gweddw yr efengylydd U Jarkha, ac oddiwrth ei mab U William Lewis, yr hwn sydd yn bregethwr ieuanc addawol. Gelwir rhieni yn Cassia wrth enw eu plentyn ieuengaf, ac y mae Ka Hyrmon yn rhoddi ei henw wrth y llythyr yn y dull y gelwir hi yn gyffredin, "Mam William Lewis." Fel hyn yr ysgrifena y fam :—

"Nongsawlia, Ionawr 5ed, 1878.

"Fy anwyl Athrawon,

Mae yn ddrwg iawn genyf nad wyf wedi bod yn alluog i ysgrifenu llythyr atoch er's cryn amser bellach, gan fod llawer iawn o bethau yn fy attal,—pethau y byd hwn, y rhai a ofidiant y meddwl ac a wanychant y corff. Yr wyf wedi bod yn fynych yn dymuno dywedyd wrthych o berthynas i waith mawr Duw, y fath bethau bendigedig sydd yn cymeryd lle yma yn awr. Mae llawer iawn yn arfer dyfod i dŷ yr Arglwydd yn lanwaith a threfnus. Mae dau cant neu fwy ar y llyfrau; daw llawer o honynt o Nongrim (cŵr o Cherra), meibion a merched. Nid oes gymaint yn dyfod o'r rhanau eraill o Cherra ag sydd yn dyfod o Nongrim. Yn Khadsawphra mae y gwaith yn cynnyddu yn fawr iawn; mae llawer iawn yn barhâus yn ymuno â'r eglwys, ac yn darllen gair Duw. Ond yn awr mae Khadsawphra yn wahanol iawn i'r hyn ydoedd, oblegid arferwn deimlo yn dra digalon gyda hwynt pan aethum, unwaith, i ymweled â'r pentref, i weled pa fodd yr oeddynt yn dyfod ymlaen yno. Yr oedd ganddynt athraw, ond nid oedd ond ychydig nifer yn dyfod i'r ysgol—dim ond pump neu chwech. Ond yn awr mae pethau yn edrych yn ddymunol iawn. Mae yr had a hauwyd yn ofalus gan ein hanwyl athrawon, ac a ymddangosai fel wedi darfod yn llwyr, eto gan fod bywyd ynddo, yn awr yn tarddu ac yn cynnyddu yn fawr; y mae wedi tori allan trwy y ddaear galed ymhob man lle yr ymddangosai nad oedd un arwydd o fywyd. Ar y Bryniau ac yn y Dyffrynoedd cenir mawl i'n hanwyl Waredwr. Yr wyf yn gobeithio y gwna fy anwyl Dadau a Mamau a Henuriaid achos Duw barhâu i'n cynnorthwyo â'u gweddïau taer; o herwydd gweddi ddyfal a agorodd ddrysau y carchar oedd wedi eu cau ar Pedr. Yn awr byddwch gysurus a dedwydd yn eich hen ddyddiau, am i chwi gael nerth i weithio mor ffyddlawn ac mor egnïol yn eich dyddiau ieuengaf yn ein mysg ni, ac fod Duw wedi bendithio eich llafur. Pan ydym yn ieuanc gallwn fod yn llawn yni a gwneyd llawer, ond pan ydym yn oedranus nis gallwn wneyd yr hyn a ddymunem; felly yr wyf fi yn teimlo. Mae yhen gorff hwn yn myned yn wanach, wanrach, ac fel pe byddai ar syrthio, a'm dyddiau fel yn dyfod i'r terfyn."

Wedi cyfeirio at waeledd un o'i phlant, U Barnabas, dywed, "Fy anwyl athrawon, a gaf fi erfyn arnoch brynu i mi lyfr, o herwydd y mae arnaf eisieu un yn neillduol; llyfr ydyw yn rhoddi hanes dynion da, pa fodd y llafuriasant, a pha fodd y buant feirw. Yr oedd y llyfr genyf yn fy nhŷ, ond cymerodd rhywun ef, neu fe'i rhoddwyd yn menthyg; nis gallaf ddyfod o hyd iddo yn un man, ac yr wyf yn gofidio yn fawr iawn o'i herwydd, oblegid byddwn yn hoffi ei ddarllen yn fawr. Nis gallaf roddi enw y llyfr i chwi fel ag i ddyweyd pa un ydoedd.

"Rhoddwch fy serch i'r holl gyfeillion yn yr Arglwydd sydd yn cynnorthwyo i ddwyn gwaith Duw ymlaen yn ein gwlad. Mae U Barnabas ac U Jacob yn anfon cofion serchog atoch. Oddiwrth un sydd yn eich caru yn fawr,

"MAM U WILLIAM LEWIS."

Fel hyn yr ysgrifena ei mab U William Lewis :—

"Cherapoonjee, Ionawr 4, 1878.

"Fy anwyl Dad a Mam,—

"Yr wyf yn teimlo yn dra dedwydd wrth ysgrifenu hyn atoch, ar ol bod cyhyd heb anfon atoch. Yr wyf yn ysgrifenu i ddyweyd wrthych am gynnydd gwaith Duw yn y dyddiau hyn yn ngwlad Bryniau y Cassiaid, yn yr hon y llafuriasoch chwi gymaint. Gyda theimladau o ddiolchgarwch mawr i Dduw, yr wyf yn dra awyddus i ddyweyd wrthych am wlad o fath Cassia, yr hon oedd o'r blaen yn ffieiddio yr enw 'Cristion,' fod y Cassiaid yn awr yn edrych arno Ef yr hwn a wanasant; ac yr wyf yn teimlo yn hynod o ddiolchgar, dros ben felly, wrth ganfod fod Duw

yn gweled yn dda beri i'r had da a hauwyd darddu i fyny. Mae gwaith Duw yn ennill nerth, ac yn cael ei gryfhâu yn fawr. Yn fynych fynych y bum yn gruddfan ynof fy hun wrth weled ein brodyr sydd yn proffesu fel finnau eu bod yn meddu bywyd, eto yn dangos eu bod yn gadael yr Arglwydd, ac yn ddibarch o'i ddydd ac o'i air. Gwnai hyn i mi alaru ger bron Duw ac i lefain allan, 'Pwy a gredodd i'n hymadrodd, ac i bwy y dadguddiwyd braich yr Arglwydd?' Ond yr ydym yn awr yn llawen, ac yn credu yn wir fod yr Arglwydd yn anfon i ni atebiad fel i Elias, 'Mi a adewais yn Israel saith o filoedd, y gliniau oll ni phlygasant i Baal.' Yr ydym yn barhâus yn canfod fod Duw yn gwneuthur lamp y gwirionedd yn ddysglaer bob wythnos trwy ychwanegu rhai newyddion at ein nifer. Mae pethau yn newid yma bob blwyddyn; credaf yn gryf y caf weled ei addewidion Ef wedi eu cyflawni. 'Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir; y gŵyr a wneir yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd, a gogoniant yr Arglwydd a ddadguddir.' Mae Ef hefyd wedi gwneyd i'r byddar glywed, ac i'r dall weled.

"Teimlaf yn dra diolchgar am fod yr Arglwydd wedi caniatâu i mi weled y pethau hyn oll. Ond yr wyf eto yn erfyn arno roddi nerth i mi, nid yn unig i weled a bod yn edrychydd, ond ar i mi gael rhan o'i addewidion bendigaid; ïe, fod i mi allu dywedyd, 'Byw i mi yw Crist a marw sydd elw.' Yn enwedig pan y byddaf yn myned i ymweled â phentrefi yma ac acw, byddaf yn awyddus iawn ar i rai gael eu harwain trwof fi i adnabod yr Arglwydd; ac i mi gael bod fel lamp i'w harwain yn y ffordd iawn, neu fel seren i'w harwain at y Ceidwad. Mae geiriau Paul yn fy meddwl yn barhâus y dyddiau hyn, 'Fel y mawrhyger Crist ynof fi.' Yr wyf yn wastad yn gweddïo am hyny, ac yr wyf yn credu y bydd i'r Hwn sydd yn gwrando gweddi fy ateb, a rhoddi i mi nerth i fod yn filwr ffyddlawn iddo ef am byth, nes y caf fyned ato ef.

"Anfonai U Terasing i chwi ei gofion caredig, a dywed y bydd iddo ysgrifenu pan y caiff amser.

"Rhoddwch fy niolchgarwch goreu i'r holl gyfeillion anwyl sydd yn ein cynnorthwyo i gael bywyd tragywyddol.

"Oddiwrth eich mab, sydd yn eich caru,

"U William Lewis."

## SYPYNAU I'R INDIA.

Darfu i chwaer garedig, wrth yr hon y dygwyddasom grybwyll am awydd Ka Hyrmon am feddiannu llyfr tebyg i'r un a gollasai, roddi i ni un i'w anfon iddi, ac anfonwyd ef gyda'r sypynau a anfonwyd i'r India y mis diweddaf. A chymerwn y cyfleusdra hwn i hysbysu, os bydd cyfeillion yn teimlo ar eu calonau i anfon llyfrau buddiol i'r pregethwyr brodorol, neu at wasanaeth y llyfrgelloedd cenadol yn India, y bydd yn dda genym eu derbyn a'u hanfon drosodd. Diau fod lliaws o'n darllenwyr a chanddynt lyfrau wedi eu darllen ganddynt hwy, ac yn awr yn gorwedd yn segur yn eu llyfrgelloedd, a allent fod o wasanaeth mawr i'r pregethwyr ieuainc ar ein gorsafoedd cenadol.

## Y PENAETH U BORSING.

Bydd yn dda gan ein darllenwyr ddeall fod y Llys uchaf yn Calcutta wedi rhoddi dedfryd o blaid U Borsing yn y cynghaws yn achos ei etifeddiaeth. Bu dau dreial ar yr achos mewn dau lys gwahanol yn nhalaeth Sylhet, ac yn y ddau penderfynwyd yr achos yn ffafr U Borsing. Wedi hyny, gwnaed appel gan ei wrth-ymgeisydd i'r *Supreme Court* yn Calcutta, y llys uchaf yn India, ac y mae dedfryd y llys hwnw eto wedi ei rhoddi o blaid U Borsing, a'i hawl i'w etifeddiaeth yn cael ei chadarnhâu. Yr ydym yn deall y gellid eto ddwyn cynghaws yn ei erbyn yn y *Civil Court*, ond nid yw yn debyg y gwneir hyny, gan y byddai y draul yn fawr, a'r tebygolrwydd o lwyddiant bellach yn llai nag erioed. Tebygol ydyw y dygir y mater i derfyniad heddychol. Diau y bydd ein darllenwyr yn cydlawenychu âg un y mae ei ymlyniad wrth yr efengyl wedi costio mor ddrud iddo.

D.S. Derbynir rhoddion at y Genadaeth Dramor gan y Trysorydd Cyffredinol, Peter Williams, *Esq.*, 17, *Percy Street, Liverpool.*

☛ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. Peter Williams, Treasurer of the W. C. M. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63, *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 570.] EBRILL, 1878. [LLYFR XLVIII.

## SYLWADAU AR BREGETHU HUNAN A PHREGETHU CRIST.

GAN Y PARCH. DR. EDWARDS.

2 CORINTHIAID iv. 5: "Canys nid ydym yn ein pregethu ein hunain, ond Crist Iesu, yr Arglwydd; a ninnau yn weision i chwi er mwyn Iesu."

*(Parhâd o tu dalen 45.)*

OND heblaw pregethu Crist yn ei Berson a'i ddyoddefiadau, y mae yr Apostol yn ychwanegu ei fod yn pregethu Crist Iesu yr Arglwydd. Cyttunir yn gyffredin gan yr esbonwyr goreu mai y cyfieithiad mwyaf cywir ydyw, "Crist Iesu yn Arglwydd." Felly yr ydym yn darllen yn Phil. ii. 11, "Ac y cyffesai pob tafod fod Iesu Grist yn Arglwydd er gogoniant Duw Dad." A thrachefn yn Rhuf. x. 9, mae yn debyg mai y cyfieithiad cywir ydyw, "Mai os cyffesi â'th enau Iesu yn Arglwydd, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi." Gwelwn gan hyny fod yr Apostol, wrth bregethu Crist Iesu yn Arglwydd, yn pregethu yr hyn oedd yn anghenrheidiol i bawb ei gyffesu tuag at fod yn gadwedig. Yr oedd Crist ei hun hefyd yn llefaru yn barhâus am ryw deyrnas oedd yn dechreu yn fechan, ac yn cryfhâu yn raddol, nes ennill yr holl ddyn, a'r holl fyd, i'w hansawdd ei hun; a dyben y rhan fwyaf o'i ddammegion oedd egluro natur y deyrnas hono. Yn fuan ar ol dechreu ei weinidogaeth, yn ei ymddyddan â Nicodemus, dangosodd fod y deyrnas hon yn dra gwahanol i'r hyn oedd yr Iuddewon yn feddwl wrth deyrnas y Messïah, a bod yn rhaid aileni dyn cyn y gallai fyned i mewn iddi; a bod yr aileni yn dyfod trwy gredu ynddo ef, fel yr oedd bywyd newydd yn dyfod i'r Israeliaid trwy edrych ar y sarph bres. Mae yn amlwg mai teyrnas Crist fel Cyfryngwr ydoedd hon, oblegid dyma oedd cenadwri Ioan Fedyddiwr, "Edifarhewch, canys nesäodd teyrnas nefoedd." Yn yr epistolau drachefn dangosir fod yr ymarferiad o dduwioldeb yn ymddibynu ar gydnabyddiaeth ffyddiog o arglwyddiaeth y Cyfryngwr. Yn Eph. v. 22, dywedir, "Y gwragedd, ymostyngwch i'ch gwŷr priod megys i'r Arglwydd." Ac wrth y gweision dywedir, pen. vi. 5, 6, "Y gweision, ufuddhewch i'r rhai sydd arglwyddi i chwi yn ol y cnawd, gydag ofn a dychryn, yn symlrwydd eich calon, megys i Grist: nid â golwg-wasanaeth fel boddlonwyr dynion, ond fel gweision Crist, yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon; trwy ewyllys da yn gwneuthur gwasanaeth megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion." Wrth yr Arglwydd yn y geiriau hyn mae yn ddiau fod i ni olygu yr Arglwydd Crist; a dangosir fod ei deyrnas ef yn y galon, fel y surdoes yn y blawd, yn treiddio trwy yr holl ymddygiadau. Teyrnas yw eglwys Crist, ac y mae deddf a dylanwad y deyrnas hon yn cyrhaedd at ein holl weithredoedd, ac nid at ein gweithredoedd yn unig, ond at ein meddyliau, at agwedd ein calonau. "Nid â golwg-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion," y rhai nid ydynt yn gweled ymhellach na'r weithred oddiallan; ond "trwy ewyllys da yn gwneuthur gwasanaeth." Pa beth a ddaw â ni i wneuthur gwasanaeth trwy

ewyllys da, a hyny yn fynych i rai afrywiog ac anniolchgar? Yr ateb ydyw, mai trwy gofio ein bod yn gwneuthur gwasanaeth megys i'r Arglwydd, sef i'r Arglwydd Crist. Dyma y ffordd debycaf i foddloni dynion; a phe methem yn yr amcan hwnw, fel yr ydym yn rhwym o fethu mewn rhai amgylchiadau, nid yw hyny o gymaint pwys, os llwyddwn i foddloni Crist. Ac nid yw efe yn un anhawdd i'w foddio, oblegid y mae yn dywedyd wrthym mai addfwyn ydyw, a gostyngedig o galon; ac heblaw rhoddi deddf yn gofyn ufudd-dod, y mae yn rhoddi gras hefyd yn gymhorth cyfamserol. Y mae yr ystyriaethau hyn yn gosod bri a mawredd ar weithredoedd cyffredin y cristion gwanaf, fel y mae yn gwneuthur pob cymwynas, pob ufudd-dod, pob tiriondeb, pob gofal a ffyddlondeb, yn wasanaeth i'r brenin Iesu; a'r ffordd ysgrythyrol i bregethu dyledswyddau yw dangos y berthynas sydd rhyngddynt â'r Arglwydd Iesu Grist. Mae yn canlyn nad yw yn ddigon i ni bregethu Crist yn ei Berson, ac yn ei ddyoddefiadau, er fod hyny yn anhebgorol anghenrheidiol, oblegid ei resymau ef dros ofyn ein hufudd-dod ydyw mawredd ei Berson, a mawredd ei ymostyngiad; ond y mae yn rhaid i ni hefyd ei bregethu ef mewn modd ymarferol yn Arglwydd, ac ymdrechu, hyd y gallom, i gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist.

Y mae tair o swyddau gwahanol yn perthyn i'r Arglwydd Iesu; ond nid yw y tair swydd i'w golygu fel tair o wahanol wisgoedd, ond fel un wisg yn yr hon y mae tri o liwiau wedi eu cydwâu fel nas gellir eu gwahanu, a phob un yn cyfranu prydferthwch i'r lleill. Fel hyn y mae breniniaeth Crist yn dwyn perthynas agos ac annattodol â'r swyddau eraill. Y mae yn dysgu fel prophwyd; ond y mae arbenigrwydd yn perthyn i'w ddysgeidiaeth ef nas gellir rhoddi cyfrif am dano oddieithr trwy gydnabod ei fod yn gweinyddu y swydd brophwydol fel Arglwydd. Yn wahanol i'r holl brophwydi eraill, y mae yn rhoddi y lle mwyaf a blaenaf i'r ddysgeidiaeth am dano ef ei hun. Os addefir nad oedd yn dwyllwr, a phrin y ceir neb i ddal hyny yn yr oes hon, oblegid dywedir yn gyffredin gan y rhai sydd yn gwadu ei arglwyddiaeth ei fod yn ddyn da, yna y mae yn rhaid i ni gredu ei fod yn un mwy na dyn da. Yn annibynol ar gynnwys yr hyn a ddywedir ganddo, y mae ei waith yn llefaru cymaint am dano ei hun o gwbl yn ddigon i brofi nas gallasai fod yn ddyn da oni buasai ei fod yn fwy na dyn da. Yr oedd yn hyn mor hynod fel y mae yn ymostwng i roddi eglurhâd ar yr hyn oedd yn ymddangos i lawer o'i wrandäwyr yn anghysondeb; megys yn Ioan v. 31, "Os ydwyf fi yn tystiolaethu am danaf fy hun, nid yw fy nhystiolaeth i wir." Mae y pwyslais, fel y dywed Meyer, ar y rhagenw; a gellid darllen, "Os myfi sydd yn tystiolaethu," hyny yw, os myfi yn unig. Ac yna y mae yn myned ymlaen i ddyweyd fod arall, sef y Tad, yn tystiolaethu am dano. A'r un modd drachefn yn pen. viii. yn ngwyneb gwrthddadl y Phariseaid ei fod yn llefaru am dano ei hun, "Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthynt hwy, Er fy mod i yn tystiolaethu am danaf fy hun, y mae fy nhystiolaeth i yn wir: oblegid mi a wn o ba le y daethum, ac i ba le yr ydwyf yn myned." Y ffaith ei fod wedi dyfod oddiwrth Dduw, ac yn myned at Dduw, oedd yn rhoddi hawl iddo i dystiolaethu am dano ei hun. Ond pan dröwn oddiwrth y ffaith ei fod yn tystiolaethu am dano ei hun i edrych ar yr hyn a dystiolaethir ganddo, y mae yn fwy amlwg eto, nid yn unig mai Arglwydd sydd yn dysgu, ond ei fod yn gofalu hefyd am ddysgu mai Arglwydd ydyw. Y mae yn dysgu pawb, nid i gredu am dano yn unig, ond i gredu ynddo, ac mai trwy gredu ynddo y byddai iddynt dderbyn bywyd tragywyddol. Y mae yn dysgu fod ei gnawd ef yn fwyd yn wir, a'i waed ef yn ddiod yn wir. Y mae yn dysgu fod yn rhaid i ni fwyta ei gnawd ef, ac yfed ei waed ef, fel y byddo genym fywyd tragywyddol. Y mae yn dysgu ei fod ef a'r Tad yr un, fod ganddo bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear, y byddai iddo anfon yr Ysbryd Glân, ac mai gwaith yr Ysbryd pan ddeuai fyddai ei ogoneddu ef. Dyma un digon mawr i bregethu ei hun. Yr oedd mor fawr fel nad oedd un testun yn ddigon mawr iddo, a hwnw yn destun cymhwys i bechadur, heb bregethu ei hun. Nis gallasai ddangos y Tad, na dangos gobaith i fyd colledig, ond trwy bregethu ei hun. Yr oedd yn rhaid iddo bregethu ei hun er mwyn dangos y

ffordd at y Tad, y gwirionedd am y Tad, a'r bywyd yn y Tad; oblegid efe yw y ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd. Ac yn awr y mae ein holl achos rhyngom â Duw, yn ol dysgeidiaeth Crist, wedi ei grynhoi i'r un peth hwn, A ydym yn derbyn y Mab, yn ei barchu, ac yn rhoddi ufudd-dod iddo? Felly nis gellir gwahanu swydd brophwydol Crist oddiwrth ei swydd freninol.

Y mae yr un agosrwydd perthynas rhwng y swydd freninol â'r swydd offeiriadol. Dangosir yr undeb hwn mewn llawer o fanau yn yr Hen Destament a'r Newydd, yn enwedig yn y chweched bennod o'r epistol at y Rhufeiniaid. Dengys yr Apostol fod dyn wrth natur dan arglwyddiaeth pechod, fel caethwas yn meddiant ei feistr, a bod y ddeddf, deddf y nefoedd, yn gymaint ag i ddyn werthu ei hun o'i fodd, yn ei rwymo yn ei gaethiwed. Nid oedd modd newid y ddeddf gan ei bod yn ddeddf natur Duw ei hun. Yr unig ffordd i waredu dyn oedd trwy iddo farw: "Canys y mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhâu oddiwrth bechod." Ond pe buasai dyn yn cynnyg marw yn ei berson ei hun yn unig, ni fuasai yn gorphen marw byth. Am hyny y mae yn rhaid iddo gael meichnïydd i farw drosto, ac y mae yn rhaid ei ddwyn yntau trwy ffydd i'r cyfryw undeb â'r meichnïydd fel y bydd marwolaeth y naill yn farwolaeth y llall. Yna pan fyddo farw yn ei undeb â Christ, y mae yn rhydd am byth oddiwrth arglwyddiaeth pechod. Ac yn awr y gofyniad ydyw, Pwy sydd i deyrnasu arno o hyn allan? Pa un ai ufuddhâu a ddylai i bechod i farwolaeth, ynte i ufudd-dod i gyfiawnder? Y mae yn rhaid iddo gael rhyw Arglwydd i'w lywodraethu; oblegid pe cynnygiai fyw heb un Arglwydd, byddai yn sicr o syrthio yn ol dan lywodraeth yr hen feistr. Os meddyliwn pa beth sydd gyfiawn, nid oes le i ammheuaeth; oblegid yr oedd yr hen arglwydd yn seilio ei deyrnas ar anghyfiawnder, er mai deddf gyfiawn oedd yn rhwymo y gwrthryfelwr yn ei gaethiwed fel cosb am ei anufudd-dod. Ond yn awr y mae y ddeddf hono oedd yn ei alltudio i gaethiwed yn ei rwymo i roddi ufudd-dod ewyllysgar i'r hwn a fu farw drosto, yr hwn a'i prynodd o'i gaethiwed trwy ei waed ei hun. Y mae y gwasanaeth hwn hefyd yn seiliedig ar gariad, a natur y gwasanaeth ydyw rhyddid. Perffaith gyfraith rhyddid ydyw cyfraith Crist, a hwnw y rhyddid uchaf o ran natur a all fod: rhyddid mabaidd, rhyddid cariad a sancteiddrwydd. "Ac yr awrhon wedi eich rhyddhâu oddiwrth bechod, a'ch gwneuthur yn weision i Dduw, y mae i chwi eich ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol." Y mae yr Arglwydd Iesu Grist wedi gwneuthur digon drosom i'n dwyn i roddi ein hunain i fod yn eiddo iddo o gariad ato, ac i deimlo mai ein braint a'n hyfrydwch penaf yw ei wasanaethu. Yn nesaf at Berson a gwaith y Cyfryngwr, nid oes dim yn amlycach yn ysgrifeniadau yr apostolion nag angerddoldeb y teimlad hwn: eu bod yn eiddo, nid iddynt eu hunain mwy, ond i'r hwn a fu farw drostynt. Dyma ddirgelwch eu llwyddiant: yr oeddynt wedi colli eu hunain yn yr Arglwydd Iesu Grist. Allan o liaws o dystiolaethau, cymerer y geiriau hyny yn y bedwaredd bennod ar ddeg o'r epistol at y Rhufeiniaid: "Canys pa un bynag yr ydym ai byw, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw; am hyny pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym." Wrth yr Arglwydd yn y lle hwn eto y mae i ni ddeall yr Arglwydd Crist, fel y dengys y geiriau nesaf: "Oblegid er mwyn hyn y bu farw Crist, ac yr adgyfododd, ac y bu fyw drachefn, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd." Fel hyn yr unir offeiriadaeth Crist â'i freniniaeth gan Paul; ac y mae yn amlwg nad ydym yn dilyn yr Apostol os ydym yn eu gwahanu. Y mae yr athrawiaethau am ymgnawdoliad a marwolaeth Crist i'w pregethu fel sylfeini Cristionogaeth: ond dylid hefyd eu pregethu yn ymarferol yn eu cysylltiad â'i arglwyddiaeth ef ar bawb ac ar bob peth. Os pregethir y prynedigaeth trwy waed Crist, y mae yn rhaid dangos hefyd ei fod wedi rhoddi ei hun drosom, i'n prynu oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da. Nid yw hanes yr Iesu yn diweddu gyda'i ufudd-dod hyd angeu y groes; ac nis gellir ei bregethu yn gyflawn heb gyfeirio yn fynych at ei ddyrchafiad, "fel yn enw Iesu y plygai pob

glin, o'r nefolion, a'r daearolion, a thanddaearolion bethau."

Megys y mae cyfiawnder a chariad yn cydgyfarfod yn y drefn i gadw trwy Grist, y maent hefyd yn cydgyfarfod yn nheimlad pob cristion tuag at Grist. Y mae ei gydwybod yn teimlo rhwymedigaeth cyfiawnder i wasanaethu yr hwn a'i prynodd odditan arglwyddiaeth pechod; ac y mae ei ewyllys yn teimlo rhwymedigaeth cariad i fyw i'r hwn a fu farw drosto. Fe allai y dylid rhoddi mwy o le nag a roddir yn gyffredin i'r pwnc cyntaf, sef arglwyddiaeth Crist ar y gydwybod; oblegid y mae yn dwyn cysylltiad â'n holl ddyledswyddau, yn wladol a chrefydiol, yn gyhoeddus a dirgel. Y sylfaen gadarnaf i ryddid, mewn gwlad ac eglwys, ydyw iawn grediniaeth o'r gwirionedd mai Iesu Grist ydyw unig Arglwydd cydwybod. Ond y mae yr arglwyddiaeth yma yn cyrhaedd at bob dyn, ac at bob gweithred foesol. Gwendid llawer o grefyddwyr ydyw, eu bod yn cymeryd eu harwain gan arferion y rhai sydd o'u hamgylch, neu gan eu teimladau hwy eu hunain, yn lle gan lais cydwybod. Os unwaith y diorseddir cydwybod, nid oes gan ddyn un reol sefydlog mwyach i fyned wrthi. Ond fel y mae yn rhaid i ddyn wrandaw ar ei gydwybod, y mae yn rhaid i'r gydwybod wrandaw ar ei Harglwydd, yr hwn sydd yn llefaru wrthi yn ei Air. Ond tra y mae cydwybod oleuedig yn condemnio pob drwg yn y dyn ei hun, nid y dyn mwyaf cydwybodol yw y parotaf i gondemnio eraill. Y mae cydwybod yn parchu cydwybod: ac wrth gydnabod Crist yn Arglwydd ar ei gydwybod ei hun, y mae yn ystyried ei fod hefyd yn Arglwydd ar gydwybod ei frawd; ac yn enwedig mewn materion o ychydig bwys, teimla nad oes ganddo ef hawl i farnu gwas un arall, gan mai i'w Arglwydd ei hun, sef Crist, y mae efe yn sefyll neu yn syrthio. Ond er fod crefydd y gydwybod yn dda, ac nas gall fod crefydd dda heb hyn, y mae crefydd dda ar yr un pryd yn cynnwys mwy na hyn, sef yr ewyllys wedi ei dwyn trwy rwymau cariad dan arglwyddiaeth yr Iesu. Y mae cariad Crist yn ein cymhell ni, yn gosod rhyw fath o orfodaeth arnom, a hono yn orfodaeth ewyllysgar. Y mae cariad "yn dyoddef pob dim, yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim, yn ymaros â phob dim. Cariad byth ni chwymp ymaith." Yr hyn sydd yn perthyn yn neillduol i'r cyfammod newydd ydyw yr addewid hono, "Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl." Hyn sydd yn cyfansoddi gwir ryddid yr ewyllys Yr oedd yr ewyllys yn rhydd ar y cyntaf; ac mewn achosion bydol a daearol y mae y rhyddid hwn o eiddo yr ewyllys yn aros, megys y mae goleuni naturiol yn y gydwybod yn aros. Ond yn ei pherthynas â'r ysbrydol a'r tragywyddol y mae yr ewyllys wedi myned trwy bechod yn hollol gaeth. Ac fel y dywedodd Crist am y gydwybod, "Os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch?" felly gellir dyweyd am yr ewyllys, Os bydd yr ewyllys sydd ynot yn gaeth, pa faint fydd y caethiwed? Nid yw y gormeswyr creulonaf yn gallu rhwymo yr ewyllys, yr hon a geidw ei rhyddid er gwaethaf carcharau a phoenau. Ond y mae pechod wedi caethiwo yr ewyllys; a dyma y caethiwed y daeth Mab Duw i'r byd i farw er mwyn ein gwaredu o hono; ac os efe a'n rhyddhâ, rhyddion a fyddwn yn wir. Un o brif wyrthiau gras yw darostwng yr ewyllys, a thrwy ei darostwng ei rhyddhâu, megys mai un o brif elfenau trueni y damnedigion ydyw cydwybod wedi deffro, ac ewyllys heb ei newid. Ond nis gall gwlad fod yn rhydd, er ei gwaredu o'r caethiwed yr oedd ynddo o dan lywodraeth y gormesdeyrn, heb iddi ymffurfio dan nawdd deddfau uniondeb, a'r deddfau hyny yn cael eu gweinyddu gan un y gellir ymddiried ynddo y bydd iddo deyrnasu mewn cyfiawnder. Yn yr un modd, y ffordd a gymerodd y Gwaredwr, a'r unig ffordd a allasai gymeryd, i ddiogelu rhyddid yr ewyllys, oedd ei dwyn dan ei arglwyddiaeth ef ei hun. Y mae efe yn ei dwyn yn ol i'w rhyddid cynhenid; oblegid mewn ufudd-dod y mae rhyddid bob amser; a'r gwahaniaeth yn awr ydyw, fod arglwyddiaeth Crist yn sicrhâu yr ufudd-dod. Y mae yn anghenrheidiol cofio yn barhâus mai nid rhyddhâu dynion i fod yn segur y mae Crist, ond eu rhyddhâu i fod yn weision, neu yn ol ystyr lythyrenol y geiriau a ddefnyddir yn y Testament Newydd, eu rhyddhâu i fod yn gaethweision

iddo ef ei hun. Y mae ewyllys y cristion yn mwynhâu ei rhyddid mewn gwaith, a'r gwaith hwnw yn wasanaeth i Grist. Y mae pob creadur yn rhydd pan yn ei elfen, fel yr aderyn yn pyncio ar frig y goeden, neu yn chwareu ei edyn mewn nwyfiant yn yr awyr. Pan y mae dyn duwiol yn gwasanaethu Crist, y mae yn ei elfen. Nid oes dim yn ormod ganddo wneuthur drosto os bydd o fewn ei allu, na dim yn rhy ddistadl os bydd o ryw wasanaeth i deyrnas y Cyfryngwr. Y mae o anian yn awyddus i weithredoedd da. Y mae wedi ei greu yn Nghrist Iesu i weithredodd da, y rhai a ragddarparodd Duw fel y rhodiem ni ynddynt. Y mae yma ddigon o weithredoedd da wedi eu rhagddarparu fel awyrgylch iddo fyw a rhodio ynddynt; y mae yntau wedi ei greu i ymhyfrydu ynddynt, ac nis gall fyw mewn awyrgylch wahanol.

Yn y geiriau olaf yn yr adnod y mae yr Apostol yn myned ymlaen i sylwi, nid yn unig ei fod ef a'i frodyr yn weision i Grist, ond eu bod hefyd yn weision i'r eglwys er mwyn Iesu. Dyma y prawf ymarferol sydd yn dangos ein bod yn weision i'r Arglwydd Iesu, ein bod yn barod i wasanaethu ei ganlynwyr ef, i gydymdeimlo â hwynt, i wneuthur pob cymwynas iddynt hyd y gallom; ac nid gwneuthur cymwynas fel rhai yn dangos ymostyngiad wrth sylwi arnynt, ond gan deimlo fod hyn yn rhan o'n gwaith a'n dyledswydd fel gweision Crist. Nid oes perygl i weinidog yr efengyl golli ei barch trwy fod yn gydostyngedig â'r rhai iselradd, os bydd yn amlwg i bawb nad yw yn rhagrithio gostyngeiddrwydd. Pe deallai holl bregethwyr ein gwlad y mater hwn yn dda, ni fyddai nemawr o sôn am anghydweledìad rhyngddynt â'r eglwysi, nac ychwaith rhyngddynt â'u gilydd. Ond yn awr y mae lle i ofni fod rhai o honynt dan yr un camsyniad ag yr oedd mam meibion Zebedeus dano, a'i meibion yr un modd, pan aethant at yr Iesu i ofyn am i un gael eistedd ar ei law ddehau, a'r llall ar ei law aswy yn ei freniniaeth. Yn ei ateb dechreua yr Iesu trwy ddangos fod yn rhaid iddynt gyfranogi o'i ddyoddefiadau cyn y gallent gyfranogi o'i ddyrchafiad. Yna y mae yn myned rhagddo i roddi goleuni ar natur gwir fawredd, nid yn unig er mwyn Iago a Ioan, ond er mwyn y deg eraill, y rhai oeddynt hwythau wedi colli eu lle trwy sori wrth y ddau frodyr. Yr ydych chwi yn tybied fod mawredd yn fy nheyrnas i yn gyffelyb i fawredd mewn teyrnasoedd daearol, lle y mae "penaethiaid yn tra-arglwyddiaethu, a'r rhai mawrion yn tra-awdurdodi. Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi: ond pwy bynag a fyno fod yn fawr yn eich plith chwi, bydded yn weinidog i chwi; a phwy bynag a fyno fod yn benaf yn eich plith, bydded yn was i chwi." Ystyr y gair gwas yma eto yw caethwas; a'r meddwl ydyw, mai yr hwn sydd foddlawn i fod yn iselaf yw y penaf o bawb yn nheyrnas yr Arglwydd Iesu. Yna er mwyn rhoddi grym anwrthwynebol i'r addysg, y mae yn cyfeirio ato ei hun, ac yn dyweyd mai ei fawredd ef fel Cyfryngwr oedd mawredd ymostyngiad a mawredd ufudd-dod. "Megys na ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." Y mae yn rhaid addef fod hyn i gyd yn waith anhawdd i gig a gwaed; ond bydded i ni gofio y geiriau yn niwedd yr adnod, "er mwyn Iesu." Os byddwn yn fynych yn teimlo anhawsder, eto gwnawn er mwyn Iesu. Os bydd raid i ni gymeryd lle a gwaith y caethwas, gwnawn er mwyn Iesu. Os bydd raid i ni ddyoddef dirmyg a cham, gwnawn hyny er mwyn Iesu. Ac yn awr, nid oes genyf ond gofyn wrth derfynu i fy holl ddarllenwyr, Pa faint a wnewch, a pha faint a ddyoddefwch, ER MWYN IESU?

---

## Y DYODDEF YN NEHEUDIR CYMRU.

Pregeth a draddodwyd yn nghapel Pontmorlais, Merthyr Tydfil, Chwefror 17, 1878, gan y Parch. THOMAS REES.

PREGETHWR vii. 14: "Yn amser adfyd, ystyria."

MAE y byd yr ydym yn byw ynddo yn gymysglyd a chyfnewidiol, o ran ei sefyllfäoedd allanol a'i amgylchiadau tymmorol. Nid yw yr un fath ar bawb yma, na'r un fath ar neb o hyd. Nid yn unig y mae rhywrai yn esmwyth arnynt, ac yn ddyddan a dedwydd, a haul llwyddiant yn gwenu arnynt, ac felly yn amser gwynfyd arnynt, tra y mae eraill yn hollol wrthwyneb eu byd, yn dyoddef yn ddirfawr, mewn trallod a blinder, a'u trueni yn fawr arnynt; eithr y mae y rhai sydd heddyw mewn hawdd-

fyd, nid yn unig yn agored i gyfarfod âg adfyd, eithr yn myned yn weithredol i'w afael yn ddisymwth, yn cael eu taflu i'w ganol ar unwaith yn annysgwyliadwy.

Mae yn wir nad yw holl blant dynion yn y naill neu y llall o'r cyflyrau hyn yn gyfangwbl—mewn daioni i gyd, nac mewn drygfyd hollol. Y mae rhyw rai mewn cyflwr canol, i raddau mwy neu lai, gyda golwg ar hyn; o leiaf yn rhywle rhwng y naill a'r llall: nid yn ddrwg i gyd arnynt, er yn fwy gofidus na hyfryd; neu nid yn dda i gyd arnynt, er eu bod yn nghanol llawer o'r hyn sydd wrth eu bodd. Ydyw, mae y naill ddygwyddiad yn ddymunol, a'r llall yn aethus, ar yr un pryd i'r un person yn fynych. Mae trefniadau a helyntion Rhagluniaeth Ddwyfol yn wrthgyfnewidiol. Ond nid oes neb heb wybod i ryw fesur am y naill a'r llall o'r dygwyddiadau hyn, yn enwedig adfyd.

Y mae adfyd o ryw fath neu gilydd yn dyfod i ran pawb wrth fyned trwy y byd yma. Oblegid y mae adfyd yn bod heblaw tlodi, nad all arian, er yn ateb i bob peth, gadw rhagddo. Y mae y dydd drwg o ryw fath yn sicr o oddiweddyd pawb ryw bryd. Os nad yw pawb yn cael yr un faint yn union o adfyd â'u gilydd, mwy nag oddiwrth yr un achosion yn hollol, y mae mwy neu lai o hono yn disgyn i ran pawb oddiwrth ryw bethau neu gilydd. Y mae adfyd yn etifeddiaeth gyffredinol ein hiliogaeth syrthiedig ni. Nid oes dim yr ydym yn fwy sicr o hono. Y mae wedi ei osod i ni. Oddiar hyn, nid yw i fod yn beth dyeithr genym pan syrthiom iddo, fel pe byddai beth dyeithr yn dygwydd i ni, gan fod yr un blinderau yn cael eu cyflawni yn mhawb o'n brodyr, y rhai sydd yn y byd. "Dyn a aned i flinder, fel yr eheda gwreichionen i fyny." Byr yw ei ddyddiau, eithr y maent yn llawn o helbul. Dyma dystiolaeth ein sylw a'n profiad personol, yn gystal ag eiddo Dwyfol ysbrydoliaeth. Pwy sydd yn dianc damwain a dyoddef? Pwy nad yw siomedigaethau yn eu blino a'u dyrysu? Pwy sydd yn rhydd oddiwrth ofalon a cholledion yn eu poeni? Onid oes ddefnyddiau adfyd yn ein gwynfyd—hadau trallod yn ein mwynhâd? Mae ein holl gysylltiadau yn llawn o elfenau helbul. Ar y drain y mae rhosynau yn tyfu. Y maent yn edrych yn bert, ac y mae arogl peraidd ganddynt, ond y mae pigau câs yn eu hymyl. Mae gan y mêl ei golyn. Mae ef yn felus i'r archwaeth, ond y mae gwenwyn yn ei gwmpeini. Mae ambell un yn rhy barod i dybio fod ei amgylchiad ef yn un neillduol, os nad hollol eithriadol, ac heb ei fath, mewn tywydd garw, os nad i ddywedyd, "Myfi yw y gŵr a welodd flinder, gan wïalen ei ddigofaint ef. I dywyllwch, ac nid i oleuni, yr arweiniodd ac y tywysodd efe fi." "A oes y fath ofid a'm gofid i?" Ond ffolineb yw hyn i gyd. Ei cholli yn ddirfawr yr ydym'; oblegid "nid ymaflodd ynom demtasiwn ond un ddynol,"—un gyffredin i ddyn. Mae pawb yn cael adfyd yn eu tro. Mae y dydd blin yn ymweled â phawb. Yr ydym yn derbyn yr hyn sydd dda; ac oni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg?

Nid yw duwiolion ychwaith yn un eithriad i'r rheol gyffredinol, anocheladwy hon. Yn wir y maent hwy yn fwy sicr o adfyd na dynion eraill, os nad o gael mwy o hono, gyda llaw. Trwy lawer o orthrymderau y mae myned i mewn i'r bywyd. Ond os nad yw duwioldeb yn diogelu ei deiliaid rhagddo, y mae yn eu parotoi ar ei gyfer. Y mae ganddi gynnaliaeth ddigonol iddynt. Oes, y mae ganddi gysur cryf iddynt ynddo, i'w dyddanu. A lle y byddo crefydd o'r iawn ryw, hi a ddengys ei hun oreu, i fantais, yn y dydd blin, pan y mae pob cymhorth arall, daearol, yn pallu.

Dywedir yn adnod y testun, fod Duw wedi gwneyd, neu osod gwynfyd ar gyfer adfyd, er mwyn na chai dyn ddim ar ei ol ef,—sef ar ol Duw,—dim i feïo arno,—hyny yw, ar ol ystyried ei waith ef. Yn ol rhai hen gyfieithiadau, a'r rhai hyny o gryn awdurdod, darllenir, "Fel na chai dyn ddim yn *erbyn* Duw;" fel na ddywedai neb, "Paham y bu y dyddiau o'r blaen yn well na'r dyddiau hyn?" Ac y mae Dr. Morgan yn cymeryd yr olwg hon ar y geiriau. Dyma fel y mae efe yn eu cyfieithu, "Yn y fath wedd, na ddichon dyn gael dim (yn feïus) ar ei ol ef." Hyny yw, fel nas gall dyn, wrth adolygu gwaith Duw, feiddio barnu fod dim yn feïus yn yr unrhyw, yn gymaint a bod y cyfryw gymysgedd o hawddfyd ac adfyd yn tueddu er gogoniant, doethineb, cyfiawnder, a daioni y Goruchaf, a lles dynion; o herwydd fod y fath gyfnewidiadau yn fuddiol iddynt, er mwyn eu hattal i ymddiofalhâu mewn llwyddiant ar y naill law, neu ymollwng i anobaith mewn adfyd ar y llaw arall. Neu, y mae Duw yn peri i ddyddiau drwg fod bob yn ail â'r rhai da, i'r dyben na chai dyn allan ddim sydd i ddyfod ar ei ol ef; hyny yw, mewn trefn na allai dreiddio i unrhyw beth sydd yn gorwedd tu hwnt i'w sefyllfa bresennol. *Ar ei ol ef*, fel yn yr adnodau canlynol yn y llyfr hwn:—"Canys pwy a'i dwg ef i weled y peth fydd?" "Canys pwy a ddengys i ddyn beth a ddygwydd ar ei ol ef, dan yr haul?" Gwneir ef fel hyn yn drwyadl fychan, ac i fod yn gwbl ddarostyngedig i Dduw. Fel nas gall un dyn wybod, tra mewn un math o amgylchiad,

pa fath amgylchiad a ddaw ar ol hwnw—yn analluog i ddarganfod dim tu hwnt i'w sefyllfa bresennol, dyosgir ef o falchder, a gyrir ef i edrych yn ostyngedig i fyny at Dduw, ac edrych ar ei waith ef, a dysgu ymfoddloni yn wastadol i'w ewyllys ef. A rhwystrir ef fel hyn i osod ei galon ar ffynnonellau cyfnewidiol o hapusrwydd.

Amser Adfyd. Amser (*Saes.* dydd) adfyd yw cystudd personol, poen corfforol, afiechyd yn y teulu, angeu yn cymeryd ymaith berthynasau agos ac anwyl, yn gyru câr a chyfaill ymhell oddiwrthym, a'n cydnabod i dywyllwch; pan y mae pläau neu heintiau ar led; a phan fyddo newyn yn cael ei deimlo; dynion yn methu cael digon o anghenrheidiau bywyd, heb son am fwynhâu ei foethau; adeg o gyfyngder a chaledi, o herwydd fod cnŵd y maes wedi methu, neu fethu ei gasglu; neu masnach yn isel—dim gwaith i'w gael. Y mae hwn yn ddrwg blin a welir dan haul yn rhy fynych. Y mae yn "amser adfyd" yn yr ystyr hon gyda ni yn y lle hwn, a thrwy y gymydogaeth, a thrwy Morganwg a Mynwy, yn enwedig gyda'r dosbarthiadau gweithfäol. Nid yw pawb, o drugaredd, yn dyoddef. Na, ychydig iawn mewn cymhariaeth y sydd. Ac y mae yn gwestiwn pa faint sydd yn dyoddef oblegid iselder masnach, a bod y ddau waith haiarn mawr gerllaw yn sefyll, a hyny yn effeithio o anghenrheidrwydd ar y gweithfeydd glo, yn eu gwneyd gymaint yn waeth. Y mae gwahanol farnau yn cael eu llettŷa o berthynas i hyn. Mewn lle o faint ac o fath hwn, y mae tlodi mawr a thrueni helaeth bob amser, hyd yn nôd yr amser mwyaf llwyddiannus, o herwydd diogi, didoreithwch, arferion isel, ac yn enwedig anghymedroldeb nifer mor llïosog o'r trigolion. Eithr y mae yn ychwanegol at hyn fwy neu lai o ddyoddef o herwydd prinder gwaith, er fod gormodiaeth ofnadwy wedi ei arferyd gan ohebwyr neillduol newyddiaduron Llundain, a rhywrai eraill nês atom, o raddau y dyoddef. Pa mor bell yr oedd hyn yn anghenrheidiol i dynu sylw at y caledi, deffro cydymdeimlad, ennyn tosturi, a sicrhâu cymhorth effeithiol, ni chaf ymholi na chynnyg penderfynu, gan nad yw yn dyfod o fewn cylch yr amcan mewn golwg ar hyn o bryd. Gresyn os oedd yn rhaid myned dros ben y gwirionedd i fod yn *sensational*, mewn trefn i gael cynnorthwy.

Fe allai nad yw yn adfyd ar neb o honom ni yn bresennol yma heno; nad oes neb o honom yn dyoddef eisieu bwyd, os yw ddim yn brinach ar neb o honom. Y mae yn ffaith nodedig, teilwng o sylw, mai ychydig iawn o aelodau ein heglwysi, ac o'n gwrandäwyr cyson, sydd yn dyoddef. Proffeswyr crefydd, a'r rhai sydd fwyaf dan ei dylanwad y tu allan i furiau yr eglwys, sydd oreu *off* o lawer; a'r crefyddwyr goreu sydd yn teimlo leiaf oddiwrth y cyfyngder. Er hyn oll y mae cryn adfyd yn ffynu o'n cwmpas. Y mae wrth ein drysau, os nad wedi dyfod i mewn i'n tai. Y mae rhywrai yn dyoddef yn ein hymyl; ac os yw iaith yr aelod seneddol dros y fwrdeisdref i'w chymeryd fel yn wir mewn un ystyr, eu bod yn dyoddef o herwydd achosion nad ydynt hwy i'w beïo, fe allai fod ochr arall llawn mor wirioneddol. Y mae perthynas agos iawn a phwysig rhwng hyn oll â ni, fel na raid i mi wneyd ymddiheurad am gymeryd hyn i fyny heno; os dim, gwneyd hyny a ddylwn am ei adael cyhyd. Y mae yn rhan o waith gweinidog yr efengyl i wneyd defnydd o ragluniaethau neillduol fel hyn, a hyfforddi pa fodd i edrych arnynt, teimlo tuag atynt, ac ymddwyn yn eu gwyneb; i gynnorthwyo yr orchwyliaeth i wneyd ei gwaith a chyrhaedd ei hamcan. Y mae amser adfyd yn un pwysig dros ben, yn gystal ag yn un difrifddwys i'w ryfeddu, yn un i edrych ato, i'w ddeall oreu gellid, a cheisio gwneyd iawn ddefnydd o hono ymhob ystyr, a myned trwyddo yn deilwng.

Mae ein testun yn ein cyfarwyddo pa beth i wneyd, sef "*ystyried.*" Nid ydym i feddwl oddiwrth hyn fod y gorchwyl hwn i'w gyfyngu yn gyfangwbl i ddydd adfyd, ac nad oes i fod a wnelo âg amser gwynfyd,—mai bod yn llawen yn unig sydd i'w wneyd y pryd hwnw. Na, ni a gyfeiliornem yn echrydus i dybio dim o'r fath beth. Y mae galwad uchel i ystyried yn nydd gwynfyd, neu fel y rhoddir ar ymyl y ddalen, yn nydd *daioni*, ac y mae y darlleniad hwn yn cyfateb i'n hiaith arferol ni wrth son am hyn—"*yr amser da.*" Byddai yn dda pe gwnelid mwy o hyn mewn amser da. Nid allai lai na gwneyd lles mawr. Fe allai yr osgöai yr adfyd, neu o leiaf na fyddai mor drwm; dodai ni ar well tir i'w gyfarfod. Ond gorchwyl priodol amser adfyd yw *ystyried.* Y mae i adfyd ei achosion penodol, yn gystal a'i ddybenion neillduol; ond os nad yw mor hawdd bob amser i gael allan a chyttuno ar y naill, nis gellir camsynied gyda golwg ar y llall. Mae yn wir fod gan ddeall pa beth sydd yn ei dynu, rywbeth, os nad llawer iawn i'w wneyd â phenderfynu i ba beth y daw; eithr gellir bod yn lled sicr am yr olaf pan na byddo y blaenaf mor glir a diddadl. Gan hyny, y mae eisieu i ni ddeall hyn yn dda, a'i osod at ein calon yn ddyladwy, ac o hyn y daw i ni ddaioni. A'r Arglwydd a roddo i ni ddeall da gyda golwg ar yr adfyd sydd ar led yn ein mysg yn bresennol.

Ystyria. Y mae gan adfyd genadwri

bendant atom pan ddanfonir ef i gystuddio person unigol, teulu, neu gymydogaeth; a rhoddir ar ddeall yn ddigonol yn yr adnodau blaenorol mai doethineb yw ystyried—y gwna doethineb hyn. Y mae adfyd yn dyfod atom i'n haddysgu, ac y mae yn rhwymedig arnom i ddal ar yr hyn sydd ganddo i'w gyfranu, a chasglu oddiwrtho y gwersi y mae wedi ei amcanu yn arbenig a'i addasu yn neillduol i'w trosglwyddo. Oddiar hyn, arddodir arnom yn bendant, "*Yn amser adfyd, ystyria.*" Y mae gadael iddo fyned heibio heb hyn yn ei rwystro i gyrhaedd ei amcan, ac yn ei ddifuddio o'i wir wasanaeth a'i werth, ac yn gwneyd ei barhâd yn ofynol—yn ei estyn allan yn hŵy nag a fuasai raid. Na, ni ddylem ddirmygu cerydd yr Arglwydd ar berygl. Y mae yn rhy ddifrifol i hyny; hi a gostia i ni am wneyd hyny. Ni thâl bod yn ddisylw, fel pe na bae dim wedi dygwydd, rhag na âd ni heb hyny, a'i orfodi i barhâu ei bresennoldeb anghymeradwy yn hŵy nag a fyddai raid i'n poeni.

Diau y dylem ystyried yr adfyd ei hunan yn dda. Ar ryw olwg y mae son am hyn, a chynghori ato, a'i ddirgymhell, yn beth dyeithr a dianghenrhaid. A all adfyd ein goddiweddyd heb ein dwyn i ystyried, meddwl am dano, ac aros uwch ei ben? Onid yw yn ein gwneyd i ystyried trwy orfod caled? Y mae yn abl gwneyd hyny. Ond y mae gormod o brofion, ysywaeth, nad ydys yn rhy barod i wneyd hyn, ein bod yn rhy gyffredinol yn ei esgeuluso. Rhyfedd fel yr ydys yn llwyddo i fod yn ddiystyr yn nghanol adfyd! Dyma fel y mae fynychaf gyda ni. Mor anhawdd ein cael i ystyried ein hadfyd yn feddylgar, difrifol, a duwiolfrydig! Mor annhueddol, mor groes ydym i hyn! Ond nid iawn yw bod yn anystyriol, ac nid ennillwn felly yn y pen draw. "Ni welant, Arglwydd, pan ddyrchafer dy law, eithr cânt weled." Ni chaiff y lles sydd mewn golwg ei gyfranu i ni heb hyn. Trwy ystyried y cawn fendith ar yr adfyd. Bwriedir yr adfyd er daioni, ac y mae yn gymhwys i'w wneyd. Ond ni wna les i ni yn yr ystyr uchaf, er ei fod yn foddion pwrpasol i hyn, trwy ryw swyn, heb fod genym ni yr un llaw yn hyny; fel peiriant yn cael ei ysgogi gan allu celfyddydol, neu fel y mae'r corff yn myned ymlaen yn treulio yr ymborth, gan ei guro a'i gludo trwy y cyfansoddiad i'w gynnal. Nid yw hyn yn ymddibynu dim ar ein hewyllys a'n cydweithrediad ni, ac fe allai ei fod yn myned ymlaen yn well pan yn nghwsg nag yn effro. Ond nid yw felly gyda'r hyn sydd genym mewn llaw, mwy na chyda dim moesol neu ysbrydol. Rhesymol wasanaeth yw crefydd o'r dechre i'r diwedd. Mae Ysbryd yr Arglwydd yn ein defnyddio ni ein hunain i gael lles ysbrydol; trwom ni ein hunain yn meddwl y troir gorchwyliaethau Rhagluniaeth yn fendith i ni, fel y gwellhäer ni.

Mae "ystyria," yma, mae'n eithaf amlwg, yn golygu cydnabod llaw Duw yn yr adfyd, ac ymostwng iddo. Nid yw adfyd yn ymweled â neb heb i'r Arglwydd ei anfon; y mae ganddo ef law ynddo—y mae perthynas agosach rhyngddo âg ef na'i fod yn gwybod yn dda am dano—Efe sydd yn ei drefnu. Dyma athrawiaeth y Dadguddiad Dwyfol trwyddo. "Oni ddaw o enau y Goruchaf ddrwg a da? A fydd niwed yn y ddinas heb i'r Arglwydd ei wneuthur?" "Pwy a ddywed y bydd dim, heb i'r Arglwydd ei orchymyn?" "Onid Efe sydd yn rhoddi goleuni, ac yn creu tywyllwch? yn gwneuthur llwyddiant, ac yn creu drygfyd?" "Gwrandewch y wialen, a phwy a'i hordeiniodd." Nid oes y fath beth yn bod a damwain neu hap, mwy nag anghenrheidrwydd dall, haiarnaidd tynghedfen. Os oes rhywbeth i fod, y mae i fod am fod Duw yn ei drefnu. Mae yr Ysgrythyrau yn ein dysgu yn eglur a helaeth, fod drwg naturiol, tymmorol, fel y gelwir ef, yn dyfod oddiwrth y Penllywydd mawr. Fe ddichon y daw trwy ail achosion, fel y dynodir hwynt. Mae yn fwyaf tebyg, os nad yn hollol sicr, mai felly y bydd. Dyna fel y mae hi yn gyffredin. O herwydd hyn yr ydym mewn perygl i golli ein golwg ar yr Achos Mawr Cyntaf, ac ymrwystro, yn enwedig yn y treialon sydd yn dyfod oddiwrth ein cydddynion, mewn unrhyw ffordd. Newidiad disymwth yr hin—awel oer a ddaeth â'r afiechyd—clefyd o ryw fath a ddaeth âg angeu—dynion anhywaith, cenfigenus, yn cynghreirio â'u gilydd i ddyweyd anwiredd, a daflodd gwmwl ar y cymeriad—twyll a drygioni rhywrai a ddaeth â methdaliad, nes myned i dlodi. Ië, mae hyny yn bod, eithr y mae mwy ynddo. Y mae eisieu canfod a chydnabod llaw Duw yn yr orchwyliaeth, ac ymostwng iddo. Nid arosodd Job gyda'r ail achosion, a chweryla â hwy, er fod ganddo ddigon o le i hyny. Nis achwynodd, neu bigo bai ar y Sabeaid, &c. Gwelodd trwyddynt oll. "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith, &c." Pan fytheiriai Simei regfeydd yn erbyn Dafydd, cynnygiodd Abisai fyned drosodd a thori ei ben ef. Ond rhwystrodd Dafydd ef. "Gad iddo," meddai, "yr Arglwydd a archodd iddo." Ceidw hyn ni rhag colli ein lle, ffromi, a digio yn ddialgar mewn adfyd oddiwrth enllib, difenwad, gorthrymder, a cham oddiwrth ein cyd-ddynion. Os yw yr ail achosion yn llawn cenfigen, casineb, malais, a balchder, mae yr Achos Mawr

sydd tu hwnt i'r cwbl yn ras a thrugaredd i gyd.

Mae anghen arbenig am wneyd hyn yn ein hadfyd presennol. Y mae perygl neillduol i feïo dynion—dynion i daflu y bai ar eu gilydd; y naill ddosbarth, y gweithwyr, i daflu yr holl fai ar y meistri, a'r meistri hwythau i'w daflu yn ol ar y gweithwyr. Mae achosion naturiol i'r adfyd presennol, a gellir olrhain rhai o honynt. Y mae rhai a ddylent wybod yn dywedyd, mai y rhyfeloedd diweddar—un cartrefol America, a'r un rhwng Ffrainc a Prwssia, sydd wedi llyncu i fyny gymaint o arian, fel nad ellir myned ymlaen gydag anturiaethau masnachol; a diau fod gan y rhyfel presennol law fawr i barhâu iselder masnach; ac eto dyma rywrai yn wallgof am i'n gwlad ni fyned i ryfel heb y rhaid na'r achos lleiaf, a chynnyddu yr adfyd. Darfu i'r prisiau uchel anghyffredinol am haiarn a glo beri i wledydd eraill gychwyn gweithfeydd. Dyma fel y bu yn America, Rwssia, a Belgium, lle y ceir gwaith, yn enwedig yn y ddwy wlad Ewropëaidd, gymaint yn rhatach. Rwssia sydd wedi bod trwy y blynyddau y farchnad oreu i'n masnach haiarn; eithr temtiodd yr amser llwyddiannus hi i ddadblygu ei hadnoddau ei hun yn fwy nag o'r blaen, fel nad oes cymaint o anghen am i ni allforio ein nwydd yno. Ac y mae America yn barnu yn oreu dodi *tariff*—treth drom ar ein haiarn, a phob nwyddau haiarn, i dalu dyled y rhyfel, a chefnogi dadblygiad ei hadnoddau ei hun. Y mae gan y tro mawr sydd wedi cymeryd lle yn y fasnach yn ddiweddar, sef newid yr haiarn am ddur yn y cledrffyrdd, rywbeth i wneyd â'r caledi ydym ynddo. Heblaw hyn, bu gan yr UNDEBAU lawer i wneyd er dwyn y cymydogaethau hyn i'r sefyllfa isel y maent ynddi. Yr oedd llawer o felldith ynglŷn â hwy, yn taflu ammheuaeth gref a allent fod yn iawn; y gweithwyr yn rhwystro rhai i waith eu *employers* trwy drais cywilyddus. Nis gallant, dybygid, fod yn gyson â masnach rydd, yr hon sydd wedi gwneyd cymaint i ni yn y wlad hon. Ac yr oedd y *strike* diweddaf yn *blunder* ofnadwy, yn dangos naill ai anwybodaeth dygn, diesgus, o egwyddorion mawrion sylfaenol trefnidedd gwladol—deddf *demand and supply*, neu yr hyn oedd waeth fyth. Camarweiniwyd rhyw rai mor bell gyda golwg ar hollalluogrwydd yr Undeb, fel ag i fod yn ddigon ffol a rhyfygus i ddywedyd, "Ni a ofalwn nad aiff hi yn amser drwg eto—na welir y prisoedd bach mwy, &c." Do, druain, chwi a wnaethoch gyda dialedd. "Yr ydych yn lled ffraeth," medd rhywun, "yn dynoethi yr Undeb. Ni fuasech yn beiddio gwneyd y fath beth dro yn ol, heb i chwi ddyfod iddi yn rhyw ffordd." Eithaf gwir, ac y mae hyny yn un rheswm ychwanegol dros gamwedd a chamwri y fath sefydliad, na oddefai, am na ddaliai y gwirionedd.

Ond y mae yn hen bryd dychwelyd o'r llwybr hwn yr aethpwyd iddo, i ddangos fod profedigaeth a pherygl i ymrwystro gyda dynion, heb ystyried llaw Duw yn hyn oll, ac ymddarostwng dan ei alluog law. Efe sydd wedi ei wneuthur. Ië, ond y mae yn gam, yn ol fel yr ydym ni yn siarad. Ydyw, ond "pwy all unioni yr hyn a gamodd Efe?" "Nid o'i fodd y blina Efe nac y cystuddia blant dynion." Nid *o'i galon*, yw ar ymyl y ddalen. Mae gan y wenynen fêl a cholyn. Y mae yn rhoddi mêl o honi ei hun, ond nid yn pigo heb iddi gael ei *phrovocio;* felly gorfod gwneyd peth yn gam y mae Duw. Mae yn wir ei fod yn Ben Arglwydd, a chanddo hawl a gallu i wneyd fel y myno â llu y nef, ac â thrigolion y ddaear; a gwae a ymrysono â'i Luniwr. "*Ti* a wnaethost hyn." Uchelwr Persiaidd, pan ddaliwyd ef, a dynodd ei gleddyf i amddiffyn ei hun; ond pan gyhuddwyd ef yn enw y brenin, pan hysbyswyd ef fod y swyddwyr yn dyfod oddiwrtho ar ei orchymyn ef, ymostyngodd yn barod. Cawn weddïo, ond dim grwgnach. Cawn agor ein genau wrth Dduw mewn gweddi. Mae hyn yn rhagorfraint adfyd. "A oes neb mewn adfyd? gweddïed." "Galw arnaf fi yn nydd trallod." Yn wir, un o negesau adfyd yw ein gweithio at Dduw. Cawn ni lefaru wrth Dduw ynddo, yn gystal a'i fod yntau yn llefaru wrthym ni trwyddo. Ceir cwyno, ond dim grwgnach; rhuo, ond dim rhegu; ocheneidio, ond dim ymddigio. Cawn ddefnyddio moddion cyfreithlawn i gael ymwared o'n hadfyd. Nid ydym i fod mewn cariad âg ef er dim, nac i foddloni ynddo. Gallwn ddigio Duw trwy beidio defnyddio moddion pwrpasol i gael ymwared, fel trwy beidio ei gydnabod ef a dysgwyl wrtho. Ac ni a gawn achwyn yn erbyn awdwyr dynol ein hadfyd, pan fyddwn yn sicr am danynt. "Alexander y gôf copr a wnaeth i mi ddrygau lawer," medd yr apostol Paul; "taled yr Arglwydd iddo yn ol ei weithredoedd." Os yw Pharaoh yn ei gwneyd yn adfyd ar Israel, gallant gwyno wrth Dduw; ac O na ddysgid ninnau i wneyd hyn! Cwynodd Dafydd ar Doeg.

Heblaw hyn, mae dybenion Duw yn ein hadfyd yn galw am ymostyngiad. Y mae y rhai hyn yn ddaionus i gyd; a byddai yn dda pe byddem yn fwy awyddus am i'w ddybenion ef gael eu hateb, nag i ni gael gwared o'r adfyd. Iaith adfyd yw, "Dychwelwch wrth fy ngherydd."

Y mae rhywrai yn ddyledus i adfyd am dröedigaeth. "Yn mhair cystudd y'th ddewisais," meddai yr Arglwydd wrth Israel gynt. A dyma sydd yn gwneyd yr adfyd presennol yn fwy na dwbl brudd, nad yw dynion yn gweled Duw, nac yn dychwelyd at yr Hwn a'u tarawodd. Er cynddrwg oedd y genedl gyfammodol gynt, pan oedd adfyd arnynt ceisient yr Arglwydd yn fore. "Mewn adfyd, Arglwydd, yr ymwelsant â thi; tywalltasant weddi pan oedd dy gosbedigaeth arnynt." "Gwaeddasant ar yr Arglwydd yn eu cyfyngder, ac efe a'u hachubodd o'u gorthrymderau." Ond pa le y mae arwydd gyda ni fod neb yn gwneyd hyn? Y rhai sydd yn dyoddef fwyaf sydd bellaf yn ol—yn fwyaf caled. Pan sonid, ychydig yn ol, yn yr amser da, am gael diwygiad crefyddol, yr ateb oedd nad oedd y fath beth i'w ddysgwyl mewn llwyddiant—nad oedd yn arferol ei gael —mai mewn amser drwg yn gyffredin y ceid adfywiad ar grefydd. A dyma amser digon drwg, y rhai gwaethaf a welwyd erioed yn y gweithfeydd hyn; ond nid oes neb yn gosod hyn at eu calon—yn ceisio ac yn chwilio eu ffyrdd, ac yn dychwelyd at yr Arglwydd, yn dyrchafu eu calon a'u dwylaw at Dduw yn y nefoedd. "Deuwch a dychwelwn at yr Arglwydd, canys efe a'n drylliodd, ac efe a'n hiachâ ni; efe a darawodd, ac efe a'n meddyginiaetha ni." "Rhoddais i chwi brinder ymborth, os nad eisieu bwyd, o herwydd nad oes gwaith i'w gael, eto ni ddychwelasoch ataf fi, medd yr Arglwydd." Galarnad yw hyn. Gellid dysgwyl y byddai i'r amser gwasgedig ein gyru at Dduw i gyfaddef ein pechodau aml ac ysgeler, a cheisio a dadleu ei drugaredd ef yn Nghrist Iesu am ymwared, gan fod genym y fath sicrwydd fod trugaredd gyda'r Arglwydd, a bod ei drugaredd ef yn fawr, ac aml ymwared gydag ef. "Er iddo gystuddio, eto efe a dosturia yn ol amlder ei drugareddau."

Onid un o ddybenion, os nad prif ddyben, yr adfyd presennol yw dysgu i ni ein hymddibyniad hollol a gwastadol ar Dduw, a'i lywodraeth ef arnom ni a'n hamgylchiadau tymmorol? Mor ychydig a allwn ni ei wneuthur! Mor ddistadl a diddym ydym! Nid all neb ddyfod â thro ar bethau. Nis gallodd dynion barhâu yr amser da, chwaithach dyfod âg ef yn ol wedi ei golli. Mor lawn o hunanddigonedd, ymchwydd, ac annibyniaeth oedd dynion amser y llwyddiant diweddar; nid yn unig yn annibynol a thrahâus ar eu meistri, ond ar Dduw. Anghofiasant Dduw yn ei lywodraeth a'i ddaioni. Gymaint oedd yn dyfod allan mewn gwahanol ffyrdd, mewn iaith ac ymddygiad, yn arwyddo hyn yn anghamsyniol! Yr oedd yn hen bryd ein dwyn i weled mai dynion ydym, ac mor ddigymhorth ydym erbyn hyn!

Y mae adfyd hefyd yn ein profi. Gellir dywedyd am dano fel y dywedodd Moses gynt wrth genedl plant yr Israel gyda golwg ar holl ddygwyddiadau amrywiol taith yr anialwch, ac yn enwedig yn eu holl adfyd yno. "A chofia yr holl ffordd yr arweiniodd dy Dduw di ynddi y deugain mlynedd hyn, trwy yr anialwch, er mwyn dy gystuddio di, gan dy brofi, i wybod yr hyn oedd yn dy galon, a gedwit ti ei orchymynion ef ai nis cedwit." Mae yn wir fod llwyddiant yn gwneyd hyn hefyd. Golwg ddifrifol iawn ar ein bywyd ar y ddaear yw ei fod yn sefyllfa prawf. O herwydd hyn y gelwir ein hadfyd yn brofedigaethau. Nis gallwn ddal gwynfyd o hyd. Amlwg yw nas gallasom ddal yr amser da anghyffredin diweddar. Rhaid dyweyd ein bod i'r olwg allanol yn dal yr adfyd presennol yn well. O leiaf nid oes derfysg na thrais, ond dyoddefir yn ddystaw. Yr arwydd drymaf yw yr hyn y cyfeiriwyd ato eisoes, na chydnabyddir llaw Duw yn yr adfyd, ac nad ymostyngir yn edifeiriol ger ei fron ef, a cheisio ei drugaredd yn Nghrist. Ni ddychwelir at yr Arglwydd.

Mor bell ag y mae a wnelo yr adfyd â phrofi cydymdeimlad cristionogol y deyrnas, y mae wedi ei arddangos yn anrhydeddus a theilwng dros ben. Nid oes ball arno mewn nac ymborth na dillad. Mae yr arian yn llifo yn helaeth o Loegr a Chymru. Mae miloedd wedi eu cyfranu. Y mae fod uwchlaw pedair mil o blant yn Merthyr Tydfil a'r amgylchoedd, heb fyned dros y mynydd i Aberdâr, yn cael un pryd da o fwyd y dydd—digon i'w cynnal yn fyw heb ddyoddef, o leiaf—yn y *Soup Kitchens*, yn dyweyd yn dda am wirionedd a dyfnder teimlad cristionogol ein gwlad. Yn wir, ofnir fod drwg yn cael ei wneyd trwy gefnogi yr annheilwng, gan y brofedigaeth i'w helpu, o herwydd fod cymaint o fôdd yn cael ei gynnysgaethu gan dosturi ein cydwladwyr. Mae y tosturi i fyny â'r amgylchiad a'r alwad ymhob ffordd. Os yw yr adfyd yn bradychu diffyg mewn rhyw bethau pwysig, y mae yn adlewyrchu *credit* mawr ar garedigrwydd hael a helaeth cyfeillion cristionogol trwy y deyrnas gyfunol. Pe byddai yr adfyd yn effeithio ar galonau y dyoddefwyr tuag at Dduw, gystal ag y mae wedi gwneuthur ar galonau dyngarol tuag atynt hwy, byddem yn foddlawn; oblegid y mae profion digonol ei fod wedi effeithio i'r byw ar gymwynaswyr lliosog. Pwy a ŵyr na ddywed yn y man ar y derbynwyr? Gobeithio y gwna. Gadewch i ni weddïo am hyny. Mae y cydymdeimlad yn cael ei werthfawrogi. Ac y mae eng-

reifftiau nodedig o hono, teilwng o gofnodiad; yn enwedig y plant yn Bristol, wrth glywed am y dyoddef yn Neheudir Cymru, yn cynnyg i'w rhieni fod heb eu gwledd Nadolig arferol i'w gynnorthwyo; daeth felly y pymtheg punt wariesid ar y *party* yn gyfan i drysorfa y *Relief*. Can' diolch iddynt. Bendith ar eu penau!

Ymhellach, oni ddylai yr adfyd presennol ein dysgu? Onid un o ddybenion y Goruchaf ynddo yw ein dysgu am ddrwg pechod, cweryla mwy âg ef, a'i adael, gan mai dyna yw yr achos cynnyrchiol o hono? Yn sicr nis gallwn gamgymeryd wrth edrych arno yn y goleu hwn; y mae yn ddrych i'w weled yn frawychus. Y mae gwersi eraill pwysig a phwrpasol iawn yn cael eu dysgu gan ein hadfyd, megys yr anghenrheidrwydd am arferion gwell, cynnildeb, rhagddarbodaeth, ac addysg, i wneyd y goreu o lwyddiant, a deall egwyddorion cyntaf amlwg trefnidedd gwladol, fel y maent yn rheoli masnach, yn lle gwrando ar gynhyrfwyr diegwyddor yn eu tynu i fewn i ddwyn ymlaen eu hunan-les hwy. Mae yr addysg dda y mae Arglwydd Aberdâr wedi roddi i'r gweithwyr gyda golwg ar hyn yn haeddu sylw ystyriol.

Un gair yn ychwaneg cyn terfynu. Oni ddylai adfyd gwaeth, sydd yn fwy fyth ar led, adfyd ysbrydol, beri i ni deimlo mwy ac ymdrechu mwy i waredu o hono? Onid oes cerydd dystaw i ni yn yr holl gyffro a gwaeddi, cyfranu, a thrafferthu, y sydd i ymgeleddu a chynnal y dyoddefwyr allan o waith, tra y mae dyoddef arall annhraethol waeth yn myned ymlaen o'n cwmpas, ymhlith y dosbarthiadau iselaf yn enwedig, ond ei fod o'n golwg? Ni ddylai fod o'n golwg ychwaith. "Efe a'th ddarostyngodd ac a oddefodd it' newynu, ac a'th fwydodd â manna, fel y gwnai efe i ti wybod mai nid trwy fara yn unig y bydd fyw dyn, ond trwy bob gair a'r sydd yn dyfod allan o enau Duw y bydd fyw dyn." Y fath deimlad angerddol a ddeffröwyd yn gyffredinol, ac a ymledodd fel tân gwyllt, a gyrhaeddodd i fyny i'r Senedd, ac a gyffyrddodd â chalon ei Mawrhydi, pan gauwyd i fewn y glowyr, druain, yn Mhwll Tŷnewydd, tra y mae cynifer mewn cyflwr annhraethol waeth yn ysbrydol heb greu nemawr dosturi na galw allan nemawr ymdrech i'w gwaredu! Pe trengasai y rhai hyny i gyd fel y gwnaeth rhai, a phe byddai y dyoddef oddiwrth achos arall yn bresennol yn myned i'r eithaf, elid trwyddo, goroesid ef—ni theimlid y loesion yn hir. Ond y mae dyoddef i ddilyn pechod nad yw hyn i'w gymharu âg ef. Oni ymdrechwn i roddi Bara y bywyd i'r lliaws sydd yn marw o anghen o'n cwmpas? Ymdrechwn eu cael at y Ceidwad.

## NEILLDUOLION YR EFENGYL.

*Gan y Parch.* J. PUGH, B.A., *Treffynnon.*

RHAN II.

YR ydys eisoes wedi gwneyd dau sylw mewn perthynas i'r gwirioneddau a gydnabyddir fel neillduolion yr efengyl, sef, *Eu bod mewn modd diymwad yn cael eu hamlygu yn y Dadguddiad y mae Duw wedi ei roddi i ddynion.* Ac hefyd, *Fod tystiolaeth Duw am danynt yn rheswm priodol dros y derbyniad crediniol o honynt.*

Yr ydym bellach yn myned ymlaen i wneyd sylw arall, sef, *Fod gwrthnaws neu wrthwynebiad yn nghalonau dynion, i'r gwirioneddau hyn tra y byddont heb eu hadnewyddu.*

Nid ydyw cael prawfion o hyn yma, mewn un modd, yn beth anhawdd. Mae hyn yn amlwg yn yr annhueddrwydd sydd yn y lliaws i droi eu sylw atynt fel ag i geisio deall a chofio yr hyn a ddysgir mewn perthynas iddynt. Mae yn wir pan fyddo goleuni nefol yn tywynu ar y gwirioneddau, a dylanwadau Dwyfol yn cyffwrdd â chalonau dynion, fod y pethau hyn y pryd hwnw yn ennill sylw y lliaws, ac eu bod yn dyfod yn faterion eu hymchwiliad a'u hystyriaeth. Ond, gyda golwg ar ansawdd cyffredin calonau dynion, mae yr anhawsder i gynnyrchu dyddordeb yn y gwirioneddau yn gyffelyb i'r hyn a deimlid pe ceisid gwneyd i'r dwfr redeg ar y gorifyny. Pa mor fynych y gwelir dynion yn amlygu eu bod yn fywiog eu deall gyda golwg ar bethau cyffredin, ac yn gofus a medrus i adrodd y pethau y maent wedi eu gweled a'u clywed; eto pan wneir ymgais am iddynt arfer yr un galluoedd gyda golwg ar bethau yr efengyl, y maent fel pe baent yn colli eu hanadl; mae eu craffder fel pe byddai yn diflanu, ac y mae y tafod fel pe wedi colli ystwythder ei symudiadau! Os edrychir, drachefn, ar y dosbarth sydd ychydig yn fwy coeth na'r cyffredin, gwelir yr un nodwedd yn dyfod i'r golwg mewn dull ychydig yn wahanol. Er i'r pethau hyn ddyfod ar achlysuron yn faterion sylw ac ymddyddan, eto mae y dull o ymdrin â hwynt yn profi nad yw eu gwerth a'u pwysigrwydd yn y golwg, ac nad ydyw y personau yn eu helfen briodol tra yn ymwneyd â'r pethau hyn, ond yn hytrach eu bod fel y pysgod adeiniog, y rhai er eu bod yn esgyn i fyny o'r dwfr, ac yn ehedeg am ychydig eiliadau trwy yr awyr, eto sydd yn fuan yn disgyn i'w nofle naturiol eu hunain.

Amlygir yn fynych fwy o ddyddordeb wrth ymdrin â gwirioneddau crefydd natur, ac â gwersi moesol athroniaeth, nag a

wneir pan gyflwynir unrhyw fath o addysg mewn perthynas i wirioneddau dadguddiedig. Afreidiol yw crybwyll fod yn perthyn i'r dosbarth hwn rai ysgrifenwyr sydd wedi hynodi eu hunain trwy eu hathrylith, eu talent, a'u hyawdledd, ond sydd wedi dangos mewn amrywiol ffyrdd fod pethau hanfodol yr efengyl yn bethau anghydnaws â'u teimladau. Mae hyn yn cael ei amlygu, weithiau, trwy hollol ddystawrwydd mewn perthynas iddynt; weithiau, mewn golygiadau sydd yn brawf nad ydynt erioed wedi cael eu hastudio, ac weithiau mewn awgrymiadau sydd yn tueddu i daflu dirmyg ar y pethau eu hunain, ac ar y rhai sydd yn eu credu a'u dysgu. Er fod yr ysgrifenwyr hyn trwy eu traethodau dysgedig, eu drychfeddyliau coeth, a'u brawddegau tlysion, fel cloch berseiniol yn rhoddi llawer o hyfrydwch i'r rhai sydd o'i chwmpas, eto pan ddelont at athrawiaethau mawrion yr efengyl y maent fel yr un gloch wedi eu mwgydu, yr hon sydd yn rhoddi sain marwaidd a phruddaidd, gan adael a'graff anffafriol ar feddyliau y rhai sydd yn clywed. Pe buasai hyd yn nôd Macaulay wedi ei nawseiddio yn fwy gan ysbryd yr efengyl, a phe buasai yn fwy cydnabyddus, mewn modd ysbrydol, â'i gwirioneddau gogoneddus, tebygol na buasai, trwy ymadroddion gwawdus, yn gosod ei ewinedd mor ddyfnion yn nghroen y Puritaniaid, er y gwendidau oedd yn perthyn i rai o honynt.

Y mae hefyd yn ddigon hysbys fod nifer lled fawr o athrawon mewn pulpudau, yn enwedig yn Lloegr, sydd yn cadw yn ol neu yn gŵyrdroi rhai o'r athrawiaethau neillduol cynnwysedig yn nghenadwri yr efengyl. Yn lle eu traddodi gyda yr eglurder a'r hyfdra a amlygir mewn perthynas iddynt yn ngair yr Arglwydd, dygir i mewn dybiau, a rhesymau, a dychymygion, pa rai sydd yn rhoddi math o ddifyrwch i ryw ddosbarth o ddynion, a pha rai, er hyny, sydd yn tueddu yn uniongyrchol i galedu eu calonau. Mae yr addysg hon yn effeithio ar ddynion, mewn ystyr foesol, yn gyffelyb fel y mae niwl tew yn effeithio ar welediad dynion mewn ystyr naturiol. Mae hwn yn cadw o'r golwg yn hollol lawer o'r bodau prydferth sydd yn yr wybren; ac y mae yn peri fod hyd yn nôd yr haul yn ymddangos mewn gwedd dra gwahanol i'r hyn ydyw mewn gwirionedd. Mae fod addysg o'r fath yma yn cael ei rhoddi gan ddynion o alluoedd cryfion, o wybodaeth ëang, ac o dalentau dysglaer, yn ei gwneyd yn dra deniadol i lawer. Ond pan y mae dysg ac athrylith yn myned yn groes i wirioneddau dadguddiedig, y maent y pryd hwnw, yn lle bod yn fanteision, yn myned yn brofedigaethau. Ac y mae y cyfeiriad a gymerir, yn brawf o'r hyn sydd genym dan sylw, sef gwrthwynebiad calon dyn heb ei ysbrydoli i bethau mawrion Duw, hyd yn nôd pan fyddo y cyfryw un wedi ei gyfleu yn yr amgylchiadau mwyaf ffafriol.

I'r gwrthnaws sydd dan sylw yr ydys hefyd i briodoli y duedd barhâus i ŵyro oddiwrth brif athrawiaethau yr efengyl, fel y mae yn dyfod i'r golwg yn hanes yr eglwys, o'r oesoedd boreuaf hyd yn bresennol. Hanes y cyfeiliornadau ydyw hanes ymgais o eiddo dynion i ymwrthod â rhai gwirioneddau yn y modd y mae Duw wedi eu dadguddio, ac i'w cyfaddasu i syniadau a theimladau dynion. Trwy hyn yr ydys yn ymddwyn at gyfundrefn yr efengyl yn gyffelyb fel y mae dynion weithiau yn ymddwyn at blanigyn prydferth a fyddo yn eu meddiant. Yn lle ei adael i dyfu yn ei ffurf naturiol ei hun, yr hyn yw y prydferthaf a mwyaf defnyddiol, yr ydys yn tori rhai o'i gangenau, ac yn ymaflyd mewn rhai eraill gan eu plygu a'u dirdynu i ryw ffurf neillduol yn ol dychymyg y perchenog am brydferthwch. Ond mynych y gwelir fod y llaw a fu yn ei gamdrin yn gwywo a marw, a'r planigyn yn ei goroesi, ac yn cael llonydd i dyfu yn y ffurf sydd briodol i'w natur ei hunan. "Pob cnawd fel glaswelltyn yw, a holl ogoniant dyn fel blodeuyn y glaswelltyn. Gwywodd y glaswelltyn a'i flodeuyn a syrthiodd. Eithr gair yr Arglwydd sydd yn aros yn dragywydd."

Achos mawr yr anghymeradwyaeth hwn i wirioneddau yr efengyl ydyw hollol lygriad calon dyn trwy bechod. A chan nad ydyw dysgeidiaeth uchel, gwybodaeth ëang, a'r diwylliant mwyaf coeth, yn effeithiol i newid ansawdd y galon, nid rhyfedd ydyw gweled y nodwedd hwn yn dyfod i'r golwg yn ymddygiadau y rhai sydd wedi cael y manteision hyn i'r graddau helaethaf. Er mor ardderchog ydyw yr athrawiaethau hyn ynddynt eu hunain, er y gras diderfyn a ddangosir ynddynt tuag at ddynion, er eu harucheledd digyffelyb, gan eu bod yn cynnwys y pethau mwyaf mawreddog ag a all ennill sylw dyn, er yr amlygiad dysglaer a roddant o berffeithiau y Goruchaf, eto nid yw y rhagoriaethau hyn yn gyfryw ag y mae meddwl heb ei adnewyddu yn eu gweled a'u gwerthfawrogi. "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw." Ymddygwyd yn yr un modd at Iesu Grist ei hunan. Ynddo ef yr oedd berffeithrwydd difrycheulyd—purdeb a chariad yn egwyddorion mawrion ei galon—gwirionedd, daioni, tosturi, a chymwynasgarwch yn hynodi ei gymeriad—ac yr oedd yn amlwg yn ei eiriau grasol, a'i

weithredoedd rhyfedd ei fod yn ddelw y Duw anweledig ymhlith dynion. Eto dyma yr un a gafodd ei ddiystyru, ei wrthod, a'i gasâu. Nid rhyfedd gan hyny oedd iddo ddywedyd, "Hwy a'm casasant yn ddiachos." Dywedir am y dynion a elwir Albinoes eu bod yn casâu y goleuni, am eu bod yn cael eu gwneyd yn druenus trwy belydrau siriol yr haul. Prawf ydyw hyn o'r annhrefn naturiol sydd yn perthyn i'w cyfansoddiad hwy. Felly hefyd, prawf o'r annhrefn y mae pechod wedi ei wneyd ar natur dynion mewn ystyr ysbrydol ydyw, eu tuedd i ddiystyru a gwrthod y pethau mwyaf gogoneddus o eiddo Duw ei hunan.

Mae yr annhrefn hwn yn cynnwys tywyllwch yn neall dynion; ac o herwydd hyn nid yw rhagoriaethau pethau yr efengyl yn cael eu canfod. Am y dyn anianol dywedir, "Nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Darllenais am ddyn yn rhodio ar y ffordd fawr, ar hyd yr hon yr oedd rhai wedi bod yn ffoi ar ol un o'r hen ryfeloedd Rhufeinig; a chafodd afael ar gôd yn llawn o berlau gwerthfawr. Tynwyd ei sylw at y gôd, yr hon, mae'n debyg, oedd yn hardd a chywrain; ond ni wyddai ddim am natur y pethau yr oedd yn gynnwys; ac am hyny lluchiodd ymaith y perlau, a chadwodd y gôd. Felly am ddyn heb ei adnewyddu: gall ei sylw gael ei ennill at ryw bethau allanol perthynol i Gristionogaeth; ond gan nad ydyw yn gydnabyddus â natur ei gwirioneddau mawrion a gogoneddus, y mae yn eu hesgeuluso a'u diystyru.

Un achlysur o'r gwrthwynebiad dan sylw ydyw, fod athrawiaethau yr efengyl yn gosod allan, i'r graddau helaethaf, fawr ddrwg pechod. Dangosant fod pechod yn ddrwg mor fawr yn ngolwg Duw, fel nad oes dim llai nag aberth anfeidrol o ran ei werth a all fod yn iawn drosto. Dysgant fod yn perthyn iddo y fath ysgelerder, fel mae y gosbedigaeth sydd ynglŷn âg ef yn dragywyddol. "Na," meddai calon anianol, "gwendid a ffaeledd yw pechod, ac am hyny nid oes anghen o gwbl am aberth ac iawn. Ac nid yw ymadroddion y Bibl am y gosbedigaeth ofnadwy i'w cymeryd yn yr ystyr cyffredin, ond i'w hegluro a'u hesbonio yn ol awgrymiadau ein rheswm naturiol." Gweddus yw i ni gydnabod mai "dyfnder mawr yw ei farnedigaethau Ef;" eto yr ydym i gofio mai "nid fel yr edrych dyn yr edrych Duw." Gwelir ambell un yn newid yn hollol ei olygiadau am rywbeth pwysig wedi cael gwybod un peth ag oedd yn guddiedig oddiwrtho o'r blaen. Ond beth pe byddai yn bosibl i ni gael ein codi i safle ymha un y gallem weled pechod yn drwyadl o ran ei natur, ac yn ei holl gysylltiadau yn ei lywodraeth fawr Ef, mor wahanol a fyddai ein syniadau mewn perthynas iddo! Ond y mae Efe yn bresennol â llygad ei hollwybodaeth yn canfod cysondeb perffaith yr oll ag sydd yn ymddangos i ni yn dywyll a dyrys. A chan ei fod ef wedi gweled yn dda ein dysgu pa fath beth ofnadwy ydyw pechod o ran ei natur a'i ganlyniadau, ein doethineb ydyw derbyn ei dystiolaeth, gan grynu yn dduwiol, a chydnabod "mai cyfiawn a chywir yw ei farnau Ef."

Mae y gwirioneddau hyn hefyd yn tueddu i beri i ddyn deimlo ei fychander, ei anallu, a'i druenusrwydd; ac y mae hyn yn achlysur arall o wrthwynebrwydd iddynt. Mae yn wir eu bod yn gosod urddas ryfeddol ar ddyn, gan y dysgant y bu sylw mor hynod ar ei achos, a chan yr amlygant drefn mor ogoneddus er ei achub, a chan eu bod yn dwyn i mewn obaith am ragorfreintiau sydd yn anmhrisiadwy. Ond y mae hyn yn cael ei wneyd mewn modd ag sydd yn gosod allan iselder ei sefyllfa, ei ddirfawr bechadurusrwydd, a'i drueni anaele. Ac y mae hyn yn annerbyniol gan chwaeth naturiol dyn, gan ei fod, hyd yn nôd yn ei sefyllfa ddirywiedig, yn uchel ei ysbryd, yn dra ymhongar, ac o duedd annibynol. Ac yn enwedig y maent yn annerbyniol gan y rhai sydd, o ran eu hysbryd, yn chwyddedig a bostfawr fel effaith eangiad cylch eu gwybodaeth gyffredinol. Yn yr amgylchiadau hyn mae y teimlad at athrawiaethau yr efengyl yn gyffelyb i'r hyn a ddangoswyd gan y brenin hwnw at y prophwyd Micheah: "Cas yw genyf fi ef," meddai, "canys ni phrophwyda efe i mi ddaioni."

Mae tuedd mewn dynion i ddibrisio y gwirioneddau hyn, hefyd, am eu bod yn gosod allan ddistadledd pethau amser mewn cyferbyniad i bethau mawrion tragywyddoldeb. Pan y mae dynion â'u serchiadau yn gwbl ar bethau y ddaear, pan y maent yn ymroddi iddynt, fel yr unig bethau teilwng o'u gofal a'u hymdrechion, y mae yn cynnyrchu teimladau oeraidd ynddynt pan ddysgir iddynt nad yw y pethau hyn yn ddim gwell na gwagedd, o ran dim cymhwysder a feddant i ddiwallu eu hanghenion fel creaduriaid a fydd yn fuan yn ddeiliaid byd ysbrydol a thragywyddol. Adwaenwn ddyn er ys blynyddoedd yn ol, yr hwn oedd wedi troi holl rym ei feddwl at ryw gynllun oedd ganddo mewn golwg er sicrhâu llwyddiant iddo ei hun. Am hwn y siaradai wrth bawb o'i gyfeillion, ac yn hwn y teimlai ei holl ddyddordeb. Pwy bynag a gymeradwyai ei gynllun, efe a'u hystyriai yn rhai doeth a chyfrifol. Ond pwy

bynag a fyddai yn ddigon gonest i ddyweyd wrtho y gwirionedd, sef fod ei gynllun yn ofer, ac yn sicr o droi allan yn siomedig, tramgwyddai yn fawr wrth y cyfryw, ac ni fynai er dim dderbyn eu tystiolaeth. Mae yr efengyl yn gwneyd rhywbeth cyffelyb i ddynion sydd â'u serch ar y bywyd yma; ac y mae hyn yn achlysur o ragfarn ynddynt yn ei herbyn, gan beri eu bod yn diystyru ei chenadwri.

Mae y gwrthnaws hwn, weithiau, yn cael ei gynnyrchu gan achlysuron ac amgylchiadau allanol. Mae lliaws o'r rhai sydd yn credu ac yn proffesu yr efengyl yn dra amddifad o wybodaeth gyffredinol; mae rhywbeth eithriadol yn eu dull neu eu moesau fel dynion, ac y maent yn cymysgu y gwirionedd â llawer o rywbeth ffugiol a dychymygol; ac y mae hyn yn cynnyrchu gwrthdarawiad yn meddyliau llawer o rai coeth o ran eu teimladau. Mae John Foster yn ei draethawd galluog yn trin ac yn olrhain y gwendidau hyn yn fanwl a helaeth. Ond y mae fod rhai yn dibrisio yr efengyl o herwydd achlysuron o'r fath hyn, yn beth mor afresymol â phe meddyliai un am beidio anadlu yr awyr am fod weithiau lawer o fwg a tharth yn gymysgedig âg ef.

Mae yn amlwg, oddiwrth y sylwadau hyn, fod anghenrheidrwydd anhebgorol am ddylanwadau yr Ysbryd Glân er goleuo ein meddyliau am bethau mawrion yr efengyl, ac agor ein calonau i roddi iddynt dderbyniad croesawgar. Er ys yspaid yn ol, yr oeddwn yn dygwydd bod mewn tref fawr ac yn myned ar hyd un heol neillduol bob dydd. Ac wrth fyned, yr oeddwn yn myned heibio i ryw sefydliad tra helaeth; eto gan nad oedd dim nodedig yn ei ymddangosiad allanol, yr oeddwn yn ei basio mewn modd hollol ddisylw. Ond ryw ddiwrnod darfu i gyfaill caredig roddi gwahoddiad serchog i mi i ddyfod gydag ef i weled y pethau oedd tu fewn. Ac er fy mawr syndod, gwelais fod yno bethau o'r fath fwyaf cywrain a gwerthfawr ag a allasai calon ddychymygu. Meddyliais ynof fy hun ei fod yn beth tra hynod fy mod bob dydd yn myned heibio i bethau mor nodedig mewn modd mor ddifater. Sefydliad cyffelyb ydyw yr efengyl; ond y mae y werin yn myned heibio iddi heb ystyried beth y mae yn gynnwys. Er hyny mae Ysbryd Duw yn ymwneyd â dynion yn gyffelyb fel y gwnaeth y cyfaill hwnw â mi; y mae yn eu cymeryd tu fewn, ac yn dangos iddynt y trysorau. Y mae "yn cymeryd o eiddo Crist, ac yn ei fynegu iddynt." Yna y maent yn synu at eu hanwybodaeth a'u hanystyriaeth blaenorol.

Bydd genym ychydig sylwadau ychwanegol i'w gwneyd mewn rhifyn dyfodol.

## HEDDWCH EGLWYSIG.

*Gan y Parch.* John Foulkes, *Rhuthyn.*

Rhufeiniaid xv. 19: "Felly, gan hyny, dilynwn y pethau a berthynant i heddwch, a'r pethau a berthynt i adeiladaeth ein gilydd."

Fel yr oedd yn eglwys Iesu Grist yn Rhufain rai Iuddewon a Chenedloedd, ac nad oedd yr Iuddewon eto yn deall rhyddid yr efengyl, ac o herwydd hyny yn glynu i fesur wrth y gosodiadau seremonïol ynghylch bwydydd ac amserau, tra yr oedd rhai o'r Cenedloedd yn hollol ddisylw o'r pethau hyny, cododd dadl, dybygid, yn eu mysg o barth i hynyma, a hono mor frwd nes yr oeddynt wedi cyfeiliorni yn fawr o ran ysbryd a theimlad, os nad mor bell a gwneyd deall ac arfer y rhyddid yn faen prawf aelodaeth eglwysig. Penderfynu y ddadl hono, dybygem, y mae Paul yn y bennod hon, gan eu cynghori i oddef a chyd-ddwyn â'u gilydd mewn cariad. "Yr hwn sydd wan yn y ffydd, derbyniwch atoch, nid i ymrafaelion rhesymau." Peidiwch a dwyn cwestiwn y bwyd i'w holi arno. "Yr hwn sydd yn bwyta, na ddirmyged yr hwn nid yw yn bwyta; a'r hwn nad yw yn bwyta, na farned ar yr hwn sydd yn bwyta." Na farned mai dyn heb ras ydyw, "canys Duw a'i derbyniodd ef." Yr un modd hefyd ynghylch ystyried dyddiau: nid oeddynt i farnu a chondemnio eu gilydd. Dengys Paul yma nad yw cyfreithlondeb peth ynddo ei hun i'w gymeryd yn rheol i farnu cyflwr a chrefydd neb, o herwydd ei ymddygiadau yn y peth hwnw, a phan y gwnelo dyn, hyd yn nôd mewn anwybodaeth, rywbeth dibwys ynddo ei hun, yn fater cydwybod i Dduw, ei fod i dosturio wrtho, ac i gyd-ddwyn âg ef. A dengys hefyd mai cariad fel egwyddor fawr a ddylai lywodraethu teimladau ac ymddygiadau cristionogion at eu gilydd. Mae efe yn sicrhâu nad oedd y bwyd oedd yn destun dadl rhyngddynt yn aflan o hono ei hun, ond ei fod yn aflan i'r hwn a dybiai ei fod; ac nad yw i ddyn hunanymwadu drwy ymattal oddiwrth beth cyfreithlawn ynddo ei hun, er mwyn ei frawd gwan, ond hunanymwadiad diddym wrth ei gymharu â hunanymwadiad Crist; canys bu Efe *farw* drosto. Gallasai y cryf ddyweyd fod ganddo ffydd. Wel, "bydded hono gyda thi dy hun ger bron Duw;" ond cariad sydd i fod yn rheol dy ymddygiad tuag at dy frawd gwan, er dwyn dyn i benderfynu na roddai dramgwydd neu rwystr i'w frawd. "Cyfiawnder, tangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân," yw pethau mawr crefydd; nid yw bwyd a diod ond dibwys iawn; a'n hymgais mawr a ddylai fod am "ddilyn

y pethau a berthynant i heddwch, ac adeiladaeth ein gilydd."

Gwnawn sylw yn

I. AR NATUR YR HEDDWCH A GYMHELLIR.

Heddwch yw tangnefedd, cydgordiad, teimlad esmwyth a charedig, yr hwn a ddeallir yn

1. *Yn ansawdd ysbryd a barn wedi eu cyd-dymheru â gras yr efengyl.* Cynnwysa hyn fod yr un egwyddor, syniad, ac amcan, yn cydrwymo eu teimladau, yr hyn a nodir gan yr apostol mewn lle arall "yn gyfan-gysylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn;" megys dau haiarn yn yr un poethder yn ymasio yn rhwydd, ac nid bod fel haiarn âg un darn yn oer a'r llall yn boeth, neu fel olew a dwfr, nad ymgymysgant o gwbl â'u gilydd. Teimlad yw hwn wedi ei ddwyn yn awyddus i amcanion mawrion crefydd, yn debyg i ddau filwr yn yr un filwriaeth, neu ddau deithiwr i'r un fan; rhyw gymysgu teimladau rhyngddynt, a'r naill yn cryfhâu y llall.

2. *Mewn cymdeithasu yn rhydd, heb ragfarn na phleidgarwch:* bod yn gyttûn —byw ynghyd—yr un egwyddorion a theimladau yn gweithio eu ffordd. Nid felly yr oedd yn eglwys Corinth, canys cwynai yr Apostol fod cynhenau ac ymbleidiau yn eu plith. Y mae efe hefyd yn cynghori y Philippiaid i rodio wrth yr un rheol, a synied yr un peth.

3. *Trwy gydgordiad mewn llafur a gweithgarwch.* Dyma yw cymeryd yr Arglwydd a'i ogoniant yn ganolbwynt, a ninnau fel y ser gyda yr haul; neu yn debyg i nodwydd y cwmpawd, yn cyfeirio yn wastad at y pegwn gogleddol, neu megys dau ŷch dan yr un iau; neu fel byddin yn ymuno i ymlid y gelyn, neu lïaws yn ymroddgar i adeiladu teml—pawb yn amcanu at lesâu y lluaweroedd.

Y mae gofal mawr i fod am heddwch a thangnefedd. Y mae i'w ddilyn, a'i ddilyn yn ofalus a diwyd. "Dilynwch heddwch â phawb." "Byddwch heddychlawn â phob dyn." "Byddwch dangnefeddus yn eich plith eich hunain." Un o nodau ardderchog y ddoethineb sydd oddiuchod yw ei bod "yn heddychlawn." Ymddengys pwysigrwydd hyn pan gofiwn, yn un peth, fod y saint tra yn y byd hwn yn anmherffaith mewn gras; llawer yn ddychweledigion diweddar, heb gael amser i dyfu a chryfhâu llawer; llïaws o rai bach yn Nghrist, ac heb neb wedi dyfod i fyny â'r safon, mewn gwybodaeth, profiad, na sancteiddrwydd. Heblaw hyny y mae graddau yn yr eglwys o ran oedran, dysg, sefyllfaoedd, dygiad i fyny, talentau, a swyddau. Y mae gan bawb ei hunan i ryw fesur: llygad, clust, teimlad, a syniadau, ac *interest;* a chan bawb, ond odid, feddwl lled gryf am ei farn ei hun, a mesur mwy neu lai o deimlad eiddigus dros ei olygiadau a'i farn. Gall hefyd lawer amgylchiad ddygwydd, nad ellir eu rhagweled na'u gochel, y bydd anghen am wyliadwriaeth, pwyll, a doethineb, ynglŷn â hwy, er sicrhâu tangnefedd a heddwch. Dylem gofio a deall mai gwaith i fod wrthoyn ddyfal a gofalus ydyw dilyn heddwch.

Ac am yr heddwch hwn yr ydym i gofio,

(1.) *Mai heddwch yn cydweddu â sancteiddrwydd ydyw.* "Dilynwch heddwch â phawb, a sancteiddrwydd." Nid oes dedwyddwch heb sancteiddrwydd, yn y byd hwn na'r hwn a ddaw. Anghydfod, cynhenau, terfysg, a blinder, sydd yn ffrwyth llywodraeth pechod; ac nid oes dim a berygla heddwch a thangnefedd cristionogion yn fwy. Sancteiddrwydd yw gogoniant moesol y Duwdod, ardderchogrwydd yr angylion, coron yr efengyl, a'r addurn uchaf a esyd Duw ar ddyn. Rhaid i'r heddwch fod â'i wraidd yn nhir sancteiddrwydd; os amgen, ni bydd yr heddwch yn ddim mwy na math o gynghrair â phechod. Mae gwrthdarawiad gwreiddiol mewn dyn a natur lygredig i bethau pur yr ystâd anweledig, a gogwydd parhâus yn ei serchiadau at lygredigaeth, fel nad all ymhyfrydu ynddynt. Ac y mae adfeiliad ar sancteiddrwydd y galon yn ystâd y bydd y tynerwch priodol o blaid sancteiddrwydd yn gwanhâu. Beth wna y dall â thegwch, y byddar â phereriaeth, y claf â danteithion, neu y disynwyr â gemau? Felly dyn ansanctaidd gyda phethau yr efengyl. Heddwch â sancteiddrwydd yw hwn i fod; ac ni cheir heddwch yn hir heb hyny.

(2.) *Heddwch ar dir gwirionedd ydyw,* sef gwirionedd athrawiaeth. Yr oedd Paul yn eiddigeddus yn achos y gwirionedd. "Nid allwn i ddim yn erbyn y gwirionedd." "Cydlawenhâu â'r gwirionedd" y mae cariad; a rhoddai bwys mawr ar iawndroedio at wirionedd yr efengyl (Galat. ii. 14). Mae yn wir fod y dadguddiad o ddyfnion bethau Duw i ryw fesur yn aneglur; ac y mae yr efengyl yn fwy o gyhoeddiad nag o eglurhâd, er fod digon i bechadur am fywyd wedi ei ddadguddio, ac yn eglur hollol. Gall fod amrywiaeth barn ynghylch pethau aneglur, a phethau na welodd Crist yn angenrheidiol roddi rheolau pendant yn eu cylch, a'r rhai hyny heb fod o'r pwys mwyaf, y rhai y gadewir yr eglwys i arferu ei barn o berthynas iddynt. Y mae er hyny "heresiau dinystriol;" ac ni ddylid ceisio heddwch drwy oddef y rhai hyny; ac yn wir nid hir y ceid ef felly, o herwydd tori allan yn derfysgoedd a blinderau a wna cyfeiliornadau ryw bryd.

(3.) *Heddwch yn cydweddu â threfn ydyw,*

**ac nid yn groes neu wrthwyneb iddi. Mae amrywiaeth a graddau yn bod yn yr eglwys mewn gwybodaeth, a gras, a thalentau, a swyddau. Y mae felly mewn natur, a phrydferthwch yw hyny. Anmhrydferth iawn a fuasai corff dynol gyda phob aelod yr un faint. Felly y mae mewn teulu hefyd, ac felly y mae mewn eglwys, ac felly y mae i fod. Y mae henuriaid i fod yn yr eglwys, a'u gwaith ydyw porthi a llywodraethu; ond y mae y llywodraeth i fod trwy gydsyniad, ac nid trwy drais. Gweddaidd a phriodol ydyw ymgynghori â barn a theimlad yr eglwys wrth ddwyn ei hachosion ymlaen. Mae yn wir fod awdurdod ynglŷn â llywodraeth; ond nid yw hono un amser i fyned yn ormes yn y radd leiaf, eithr naws cariad ac addfwynder i'w adnabod drwyddi oll. Golygwyr yw swyddogion teyrnas Iesu Grist i fod, ac nid arglwyddi yn cymeryd eu tybiau a'u mympwyon eu hunain yn rheol, heb ofalu yn y mesur lleiaf am farn a theimlad yr eglwys; ond y maent i ddwyn y cyfan ymlaen er adeiladaeth a chysur yr holl eglwys. Y mae awdurdod y llywodraeth ar y naill law i'w hamddiffyn, ac y mae rhyddid yr aelodau, ar y llaw arall, i'w amddiffyn. Mewn trefn i hyny, dylai y swyddogion gydnabod mai yn nghorff yr eglwys y mae eisteddfa yr awdurdod; a dylai yr aelodau gofio fod y gweinyddiad o'r awdurdod mewn llywodraethu wedi ei ymddiried i'r swyddogion, a'u bod yn gyfrifol i Ben yr eglwys am hyny. Rhaid cydnabod fod awdurdod ynglŷn â swydd, ac mai yr amcan mawr yn y cyfan ydyw cynnydd teyrnas yr Arglwydd Iesu.**

*(I'w barhau.)*

# Hanesynau ac Adroddiadau.

## Y PENDEFIG, EI FAB, A'R IACHAWDWR.

MEWN palas gwych yn Capernaum, ar lân môr Tiberias, y preswyliai pendefig urddasol, yr hwn oedd un o wŷr llŷs Herod Antipas, tetrarch Galilea. Galileaid oedd y pendefig, o lwyth Naphtali, gŵr talgryf a heinyf; ond yr oedd llygaid gleision a gwallt goleu-ddysglaer ei wraig brydweddol yn mynegu ei bod hi yn un o ferched Groeg. Yr oeddynt yn rhieni i fab a merch; bachgen ieuanc serchog, a herlodes ieuengach nag ef, yr hon oedd hithau yr un mor garuaidd.

Y pryd hwn yr oedd blinder mawr wedi cyfarfod â'r teulu pendefigaidd. Yr oedd y bachgen hoffus, unig fab ac etifedd y pendefig, wedi bod er ys wythnosau yn gorwedd mewn clefyd angerddol; ac er fod y rhai a gyfrifid fel y goreuon o'r meddygon wedi eu galw i weini arno, ni chafodd efe ddim llesâd, ond myned waethwaeth bob dydd yr ydoedd; ac yn awr yr oedd yn rhy amlwg i bawb oedd o'i amgylch fod y bachgen yn marw. Ei fam mewn cystudd ysbryd wrth ei weled ar drengu, ac yn llesg gan ludded yn ei hir wylio, a ymdaflodd mewn hanner llewyg i freichiau ei phriod, gan ddolefain, "O fy anwylyd, pa beth a wnawn? dyma ein haul yn machludo ar hanner dydd!"

"Fy anwylyd, fy ngholomen," atebai yntau yn wylofus, "gwell yw i chwi yn awr fyned o'r ystafell, canys y mae angel marwolaeth wedi dyfod i mewn."

Ar hyn y mae eu geneth fach yn rhedeg i'r ystafell, ac yn dywedyd, "O fy mam, Milcah a ddywed y gallasai yr Iesu, pe buasai efe yn dyfod yma, wella fy mrawd." A'r Milcah hono oedd un o'r llawforwynion. Galwyd yn ebrwydd ar Milcah, a gofynwyd iddi, "Pwy yw yr Iesu yr ydych yn sôn am dano?"

"Prophwyd mawr ydyw," atebai hithau. "Tua'r pryd hwn y llynedd, yr oedd efe mewn priodas yn Cana, lle y mae Malah fy chwaer yn byw; ac yn y wledd yno, pan ballodd y gwin, efe a orchymynodd iddynt lenwi y dyfrlestri meini o ddwfr, cynifer â chwech o honynt, a'u dwyn at lywodraethwr y wledd; a chafwyd y dwfr hwnw wedi myned yn win o'r fath oreu. Ac yn y pasc diweddaf yn Jerusalem, i ba le yr aethai fy ewythr Jarib, ynghydag amryw eraill o bobl Galilea, cafwyd yr Iesu yno yn gwneuthur llawer o wyrthiau, ac, ymysg pethau eraill, yn iachâu llawer o glefydau a heintiau; ac yr oedd fy ewythr yn myned heibio yma heddyw, ac yn dywedyd fod yr Iesu, ar ol bod yn Samaria, ar ei ffordd o wlad Judea, newydd ddyfod i Cana, ac yn cael yno dderbyniad croesawgar."

"Yn wir," ebe'r pendefig gyda theimlad grymus, "yr wyf yn cofio yn awr i minnau glywed am dano amser yn ol; ond dywedid wrthyf fi mai'r tlodion a'r bobl gyffredin, ac nid neb o'r penaethiaid, oedd yn ei ddilyn; a phan yr oedd yma bawb yn iach a chysurus, nid oedd ei eisieu arnaf. Ond y mae yr hyn a ddywed Milcah yn ennyn gobaith ynof eto am fy hoff fachgen." A chan alw ar ei weision, efe a waeddodd, "Parotowch y cerbyd yn ddioed;" ac ymhen ychydig fynydau, wele'r pendefig yn ei gerbyd, a sŵn yr olwynion, a charnau'r meirch, yn dadseinio drwy'r heolydd, ganol nos, a'r cerbydwr yn cyfeirio ei ffordd i fyny tua Chana, gan fod y pendefig yn penderfynu, od oedd

bosibl, ddwyn yr Iesu yn ol gydag ef, i weled ei fachgen, ac i'w iachâu.

Wedi i'r tad droi ymaith fel hyn i ymofyn am yr Iesu, gwanhâu yn gyflym yr oedd ei fab. Erbyn i'r wawr dori, yr oedd llygaid y dyoddefydd ieuanc yn suddo, a modrwy ddulas yn eu cylchynu, ac yntau mewn dirgryniad, heb adwaen na gallu sylwi ar neb oedd o'i ddeutu. "O," meddai'r fam yn ei hing meddwl, "na buasai fy mhriod yn gallu myned yn gynt at yr Iesu hwn! eithr y mae bellach yn rhy ddiweddar."

Yr oedd yr archsynagogydd yn sefyll wrth y gwely; canys yr oedd canwriad caredig, er ei fod yn Rhufeinwr, wedi adeiladu synagog i'r Iuddewon yn Capernaum; ac yn bresennol wele benaeth y synagog hono, gan ddeall fod mab y pendefig mewn cyflwr yr oedd ei gnawd a'i galon yn pallu, wedi dyfod, yn ol defod yr Iuddewon, i weini y gymwynas grefyddol olaf iddo. Efe a weddïai ar yr Arglwydd Dduw, Duw Abraham, Isaac, a Jacob, am iddo beri fod y mab ieuanc, oedd yno ar ymadael â'r ddaear, yn deilwng o adgyfodiad y rhai cyfiawn, a rhwymo ei enaid yn rhwymyn y bywyd, a rhoi iddo fwynhâu helaethrwydd daioni gyda'r saint yn Mharadwys.

Pan yn agos i ganol dydd, dysgwylid bob mynyd am ymadawiad yr enaid. Wrth weled y dirgryniadau poenus oedd fel yn ei rwygo yn ddiarbed, dywedai y rhai oedd yno yn gwylio, "Byddai yn drugaredd iddo gael weithiau roddi i fyny yr ysbryd." Yr oedd y fam a'i merch fechan wedi cael eu harwain i ystafell gyfagos. Mae y palas wedi myned can ddystawed â'r bedd, oddigerth fod ocheneidiau oergrïol y fam ar yspeidiau yn tori'r dystawrwydd. Y rhai sydd oddiallan i ystafell y claf a arosant mewn dysgwyliad pryderus am glywed y gwylwyr yn llefain â lleisiau uchel, "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, yr Arglwydd a deyrnasodd, a'r Arglwydd a deyrnasa byth ac yn dragywydd. Clyw, O Israel, yr Arglwydd ein Duw ni sydd un Arglwydd!" o herwydd rhaid ydoedd ac ydyw i wylwyr Iuddew fyddo yn marw ofalu am ddyweyd yr ymadrodd UN ARGLWYDD ar y foment y byddo'r claf yn rhoddi yr anadliad olaf. Ond y geiriau pwysig ni chlywir ddim; a rhyfeddir fod y bachgen, oedd wedi myned mor wan, yn gallu dal allan mor hir cyn huno yn yr angeu. Y mae mynydau yn myned heibio fel oriau, a'r pryder yn mynwesau pawb wedi myned ymron yn annyoddefol.

Ond, pa beth yw hyn? yn lle'r galarnad athrist o ystafell angeu, beth a glywir ond llais y claf anwyl yn seinio yn rymus, "Mam, 'mam, O fy hoffaf fam!" Y fam mewn teimlad annesgrifiadwy a neidiai i fyny, a chan lefain, "Fy machgen! O fy machgen!" a ruthra trwy ddrws yr ystafell, a'i mab gyda hyny a lama o'i wely i'w chyfarfod, gyda gruddiau, gwefusau, a llygaid yn dysgleirio a gwenu gan iechyd, ac a ymdeifl ar ei mynwes. Hithau, gan ei gofleidio a'i gusanu, sydd fel yn breuddwydio, yn wylo ac yn chwerthin ar unwaith, gan ddywedyd, "O ba le y daeth hyn i ni? wele yn awr y gwn nad oes Dduw trwy yr holl ddaear ond yn Israel."

Yn nghanol ei llawenydd am yr iachâd rhyfeddol, archodd y bendefiges i ddau o'r gweision fyned ar feirch buain i gyfarfod ei phriod. "Fe allai," ebe hi, "fod yr Iesu wedi myned o Cana cyn iddo ef gyrhaedd yno, ac felly nas cyfarfu âg ef; neu os ydyw wedi llwyddo i gaffael ganddo ddyfod i waered gydag ef yma, mae yn iawn iddo wybod nad oes mwyach eisieu ei wasanaeth, gan fod Duw'r nefoedd yn rhyfedd wedi anfon angel bywyd i ymlid ymaith angel marwolaeth; ac nis gall fy anwylaf briod dderbyn yn rhy fuan yr hysbysiad am iachâd ei hoffus fachgen."

Ymaith â'r gweision ar eu hanifeiliaid buain; ac yn nghanol y gwastadedd draw, dyma gerbyd eu harglwydd i'w weled yn dyfod yn gyflym o'r cyfeiriad cyferbyniol. Am latheni lawer cyn dyfod at y cerbyd, y ddau was a dröent eu breichiau o amgylch eu penau, gan waeddi "Hosanna, Haleluia!" Y cerbyd a safodd; a'r gweision a fynegasant, "Y mae ein meistr ieuanc, dy anwyl fachgen, yn fyw!"

"Ydyw! yr oeddwn yn credu mai bywyd ac nid marwolaeth ydyw ei gyfran heddyw," ebe y tad gorfoleddus; "ond pa awr ydoedd ar y dydd pan y gwelläodd fy machgen?"

"Doe, ar y seithfed awr, y gadawodd y clefyd dirgrynol ef."

"Yr un awr yn gymhwys!" ebe'r pendefig. "Fy ngweision, gwybyddwch mai yr Iesu a'i hiachäodd. Ydyw! y mae Messïah yr Arglwydd yn ein gwlad; ac Iesu o Nazareth yw efe. Bendigedig yw yr Hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd!"

Gyda chyflymdra, ac mewn llawenydd, yr oedd y pendefig a'i weision yn dychwelyd i Capernaum. Ar nen y palas, yr oedd ei fachgen, yn awr yn wridgoch a chadarn, yn ei ddysgwyl, gyda ei briod a'i eneth, gan gydganu yn glodforus bennillion y brenin Hezecïah, "Y byw, y byw, efe a'th fawl di, fel yr wyf fi heddyw; y tad a hysbysa i'r plant dy wirionedd. Yr Arglwydd sydd i'm cadw; am hyny y canwn fy nghaniadau holl ddyddiau f einioes yn nhŷ yr Arglwydd."

Wedi y cydgyfarch a'r cydorfoleddu mwyaf caruaidd, a chymeryd lluniaeth, y pendefig a alwodd ynghyd ei holl dŷ, ac a ddechreuodd ddywedyd am yr Iesu.

"Ni wnaeth Milcah," medd efe, "ddim gwell erioed na chanmawl yr Iesu, ac felly beri i mi fyned ato. O'm holl deithiau, y daith ato ef oedd y fwyaf ennillfawr i mi; ac o bawb a welais erioed, y gogoneddusaf, y galluocaf, a'r graslonaf yw efe. Nid oes dim rhwysg allanol yn perthyn iddo; ond y mae pob peth ynddo yn dywedyd mai rhywun mawr ydyw, ïe, y mwyaf ar y ddaear. Pan y cyrhaeddais hyd ato yn Cana, cefais ef yn nghanol lliaws o bobl oedd yn ei ddilyn, ac yntau yn eu dysgu gydag awdurdod, doethineb, a gras dysgawdwr wedi dyfod oddiwrth Dduw. Dyma un sydd, meddwn ynof fy hun, yn tori bara'r bywyd i eneidiau newynllyd. Gyda'm neges neillduol yn wasgedig ar fy nghalon, ymwthiais trwy'r dyrfa ymlaen hyd ato. Yr oedd yno rai yn fy adwaen, ac yn dyweyd y naill wrth y llall, Un o bendefigion y llŷs ydyw! ac yn dechreu dangos arwyddion o barchedigaeth i mi. Ond yr oedd efe yn edrych arnaf yn hamddenol a phwyllog, fel un nas gall fod yn dderbyniwr wyneb; ac, yn wir, pa beth ydyw urddas y rhai uchelaf ar y ddaear o'u cymharu â'i urddas ef, yr hwn y mae yr holl elfenau, clefydon, a phob peth oll, yn ddarostyngedig i'w ewyllys?

"Yn holl wresogrwydd fy serch tadol, ymbiliais arno ddyfod i waered hyd yma, i iachâu fy unig fab, yr hwn, meddwn, ydoedd ar fin marw. Yr oeddwn i yn meddwl y byddai raid iddo ddyfod i lawr, yr holl ffordd o Cana, at fy machgen, a'i weled, cyn y gallai wneuthur dim lles iddo; ac yr oedd yntau yn deall fy holl feddwl, ac efe a roes i mi ar y dechre rywbeth tebyg i gerydd. Oni welwch chwi arwyddion a rhyfeddodau, medd efe wrthyf, ni chredwch. Yr oedd llaweroedd yn Samaria, o ba le yr wyf newydd ddyfod, ebe efe, yn fy nghroesawu fel Meddyg eneidiau, ac yn credu ynof, nid ar gyfrif gweithredoedd rhyfedd a welsent yn cael eu cyflawni genyf, ond oblegid fy ngheiriau a leferais wrthynt; ond dyma chwi yn Galilea yn ymofyn am danaf yn unig i weinyddu iachâd corfforol. Mae yn rhaid i chwi gael arwyddion, ac ni foddlonir mohonoch os na bydd yr arwyddion hyny yn rhyfeddodau nodedig; a rhaid i chwi eu gweled â'ch llygaid, onidê ni chredwch ynof ddim. Nis gallaswn lai na theimlo yn gywilyddgar ac yn ofnog wrth ei glywed yn llefaru felly; ond wrth edrych ar ei lygaid treiddgar, yr oeddwn yn canfod ynddynt dynerwch mawr; a'm calon a ddywedai, Ni ddigia efe ddim wrthyf am attolygu arno yn daer ddyfod i iachâu fy machgen, gan nad oes ar wyneb daear neb ond efe a all wneuthur lles iddo. Ac felly yr oedd fy holl enaid yn crefu arno, yn ostyngedig ac eto yn awchus, O Arglwydd, tyred i waered cyn marw fy machgen. Efe a welai ynof galon tad yn tosturio wrth ei blentyn; ond y mae ynddo ef ei hun dosturi'r nefoedd; a chan hyny yn lle myned ymlaen i'm ceryddu, fel y buasai yn weddus iddo, efe a ddangosodd ei fod yn tosturio wrthyf, ac a sicrhäodd i mi fywyd fy mhlentyn. Nid oes eisieu i mi ddyfod gyda thi i iachâu dy fab, fel yr wyt ti wedi meddwl, ebe efe wrthyf; mi a welaf oddiyma dy fachgen yn y lle y mae, ac fel y mae; ac mi a allaf ei iachâu heb symud o'r lle hwn; ïe, yr awr hon iach ydyw. Dos adref hebof fi; y mae dy fab yn fyw! Yr oedd gwirionedd yn ei wedd, tra yr oedd awdurdod yn glymedig â chariad yn ei eiriau, ac mi a'i credais yn y fan. Y foment yr oedd efe yn iachâu fy machgen o'i flin afiechyd corfforol, efe a iachäodd fy enaid innau o glefyd anghrediniaeth. Iesu mawr, meddwn wrtho, yr wyf yn credu fod dy air yma yr un mor effeithiol â'th bresennoldeb acw! O fy Arglwydd, fy anrhydedd mwyaf bellach fydd cael fy nghyfrif ymhlith dy ddysgyblion; y mae Duw gyda thi, ïe, tydi yw y Crist!

"Tröais tuag adref yn foddlonol a hyfryd fy meddwl; ac O mor wahanol oedd y dychweliad i'r hyn ydoedd y mynediad! Wrth fyned, yr oeddwn yn tynu i fyny yn annyben, gyda golwg ar fy nheimlad oddifewn yn gystal â'r ffordd oddiallan; ond wrth ddychwelyd, yr oedd fy meddwl, yn gystal â fy meirch, yn mwynhâu goriwaered rhwydd a hylithr. Pan ddaeth y gweision i'm cyfarfod gyda'u newydd da, nid oedd eu tystiolaeth hwy ddim ond adsain i'm crediniaeth i; a phan sicrhäent wrthyf y gwelläwyd fy mab ar yr un awr yn gymhwys ag y dywedasai yr Iesu wrthyf mai byw ydoedd, ac nid marw, cadarnhäwyd fy ffydd yn yr Iesu gymaint, fel na phetrusaf ei addef, tra byddwyf, fel Messïah Duw, ac Iachawdwr y byd."

"Ië, ïe!" adseiniai yr holl deulu, "yr Iesu yw Messïah Duw, ac Iachawdwr y byd!"

Yr oeddynt oll yn teimlo oddiwrth y wyrth ryfedd oedd mor agos atynt, ac yn mawrhâu a chanmawl Iesu Grist o'r herwydd; ac yn awr, yr holl dŷ, yn rhieni, a phlant, a gwasanaethyddion, a gredasant ynddo. "Ychydig a feddyliasom," ebe'r bendefiges wrth ei phriod urddasol, "y buasai anhwyldeb tost ein plentyn, a'n tristwch calon wrth ei wylio, yn troi allan i ni mor fendithiol!"

Bob amser ar ol hyn, pan ddeuai yr Iesu

i Capernaum—a mynych y byddai efe yn dyfod ac yn aros yno—yr oedd tŷ y pendefig yn agored iddo ef a'i ddysgyblion; ac yr oedd ei wraig yn cael ei rhestru ymysg y gwragedd ffyddlawn oedd yn gweini i Grist o'r pethau oedd ganddynt.

---

NAC ANOBEITHIWCH AM NEB.

Yr oedd gweinidog yr efengyl yn talu ymweliad â thref weithfäol a phoblogaidd, lle y buasai efe, am lawer o flynyddoedd yn ol yn gweinidogaethu, cyn iddo symud i dref arall oedd bell oddiyno. Un o'i hen ddiaconiaid, yr hwn oedd gristion gwresog a chyfaill cywir, a ddaeth yn fuan wedi ei ddyfodiad i alw arno, yr hwn a adroddai iddo am yr olwg yr oedd yn ei gael yn awr ar grefydd yn eu cynnulleidfa hwy, ac yn y dref yn gyffredinol. Yr oedd rhai o'r cristionogion ffyddlonaf, yn frodyr a chwïorydd, wedi myned adref i'r orphwysfa nefol, a rhai, gan garu'r byd presennol, oeddynt wedi troi ymaith oddiwrth y gorchymyn sanctaidd, tra yr oedd eraill, a welsai'r gweinidog heb fod ymhell oddiwrth deyrnas Dduw, erbyn hyn yn rhoddi profion gobeithiol eu bod wedi dyfod i mewn iddi.

Yn nghanol yr ymddyddan, gofynodd y gweinidog, "Wrth gofio, a ydyw R——, druan, yn fyw eto?" Yr oedd y dyn hwnw wedi dyfod yn adnabyddus i'r gweinidog yn benaf trwy ei blant, y rhai fyddent yn dyfod yn gyson i'r Ysgol Sabbothol, ac i'r pregethau, a'i ferch hynaf wedi ymrestru fel aelod eglwysig. Yr oedd R—— yn cario'r cymeriad adgas o feddwyn, ac yn ymddangos yn perthyn i'r dosbarth mwyaf anobeithiol o feddwon; dyn mewn canol oedran yn meddwi yn gyson! Ceid ef yn dyfod adref yn feddw bob nos; ac, er hyny, y fath oedd gwydnwch ei gyfansoddiad corfforol, fel na byddai efe, serch ei feddwdod nosol, agos byth yn colli diwrnod o waith. Yn ei dŷ gartref yr oedd yn orthrymwr creulawn a direswm, wedi dychwel yno yn feddw yn dangos pob ffyrnigrwydd at ei wraig a'i blant. Ychydig amser cyn i'r gweinidog adael y dref, yr oedd R—— wedi derbyn cymynrodd o bedwar ugain punt a adawyd gan hen fodryb iddo; ac yn naturiol y casglai'r gweinidog, gan fod ei foddion i'w ddyfetha ei hun wedi eu mwyhâu, y byddai iddo yn fuan ei ladd ei hun trwy ddiod gadarn, a chwyddo rhestr y miloedd o dadau yn Mhrydain sydd yn syrthio bob blwyddyn o ganol oedran i fedd y meddwyn. Ac felly nid anmhriodol oedd i'r gweinidog ofyn i'w hen ddiacon, "A ydyw R——, druan, yn fyw eto?"

Ond cafodd atebiad a wnaeth iddo synu yn ddirfawr, ac nid yn hawdd y gallai ei gredu. "Ydyw," ebe'r diacon, "y mae R—— eto yn fyw; ac y mae genyf yr hyfrydwch o ddywedyd wrthych ei fod ef yn awr yn athraw yn ein Hysgol Sabbothol, a'n bod yn dysgwyl o hyd iddo ymuno â'n heglwys; ac y mae yn ddiau genyf, pan wybydd efe eich bod wedi cyrhaedd yma, y bydd yn dda ganddo eich gweled, ac adrodd ei hanes wrthych."

"Pa beth!" meddai'r gweinidog, "R—y meddwyn penderfynol! efe yn athraw Ysgol Sabbothol, ac yn cael ei ddysgwyl i eglwys Dduw! a ydyw'r fath beth yn bosibl?"

"O ydyw," atebai'r diacon; "ai nid ydych yn cofio y bregeth dda a roddasoch i ni un tro ar y testun, 'A fydd dim yn anhawdd i'r Arglwydd?' Mae yn ymddangos, er na byddai efe byth yn dyfod i'ch gwrando pan yr oeddych yma gyda ni, eto y byddai yr hyn a adroddid gan ei blant i'w mam, yn ei glyw ef, o'ch pregethau, ac o'ch anerchiadau yn yr Ysgol Sabbothol, yn mynu lle yn ei feddwl a'i gof, megys er ei waethaf. Nid oedd efe yn cymeryd arno ei fod yn gwrando dim arnynt yn eu hadroddiadau Sabbothol gartref; ond 'bywiol yw gair Duw a nerthol, a llymach nag un cleddyf daufiniog;' ac yr oedd hen gleddyf yr Ysbryd yn ddystaw bach yn gwanu ei galon. Bu arno lawer o flys, fel y dywedai wrthyf, am ddyfod ei hunan i'ch gwrando; ond yr oedd arno'r pryd hwnw ormod o gywilydd ac ofn; yr oedd efe yn meddwl eich bod yn gwybod y cwbl yn ei gylch, ac os gwelech ef yn yr addoldŷ, y byddech yn ebrwydd yn saethu ato o herwydd ei feddwdod a'i anghrefydd; eto yr oedd eich gweinidogaeth chwi, trwy eneuau ei enethod bychain, yn ei ysgwyd a'i wasgu yn barhâus. Aeth i fynychu y tafarndai yn anamlach, ac felly i feddwi llai; a phan ddaeth y gweinidog newydd yma, er ein mawr syndod pwy a welem ond efe a'i wraig yn dyfod i'n haddoldŷ gyda'u plant! Yr oedd y gwirionedd yn gafaelu yn ddwysach yn ei feddwl o Sabbath i Sabbath; ac y mae efe er ys rhai misoedd bellach wedi cymeryd gofal dosbarth yn ein Hysgol Sabbothol, ac, fel y dywedais wrthych, yr ydym o hyd yn dysgwyl ei weled yn ymgynnyg am aelodaeth yn ein heglwys. Os gwelwch ef, fel yr wyf yn gobeithio, hwyrach y gall rhywbeth a ddywedwch chwi wrtho fod yn effeithiol i'w brysuro i ymofyn lle yn nhŷ yr Arglwydd."

"A wyddoch chwi a ydyw efe yn ddirwestwr?"

"Ydyw; yr oedd efe yn llawnodi yr ymrwymiad i lwyrymwrthod â diodydd

meddwol yn fuan ar ol eich ymadawiad oddiyma; ac y mae yn ymddangos yn ddirwestwr da a zelog."

Yr oedd y gweinidog i bregethu y Sabbath canlynol i'w hen gynnulleidfa, a chyn hyny efe a gyfarfu âg R——; a chydymddyddan cynhes a hyfryd a gawsant; a'r nos Sabbath ar ol ei bregeth, cafodd y gweinidog y mwyniant mawr o weled yr un a gyfrifasai gynt yn feddwyn diobaith yn gofyn y ffordd i Sïon, a phob argoel fod ei wyneb tuag yno.

Bregethwyr, athrawon yr Ysgol Sabbothol, a christionogion yn gyffredinol, nac anobeithiwch am neb. Tybiai yr hen weinidog da mai R—— a fuasai y dyn olaf mewn tref neu wlad i droi yn grefyddwr cymeradwy, ond yn ddedwydd y canfu efe ei gamgymeriad. Y mae yr Un cryfach na'r cryfarfog eto yn myned rhagddo i orchfygu. Gelwch am dano, ac ymdrechwch dan ei faner. Hauwch gerllaw pob dyfroedd; y mae genych had gwerthfawr; ac y mae yr addewid o'ch tu.

Gwelwn y gall Duw wneuthur pethau mawrion trwy bethau bychain! Dyma enethod bach yn dwyn adref ac yn ail-adrodd, yn nghlywedigaeth tad meddw, eiriau'r bywyd tragywyddol a glywsent o'r pulpud ac yn yr Ysgol Sabbothol, ac Ysbryd y gwirionedd yn bachu'r cyfryw eiriau wrth feddwl y tad hwnw, fel nas gallai ymryddhâu oddiwrthynt.

---

ADGOFION AM RICHARD JONES O'R WERN.

Y MAE erbyn hyn bum' mlynedd a deugain wedi myned heibio er pan yr aeth y Parch. Richard Jones, o Wern Llanfrothen, Sir Feirionydd, i orphwys oddiwrth ei lafur, yn y driugeinfed flwyddyn o'i oedran; ond pawb sydd heddyw yn fyw o'r rhai a gawsant y fantais o wrando arno, ac ymgydnabyddu âg ef, a feithrinant gof parchus a charuaidd am dano fel un o weinidogion cymhwys y testament newydd, ac un oedd yn amlwg yn ddyn trwyadl, a'r dyn hwnw yn ddyn Duw.

Argraffwyd llyfryn yn cynnwys cofiant byr am dano, wedi ei ysgrifenu gan y diweddar Barch. John Jones, Tremadoc. Rhaid dywedyd ei fod yn gofiant lled dda hyd y mae yn cyrhaedd; ond, yn ol arfer y dyddiau hyny o gofiantu yn Nghymru, y mae yn rhy gynnil a gwagelog, heb bortreiadu nemor ar Mr. Jones yn mhrif deithi ei gymeriad, a neillduolion ei ddawn.

Efe a gyfrifid fel arweinydd ei frodyr yn Nghyfarfod Misol Sir Feirionydd, ac edrychid i fyny ato fel gŵr o gynghor a barn ar bob achlysur; ac yn y Gymdeithasfa Chwarterol hefyd, golygid ef fel un o flaenoriaid penaf y Cyfundeb, a gwrandewid arno gyda phob parodrwydd ac astudrwydd. Er y bu yn ysgrifenu i *Olevad Cymru* dan y ffugenw *Cymro Gwyllt*, hynodid ef fel pregethwr am ei bwyll a'i arafwch. Dechreuai yn annyben ac araf iawn, gan sych-besychu a charthu ei beiriannau llafar lawer o weithiau wrth fyned ymlaen; ond fel y byddai yn twymno gronyn yn ei fater, ymddangosai yn fuan fel un â'i feddwl yn ymwroli, a'i ymadrodd yn rhwyddhâu; a chyn y diwedd, ond odid, byddai ganddo dôn o hanner-ganiadaeth, gyda'r hon y byddai yn fynych yn nerthol ac effeithiol iawn. Dywedir fod yr enwog Charles yn dra hoff o'i wrando; a'i ddarluniad ef o hono wrth ryw gyfaill yn y Bala ydoedd, "Byddaf yn edrych ar Richard Jones yn debyg i'r *wagen* fawr, yr hon sydd yn llwythog o nwyddau i fasnachwyr ac eraill. Gan faint y llwyth, a'r gofal sydd yn ofynol gydag ef, a'r hir ffordd sydd ganddi i ddyfod o Gaerlleon i'r Bala, y mae hi yn dyfod yn ei blaen yn hynod araf. Mae ar rywun fawr eisieu rhyw nwydd penodol sydd ynddi, ac y mae yn dysgwyl yn awyddus am dani. Efe a ofyna i ryw ŵr ar farch sydd newydd ddyfod i'r dref o'r cyfeiriad dwyreiniol, 'A welsoch chwi y *wagen* fawr yn rhywle?' a'i ateb fydd, 'O do; mi a'i pasiais hi ychydig tu yma i Lawr y Bettws.' 'Wel, *dear me*, hi a fydd yn hir eto cyn cyrhaedd yma.' Ymhen rhyw awr a hanner, neu ddwyawr, dyma farchog arall yn dyfod heibio. 'Ymha le y gwelsoch chwi y *wagen* fawr?' gofynir. 'Ho, pan oedd hi yn agos a chyrhaedd Llanfor.' O'r diwedd, dyma'r *wagen* yn cyrhaedd y dref, gyda'i holwynion trymion yn gwneyd cryn drwst; ac wedi sefyll a dadlwytho, wele hi yn llawn o eiddo gwerthfawr, y rhai a wasgerir trwy yr ardaloedd. Felly y mae Richard Jones, ar ol cymeryd ei destun, yn rhyw ddyfod a dyfod a theithio ymlaen mewn annybendod mawr, ac nid rhyfedd os byddwch ar y cyntaf yn myned o'i flaen at rai meddyliau y bydd efe yn ymddangos yn amcanu atynt; ond gadewch iddo gael ei ffordd: cewch weled cyn diwedd y bregeth ei fod yn llwythog o'r materion gwerthfawrocaf; ac ni ddybena un amser heb eglurhâu'r gair, a chyhoeddi a chynnyg ei drysorau i'w wrandäwyr."

Yr oedd ganddo fedr neillduol i ddwyn allan a chymhwyso hanes ysgrythyrol wrth bregethu. Nis gallai fyned dros un hanes yn gyflym; ac yr oedd ei ddull arafaidd yn fanteisiol i'w wrandäwyr ei ddilyn yn ei ddesgrifiadau, ac yn peri iddynt ei fawrygu wrth ei weled mor ddifêth, *slow and sure*, yn cyrhaedd ei nôd. Hoff hanes ganddo fyddai mynediad

yr Israel trwy'r Môr Coch; ac er i ni ei glywed yn gwneuthur defnydd o'r hanes hynod hwnw mewn amryw bregethau o'i eiddo, byddai rhyw newydd-deb ar ei waith yn trin amgylchiad y Môr Coch bob tro, rhyw wedd ac addysg newydd ynglŷn â hyny, fel na chlywid ef ar unrhyw amser yn gwbl yr un fath.

Nis gallwn anghofio y defnydd effeithiol a wnaeth efe o waredigaeth y Môr Coch yn un o gynnadleddau y pregethwyr a'r blaenoriaid mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn y Bala yn niwedd Rhagfyr, 1830. Yr oedd y Parch. John Elias yn y cyfarfod hwnw; ac mewn modd grymus a chyffrous, galwyd sylw gan Mr. Elias at agwedd derfysglyd y deyrnas, ac at yr hyn a ddysgwylid oddiwrth gristionogion yn wyneb hyny. Y pryd hwnw, nid oedd llawer o fisoedd er pan yr oedd William IV. wedi dyfod i'r orseddfainc; ac yr oedd gweinyddiaeth y Duc o Wellington wedi ei thaflu allan, ac Iarll Grey wedi dyfod yn brifweinidog yn ei le; ac yr oedd yn hysbys y byddai i'r weinyddiaeth newydd ddwyn i'r Senedd *Reform Bill;* ac amlygai y bobl yn y prif drefydd lawer o zel dros gael y cyfryw gyfraith, gan ddangos gwrthwynebrwydd mawr i bendefigion a chynnrychiolwyr seneddol nad oeddynt yn pleidio'r diwygiad. Yr oedd hefyd wasgfeuon wedi cyfodi o herwydd iselder masnach ac attaliad ar weithfëydd, a hyny wedi peri terfysgoedd mewn manau, a milwyr wedi eu galw allan i'w darostwng. Yr oedd Mr. Elias yn tynu darluniadau tywyllion o gyflwr y wlad yr amser hwnw, ac o'i golygfeydd dyfodol, ac yn galw yn wresog ar ei holl frodyr i weddïo am dangnefedd yn y tir. Yr oedd y Parch. John Hughes, Pont Rhobert, hefyd yn yr un cyfarfod; ac ar ol iddo ef, ynghyd a'r Parch. John Roberts, Llangwm, wneuthur ychydig sylwadau ar yr amserau, cododd Mr. Jones gydag ymddangosiad hollol ddigyffro, ac a ddywedodd, "Hwyrach fod eisieu ein dysgu pa fodd i weddïo, hyd yn nôd am dangnefedd yn ein gwlad. Gwyliwn rhag i ni fod fel rhai yn tori'r ffordd i'r unig ddoeth Dduw, ac yn ei gyfarwyddo ef pa fodd i roddi i ni dangnefedd. Fe all fod rhai o honom ni yn meddwl na cheir dim tangnefedd heb i ryw hen ystolion braenllyd gael eu gadael i sefyll i fyny fel y maent—dim ymhèl â'r *rotten boroughs;* ond dichon y Penllywydd nefol sefydlu trefn a thawelwch trwy daflu ymaith yr hen ystolion bregus; a da fyddai gwneyd hyny. Ac hefyd wrth ganmawl tangnefedd, a dyweyd yn erbyn gwrthryfel, mae arnaf ofn i ni fyned i siarad fel pe byddai hyd yn nôd y brenin William, a'i weinidogion, yn cefnogi gwrthryfel. Maent hwy o blaid yr hyn a elwir yn *Reform;* a thebycaf i wrthryfelwyr, tybygwyf fi, yw y rhai na fynant mo'r diwygiad hwnw. Ond beth ydym ni, rhyw ychydig o bobl druain dlodion, i wneyd llawer o dwrf ar y fath amser a hwn? Os ydyw amgylchiadau gwladol yn ymddangos yn lled gythryblus, goreu yw i ni ddystewi yn yr Arglwydd a dysgwyl wrtho. Pe delai pethau yn llawer tywyllach a chyfyngach arnom eto, na thralloded ein calon, ond dysgwyliwn wrth y Duw hwnw a all droi cysgod angeu yn fore-ddydd. Cofiwn am Israel wrth y Môr Coch. Dacw Pharaoh a'i fyddin, yn wŷr traed ac yn wŷr meirch, wedi eu goddiweddyd, a dyna hwythau yn gwaeddi yn frawychus, heb weled dim ond marw yn rhythu arnynt. Ond beth oedd cenadwri Moses, gŵr Duw, iddynt? "Sefwch, ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd, yr hwn a wna efe i chwi heddyw." Paham yr ydych yn ymderfysgu ac ymwylltio? *Sefwch.* Wel, beth sydd i ni i'w wneyd? *Edrychwch.* Ond edrych yr ydym, a dyna sydd yn ein lladd: edrych ar Pharaoh a'i luoedd wedi ein dal, ac edrych ar y môr yma hefyd, ac felly gweled nad oes genym ond syrthio i ddwylaw gwaedlyd yr Aiphtiaid, neu ymdaflu i ganol y môr i'n boddi. Na, nid yna y mae i chwi edrych; *edrychwch ar iachawdwriaeth.* Iachawdwriaeth! nid oes yma ddim rhith-golwg ar iachawdwriaeth; o ba le y gall iachawdwriaeth ddyfod heddyw i ni? Wele, *iachawdwriaeth yr Arglwydd* ydyw, ac nid oes dim yn anmhosibl iddo ef. Hwyrach mai trwy ganol y môr y cewch eich hiachawdwriaeth yn cerdded. Sefwch, peidiwch cyffroi; ac os na welwch chwi yr awr hon ddim *tebyg i* iachawdwriaeth, erbyn y bore yfory ni welwch chwi ddim *ond* iachawdwriaeth."

Yr oedd y fath oleuni a nerth yn cydfyned â'i sylwadau hyn, nes yr oedd O ho ac Amen y frawdoliaeth i'w clywed fel disgyniad cawodau; ac anhawdd oedd canfod llygad heb leithio, neu wefus heb wên arni.

Yr oedd Richard Jones a John Elias yn hen gyfeillion caruaidd, wedi eu cyfodi yn yr un Cyfarfod Misol, sef yn Sir Gaernarfon, ac wedi dechre pregethu tua'r un amser; a Mr. Jones oedd gwas priodas Mr. Elias. Eto pan y byddai ei hen gyfaill mewn cynnadleddau Cymdeithasfäol yn myned, fel y tybiai efe, i gyfeiriad eithafol, efe a wnai, fel y gwnaeth Paul i Pedr, ei wrthwynebu yn ei wyneb, eto yn frawdol, ac mewn dull hanner-chwarëus. Nid anhyfryd oedd gweled hyawdledd a zel Mr. Elias, ac arafwch a doethineb Mr. Jones, wedi eu gosod y naill ar gyfer y llall. Mae y Parch. Owen Thomas, yn *Nghofiant y Parch. John Jones, Talsarn,* yn rhoddi engraifft neu ddwy o ddeheudra Mr. Jones yn sefyll yn yr adwy mewn amgylchiadau o ymchwiliad ynghylch yr

IOAN vi. 2: "A thyrfa fawr a'i canlynodd ef."

TYRFA fawr yn canlyn yr Iesu! Pa fodd gan hyny y gall efe gwyno, "Yn ofer y llafuriais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth?" Am nad oedd ganddo, er y llawer o ganlynwyr, ond ychydig o gyfeillion. Llawer oddiar chwilfrydedd, llawer er mwyn y torthau, llawer am fod hyn yn awr yn boblogaidd, ond ychydig oddiar ffydd, ychydig oddiar gariad, oedd yn ei ganlyn ef. Ac felly y mae wedi bod ymhob oes ar ol hyny.

Tyrfa fawr a'i canlynodd ef! ond nid pob math o ganlyn sydd yn ennill y fendith. Yr oedd Judas yn ei ganlyn bob dydd; ond diafol oedd efe o'r dechreuad, a pharhäodd yn lleidr hyd y diwedd. Dacw'r bobl un diwrnod nid yn unig yn ei ganlyn, ond wedi ymwthio o'i amgylch; ond un yn unig a iachäwyd, a chyffwrdd â dim ond ymyl ei wisg a wnaeth hi. Yr oeddynt hwy yn ei wasgu; ond ei chyffyrddiad hi yn unig oedd yn gyffyrddiad ffydd.

Tyrfa fawr a'i canlynodd ef! Ië, pan y mae efe yn eu porthi a'u digoni mewn modd gwyrthiol. Ond pan yr aeth efe i wasgu ei athrawiaeth yn ei hysbrydolrwydd atynt, "caled yw yr ymadrodd hwn," meddynt; ac ymaith â hwy, ac ni rodiasant mwyach gydag ef. Ond yr oedd ganddo rywrai yn y dyrfa yn wir ddysgyblion iddo, y rhai, er pob anmherffeithrwydd, a fynent fyw drosto, dyoddef drosto, a marw drosto, os felly yr ordeiniai efe. Ymysg pobl broffesedig Crist, mae yn wastad rywrai yn wir bobl iddo. Hunanymholwn a ydym ni ymysg ei bobl wirioneddol ef.

---

HEBREAID xii. 2: "Yr hwn, yn lle y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes."

I GRIST fel Mab Duw, fel yr hwn a garodd gyfiawnder, ac a gasaodd anwiredd, yr oedd phïol y llawenydd yn perthyn. Gosodwyd hi i lawr wrth ei ochr, fel y gallai ei hyfed. Ond er ein mwyn ni, efe a osododd y llawenydd o'r neilldu, efe a'i gohiriodd am enyd, ac yn ei le efe a gymerodd y groes gyda'i holl waradwydd. Mae yn ddiau fod y rhagolwg ar y llawenydd yn dal ei feddwl i fyny dan yr holl ing a'r gwarth; eithr nid ei ddysgwyliad am dano, ond ei waith yn oedi ei gymeryd, ac yn dewis y groes yn ei le, a gyflwynir yma ger ein bron. Bydded i ninnau ymdebygu iddo yn hyn. Yn ein hamynedd meddiannwn ein heneidiau, gan foddloni, fel Iesu Grist, i aros am yr etifeddiaeth. Y groes ac nid y deyrnas, yw ein cyfran ar hyn o bryd; ond y deyrnas, ac nid y groes, a fydd ein meddiant yn y man.

# Barddoniaeth.

## MARWNAD Y DIWEDDAR BARCHEDIG JOHN OWEN, PENYBERTH, LLEYN, GYNT O TY'NLLWYN, ARFON.

O GYMRU gu, anwylaf wlad
Dan d'wyniad haul y nefoedd,
Cartrefle hoff athrylith rydd
A chrefydd drwy yr oesoedd,
Magwrfa 'r cedyrn ymhob oes,
Prif gewri moes a rhinwedd,
Ac amddiffynwyr pur, er neb,
I burdeb a gwirionedd!

Mor brudd yw gweled cewri 'r oes
Fu 'n eon dros yr Iesu,
A chedyrn enwog moes a rhin,
O un i un yn trengu!
Mor aml ydyw clwyfau 'th fron
Wrth golli 'th feibion trylen;
Pan dybiet feddu gruddiau sych,
"Bu farw"—'r gwych JOHN OWEN!

Hardd yw edrych ar y dderwen
Gref, fawreddog yn y llwyn,
Gyda 'i breichiau cedyrn, grymus,
A'i changenau llawn o swyn;
Ond wrth syllu ar ei mawredd,
Rhed ein hadgof yn y fan
At yr adeg pan fu 'r dderwen
Gadarn yn blanigyn gwan.

Pan yn faban egwan, eiddil,
Yn ei breichiau 'n gwenu 'n llon,
Dwys-fyfyriai 'i fam yn fynych
Am ddyfodol gwych ei JOHN:
"Pwy a ŵyr?"—sisialai 'n wylaidd,
"A ddaw 'n enwog yn ei oes,
Fel diwygiwr egwyddorol
A chyhoeddydd angeu 'r groes."

Pan mae Duw am godi gwron
Rhaid cael benyw wych yn fam,
Un grefyddol, lawn tynerwch,
Fedd gymeriad glân, di nam:
Dyma nodwedd mam ein gwrthddrych,
*Benyw 'n caru Duw a'i waith;*
Erys llên a chrefydd Cymru
Yn ei dyled oesau maith.

Ebrwydd gwelwyd gwir athrylith
Ynddo yn bradychu ei hun,
Ac mewn gwylder a dystawrwydd,
Tyfu wnaeth y llanc yn ddyn:
Er fod amwisg gostyngeiddrwydd
Am ei dalent ddysglaer, wir,
Canfu 'r fro ei delw ynddo
Cyn ei chael i oleu clir.

Credai pawb fod ynddo ddefnydd
Efengylydd o'r iawn ryw,
Ac arbenig gymhwysderau
Nodweddiadol cenad Duw:

Bachgen syml, gŵyl, dirodres,
  Tawel, addfwyn oedd efe;
Ac awgrymai rhai y rhoddai
  I wyleidd-dra fwy na 'i le!

Fflachiai aml syniad dysglaer
  Drwy bregethau 'r ieuanc un,
Fel y miloedd a geid ganddo
  Wedi iddo dyfu 'n hŷn:
Gŵr â meddwl treiddgar ydoedd,—
  Fel meddyliwr o'r iawn ryw,
Erys enw hardd JOHN OWEN
  Yn llenyddiaeth Cymru 'n fyw.

Anaml gwelir dynion
  Yn fawr ac enwog iawn
Ond mewn rhyw *un* cyfeiriad,
  Er maint eu dysg a'u dawn;
Ond yn ein gwrthddrych teilwng
  Fe geid nodweddion lu
Yn ffurfio un cyfuniad
  Yn ei gymeriad cu.

Y *Llenor* gwych, aruchel,
  A'r *Beirniad* manwl, coeth;
Y gonest, bur *Ryddfrydwr*,
  A'r dewr *Amaethwr* doeth;
*Arholydd* dwfn, deallgar,
  Hir gofir mewn tristâd;
*Pregethwr* efengylaidd
  A berchid gan y wlad.

Llenyddiaeth iachus Cymru
  Dderbyniodd ddyrnod gref,
Pan wywai 'r llaw reolai
  Ei hoff ysgrifell ef;
Cynnyrchion ei ysgrifbin
  Yn ddibrin ddoent i'n mysg,
A'r cyfan yn amlygiad
  O graffder, dyfnder dysg.

Dirodres galon Cymro
  A gurai dan ei fron,
Ac iaith ardderchog Cymru
  Ddwfnbarchai 'n gwrthddrych llon;
Ieithyddwr pur, diledryw,
  Fawrygir eto 'n hir,
Tra 'i goeth erthyglau erys
  Yn safon iaith i'n tir.

Fel beirniad manwl, cyflawn,
  Pwy leinw 'r bwlch o'i ol?
Cyfodai 'r diymhongar,
  Dyrnodiai 'r bostfawr ffol;
A'i lygaid craff, eryraidd,
  Canfyddai 'r dyn drwy 'r gwaith;
Fel enwog ddarganfyddwr
  Fe 'i cofir amser maith.

Bu 'n ffyddlawn fel cefnogydd
  Ieuenctyd blaena 'r oes;
Yn mhlaid y gwych, gobeithiol,
  Ei holl ddylanwad roes:
Gwrolodd lawer bachgen,
  Cynneuodd ynddynt dân
A'u gwnaeth yn oleuadau 'n
  Ffurfafen Cymru lân.

Ar enwog faes gwleidyddiaeth
  Rhyddfrydwr gwrol oedd,
Ac arwr digyffelyb
  Ar faes dadleuaeth g'oedd;
Fel ymresymwr cadarn
  Arswydid rhag y cawr,
A chestyll gwrthwynebwyr
  Ddymchwelai hyd y llawr.

Ac nid rhyddfrydwr aiddgar
  Ar lwyfan ydoedd ef,
Ond daliai bob rhuthriadau
  Fel derwen gadarn, gref;
Os gwelai ef egwyddor
  Uniondeb yn cael cam,
Cynhyrfai ei ddynoliaeth,
  Ei galon losgai 'n fflam.

Dyoddefodd erlidigaeth,
  Gelyniaeth, a sarhâd,
Wrth chwyfio "baner rhyddid,"
  Ac ymladd dros ei wlad;
O fewn anneddau Cymru,
  Fel CROMWELL fawr ei zel,
Bydd enw hoff JOHN OWEN
  Mewn bri i'r oesau ddêl.

Ond er cymaint oedd hynodion
  Ei gymeriad hoffus, gwiw,
Fel Pregethwr y rhagorai;
  Cenad cu efengyl Duw:
Dringodd lethrau bryn enwogrwydd
  Mewn tawelwch gŵyl, di-ail,
Ar ol cyrhaedd i'w uchelfan
  Ymddysgleiriodd fel yr haul!

Mae adgofion serchog, pruddaidd,
  Yn ein llanw 'r fynyd hon,
Ac yn d'od i'w bortrëadu
  Mewn anwyldeb ger ein bron;
Mewn addoldŷ eang, gorlawn,
  Yn y Gymdeithasfa fawr,
Sylla 'r miloedd tua 'r pulpud
  Am ein gwrthddrych hoff yn awr.

Wele 'r gŵr yn araf esgyn
  I'r areithle 'n wylaidd iawn,
Gyda rhywbeth yn ei osgedd
  Yn awgrymu dyfnder dawn;
Cudd ei wyneb â'i ddeheulaw
  Gyr saethweddi fry i'r nef,
Am gynnorthwy 'r Sanctaidd Ysbryd
  A'i arddeliad dwyfol Ef.

Cwyd i fyny yn arafaidd,
  Gwena 'r dyrfa mewn boddhâd,
Sylla pawb yn ddyfal arno
  Mewn astudrwydd a mwynhâd;
Tâl, a lluniaidd, egwan, eiddil,
  Syml ddiaddurn yn ei wisg,
Gydag wyneb clir, aruchel,
  Saif fel angel yn ein mysg!

Dyd besychiad bŷr a gwanaidd,
  Tra 'r dystawrwydd fel y bedd
Yn y dorf sy 'n llawn chwilfrydedd
  Ac yn dysgwyl nefol wledd;
Fel o wylder, prin y sylla
  Unwaith dros y dyrfa fawr,—
Gyda mwynaidd dôn a goslef
  Dyry emyn hoff yn awr.

ildiodd ei rhieni iddi gael myned i'r capel Seisonig; ac yr oeddynt yn tybied ei bod yn dilyn y moddion yno yn gyson. Ond er dirfawr ofid i'w theulu, aeth yr eneth hon yn anffortunus, a chollodd ei chymeriad; a chafwyd allan mai rhodiana ar y Sabbath y byddai yr eneth fynychaf yn lle myned i'r capel. A dywedai ei hen dad penwyn, gan wylo yn hidl, y buasai yn dda ganddo pe buasai wedi gorfodi ei ferch i ddyfod gydag ef i'r capel Cymreig. Yr ydym yn credu fod y rhieni sydd yn myned i un capel eu hunain, ac yn gadael eu plant i fyned i ryw gapel arall, yn rhedeg *risk* ofnadwy yn Liverpool.

Terfynwn ar hyn yn bresennol; a'r tro nesaf, ni a ofynwn i'r darllenydd ddyfod ddyfod gyda ni trwy rai o heolydd ein maes cenadol, fel y gallo weled Cymry mewn trueni, a gwrando arnynt yn dyweyd tipyn "o'u hanes eu hunain."

R. C. OWEN.

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

Y MAE Mr. Roger Edwards, Bwlch, Sir Frycheiniog, wedi rhoddi i fyny ei swydd fel Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, a'r Parch. Rees Davies, Talgarth, wedi ei ddewis yn ei le.

Y mae Cyfarfod Misol Brycheiniog a Maesyfed wedi penderfynu ymgymeryd â chasglu y gyfran sydd yn disgyn arnynt i gyfarfod â chynnygiad haelionus David Davies, Ysw., A.S., tuag at Drysorfa'r Gweinidogion; ac y mae Cyfarfod Misol Rhan Ogleddol Aberteifi, yn ei gynnulliad diweddaf, wedi cadarnhâu penderfyniad cyffelyb; ac y mae y Parch. E. W. James, a'r diaconiaid sydd wedi eu henwi i'w gynnorthwyo, yn ymgymeryd yn galonog â'r gwaith. Cyfarfod Misol Dwyrain Morganwg hefyd sydd wedi enwi nifer o flaenoriaid i ystyried y mesurau goreu i'w cymeryd i gario allan yr amcan yn y Sîr hono. Yn y cysylltiad hwn, hyfryd genym ydyw croniclo bod Mr. Llewelyn Price o Dresimon, Bro Morganwg, wedi cyfranu rhodd o £25 i'r Drysorfa hon, a Mr. James Llewelyn, Grange, Sir Benfro, rodd o ddeg punt. Dyma'r fath o areithiau bellach sydd yn angenrheidiol i fyned trwy y gwaith sydd yn awr o flaen y dalaeth ddeheuol, yr hyn fydd yn hollol hawdd ei gyflawni gyda chydweithrediad calonog a dyfalbarhâd penderfynol.

Bwriedir adeiladu capel yn ardal Pengroes, Sir Gaerfyrddin—lle newydd eto yn cael ei feddiannu gan Fethodistiaid gweithgar y Sîr hon. Mae eglwys Crai, Sir Frycheiniog, yn bwriadu codi ysgoldŷ at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol. Yr ydys wedi penderfynu adeiladu capel yn Roath, Caerdydd, ar y tir yn ymyl yr ysgoldŷ sydd yno eisoes, ac yn un o'r manau mwyaf manteisiol yn y parth hwnw o'r dref; ac ar agoriad y capel caiff yr achos ei droi yn Seisonig. Mae pwyllgor cryf wedi ei enwi i gymeryd gofal yr achos hwn, y Parch. Cynddylan Jones yn gynnullydd.

Y mae ail eglwys wedi ei ffurfio yn ardal boblog Llansawel, Morganwg, yr hon ar hyn o bryd sydd yn cynnal ei moddion yn yr ysgoldŷ a adeiladwyd yno yn ddiweddar. Dygwyd hyn oddiamgylch yn y modd mwyaf tangnefeddus a boddhäol. Dyma esiampl o ymgangeniad heb ymraniad. Mae yn debyg y ceir clywed am ail gapel cyn hir.

Ailagorwyd capel Cross Inn, Sir Gaerfyrddin, ar y 17—19eg o Chwefror, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. T. Evans, Llandybie; R. Salmon, Llansadwrn; O. Edwards, B.A., Llanelli; John Lewis, Caerfyrddin; ac Edward Edmunds, Abertawe. Casglwyd y swm hardd o yn agos i bedwar cant o bunnau.

Bwriedir cynnal Cymanfa Ganu Cynnulleidfaol ar yr 28ain o Fai, yn Aberhonddu, er coffadwriaeth am *Ieuan Gwyllt*. Yr oedd Mr. W. T. Rees (*Alaw Ddu*) i ddarllen papyr ar ganu cynnulleidfaol yn Nghyfarfod Misol Caerfyrddin, ar y 26ain o'r mis diweddaf. Yr ydys wedi bod yn cynnal cyfres o gyfarfodydd yn Nosbarth Aberdâr i'r amcan o berffeithio y rhan bwysig yma o'r addoliad cyhoeddus. Cynnelir cymanfaoedd canu ddydd Gwener y Groglith yn Penygarn a Phenllwyn. Deallwn fod Mr. David Jenkins, Mus. Bac., wedi penderfynu ymsefydlu yn Aberystwyth. Bydd yn aros yn Llundain hyd ddiwedd Ebrill. Mae ei waith rhagorol ar Arch y Cyfammod wedi ei ddwyn allan yn y ddau nodiant.

Ymhlith eraill sydd wedi cyfranu yn haelionus tuag at gynnorthwyo i leddfu'r caledi mawr sydd wedi bod yn ddiweddar mewn amryw ardaloedd yn rhanau gweithfaol y Deheudir, y mae yn llawenydd genym sylwi fod eglwysi y Methodistiaid mewn amryw o'r Siroedd wedi gweithredu yn deilwng. Yr oedd casgliadau Môn ac Arfon yn hardd iawn. Yr ydys wedi casglu tua £70 hefyd yn Rhan Ogleddol Aberteifi. O'r swm hwn danfonwyd £10 i'r Parch. W. James, Aberdâr; £10 i Mr. W. Griffiths, Rock; £5 i'r Parch. T. C. Phillips, Mountain Ash; £5 i'r Parch. Hugh Har-

ries, Trefforest; £5 i Mr. Thomas Williams, Ystradgynlais; a £7 i'r Parch. T. Rees, Merthyr; ac aeth un casgliad o £9 i Mr. Henry Richard, A.S. Nid oes ammheuaeth y caiff yr eglwysi sydd wedi bod mor gymwynasgar fedi yn helaeth o wynfydedigrwydd y rhai sydd yn ystyried y tlawd.

Y Sabbath olaf o Chwefror, sefydlwyd Mr. Evan Jones Evans, o Ddyffryn Ardudwy, Sir Feirionydd, yn weinidog perthynol i'r achos Cymreig yn Southport, Sir Lancaster, pryd y pregethwyd gan y Parchn. Dr. Edwards, Bala, a Griffith Ellis, Bootle. Yn nghyfarfod penodol y sefydliad, llywyddwyd gan Mr. John Jones, un o flaenoriaid yr eglwys, yr hwn, ynghyd a Mr. John Hughes, y blaenor arall, a wnaethant sylwadau eglurhäol a phriodol. Dr. Edwards, Mr. Ellis, Mr. W. Parry, a Mr. D. C. Davies, Bootle, gyda Mr. Evans ei hun, hefyd, a anerchasant y cyfarfod. Dywed y Parch. Joseph Williams, Liverpool, mai efe oedd y cyntaf a bregethodd Gymraeg yn Southport er dechre'r byd; ond dywed eraill mai ar y Parch. T. J. Wheldon, B.A., y disgynodd y cyfryw anrhydedd, a hyny tua diwedd y fl. 1863. Dechreuwyd ar yr addoli mewn tŷ annedd, ac wedi hyny symudwyd i'r *Masonic Hall*, ac oddiyno i'r *Art Gallery;* ac yn 1872 agorwyd yno gapel, yn costio oddeutu £600, ac yn cynnwys lle i nifer o gwmpas 150. Yn 1873, aeth y Parch. J. H. Symonds i Southport, er mwyn cryfhâu ei iechyd, ac a arosodd yno am yn agos i dair blynedd, yr hyn oedd yn gaffaeliad gwerthfawr a dedwydd i'r achos crefyddol. Wedi ei golli ef, ac wedi dathlu jubili erbyn hyn i gyhoeddi rhyddhâd y capel o'i ddyled, penderfynwyd edrych am weinidog i fugeilio'r praidd; a'r coelbren a syrthiodd ar Mr. Evans; ac yn awr dyma yr arfaeth a'r alwedigaeth wedi esgor ar undeb gweithredol rhwng yr eglwys âg yntau; a dysgwylir a gweddiir am iddo fod yn undeb manteisiol a pharhâus.

Y mae y Dr. E. Jones, Dolgellau, un o flaenoriaid yr eglwys Seisonig yno, wedi ei benodi yn un o ustusiaid heddwch Sir Feirionydd; ac y mae Mr. Jones, Gwredog, un o flaenoriaid yr eglwys yn Amlwch, wedi ei benodi yn ustus heddwch yn Môn.

Agorwyd capel newydd Clawddponcen, rhwng Corwen a Gwyddelwern, y mis diweddaf, trwy gyfres o bregethau hwyrol gan y Parchn. W. Williams, Corwen; E. Phillips, Castellnewydd Emlyn; J. Williams, Llandrillo; R. Richards, Cerygydruidion; a W. Griffiths, Llansantffraid. Cynnelid yno Ysgol Sabbothol mewn annedd-dŷ er ys llawer o flynyddoedd; ac yn awr wele addoldŷ prydferth yn addurn i'r ardal, yn werth £300, hanner yr hyn sydd wedi ei dalu.

Mae Mr. Henry Jones, Llangernyw, wedi ei ddewis yn weinidog i eglwys Dolyddelen, Dwyrain Meirionydd.

Yn Newmarket, Sir Fflint, cadwyd cyfarfod i gyflwyno tysteb i Mr. John Thomas, yr hwn sydd wedi symud o Newmarket i Liverpool, er mawr golled a chwithdod i'w hen ardal, lle y byddai yn flaenllaw gyda phob achos da, ac yn enwedig i achos crefyddol y Methodistiaid, gyda pha un y blaenorai mor fedrus a gweithgar. Llywyddwyd gan y Parch. B. Hughes, Llanelwy, gynt o Newmarket; a chymerwyd rhan yn ngweithrediadau y cyfarfod gan y Parchn. J. Adams, Rhuallt; E. Lloyd, Treffynnon; ac E. Pierce, Trelogan, a Mri. Joseph Ellis, John Newton, E. Goodwin, Edwin Anwyl, Bryan o Garmel, R. Jones, Marian Mills, J. Hughes (Annibynwr), a J. Thomas, tad Mr. Thomas. Cyflwynid *time-piece bronze* hardd i Mr. Thomas, a *set of tea and coffee services* arian i Mrs. Thomas.

Mae capel Cymreig hardd a helaeth y Methodistiaid yn Wrexham, yr hwn a agorwyd yn Hydref 1867, yn awr wedi ei ryddhâu o'r holl ddyled oedd arno. Dydd Gwener yr 22ain o Chwefror, cynnaliwyd *tea-party* yn y *Public Hall*, pryd yr oedd o chwe' chant i saith gant yn eistedd i fwynhâu y wledd, yr hon a roddid yn rhad gan yr eglwys i bawb a gyfranasent tuag at ddileu'r ddyled. Darparwyd y cyfan gan Mr. a Mrs. Gomer Jones, *Temperance Hotel*, ac anfonwyd yr holl weddill, mwy na "deuddeg basgedaid yn llawn," i'r dyoddefwyr yn Neheudir Cymru. Yn yr hwyr, cynnaliwyd dechreuad y jubili yn y capel, pan y llywyddwyd gan Mr. Brunt, y diacon hynaf, ac yr anerchwyd y cyfarfod gan Mri. Davies a Jones, y ddau ddiacon arall, a chan y Parchn. J. H. Symond (y gweinidog blaenorol), H. Barrow Williams (y gweinidog presennol), T. Francis, D. Roberts (Annibynwr), a T. J. Wheldon, B.A., Ffestiniog, a Mr. W. Roberts, yr Ysgrifenydd. Y cyfanswm a gasglwyd ac a dalwyd oedd £6671 16s. 10c., o'r hyn y casglesid yn fisol yn yr Ysgol Sabbothol £3566 2s. 7c. Parhäwyd y jubili yn y cyfarfod pregethu a gynnaliwyd y Sabbath a'r Llun canlynol, pan y gwasanaethodd y Parchn. D. Saunders, Abertawe; Dr. Hughes, Liverpool; R. Edwards, Wyddgrug; a J. P. Davies, M.A., Caerlleon.

Ynglŷn â Chyfarfod Misol yr Abermaw, Mawrth 4ydd, gosodwyd i lawr gareg sylfaen y capel newydd Seisonig gan John Roberts, Ysw., Bryngwenallt, Abergele a Liverpool, ac aed i'r *Assembly Room* gerllaw, pryd y llywyddwyd gan y Parch. David Davies; ac wedi i'r Parch. R. H. Morgan, M.A., gynnyg, a Mr. J. Evans gefnogi diolchgarwch i Mr. Roberts am ei wasanaeth caredig, yr hyn a roddwyd gan y cyfarfod mewn brwdfrydedd, cafwyd araeth wir ragorol a phriodol iawn gan Mr. Roberts. Anerchwyd y cyfarfod hefyd gan Mr. Rowland, Porthmadog, y Parch. Dr. Hughes o Liverpool, Mr. Griffiths a Dr. E. Jones o Ddolgellau. Bydd y capel yn costio oddeutu £1200, ac yn cynnwys lle i 250 o bobl.

Mae y Parch. Thomas Roberts, gynt o'r Ysbytty Ifan, er y bu tebygolrwydd iddo ymgymeryd â gweinidogaethu i gynnulleidfa Seisonig Caergwrle, yn dychwelyd yn ol i faes ei lafur blaenorol yn America.

Yn Nghyfarfod Misol Llanfairtalhaiarn, Sir Ddinbych, coffäwyd yn deimladol am lesgedd parhâus a chynnyddol y Parch. W. Morris, Rhuddlan, ac felly hefyd ei briod, Mrs. Morris, yr hon a fu mor ofalus am dano. Dymunid ar i'r llywydd, y Parch. J. Ogwen Jones, B.A., Rhyl, ymweled â hwynt gyda chofion cynhes a chydymdeimladol y Cyfarfod Misol.

Y mae yr eglwys Seisonig yn Nolgellau wedi rhoddi galwad ar y Parch. O. T. Williams, Croesor, i gymeryd ei gofal fel ei gweinidog, ac yntau wedi cydsynio â'r cais.

Y mae ger ein bron rai Adroddiadau blynyddol o sefyllfa a gweithrediadau eglwysi ar ddiwedd 1877. Yn nghapel Moss Side, Manchester, nifer yr aelodau cyflawn oedd 467; a chyda yr ymgeiswyr a phlant yr eglwys, gwnaent i fyny 595. Y nifer yn yr Ysgol Sabbothol oedd 358. Yr oedd cyfanswm y casgliadau at bob achos yn cyrhaedd i'r swm anrhydeddus o £1293 18s. 5c. Casglwyd at y weinidogaeth, £320 7s. 8½c.; at dalu dyled y capel, £427 10s. 10c.; i'r tlodion, £47 14s. 5c.; i'r Fibl Gymdeithas, £68 14s. 6c.; ac i'r Cymdeithasau Cenadol, £42 19s. 1½c. Yn nghapel Salford, yr oedd nifer yr aelodau cyflawn yn 189; a chyda'r plant a'r ymgeiswyr yr oeddynt yn 273; yn yr Ysgol Sabbothol, 249. Casglwyd at bob achos yn nghorff y flwyddyn, £317 5s. 11¼c. Yr oedd y casgliad eglwysig at y weinidogaeth yn £189 16s. 6½c., a'r casgliad cyhoeddus at yr Achos yn £30 13s. 11½c.; at y Fibl Gymdeithas, £22 12s. 4¾c.; ac at y Cymdeithasau Cenadol, £26 13s. 6½c. Yn Llanelwy, yr oedd yr aelodau cyflawn yn 171; a chyda yr aelodau ar brawf, a phlant yr eglwys, yr oedd y rhif yn 242; yr Ysgol Sabbothol yn rhifo 254, a changen ysgol y Waen, 50. Cyfanswm yr holl gasgliadau oedd £199 0s. 10½c.; a chydag ardreth yr eisteddleoedd a thŷ'r capel yn dyfod i £233 6s. 11¼c. Yn eglwys Gymreig Gwrecsam, nifer yr aelodau cyflawn oedd 261, a chydag ymgeiswyr am aelodaeth a had yr eglwys yn 391; yn yr Ysgol Sabbothol, 331, ac yn ysgoldŷ Rhosddu, 166. Cyfanswm yr holl gasgliadau am 1877 oedd £762 13s. 8½c.; o'r hyn cyfranwyd at y weinidogaeth, £204 14s. 7½c., ac at ddileu dyled y capel, £383 15s. 7c. Mynegwyd mewn paragraph arall am ddilëad yr holl ddyled ar yr addoldŷ. Derbyniwyd hefyd adroddiad o gasgliadau cyffredinol Cyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd am y flwyddyn ddiweddaf. Yr oedd y casgliad Cenadol yn £427 10s. 10½c.; at y Genadaeth Sirol, £107 17s. 0½c.; at yr Achosion Seisonig, £131 1s. 8c.; at achos U Borsing, £76 7s. 4½c.; at y newyn yn India, £126 3s. 1c.; ac at gynnorthwyo merch y diweddar Barch. O. Roberts, Llwyngwril, yr hon y rhaid dyweyd *diweddar* yn awr am dani hithau, £64 18s. 1c.

## Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### MR. THOMAS HUGHES, TY'NRALLT, PENYMYNYDD, MON.

MAB ydoedd T. Hughes i Thomas a Margaret Hughes, Tyddyn Adda, Brynsiencyn. A dyma lle y trigai yntau hyd o fewn un mlynedd ar bymtheg yn ol, pryd y symudodd i Tŷ'nrallt. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1789, a bu farw Mawrth 18, 1875. Yr ydoedd yn naturiol o dymher araf a gwylaidd, eto yn siriol iawn yn wastad; a bu hyn yn fantais iddo er ei gadw rhag ymollwng i ormod rhysedd gyda'i gydieuenctyd. Ei brif nodweddau oeddynt, caredigrwydd a ffyddlondeb; yr ydoedd yn nodedig iawn yn hyn. A dyma sydd yn ein cymhell i wneyd y crybwylliad hwn am dano; credwn fod gŵr a fu mor ffyddlawn yn haeddu gwneuthur o honom hyn iddo. Ni fagwyd ef gyda chrefydd, eto meddai barch dwfn i grefydd, a hyny pan yn ieuanc iawn, a byddai yn wastad yn llawn parodrwydd ac awydd i wneyd cymaint ag a allai er hyrwyddo y gwaith ymlaen, a hyny cyn bod yn aelod eglwysig ei hun. Yr oedd bob amser ar y blaen gyda phob achos da. Bu yn athraw yn yr Ysgol Sabbothol am dros 50 mlynedd, a hyny yn wastad gyda'r plant; bu yn foddion i ddysgu

rhai ugeiniau, os nid cannoedd, o blant i ddarllen y Bibl, ac y mae ei enw yn berarogl gan lawer am hyn, a theimlir ei ddylanwad ddyddiau lawer. Yr ydoedd yn *Fethodist* trwyadl; derbyniodd y DRYSORFA ar ei chychwyniad cyntaf, dan olygiad Mr. Parry, Caer, ac er gwylio symudiadau y Corff darllenodd bob rhifyn yn fanwl hyd Mawrth 1875; cadwai hwy yn ofalus a destlus gyda'i gilydd yn un gyfres, er cyfeirio yn ol iddynt. Pan sefydlwyd Cymdeithasau Cymedroldeb yn y wlad, yr oedd ef yn un o'r rhai cyntaf, os nad y cyntaf oll, yn y gymydogaeth i ymuno â'u llengoedd. A phan y cymerasant y ffurf o lwyrymattaliad, yr oedd ef yn un o'r rhai parotaf i arwyddo yr ardystiad Dirwestol, a chadwodd ef am 38 mlynedd yn ddiwyro. A phan gymerodd y ffurf o Demlyddiaeth Da, yr oedd ef yn barod i symud ymlaen er esiampl, meddai, i'r byd oddiallan.

Bu ei gartref yn lletty cysurus i weinidogion y gair am flynyddoedd lawer, a bu yntau yn ffyddlawn iawn i ymofyn a danfon pregethwyr at eu cyhoeddiadau i'r Bryn a manau eraill, ïe, bu yn rhoddi benthyg ei gerbyd a'i anifail i bregethwyr dyeithr i fyned ar eu taith trwy y wlad, gan eu rhybuddio na ddywedent i neb eiddo pwy a fyddai; canys ni fynai glod gan ddynion. Ac yn y flwyddyn 1839, bu yn cyrchu y Parch. Morris Jones, Jerusalem (yr hen brophwyd), a'i frawd, Thomas Jones. Mynai Mrs. Jones, Wrachddu, mam ei briod, i'r ddau frawd gadw *society* nos Sadwrn, ond teimlai ef awydd cael cyfarfod dirwestol, ond Mrs. Jones a orfyddodd, a chyfarfod eglwysig a gafwyd. Y Sabboth yr oedd rhyw arddeliad neillduol ar y weinidogaeth; yn yr hwyr yr oedd yn orfoledd cyffredinol trwy y lle, galwyd y *society* yn ol, gafaelodd T. Hughes yn ei het, cyfododd ar ei draed, ond syrthiodd yn ol ar y faine mor farw a'r gareg o ran teimlad ar y pryd. Hysbyswyd yr amgylchiadau i Thomas Jones, cerddodd yntau tuag ato, ac yn ei ddull priodol ei hunan, a dywedai, "Lle'r wyt ti, dŵad? Beth ydi'r gwingo sydd arnat ti? Y mae yma le rhy dda i dy ddannedd di; wyddost ti beth, pe buaswn i yn gwybod dy hanes di, nad oeddit yn y *seiat*, ni fuaswn i yn dyfod yr un cam hefo ch'di o Sir Gaernarfon. Beth yw dy feddwl di, dŵad; rhoi dy amser, rhoi dy *gar* a dy geffyl, rhoi dy dŷ ar hyd y blynyddoedd yn lletty cysurus, rhoi pob peth ond rhoi dy hunan?" A dyma y noswaith y torwyd y ddadl yn ei feddwl, wedi bod yn cloffi am flynyddau lawer. Nid cymaint ydoedd y gwahaniaeth ynddo ef wedi dyfod yn aelod eglwysig, ond yn unig iddo ymgymeryd yn fwy â rhanau mwy cyhoeddus o'r gwaith.

Cyfododd allor i Dduw yn ei deulu y noswaith hono, ac ni phallodd yn offrymiad y foreuol a'r hwyrol weddi ond dwywaith hyd ddydd ei farwolaeth, a hyny y dydd diweddaf y bu byw, pryd y methodd gan ei lesgedd. Yr ydoedd yn hynod mewn gweddi; mynych yr ymneillduai i gornel un o'r meusydd i weddïo, a bu y cymydogion lawer gwaith yn gwrando (yn ddiarwybod iddo ef), a'u tystiolaeth ydyw, na chlywsant erioed neb yn fwy taer a difrifol.

Ond erbyn hyn y mae yr hen dad anwyl hwn wedi myned at ei wobr,—ei Arglwydd wedi dywedyd wrtho, "Da, was da a ffyddlawn, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Byddwn yn gorfod credu na byddwn yn teimlo yn briodol ein colled, yn marwolaeth dynion tebyg i T. Hughes, rhai cyson a ffyddlawn gyda phob peth, ac yn enwedig rhai mawr mewn gweddi. Byddwn yn galaru wrth weled eu lle yn wag mewn aml i eglwys. Ac O na ddisgynai deuparth o ysbryd ein tadau arnom ni, y plant! Heddwch fyddo i'w lwch, a'r Arglwydd a fyddo yn nawdd i'w weddw oedranus a galarus!

J. OWEN.

*Liverpool.*

---

MRS. MARY WALTERS, BWLCH, SIR FRYCHEINIOG.

YR oedd Mrs. Walters yn enedigol o blwyf Llywel, Brycheiniog. Ei rhieni oeddynt gyfrifol a pharchus yn y gymydogaeth, yn byw ar dyddyn o'u heiddo eu hun. Darfu i'r plant gael eu dwyn i fyny o'u mebyd yn eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn Trecastell gyda'u hanwyl fam, yr hon oedd yn wraig wir grefyddol. Y mae brawd a dwy chwaer i'r ymadawedig yn aros hyd heddyw. Wedi iddynt hwy dyfu i fyny aethant drosodd i'r Eglwys Wladol, ac y mae y brawd yn offeiriad poblogaidd. Ond glynodd Mrs. Walters gyda'r enwad y cafodd ei dwyn i fyny yn eu plith. Pan yr oedd hi yn ieuanc, bu diwygiad crefyddol yn y parth hwnw o'r wlad, a theimlodd hithau bethau grymus; a thebyg mai yr adeg hono y dechreuwyd y gwaith da ynddi, yr hwn a orphenir yn nydd Iesu Grist. Gwrandawyd ei gweddïau pan yn ieuanc, "Un peth a ddeisyfais i gan yr Arglwydd, hyny a geisiaf, sef caffael trigo yn nhŷ yr Arglwydd holl ddyddiau fy mywyd, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymofyn yn ei deml."

Pan yn ddeg ar hugain oed, priodwyd hi â Mr. William Walters, Bwlch. Yr oedd efe mewn amgylchiadau cysurus, ac yn ddiacon yn yr eglwys y perthynai iddi; a buont yn ymgeleddgar i achos y Gwaredwr; bu lletty y pregethwyr yn eu tŷ am lawer o flynyddoedd. Yr oedd Mr. Walters wedi blaenu i'r wlad well er ys pedair blynedd ar hugain. Yr oedd Mrs. Walters yn wraig gall, bwyllog, ac yn meddu ar farn addfed, a thelid sylw i'r hyn a ddywedai ar faterion eglwysig. Yr oedd yn ymdrechu bod i fyny â desgrifiad yr apostol Iago o dduwioldeb: "Crefydd bur, a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad, yw hyn: ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd." Os byddai rhywun yn glaf yn yr ardal, gwnai hi dalu ymweliad â'r cyfryw, ac os byddai anghen, gwnai weini iddynt o'r pethau oedd ganddi. Yr oedd yn deall crefydd, ac hefyd yn ei byw. Credai hi mai nid mewn cyflawni cylch o ddyledswyddau yr oedd gwir grefydd yn gynnwysedig; deallai ystyr yr adnod hono, "Canys yn Nghrist Iesu, ni all enwaediad ddim, na dienwaediad, ond

ffydd yn gweithio trwy gariad." Credai fod crefydd i gyrhaedd y galon, ac i ddylanwadu ar y serchiadau; yr oedd yn hoff o weithio yn y winllan. Bu yn athrawes yn yr Ysgol Sabbothol am ddegau o flynyddoedd, ac y mae galar a cholled mawr ar ei hol.

Ni bu ei chystudd diweddaf ond byr; prin wythnos. Bu Mr. a Mrs. Edwards, Tremynfa, yn ymddyddan â hi yn ei chystudd o berthynas i'w theimladau crefyddol. Dywedai ei bod wedi rhoddi ei hunan i'r Hwn sydd yn abl i gadw yr hyn a roddir ato erbyn y dydd hwnw. Galwent ei sylw at un o emynau Mr. Sankey, yr hon a hoffid yn fawr ganddi:

"Through the valley of the shadow of death I must go,
Where the cold waves of Jordan roll;
But the promise of my Shepherd will, I know,
Be the rod and the staff to my soul,
Even now, down the valley as I glide,
I can hear my Saviour say, "Follow me!"
And with him I'm not afraid to cross the tide,
There's a light in the valley for me."

Pan yr adroddai Mr. Edwards y llinell olaf ond un o'r pennill, dywedai hithau nad oedd arni ofn croesi y *tide* gydag Ef. Y noswaith ddiweddaf y bu byw, yr oedd cyfarfod gweddi cenadol yn y capel; anfonodd genadwri yno y dymunai, wedi terfynu y cyfarfod hwnw, i gyfarfod gweddi neillduol gael ei gadw ar ei rhan hi. Ceisiai gan y diacon i anfon dau neu dri o'r brodyr mwyaf ysbrydol i weddïo, ac ewyllysiai gael gwybod yr amser y dechreuent, fel y gallai hithau gydweddïo â hwy yn ei hystafell wely. Cafwyd cymhorth neillduol i weddïo yn y capel; a dywedai y rhai oedd gyda hithau yn ei hystafell wely mai da oedd bod yno. Gweddïo yr oedd hi a'r brodyr am iddi gael y glŷn yn oleu o'i blaen; a boreu drannoeth, bu farw mewn tangnefedd, yn bedair ar ddeg a thriugain oed. "Yr oedd iddi air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun."

Y dydd Gwener canlynol, daeth tyrfa fawr ynghyd i weini y gymwynas olaf i'r hyn oedd farwol o honi. Claddwyd hi yn mynwent capel y Bwlch. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. David Williams, Crughywel, a chan yr un traddodwyd ei phregeth angladdol ar y bedwaredd nos Sabboth wedi y claddedigaeth.

D. W.

---

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### YR AMGYLCHIADAU DWYREINIOL.

Y MAE'r cyttundeb heddwch rhwng Rwssia a Thwrci wedi ei lawnodi o bob tu; eithr nid ydyw holl fanylion y cyttundeb wedi dyfod yn swyddol i wybyddiaeth ein llywodraeth ni eto. Ond ymddengys fod yr ammodau heddwch yn llawer mwy cymedrol o du y Rwssiaid nag y dysgwyliasid iddynt fod. Y mae Twrci, pa fodd bynag, ar ol ei holl draha a'i chreulonderau gwaedlyd, wedi ei llwyr ddarostwng, fel nad yw yn debyg y cyfyd byth i'w huchder blaenorol. Tra phryderus bellach yw y dysgwyliad am y Cydgynghor *(Congress)* o gynnrychiolwyr prif awdurdodau Ewrop, yr hwn a gynnelir, meddir, yn Berlin, dan lywyddiaeth y Tywysog Bismark. Y mae Cyfrin-gynghor llywodraethol ein teyrnas ni yn gofyn am i holl deleran y cyttundeb rhwng Rwssia a Thwrci gael eu dwyn dan sylw ac ymchwiliad y Cydgynghor, nid i benderfynu arnynt oll, ond yn unig i ystyried priodoldeb y rhai sydd yn dal cysylltiad uniongyrchol âg *interests* Ewrop; ac oni cheir hyny, nid enfyn Prydain gynnrychiolydd i Berlin; ac ofnir nad yw Rwssia yn barod i gydsynio â'r cyfryw ofyniad. Ond er fod ein gwlad ni, a Rwssia, os nad Awstria hefyd, yn gwneuthur parotöadau mawrion tuag at ryfel, credir ar hyn o bryd na thyr rhyfel allan rhyngom â Rwssia. Poed gwir y gred.

### LLAWER YN FYR.

Y MAE yr holl Fibl wedi cael ei gyfieithu o'r newydd i'r iaith Rwssiaidd, dan gyfarwyddyd yr hyn a elwir yno y Gynghorfa Sanctaidd; ac o'r cyfieithiad hwnw, a gyhoeddir gan y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, y mae tua deng mil a thriugain wedi eu dosbarthu, yn benaf trwy werthiant, ymysg y milwyr Rwssiaidd oedd wedi myned allan yn erbyn y Tyrciaid.

Tra y mae'r Cyfeillion, neu y Cwaceriaid, fel eu gelwir, yn lleihâu yn Mhrydain Fawr a Thaleithiau Cyfunol America, dywedir eu bod yn myned ar gynnydd ar y Cyfandir. Yn Denmarc y mae ganddynt amryw gymdeithasau neu gynnulleidfaoedd, a'u rhifedi yno yn amlhâu.

Mae tŷ ardderchog y Barwn Albert Grant yn Kensington wedi cael ei brynu gan un Mr. Mackey o San Francisco, yr hwn gynt a aeth drosodd i'r America yn Wyddel ieuanc tlawd, ond y dywedir ei fod yn awr y dyn cyfoethocaf yn y byd, gan ei fod yn perchen mwngloddiau arian Nevada, sydd yn werth rhyw hanner cant o filiynau o bunnoedd. Y nesaf ato ef mewn cyfoeth, meddir, yw y pen ar deulu y Rothschilds, sydd yn meddu ar ddeugain miliwn.

Dywedir fod pedair rhan o bump o'r holl Fedyddwyr yn y byd i'w cael yn Unol Daleithiau America.

Yr oedd maer Des Moines, Iowa, America, mor chwannog i yfed i ormodedd, fel y darfu iddo yn mis Tachwedd diweddaf, fel help at orchfygu ei chwant meddwol, lawnodi ei ymddiswyddiad fel maer, a rhoi'r papyr yn llaw un o aelodau'r cynghor, i'w ddarllen os byddai iddo byth feddwi eto. Yn un o'r cyfarfodydd yn ddiweddar, yr aelod hwnw a hysbysodd fod ganddo ddyledswydd anhyfryd i'w chyflawni, ac a ddarllenodd yr ymddiswyddiad.

Joseph Livesey o Preston, Sir Lancaster, yr hwn a gyfrifir yn sylfaenydd y cymdeithasau llwyrymattaliol yn y deyrnas hon, a gyrhaeddodd yr oedran teg o 84 mlwydd ar y 5ed o'r mis diweddaf.

Y mae wyth o newyddiaduron yn Lloegr dros gant oed.

Mae mab i Mr. Spurgeon ar hyn o bryd yn pregethu gyda chymeradwyaeth a llwyddiant mawr yn Australia.

Gofynwyd i Negröes gristionogol ar ei gwely angeu beth oedd ei sail i gredu fod ei phechodau wedi eu maddeu; hithau a gyfeiriodd at aberth iawnol Crist yn ei ffordd syml hi ei hun, sef, "Mi pechadur, ac felly mi marw neu Fe marw; ond Fe marw, felly mi dim marw.'

Ymysg yr Eglwyswyr a lawnodasant y gofeb at y Frenines yn erbyn arfer cyffesu yn Eglwys Loegr, ceir enwau Arglwyddi Dynevor a Mostyn, a Syr Watkin Williams Wynn.

Mewn pregeth ar yr ail Sabbath o'r mis diweddaf, dywedai y Parch. J. Griffiths, periglor Merthyr Tydfil, ei fod wedi derbyn chwe' mil o bunnoedd, oddiwrth wahanol bersonau a lleoedd, tuag at gynnorthwyo y rhai oedd yn dyoddef gan y cyfyngder gweithfaol yno.

Y mae tebygolrwydd y bydd Cronfa Gynnaliaethol Eglwys Rydd Scotland yn gallu rhoddi y swm o ddau cant o bunnoedd i'r gweinidogion yn gyffredinol y flwyddyn hon.

Y Parch. Dr. Griffiths, ficer Llandeilo, yr hwn a gyfrifid y pregethwr mwyaf hyawdl ac effeithiol o'r holl glerigwyr yn Nghymru, a gymerwyd ymaith ar ol byr gystudd yn nechre'r mis diweddaf. Yr oedd efe yn ŵr poblogaidd gydag Ymneillduwyr yn gystal ag Eglwyswyr.

Bu Dr. Newman, y galluocaf a aeth o Eglwys Loegr i Eglwys Rhufain, yn ddiweddar ar ymweliad â Rhydychain, am y tro cyntaf er ys deuddeng mlynedd ar hugain. Yr oedd yn lletŷa gyda Llywydd Coleg y Drindod, ymha goleg y buasai efe ei hun gynt yn ysgolor enwog. Dr. Newman oedd un o brif dadau yr *Oxford Tractarianism*, gwreiddyn a sylfaen y Ddefodaeth a'r Babyddiaeth sydd yn awr yn ffynu yn Eglwys Loegr.

Mae diaconiaid eglwysi Annibynol Gogledd Cymru, trwy law Mr. W. Parry, Bethesda, Arfon, wedi anrhegu Prifysgol Aberystwyth â darlun rhagorol o'r Parch. Dr. William Rees, un o brif wroniaid ein cenedl fel pregethwr, darlithiwr, bardd, llenor, a rhyddfrydwr.

Gan fod Mr. Gladstone wedi gwneuthur yn hysbys nad yw efe yn bwriadu dyfod ymlaen i gynnrychioli Greenwich pan ddelo amser y Senedd bresennol i fyny, mawr ddysgwylir y derbynia efe yn foddlongar alwad bwrdeisdrefi Sir Fflint i'w cynnrychioli hwy, gan ei fod ef yn awr yn un o foneddwyr Sir Fflint, a Mrs. Gladstone wedi ei geni yno.

Y mae Syr Thomas Chambers, *recorder* neu farnydd newydd dinas Llundain, yn ŵr crefyddol, o syniadau Protestanaidd ac efengylaidd, ac yn un o'r llëygion llafurus sydd yn arfer pregethu yr efengyl.

Yn etholiad Bwrdd Ysgol cyntaf Llanidloes, yn cynnwys pump o aelodau, etholwyd pedwar Ymneillduwr ac un Eglwyswr.

Adroddir fod Cwmni'r Clogan, gerllaw Dolgellau, wedi dyfod o hyd i lawer o fŵn aur yn ddiweddar. Dyma yr unig un o holl gwmnïau'r cloddfeydd aur a gychwynwyd flynyddoedd yn ol yn y parthau hyny, sydd yn dal i weithio.

---

BASGED Y GWIREBAU.

*Y Drydedd Fasgedaid.*

XXV.

NID yw o nemawr bwys mewn cymhariaeth pa fodd y trinir dyn oddiallan gan eraill; y mater pwysicaf iddo ef ydyw, pa fodd y llywodraethir ef oddimewn ganddo ei hun.

XXVI.

Y mae'r byd yn ei oreuon fel pren rhosyn: mae'r rhosynau hyfryd yn gwywo yn fuan, ond ceir y drain pigog yn aros.

XXVII.

Duwinyddiaeth fâs yw hono nad yw yn cydnabod dyfnderau neu ddirgeledigaethau, eithr yn gallu yn rhwydd esbonio pob peth. Mae yn rhaid i natur anfarwol dyn wrth bethau sydd â dirgelwch ynddynt tuag at allu byw yn ddiwall.

XXVIII.

Profiad yw y pregethwr mwyaf hyawdl; ond y mae yn rhy amlwg nad ydyw yn bregethwr poblogaidd.

XXIX.

Yr offeryn goreu tuag at wneuthur gwraig dda yw gŵr da; a'r un modd, gwraig dda yw y sicrhâd goreu am ŵr da.

XXX.

Mae yn rhaid cael dau cyn y gellir ennyn cweryl; ond os penderfynwch chwi, a chwithau, a chwithau, na fyddwch chwi ddim yn *un* i gweryla, byddai diwedd buan ar ymrafaelion. Cofiwch yr ymadrodd, "Ateb arafaidd a ddettry lid."

XXXI.

Os mynai dyn fod yn gymeradwy iawn gan y byd, rhaid iddo beidio bod yn rhy debyg i Dduw o un tu, nac yn rhy debyg i ddiafol o'r tu arall.

XXXII.

Na cheisiwn gredu ein bod yn credu, ond edrychwn yn barhâus ar Grist fel gwrthddrych mawr crediniaeth; dyna'r ffordd debycaf y gallwn ddysgwyl ein gweled ein hunain yn credu.

XXXIII.

Os bydd dynion yn tori eu haddewidion i ti, cofia, gristion, nad yw Duw byth yn tori

yr un addewid o'r eiddo ef; ac un o'i addewidion gwerthfawr ydyw, "Megys dy ddyddiau y bydd dy nerth."

XXXIV.

Rhaid yw i bob dyn gymeryd arno ryw iau—bod yn ddarostyngedig i rywun neu rywbeth. Y cwestiwn iddo ei ateb ydyw, nid, Pa un ai bod yn annibynol, neu ynte bod yn ddarostyngol, a ddewisi? ond, Pwy a gymeri yn feistr arnat? Pa un ai Duw ai hunan, ai nefoedd ai uffern, a ddewisi i'th lywodraethu?

XXXV.

Y tir diogelaf, prydferthaf, a ffrwythlonaf rhwng dinas dystryw a'r ddinas nefol, yw dyffryn gostyngeiddrwydd.

XXXVI.

Rhywbeth fel rhew yn cael ei dori yw yr hyn a elwir yn edifeirwch deddfol; ond cyffelyb i rew yn toddi yw edifeirwch efengylaidd.

## Amrywiaethau.

HEN GYBYDD YN GADAEL EI OLUD.

Er ys llawer o flynyddoedd bellach gallesid gweled hen ŵr yn cario hen gŵd ar ei ysgwyddau, gan godi i fyny fân betheuach o'r cwteri ac ysgarthion o'r heolydd. Yr oedd efe yn byw yn un o faesdrefi Llundain, mewn ystafell druenus, wedi ei llanw âg ysbwrial, hen ddarnau o haiarn a phres, tipynau o linyn, &c. Yr oedd *tin-boxes* oddeutu'r ystafell, am y rhai y tybiai ei gyfeillion fod ynddynt ryw bethau o werth, mwy neu lai, yn nghadw. Yr oedd yr hen greadur yn byw ar rywbeth y dygwyddai iddo daro arno ar y ffordd, neu yr hyn a roddid iddo gan bobl elusengar, y rhai a'i cymerent fel cardotyn. Arferai fyned i un o *hospitals* y brifddinas, ymha un y cyfrifid ef yn *out-patient*, ac y derbyniai gynghor a physigwriaeth yn rhad. Yn ddiweddar bu farw yr hen ddyn hwn yn nghanol gresyni ac ymddangosiad o eisieu. Ei gyfeillion a aethant i chwilio pob twll a chornel am ei arian; ond yn y blychau alcam nid oedd dim ond llinynau a rhwymynau; ac am beth amser yr oedd yr holl ymchwiliad yn ofer. O'r diwedd, cafwyd yn nghlustog dreuliedig hen gadair, ymha un yr arferai eistedd, fwndel o'r *securities* gwerthfawrocaf, yn rhoddi sicrhâd am gymaint â thriugain mil o bunnoedd; ac yno hefyd yr oedd ei ewyllys. Yr oedd yr ewyllys hono, gan roddi can' punt i bob un o'i gymynweinyddwyr, yn gadael un rhan o'i holl gyfoeth i'r *Royal Free Hospital, Gray's-inn-road*, lle yr arferai efe gael cynghor a meddyginiaeth yn rhad, fel y crybwyllwyd, a'r hanner arall i'r *Royal National Lifeboat Association*. Ni wnaeth cyfoeth yr hen gybydd ddim lles iddo ei hun; ond bellach dyma ddau sefydliad da yn cael drwyddo gymhorth mawr.—*Hand and Heart.*

LLOGELLAU MERCHED.

Pa hyd y pery'r *ffasiwn* bresennol ymysg y rhyw fenywaidd o gyflëu llogellau mawrion o'r tu ol i'w gwisgiadau, a thrwy hyny wahodd pobl anonest i helpio eu hunain o'r hyn a gynnwysir yn y cyfryw logellau? Benyw o'r enw Mary Massey a gyhuddid o flaen y fainc farnol yn Liverpool o ddwyn pwrs, âg ynddo bymtheg ceiniog, allan o logell Elizabeth Mainwaring. Yr oedd y llogell hono wedi ei dodi yn nghefn y wisg. Yr ynad, Mr. Raffles, a ddywedai nad oedd efe yn synu dim wrth ladradau allan o logellau oedd gan y-boneddigesau o'u hol. Yr oedd efe wedi rhoi rhybudd iddynt ynghylch hyny ar amser blaenorol, ac eto yr oedd yn cael y *ffasiwn* ffol yn parhâu! Mary Massey, pa fodd bynag, a ddedfrydwyd i dri mis o garchar gyda llafur caled.

CYFOETH Y TLAWD.

Yr wyf yn cofio pan yr oeddwn yn byw yn Waltham, medd Esgob Hall, fod pendefig goludog yn galw gyda mi; ac wrth weled fy holl blant yn sefyll yn rhês, yn ol eu hoedran a'u maint, efe a ddywedodd, "Dyma y rhai sydd yn gwneyd cyfoethogion yn dlodion." Ond mi a'i hatebais, "Nage, fy arglwydd; dyma y rhai sydd yn gwneyd dyn tlawd yn gyfoethog; o herwydd ni fynwn ymadael âg un o'r rhai hyn am eich holl gyfoeth chwi."

## Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

BRYNIAU JAINTIA.

ADRODDIAD Y PARCH. G. HUGHES.

Jiwai,
20fed Ionawr, 1878.

Yr wyf yn anfon i chwi yr ystadegau a'r cyfrif am Jaintia am 1877. Wrth y rhai hyn chwi a ganfyddwch nad ydyw wedi bod yn flwyddyn ddiffrwyth, ac nad yw Duw wedi ein gadael yn hollol, ond fod cynnydd yn nifer y gwrandäwyr a'r aelodau yn yr holl eglwysi, oddieithr Shangpung a Jangkiat,* a bod un eglwys o newydd wedi ei sefydlu yn Wmsaplit, taith tri diwrnod oddiyma. Yr ydym wedi ein cadw yn lled dda oddiwrth ddiarddeliadau—dim ond pump yn yr holl eglwysi, ac y mae heddwch a brawdgarwch yn ffynu yn y rhan fwyaf. Yr wyf yn meddwl fod mwy o weithgarwch Cristionogol nag a fu; fel y mae, yn wir, dros yr holl fryniau. Y mae cyfnewidiad mawr ymhob man agos yn ystod y pedair blynedd diweddaf—y Cristionogion yn teimlo fod ganddynt hwy, fel dilynwyr Crist,

*Mewn llythyr diweddarach, dyddiedig Chwefror laf, cyfeiria Mr. Hughes at yr adroddiad hwn, a dywed, "Chwi welwch fod cynnydd ymhob colofn oddieithr yn un am y marwolaethau a'r diarddeliadau. Nis gallaf roddi cyfrif am y gwahaniaeth rhwng ystadegau Shangpung a Jangkiat (sef Jonglapynne a Hinniew Kymai wedi eu hûno), am y ddwy flynedd ddiweddaf, a'r rhai blaenorol. Sicrhëir fi gan yr athrawon nad oes dim lleihâd yn rhif y gwrandäwyr."

rywbeth i'w wneyd er dwyn eu cydwladwyr at y Gwaredwr. Dyma sydd i roddi cyfrif, gan mwyaf, am y cynnydd sydd wedi cymeryd lle yn ystod yr amser hwnw. Yr attalfa fwyaf ar eu cynnydd ysbrydol yw anwybodaeth. Y mae cryn nifer yn y rhan fwyaf o'r eglwysi heb allu darllen, a llawer yn gallu darllen ond yn drwsgl. Dyma yw sefyllfa agos bawb sydd yn dyfod at grefydd mewn oed—llawer â'u llygaid wedi pylu, fel nas gallant weled i ddarllen. Y mae hyny, fel y gellir yn naturiol weled, yn attalfa fawr ar ffordd eu cynnydd mewn crefydd, ac yn peri fod llawer o'u hen arferion a'u syniadau blaenorol yn glynu wrthynt, yn enwedig budreddi. Y mae rhai o honynt yn fudr iawn, yn enwedig yn Shangpung a Jangkiat. Felly gwelwch mai rhai bach yn Nghrist ydynt, a bod arnynt anghen llaeth, ac nid bwyd cryf, am lawer o amser eto. Byddaf yn teimlo hiraeth yn aml am gyfarfodydd eglwysig gartref. Nid oes yma ddim brawd na chwaer sydd yn tanio pawb wrth ddyweyd eu profiad—sydd yn dangos eu bod yn dal cymdeithas feunyddiol â'r Tad ac â'i Fab ef Iesu Grist. Eto yr wyf yn credu fod llawer iawn, er yn amddifad o brofiad uchel, wedi eu gwir ddychwelyd. Y mae y temtasiynau y maent yn eu gorchfygu, a'r bywyd cyson a arweiniant, yn dangos yn eglur eu bod yn ceisio gwlad well. Ein gobaith penaf am Gristionogion cryfion, a chael gwaredigaeth hollol oddiwrth arferion a syniadau paganaidd, ydyw yr oes sydd yn codi. Y maent hwy yn cael eu dysgu o'u mebyd i ddarllen a deall Gair Duw, ac i gasâu arferion ffol a budron, a syniadau ofergoelus eu cydgenedl. Rhoddaf adroddiad byr am yr holl eglwysi.

### JIWAI.

Chwi welwch oddiwrth yr ystadegau fod 21, rhwng y ddau o Iongushin, wedi ymuno â'r eglwys yn Jiwai yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, a bod y casgliadau yn £30 13s. 1½c. Y mae genym ddau gasgliad misol ar droed, sef y casgliad eglwysig, a chasgliad er cynnal un i weithio yn neillduol yn mhentref Jiwai; ac er fod rhai lled gyfoethog yma yn rhoddi islaw eu gallu, y mae yr eglwys fel y cyfryw yn bur ffyddlawn. Y mae y gynnulleidfa hefyd yn cynnyddu yn raddol. Y mae chwech o deuluoedd wedi dyfod yma o'r pentref i fyw ar y bryn Cristionogol—un oedd wedi ymadael amser yn ol o herwydd anfoesoldeb. Y mae hefyd rai yn dyfod o'r pentref yn gyson iawn. Yr anhawsder yma yw diffyg lle i adeiladu. Y mae Jiwai yn wahanol iawn i Khassia. Yma, pan y bydd teulu yn awyddus am adael eilunaddoliaeth, y maent ar unwaith yn gadael y pentref ac yn dyfod at y Cristionogion i fyw; ni ddyoddefant wawd eu cymydogion. Nid oes neb ond dau deulu yn wrandäwyr cyson yn parhâu i fyw yn y pentref, ac nid oes genym ninnau ond lle i dŷ neu ddau mwy; tra yn Khassia nid yw y Cristionogion yn gadael eu pentref, yr hyn sydd well, i'm tyb i. Y mae yn Jiwai lliaws mawr yn addef mai Cristionogaeth sydd iawn, ond yn rhy lwfr, neu yn caru eu pechodau yn ormod, i herio gwawd eu cymydogion, trwy ddyfod i wrando ar y Sabbath. Nis gallaf ddyweyd fod dim addfedrwydd neillduol yn y pentref, fel mewn rhai lleoedd, i dderbyn yr efengyl. Meddwdod, godineb, anlladrwydd, a hapchwareu sydd yn ffynu yma, a sancteiddrwydd crefydd Mab Duw yn rhy wrthnaws iddynt, er addef ei gwirionedd. Pe gostyngem safon y Bibl, caem lawer o ddilynwyr allanol. Ond yr ydym yn gweled ac yn credu mai yr efengyl *yn ei phurdeb* yw yr unig foddion i wella y byd, yn foesol ac ysbrydol. Addewidion Duw yn unig sydd genym i wynebu annuwioldeb a chaledwch y pentref. Nid wyf yn teimlo yn gysurus fy hunan, ac nis gallaf roddi adroddiad cysurus iawn am sefyllfa ysbrydol yr eglwys hon. Y mae diffyg brawdgarwch a chenfigen ymhlith y brodyr hynaf yma—ysbryd Diotrephaidd sydd fel cancr yn ysu bywyd, ac yn lladd gweithgarwch yr eglwys. Yr wyf wedi cadw yn anmhleidiol, a cheisio lladd yr ysbryd hwn; ond nid yw wedi marw eto. Er mai ychydig bersonau sydd yn y sefyllfa hon, eto y mae eu dylanwad yn niweidiol iawn ar yr holl eglwys. Y mae arnaf ofn y bydd raid bwrw ymaith rai cyn y ceir trefn. Y mae y rhai sydd "yn meddwl am ei enw Ef" yn galaru yn ddwys am hyn. Gellir dyweyd am yr aelodau eu bod yn bur gyson yn moddion gras; ac yn y cyfarfod eglwysig llonir fi aml waith wrth glywed y pregethau yn cael eu hadrodd gan rai, yr hyn sydd yn profi eu bod yn dal ar y pethau a draddodir iddynt.

Cynnaliwyd cyfarfodydd Biblaidd yn ystod y tymmor gwlyb, ond rhoddwyd hwy i fyny y tymmor sych, am fod agos yr oll o'r meibion yn Calcutta, neu yn gwerthu eu nwyddau ar hyd y wlad, a minnau yn gorfod bod oddicartref yn aml yn ymweled â lleoedd eraill. Er pan gafwyd y Llyfr Hymnau newydd, y mae Mrs. Hughes wedi bod yn cadw cyfarfodydd canu mor gyson ag y gallai, er dysgu tonau newyddion; a byddai yn hyfrydwch mawr gan lawer o garedigion y Genadaeth pe gallent glywed y Jaintiaid a'r Cassiaid yn canu Talybont, Abertawe, Moab, Nashville, Jabes, &c., ar yr un hymnau ag y ceuir hwynt yna.

NYRTIANG.

Y mae yr achos yn y lle hwn yn gwella. Derbyniwyd 11 o'r newydd i'r eglwys yn ystod y flwyddyn, ac y mae y gynnulleidfa hefyd wedi cynnyddu cryn dipyn. Ond yr ydym wedi colli dau gyflawn aelod yn ystod yr un amser—un o herwydd torpriodas a meddwdod, a'r llall trwy gael ei losgi yn ei dŷ. Y mae y cyntaf wedi troi yn afradlawn iawn, ac wedi ei yru ymaith o blith y Cristionogion. Yr oedd yr olaf yn Gristion da iawn er ys chwe' blynedd neu saith; ond yn ystod yr haf diweddaf, dyrysodd ei synwyr, a bu yn lled ddrwg am amser. Wedi hyny gwellhäodd, a gallodd ddyfod i'r moddion, ond yr oedd yn edrych yn syn ac yn hynod dawedog yr holl amser. Un noswaith, gwrthododd fyned i'w wely gyda ei deulu. Ymhen ychydig amser deffrodd ei wraig, a gwelodd yntau yn rhoddi y tŷ ar dân. Neidiodd i fyny a cheisiodd ei berswadio i ddianc allan, ond gwrthodai. Ar hyn rhedodd hithau allan a gwaeddodd ar y cymydogion. Pan ddaethant, gan nas gallent attal y tân, ceisiasant fyned i mewn i'w dynu ef allan, ond pan oeddynt yn myned i mewn yr oedd ef yn gwylio wrth y drws gyda phastwn, a niweidiodd ddau o honynt yn lled ddrwg, ac felly bu gorfod gadael iddo. Bore dranoeth caed hyd i'r corff wedi llosgi yn ulw, oddieithr ychydig esgyrn. Yr oedd hyn yn brofedigaeth fawr i'r brodyr, gan ei fod yn un o'r pedwar cyntaf a aethant i Nyrtiang o Jiwai, ac yr oedd wedi bod yn ffyddlawn iawn yr holl amser. Oddieithr hyn, y mae yr achos yno wedi bod yn gysurus iawn. Y mae y teimlad yn achos y tir wedi lleddfu, a'r pentref yn dechreu bod yn gyfeillgar drachefn. Eto gweithio yn erbyn y llif yw hi yn Nyrtiang. Ychydig iawn sydd yn dyfod o'r pentref fel gwrandäwyr, ac un yn aelod. Dyma y pentref meddwaf a mwyaf lladronllyd yn Jaintia,—lladratânt yno ganol dydd, ac nid oes gan y bobl wroldeb i'w dal, gan fod ganddynt arfau, a gallai y bydd y rhai y lladratäwyd oddiwrthynt gyda'r un gwaith y nos drachefn. Anhawdd i chwi gyfarfod â dyn sobr yno yn min yr hwyr. Nid yw y *Dolloi* yn gofalu am hyn, oddieithr y dygwydd achos y bydd yn rhaid myned at yr ynad i Jiwai. Rhai o bentrefi eraill yw yr oll sydd yn y lle Cristionogol o'r bron. Cryn anfantais i weithio yn y pentref yw fod y Cristionogion yn byw mor bell, tua milldir o ffordd.

SHANGPUNG.

Tebyg yw sefyllfa yr achos yn y lle hwn i'r hyn oedd flwyddyn yn ol,—dim cynnydd na lleihâd. Yn Mai diweddaf aethum yno er mwyn ceisio cael rhyw fwy o weithgarwch ynddynt; a chefais allan eu bod er ys amser wedi llaesu dwylaw ac yn ddifater am weithio yn y pentref. Addawsant wella a myned yn gyson i'r pentref. Ond yn fuan ar ol hyny daeth y frech wen yno, a chauwyd y drws. Ni elwid neb i dŷ tra fyddai y frech yno, ac nid oedd yn ddoeth na diberygl i'r Cristionogion roddi eu hunain yn agored i'r haint nac i'w ddwyn i'w plith. Y maent hwy yn rhydd oddiwrthi er ei bod yn lled drom yn y pentref eto. Felly nis gellir dyweyd fod dim wedi ei wneyd yn Shangpung y flwyddyn hon oddieithr gofalu am y Cristionogion.

JANGKIAT.

Y mae y lle hwn daith diwrnod i'r deauddwyrain o Shangpung, yn nosbarth neu *dolloiship* Ralliang, mewn gwlad îs na Shangpung; a chan ei bod yn isel, bydd *jungle fever* yn ffynu yno y tymmor gwlyb. Y mae y pentref hwn mewn sefyllfa dra manteisiol i lafur cenadol — yn y canol rhwng amryw bentrefi. Dim ond cael y Cristionogion i weithio, ceid gweled cyfnewidiad buan yn y lle hwn. Aethum i ymweled â hwy yn nechreu Rhagfyr, gan fwriadu myned ymlaen tua Wmsaplit, i sefydlu eglwys yno. Ond ar y ffordd yno o Shangpung, daliwyd fi gan y *jungle fever*, a chydag anhawsder mawr y cyrhaeddais yno ar nos Iau. Yno y bum yn gorwedd hyd fore Llun yn wael iawn. Brydnawn Sabboth teimlais ychydig yn well, ac aethum i'r capel, a cheisiais bregethu ychydig iddynt; ond aethum yn ol i'r tŷ yn waeth na phan yr aethum i'r moddion. Cychwynais adref fore Llun, gan gael dynion i'm cario, gan nas gallwn sefyll ar y ceffyl,—gan deimlo yn siomedig fod y daith yn ofer. Yr oedd yno gynnulleidfa bur dda yn gwrando yn lled astud y Sabboth, ond ni ellais gael yr un cyfarfod â hwy, nac ymddyddan ond ychydig. Y maent yn bur dlodion, ac nid ydynt yn cyfranu ond ychydig iawn at yr achos. Diarddelwyd gŵr a gwraig am gydsynio âg arferion paganaidd wrth losgi corff tad y wraig, er cael hawl i'w eiddo. Yr oedd hyn yn demtasiwn fawr iddynt, ond rhaid eu dysgu i aberthu ychydig er mwyn Crist, ac nad oes cyfathrach rhwng Crist a chythreuliaid. Derbyniwyd dau hefyd fel ymgeiswyr; a daeth un teulu o bentref Rywan atynt i fyw, fel y mae eu sefyllfa o ran rhif yn debyg i'r hyn oedd y llynedd.

WMSAPLIT.

Pentref yw hwn daith diwrnod i'r dwyrain o Jangkiat. Y maent yn byw ar fryn, ar wahan oddiwrth y pentref, a'r oll wedi ymwrthod âg eilunaddoliaeth, ac yn cadw y Sabboth. Ymunasai tri âg eglwys Jang-

kiat yn ystod y flwyddyn, ac yr oedd dau o Jangkiat wedi symud yno i fyw. Yr oeddwn wedi addaw myned yno er ys tro i sefydlu eglwys, gan fod yno rai hen bobl yn awyddus i ymuno, ond methais, fel y dywedais; a dywedais wrth yr athraw am ddechreu cadw cyfarfodydd eglwysig, ac aeth U Swonroi, un o'r Efengylwyr, yr hwn sydd hefyd yn is-arolygwr yr ysgolion, yno erbyn y noswaith, a dywed ef fod golwg ddymunol iawn arnynt. Yr oeddynt yn bwriadu derbyn yr ymgeiswyr ymhen ychydig wythnosau.

### NONGTALANG.

Lled ddifywyd yw yr achos yn Nontalang, a'r Cristionogion yn ddifater, o'r hyn lleiaf yn ddiymdrech am lwyddiant yr achos yn eu plith. Mae yr ysgol ddyddiol yn lled flodeuog yno, ac y mae nifer mawr o'r pentrefwyr yn gallu darllen, ond caled ac anystyriol ydynt am y pethau a berthynant i'w heddwch, er cael manteision mwy nag un lle yn Jaintia oddieithr Jiwai. Cawsant ar y cyntaf rai o'r Efengylwyr goreu, ac wedi hyny ddynion ieuainc gweithgar a dichlynaidd i'r Ysgol Athrawol, ond y mae y cynnydd yn llai na'r un lle ag y ffurfiwyd eglwys ynddo er ys amser. Nid oes ond tair benyw yn yr eglwys, nac yn dyfod i'r addoliad, yr hyn sydd yn attalfa fawr ar ffordd llwyddiant yr efengyl yn y lle. Amryw o wŷr yn perthyn i'r eglwys, a'r gwragedd a'r plant byth yn dyfod yn agos.

### SOHKHA.

Chwi a ganfyddwch oddiwrth adroddiadau blaenorol a'r ystadegau, fod Sohkha wedi gwella llawer iawn y flwyddyn hon, a bod gobaith, oni rydd y gelyn ryw attalfa, y daw yno achos cryf, yn enwedig os parhâ Lamin mor addawol ag yn awr. Y mae yn ymddangos fod ysbryd newydd wedi meddiannu yr eglwys yno, a bod teimlad llawer yn y pentref yn ffafriol i Gristionogaeth. Y mae cryn lawer mwy yn gwrando yno, ac yn Lamin, nag a roddir yn yr ystadegau; ond gan nad ydynt yn gyson, nac wedi amlygu dymuniad i fod yn Gristionogion, ni wnaeth y brodyr eu cyfrif fel gwrandäwyr, rhag, meddynt, y byddant yn troi yn ol eto. Hefyd nid ydynt yn barod i dderbyn neb i'r eglwys ar y cynnyg cyntaf; rhaid cael prawf am amser, o herwydd derbyniwyd pawb a gynnygiai ei hun pan sefydlwyd yr eglwys gyntaf, ond yn awr profedigaeth ciliasant oll ond pedwar, a bu yr achos yn isel iawn am flynyddau. Gallaf ddyweyd fod y frawdoliaeth oll, gan eu bod yn lled ieuanc mewn dyddiau, yn gallu darllen, ac yn deall egwyddorion crefydd yn lled dda. Ni theimlais yn fwy hapus erioed ar y Bryniau, wrth dderbyn rhai i gymundeb, nag a deimlais wrth dderbyn yr wyth a dderbyniwyd yno er ys ychydig amser yn ol. Eu hanghen mawr ydyw athraw gwybodus a gweithgar, i'w harwain. Y mae yr un sydd yno yn fywiog a gweithgar, ond nid yw yn ysgolaig da, ac felly nid yw yr ysgol mor flodeuog ag y gallai fod, na'r eglwys yn cael maeth fel y dylai.

### IONGUSHEN.

Fel yr hysbysais o'r blaen, yr oedd un Cristion yn y pentref hwn er ys tair blynedd, a'r flwyddyn hon y mae dau wedi ymuno âg ef, ac un arall wedi cael caniatâd i ymuno ddechreu y flwyddyn hon. Cedwir moddion Sabbothol yn gyson, a chynnelir cyfarfod eglwysig hefyd, er mai i Jiwai y perthynant hyd yn hyn. Y mae un yn fachgen tua 14 oed, nai i offeiriad y pentref, a'i olynydd yn yr offeiriadaeth. Pan amlygodd ei ddymuniad i ddyfod yn Gristion, attaliwyd ef rhag dyfod i'r ysgol ac i'r moddion Sabbothol. Yna diangodd at yr athraw i fyw, a hyd yn hyn y mae wedi gwrthod pob cymhellion i ddychwelyd yn ol at ei ewythr, yr hwn sydd yn hen ŵr yn yr offeiriadaeth. Cadwed Duw y bachgen hwn, y mae ei demtasiynau yn fawr; dim ond troi yn ol, byddai yr un mwyaf ei barch a'i ddylanwad yn y pentref, pan ddeuai ychydig yn hynach.

Yr ydwyf wedi rhoddi uchod Adroddiad mor gywir ag a allaf o sefyllfa yr achos yn Jaintia, er mwyn i chwi gael golwg mor deg ag a ellir ar ein profedigaethau a'n hanhawsderau, ac hefyd ein cysuron a'r cyfnerthiad yr ydym yn ei gael i'n ffydd; ac felly gall yr eglwys yn Nghymru deimlo mwy o ddyddordeb yn y Genadaeth, a bod yn fwy taer yn ei gweddïau drosom at Dduw, perchenog y gwaith, yr hwn sydd wedi gorchymyn i'w ddysgyblion fyned i'r holl fyd a phregethu yr efengyl i bob creadur, gan addaw bod gyda hwynt hyd y diwedd.

### YR YSGOLION DYDDIOL.

Y nifer sydd yn y ddwy ysgol ar hugain yn Jaintia yw 381,—259 o fechgyn a 122 o enethod. Mis Rhagfyr yw yr adeg fwyaf anffafriol i roddi ystadegau yr ysgolion yn Jaintia o'r un adeg ar y flwyddyn, oherwydd yn Hydref y mae y cynauaf reis yn dechreu yma, ac yna dechreuir tori a chario y coed erbyn y tymmor gwlyb. Bydd pawb, hen ac ieuanc, yn brysur y pryd hyny yn y caeau ac yn y goedwig, a bydd raid i ni gau yr ysgolion am bythefnos y mis hwnw. Bydd llawer mwy yn y tymmor

gwlyb—eich haf chwi. Y mae cyfrif Jiwai, er engraifft, yn is y mis hwnw nag un adeg. Y mae sefyllfa yr ysgolion yn gyffredinol rywbeth yn debyg ag yw dros yr holl Fryniau, rhai yn flodeuog iawn am amser, yn enwedig pan fo athraw da a chymdeithasgar, ac wedi hyny yn gwaethygu. Ond er y pryder a'r drafferth ydys yn ei gael gyda hwy, y maent y rhagbarotoadau goreu i'r efengyl mewn gwlad anwybodus ac ofergoelus fel hon. Yr wyf yn tybio na buasai genym ond ychydig o eglwysi na Christionogion oni b'ai am yr ysgolion. Os bydd athraw da mewn pentref bydd yr efengyl yn cael ei phregethu i'r bobl, a'r addysg a dderbyniant yn dinystrio eu hofergoelion. Y rhwystr penaf sydd ar y ffordd yw ansefydlogrwydd y bobl, yn tarddu o'u sefyllfa anwareiddiedig —yn cael eu llywodraethu yn hollol gan eu teimladau, ac y mae y rhai hyny, fel y gwyddoch, yn hynod gyfnewidiol; ac hefyd y diffyg llywodraeth sydd gan y rhieni ar y plant. Gadewir iddynt wneyd fel y mynont; ac os blinant ar yr ysgol ni orfoda eu rhieni iddynt fyned yno. Nid yw sefyllfa yr ysgolion pentrefol yn Jiwai yn foddhaol iawn y flwyddyn hon, yn enwedig y merched. Nis gellir dyweyd fod pentref Jiwai, fel pentrefydd mawr eraill, yn gwerthfawrogi addysg,—*up-hill* yw hi gydag addysg yma. Y mae yr ysgolion ar y bryn cenadol yn dda, am fod gan y cenadwr awdurdod dros y plant, ond yn y pentref yma, afiechyd neu ryw anffawd arall a bar gyfnewidiad buan. Er enghraifft, yr oedd un ysgol i'r genethod yn rhifo 21 yn Awst diweddaf; ond aeth rhai o'r genethod yn sal, a dywedodd y Nongkheinksuid (torwr wyau), mai am eu bod yn dysgu darllen y daeth yr afiechyd, ac yn y fan disgynodd y nifer i lawr i chwech. Felly y mae y nifer yn parhâu yn isel hyd yn awr.

---

## BRYNIAU CASSIA.

---

### YMWELIAD Y PARCH. T. JERMAN JONES A GOGLEDDBARTH CASSIA.

Mewn llythyr dyddiedig Chwefror 8fed, yr hwn sydd yn rhy faith i'w argraffu yn gyflawn y mis hwn, rhydd Mr. Jerman Jones hanes ei ymweliad â Khadsawphra a Mawdem a rhanau eraill o'r wlad i'r gogledd o Shillong. Treuliodd y Sabboth cyntaf yn Nongthymai, lle y cafwyd cynnulleidfa o tua dau cant, cynnwysedig o bobl o'r pentref ac o'r lleoedd cylchynol, Mawnai, Nongrymai, &c. Priodola y cenadwr y cyfnewidiad mawr sydd yn y pentref hwn i offerynoliaeth llafur U Kypa U Moit, y penaeth, yr hwn sydd yn Gristion zelog. Drannoeth yr oedd yn myned trwy amryw bentrefi lle nad yw y bobl yn gwybod dim am yr efengyl, a theimlai awydd cryf i aros yn rhai o honynt, a gofidiai na byddai mwy o weithwyr i'w hanfon i'r cynauaf mawr. Ar ol teithio trwy goedwigoedd mawrion, heibio i ran sydd yn hoff gyrchfa elephantiaid gwylltion, cyrhaeddodd Mawroh yn ngwlad Mawdem erbyn prydnawn dydd Mawrth. Yma penderfynodd aros hyd y dydd Llun canlynol, gan gymeryd cyfleusdra i fyned oddiyno i ymweled â'r pentrefi cylchynol. Dydd Iau aeth i Waramsaw yn nhiriogaeth y Sím Cong (y Brenin Du). Mae yno ysgol er ys tua naw mis, ac ynddi 16 o fechgyn a 6 o enethod yn dysgu. Rhwystr mawr ar ffordd yr efengyl yma ydyw y ddiod feddwol; nid oes neb yn y lle, "na bach, na mawr, na hen nac ieuanc, nad ydynt yn ei hyfed bob dydd a phob nos, a'r nifer mwyaf yn rhy feddw i symud; ond y mae nifer o fechgyn yr ysgol yn dyfod i'w rhoddi i fyny yn hollol, ac nid oes un gobaith heb hyny." Fe gofia rhai o ddarllenwyr y Cronicl Cenadol mai cyffelyb oedd y darluniad a roddid, flynyddoedd yn ol, o Mawroh, y prif bentref yn Mawdem, a'r anhawsder a deimlid i'w cael i dderbyn addysg o herwydd eu hymlyniad wrth y ddiod feddwol. Wrth gofio hyny bydd yn hyfryd ganddynt ddarllen y darluniad a rydd Mr. Jerman Jones o agwedd pethau yn Mawroh yn ystod ei ymweliad diweddar.

"Ni a gyrhaeddasom Mawroh yn ol erbyn tua thri o'r gloch, a chanfyddem fod y bobl wedi bod wrthi hi yn brysur yn ein habsennoldeb; yr oeddent wedi glanhâu yr holl bentref ac wedi adeiladu cauadlen fawr ar bolion, a'i thoi â matiau, digon eang i gynnwys tua tri chant neu ragor o bersonau a'u cysgodi oll rhag yr haul. Yr oedd y dynion wedi bod yn dal ac yn lladd dau, beth bynag, o foch—eu trin, eu tori, a'u parotoi; a'r merched wedi bod yr un mor brysur yn dyrnu ac yn glanhâu a berwi *rice*, gan fod yno wledd i gymeryd lle yn min yr hwyr—gwledd neu swper priodas. Yr oedd tri neu bedwar o gyplau i gael eu hûno mewn glân briodas cyn machlud haul y diwrnod hwnw, a hyny yn ol defod Gristionogol, ac yr oedd un o honynt yn ferch i U Liar, penaeth y pentrefi yn ngwlad Mawdem, yr hwn sydd yn ddyn deallus a Christion rhagorol.

"Yn fuan wedi pedwar, daeth yr holl bentref at eu gilydd, pawb yn lanwaith mewn corff a dillad, ac eisteddasant oll ar fatiau o dan y babell. Heblaw pobl Mawroh yr oedd yno nifer da wedi dyfod o Belahari, a rhai o Waramsaw. Eisteddent oll yn llonydd, gan dalu sylw i'r hyn oedd yn myned ymlaen. Yr oedd rhyw

fath o gynhwrf fel yn myned drwyddynt wrth weled y naill gwpl ar ol y llall yn codi ac yn cael eu rhwymo, ac yna yn ysgrifenu eu henwau mewn llyfr a ddarperir gan y Llywodraeth i gofnodi priodasau brodorion Cristionogol. Wedi myned drwy y gorchwyl a gorphen rhoi cynghorion iddynt oll, eisteddodd pawb yn rhesi trefnus y ddwy ochr, â'u gwynebau at eu gilydd, a lle gwag helaeth yn y canol, pob un â chanddo flocyn bach i eistedd arno a dalen fawr werdd o'r goedwig yn daenedig o'i flaen ar y llawr; ac yr oedd tua deunaw neu ugain yn *servio rice* a'r *curry*, ond neb yn rhedeg nac yn gwaeddi, nac yn ffwdanu, ond pobpeth yn myned ymlaen yn dawel a threfnus a rheolaidd : ond nid oedd neb yn cyffwrdd â'r bwyd nes yn gyntaf roddi diolch i Dad y trugareddau. Yna bwytäodd pawb a chawsant ddigon, a gadawsant weddill. Aethum o'u cwmpas oll gan sylwi yn fanwl arnynt, a chymeryd eu cyfrif; yr oedd yno ddau neu dri yn fyr o 250. Yna eisteddodd U Liar a minnau ar ystolion bychain yn y canol, a dygwyd i ni ddysglaid o'r un ymborth ar ddysgl natur, a bwytasom; ac, yn wir, yr oedd yn flasus a da ddigon, yn ymborth difai. Wedi canu hymn neu ddwy aeth pawb i'w dŷ, gan ei bod erbyn hyn yn tywyllu yn gyflym. Nid oedd yno ddim diod feddwol o gwbl ynddi, ac nid oedd dim yn y tai yn dysgwyl y bobl gartref i'w yfed. Ni welais gymaint o effaith dylanwad addysg a Christionogaeth yn un man ar y Bryniau. O mor brydferth oedd yr olygfa! mor drefnus a gweddaidd yr oedd pawb yn ymddwyn! nid anghofiaf yr hyn a welais y prydnawn heddyw am lawer o ddyddiau. Yr oedd yn werth myned ymhell i fod yn dyst o honi. Yr hyn oedd yn coroni y cyfan oedd fod pob peth mor syml a naturiol, heb na rhwysg, na helynt, na rhedeg, mor siriol a hapus, mor ddedwydd a digonol yr ymddangosent; a hyn oll yn nghanol y goedwig, ymhell oddiwrth y byd oddiallan. Cymerodd hyn le ddydd Gwener, Ionawr 25, 1878."

Dydd Sadwrn aeth i Belahari, lle y mae ysgoldŷ helaeth a chyfleus wedi ei adeiladu gan y bobl, ac am ddeg o'r gloch daeth cynnulleidfa ynghyd yn rhifo o 60 i 70, a phregethodd y cenadwr ac U Sworup, pregethwr brodorol oedd yn gydymaith iddo am yr holl daith. Yna cafwyd cyfarfod eglwysig, a derbyniwyd chwech i'r eglwys ar brawf. Wedi dychwelyd i Mawroh, cafwyd cyfarfod gweddïo yno drachefn a chyfarfod eglwysig i ymddyddan â'r rhai oedd i gyfranogi o Swper yr Arglwydd drannoeth.

"Pregethu wnaed ar hyd y Sabboth. Weithiau byddwn yn troi o bregethu i holi ar y canol, yr hyn fyddai yn cael effaith ddymunol er argraffu y mater ar feddyliau y bobl yn well. Yn y prydnawn bedyddiwyd nifer, a gweinyddwyd Swper yr Arglwydd. Yr oedd tua hanner cant wedi dyfod o Belahari, ac un ar bymtheg neu ddau ar bymtheg o Waramsaw, fel rhwng pawb yr oedd yn bresennol ar hyd y Sabboth lawn dri chant yn gwrando yn astud yn y babell oedd yn aros er dydd Gwener.

"Mae agos bob enaid yn y pentref yn dyfod i wrando gair Duw ar y Sabbothau; nid oes neb yn myned i'r caeau i weithio ar ddydd Duw; nid oes yno neb yn aberthu; nid oes yno neb yn gwneyd diod feddwol; ac nid oes neb yno, oddigerth un neu ddau, yn arfer yfed dim. Mae golwg siriol a gobeithiol iawn ar achos yr Iesu yn y rhan yma yn bresennol, a gobeithio mai parhâu i fyned rhagddo a wna nes y bydd pob enaid wedi ei ennill i garu Duw a chadw ei orchymynion. Ond mae yma lawer o dywyllwch ac anwybodaeth, a llawer o golliadau a ffaeleddau yn eu plith, a llawer iawn o gamgymeriadau yn dygwydd. Dyn o Jiwai, o'r enw U Monbhoi, sydd yn dysgu yn Mawroh er ys tro, ac ar y cyfan mae wedi gweithio yn dda; ond dau Gristion mewn oed o'r parth yma sydd yn dysgu yn Belahari, a Waramsaw; ond penderfynwyd gwneyd tipyn o gyfnewidiad, a hyny ar brawf, er gweled pa fodd y gweithia y flwyddyn hon: rhoddwyd dyn ieuanc o bentref Mawroh i ddysgu y plant a gofalu am danynt; a rhoddwyd Monbhoi i ddysgu ac egluro gair Duw i'r bobl yn y tri phentref ar gylch, fel y byddai yn fwyaf cyfleus,—iddo ymroddi i hyny yn gwbl. Yr oedd U Liar a'r bobl yn cydsynio â hyn, ac yn dyweyd eu bod yn credu yr atebai ddyben da; ceir gweled, os ceir byw.

"Bore Llun bu raid i ni ganu yn iach iddynt oll, gan ddymuno am i fendith a thangnefedd Duw orphwys arnynt hwy a'u plant."

Yna dychwelodd yn ol trwy Kynrwt, Mongwm,—lle yr oedd yn ddydd marchnad, ac y cafwyd cyfle i siarad â'r bobl, ac y cafwyd cyfarfod â'r bobl drannoeth. Cynnaliwyd cyfarfodydd yn Mawblei a Mawlyngtriang. Treuliodd noswaith yn Nongrymai, a chafwyd cyfarfod eglwysig cysurus drannoeth, pryd yr oedd 55 yn bresennol, a gweinyddwyd Swper yr Arglwydd. Treuliodd y Sabboth yn Pyndemumiong, lle y cafwyd cynnulleidfa dda yn yr awyr agored, gan na chynnwysai yr ysgol y gynnulleidfa. "Ni theimlais, meddai, "erioed gymaint o anghen am help ag ar y daith hon,—gweithwyr, dri neu bedwar, oddicartref, er i ni gymeryd meddiant o'r wlad yn enw Iesu Grist."

## DOSBARTH SHELLA.

### Rhanau o Lythyr oddiwrth y Parch. John Jones.

Wedi crybwyll am *treat* a roddwyd y Nadolig i blant yr ysgol ddyddiol, pryd y darparwyd danteithion o gig geifr, ieir, gwyddau, ac yn enwedig blasusfwyd y Khassi—cig moch, dywed Mr. John Jones, mewn llythyr dyddiedig Shellapoonjee, Ionawr 15eg, 1878:—

"Wedi i bawb gael eu gwala a'u gweddill—yr oedd tri chant neu fwy o honom—aethom i'r ysgoldŷ, yr hwn oedd wedi ei addurno gan y merched â dail a blodau o bob math, lle y cawsom fath o gyfarfod cystadleuol hyfryd iawn gyda y plant, pryd y gwobrwywyd dwy ferch ac un bachgen am draethodau ar 'Fywyd Crist;' ymgeisiodd deg, pump o ferched a phump o fechgyn; ac yn wir cafwyd traethodau da ag ystyried mai dyma y tro cyntaf iddynt ymgeisio. Hefyd cafwyd cystadleuaeth mewn darllen, sillebu, a chanu, yn Saesoneg a Khassiaeg, pryd y gwobrwywyd y goreuon â llyfr bob un, a chafodd y plant lleiaf gopi o'r *British Workman* a'r *Band of Hope Review*, a theimlent yn falch iawn o honynt. Os bydd rhai o gyfeillion y Genadaeth yn teimlo ar eu calonau anfon rhyw nifer o'r cyhoeddiadau uchod a'u cyffelyb i ni, byddwn yn ddiolchgar iawn am danynt.

"Anfynych yr ydys yn cael ymweliad gan Ewropëaid yn y rhan hon o'r wlad, gan ei bod yn anhawdd dyfod iddi a myned o honi, ond yr wythnos ddiweddaf talodd *Col.* Clarke, Is-Ddirprwywr Assam, ymweliad â'r lle, a bu mor garedig ag arholi un o ysgolion y bechgyn, sef un Mawryngkong, a dyma fel yr ysgrifenodd:—'Ymwelais â'r ysgol y boreu heddyw gyda Mr. John Jones; allan o 90 o blant ar y llyfrau, yr oedd 73 yn wyddfodol. Arholwyd y ddau ddosbarth uchaf mewn darllen, a *dictation*, yn Cassiaeg a Saesoneg; rhoddais y bedair rheol gyntaf mewn rhifyddiaeth, a daethant trwyddynt yn bur dda. *The school generally does Mr. Jones much credit.* Wedi hyny canodd y bechgyn ychydig hymnau mewn dull dymunol iawn. Dychwelais wedi fy moddhâu yn fawr.'

"Drwg genyf ddyweyd i Mrs. Jones fethu, er pob ymdrech, cael y genethod i sefyll arholiad; yn wir, tra y bu yn aros yma ni ddeuai y merched yn agos i'n tŷ, gan eu bod yn ofni yr ychydig gwnstabliaid oedd gydag ef, ond wedi iddynt ymadael daethant oll fel arferol. Y mae merched Shella a'r dyffrynoedd yn debyg iawn i ferched y gwastadedd, yn hynod o ofnus a *shy;* yn hyn y maent yn wahanol i ferched y Bryniau.

"Diwedd y mis diweddaf, derbyniwyd un o'r newydd i'r eglwys yn Moostoh, dyn canol oed, ac adferwyd un arall ag oedd wedi ei attal i'r eglwys am beth amser o herwydd ei gamymddygiadau. Dygwyd tystiolaeth dda i'r naill a'r llall am eu ffyddlondeb i foddion gras a'u hymddygiad addas i'r efengyl.

"Yn Lait hefyd derbyniwyd tri dyn ieuanc o Mawlong i'r eglwys am y tro cyntaf; y mae golwg addawol ar y tri, ac os cânt ras i ddal yn ddigwymp hyd y diwedd gallant fod o ddefnydd mawr gydag achos Mab Duw yno.

"Y mae genym achos diolch i'n Tad nefol am y llwyddiant sydd wedi bod ar deyrnas ei anwyl Fab yn ein plith, ac am y wedd addawol sydd arni ymhob lle, ar y cyfan, er yr holl anhawsderau sydd ar y ffordd; ond daw yr amser, a hyny ar fyrder, ni a obeithiwn, pan y bydd i Ysbryd yr Arglwydd eu hymlid ymaith yn llwyr. Bu y flwyddyn ddiweddaf yn hynod am y gwahanol glefydau a fu yn ein plith. Gwnaeth y *cholera* ddinystr ar fywydau lawer yn Lait, a Dewsaw; dyoddefodd yr achos gryn lawer trwyddo yn y ddau bentref hyn, gan fod y bobl yn dianc i'r dyryslwyni am ddiogelwch, ond y mae pob peth fel yn ail ddyfod i drefn eto. Bydd yn dda genych weled fod yr achos a ddechreuwyd yn Nongnong a Jasir (Shella) yn dal ei dir; ac yr ydym yn gobeithio y bydd iddo ychwanegu cryfder y flwyddyn hon, ac i bydd i Dduw pob daioni fendithio ein hymdrechion i ddwyn eneidiau at y Gwaredwr. Nid yw yr achos yn Mawlong yr hyn a ddylai fod, ond yr ydys yn gobeithio, pan yr awn i Lait yn ystod yr haf, y cawn fwy o amser i dalu sylw iddo, a rhoddi ein presennoldeb yno yn amlach. Ein diffyg mawr yw prinder dynion â digon o egni a zel eiddigus a duwiol dros deyrnas Mab Duw, a chadwedigaeth eu cyd-ddynion i fywyd tragywyddol."

---

D.S. Derbynir rhoddion at y Genadaeth Dramor gan y Trysorydd Cyffredinol, Peter Williams, *Esq.*, 17, *Percy Street, Liverpool.*

☛ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. Peter Williams, Treasurer of the W. C. M. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63, *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 571.] MAI, 1878. [LLYFR XLVIII.

## LLYGAD SYML.

### GAN Y PARCH. O. EDWARDS, B.A., LLANELLI.

MATTHEW vi. 22, 23: "Canwyll y corff yw y llygad; am hyny o bydd dy lygad yn syml, dy holl gorff fydd yn oleu. Eithr os bydd dy lygad yn ddrwg, dy holl gorff fydd yn dywyll. Am hyny os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch?"

MAE yn debyg mai yn y geiriau hyn y gorwedd egwyddor fawr y bennod hon. Saif y geiriau tua chanol y bennod—nid yn y dechreu, ac nid yn y diwedd; mae ysbryd y bennod, nid fel crynodeb o honi ar y dechreu, neu ar y diwedd, ond fel lefain yn y canol i lefeinio yr oll. Nid amcan y Bibl ydyw profi ei wirioneddau, ond eu dadguddio. Mae y Bibl yn profi wrth ddadguddio, ac nid yn dadguddio trwy brofi. Pe buasai y bregeth ar y mynydd yn bregeth i bregethwr daearol, mae yn debyg y buasai y pregethwr hwnw yn gosod i lawr yr egwyddor gyffredinol i ddechreu, ac wedi hyny yn rhestru y manylion dani; neu ynte fe fuasai y pregethwr o'r ddaear yn myned trwy y manylion—y pynciau neillduol—yn gyntaf, ac wedi hyny gyda ffurfioldeb daearol yn eu symio i fyny trwy osod i lawr yr egwyddor gyffredinol sydd yn cynnwys ac yn esbonio y manylion hyny. Ond yma y mae y Pregethwr o'r nef yn gosod i lawr yr egwyddor gyffredinol tua chanol y bennod. Mae yr egwyddor hon yn ymgodi i sylw yn nghanol y bennod fel mynydd uchel yn nghanol gwastadedd ëang. Y ffordd oreu i gael golwg ar y gwastadedd ydyw esgyn i ben y mynydd cyfagos. Yr un modd, y ffordd i gael golwg briodol ar fanylion y bennod ydyw cymeryd ein safle ar yr egwyddor fawr sydd yn ymddyrchafu i sylw yn nghanol y bennod.

Beth ynte ydyw yr egwyddor hono? Mae yn eglur y gosodir hi allan trwy gymhariaeth neu ddammeg; ac y mae i ddammeg ddwy ran—yr arwydd, a'r hyn a arwyddocëir. Dyma arwydd y ddammeg hon: "Canwyll y corff yw y llygad." Defnyddir yr arwydd mewn cysylltiadau eraill yn y Bibl. Mae wedi ei ddefnyddio eisoes yn y bregeth hon: "Ac ni oleuant ganwyll a'i dodi dan lestr." Dywedir am Ioan Fedyddiwr ei fod yn "ganwyll yn llosgi ac yn goleuo," mewn gwrthgyferbyniad i'r "gwir oleuni," hyny yw, y goleuni gwreiddiol a gwirioneddol. Desgrifia Petr hefyd "air sicrach y prophwydi" fel "canwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll, hyd oni wawrio y dydd, ac oni chodo y seren ddydd yn eich calonau chwi."

Gwelir fod y gair "canwyll" neu "lamp" yn dynodi, nid goleuni gwreiddiol, ond goleuni wedi ei dderbyn. Nid y ganwyll ydyw ffynnonell goleuni; nid y llygad ydyw tarddle y goleuni. Cyfrwng yw y llygad i drosglwyddo goleuni i'r corff. Y llygad—dyma un o'r cyfryngau trwy ba rai y mae y byd oddiallan i ni yn dyfod yn adnabyddus i ni. Mae yna gyfryngau eraill trwy y rhai yr ydym yn derbyn gwybodaeth am y byd a'i bethau. Yr ydym yn gwybod llawer am y byd oddiallan trwy y glust, llawer trwy y llaw, ond trwy y llygad yr ydym yn gwybod mwyaf. Pe buasem yn gwybod mwy trwy y glust nag a wyddom trwy y llygad, yna buasai priodoldeb mewn dyweyd, "Canwyll y corff yw y glust."

Pe buasem hefyd yn derbyn y rhan fwyaf o'n gwybodaeth am y byd trwy y llaw, yna gellid dyweyd, "Canwyll y corff yw y llaw;" a phe buasai Iesu Grist yn cyfarch deillion, mae yn bosibl mai felly y buasai yn dyweyd, oblegid i'r dall canwyll ei gorff, arweinydd ei gorff, yw ei law. Byd y llaw, byd y teimlo, ydyw y byd i'r dall; ond i'r cyffredin o ddynion, byd y llygad, byd y golwg, yw y byd. Y llygad ydyw yr offeryn ar ba un y mae y corff, ac felly i fesur helaeth y meddwl hefyd, yn ymddibynu am wybodaeth ac arweiniad. Felly nid ar antur, nid yn ddamweiniol y dywedwyd, "Canwyll y corff yw y llygad." Na, y mae y priodoldeb mwyaf mewn dyweyd, "Canwyll y corff yw"—nid y llaw, nid y glust, ond—"y llygad."

"Am hyny o bydd dy lygad yn syml." Beth a feddylir wrth fod y llygad yn syml? I ateb y cwestiwn, edrychwn ar rai o weithrediadau yr offeryn bychan ond pwysig hwn; yna ni a welwn rym a phrydferthwch y gymhariaeth. "Llygad syml," neu "lygad sengl;" hwyrach y gellid darllen felly. Ond beth ydyw?

Pan y byddwn yn edrych ar unrhyw wrthddrych, mae darlun o'r gwrthddrych hwnw yn cael ei ffurfio ar y llygad—ar rwydlen *(retina)* y llygad. Ond beth bynag a all fod maint y darlun, a maint y gwrthddrych y mae y darlun yn ddarlun o hono, mae yna un ran o'r darlun, ac felly un ran o'r gwrthddrych, yn cael ei gweled gyda mwy o eglurder na'r rhanau eraill. Pan yn darllen llyfr mewn ystafell, er engraifft, yr ydym trwy gyfrwng y llygad yn gwybod beth yw safle y llyfr mewn perthynas i'r ystafell heb unrhyw ymdrech i ddwyn yr oll o'r ystafell i gylch y golwg *(field of vision)* ar unwaith; ac yn yr un modd yr ydym yn gwybod beth yw safle y llyfr mewn perthynas i'r bwrdd o'n blaen. Ond pan yr awn i ddarllen y llyfr, mae yn rhaid symud y llygad ar hyd y llinellau. Paham? Am nad oes yna ond un rhan o'r llyfr, a hono yn rhan fechan, ag y gellir ei gweled gydag eglurder. Ac y mae darlun y rhan hono o wrthddrych a ganfyddir gyda'r eglurder *mwyaf* yn syrthio ar ryw un man yn y llygad, ac y mae y man hwnw yn gyfryw nas gall darlun neu ddelw dau wrthddrych syrthio arno ar unwaith, ac i'r ddau wrthddrych gael eu gweled gyda'r un eglurder.

Er ein bod yn edrych ar un gwrthddrych gyda dau lygad, ac er fod darlun o'r gwrthddrych yn cael ei ffurfio ar y ddau lygad, eto nid ydym yn gweled y gwrthddrych yn ddau ond yn un; a phe buasem pan yn edrych ar un gwrthddrych yn gweled y gwrthddrych hwnw yn ddau ac nid yn un, byddai yn rhaid casglu ar unwaith fod yna rywbeth o'i le yn y llygad—rhyw anhwylder, rhyw afiechyd yn achosi yr annhrefn hwn.

Dau beth ynghylch gweithrediadau y llygad y mae yn anghenrheidiol eu cadw mewn cof er deall y gymhariaeth: (1.) Nid oes modd gweled dau wrthddrych ar unwaith gyda'r un eglurder, ac nid oes ond un gwrthddrych, neu un ran o un gwrthddrych ag y gellir ei gweled ar unwaith gyda'r eglurder mwyaf, hyny yw, yr eglurder mwyaf y dichon y llygad ei roddi. (2.) Mae y fath beth yn bod a gweled un gwrthddrych yn ddau; ond pan y mae hyny yn dygwydd, mae yn arwydd sicr o anhwylder ac afiechyd yn y llygad. Mae dyblu un gwrthddrych yn brawf diymwad o afiechyd. Er cael golwg glir, ynte, mae yn rhaid cyfeirio y llygad at un gwrthddrych ar unwaith; ac wedi ei gyfeirio felly mae yn rhaid i'r llygad ddangos y gwrthddrych hwnw yn un, ac nid yn ddau—nid yn ddwbl. Llygad yn gwneyd hyny—dyna ydyw "llygad syml."

Gan mai trwy y llygad y rhoddir arweiniad i'r corff, a llawer o wybodaeth i'r meddwl, rhaid fod llawer iawn yn troi ar sefyllfa neu ansawdd y llygad. Os bydd y llygad yn syml, yn dangos un gwrthddrych yn un; os bydd y llygad yn glir, heb unrhyw gaddug arno, heb unrhyw gwmwl o afiechyd yn ei dywyllu, yna mae goleuni y dydd yn myned i mewn yn rhydd a diwrthwynebiad, ac yn dangos y gwrthddrychau sydd o'n cwmpas, y gwaith sydd i'w wneyd, a'r ffordd sydd i'w cherdded. O'r ochr arall, os bydd y llygad yn ddrwg, hyny yw, yn dangos un gwrthddrych yn ddau; os bydd y llygad yn anmherffaith o ran ei ffurfiad a'i weithrediad, a chwmwl o afiechyd yn gorphwys arno, nid oes yn y llygad yna ond annhrefn a thywyllwch. A beth fydd y canlyniadau? Bydd ein gwaith yn cael ei ddyfetha dan ein

dwylaw, y traed yn crynu ar hyd llwybr eu cerddediad, gan nas "gwyddant wrth ba beth y tramgwyddant," a'r geiriau hyny yn cael eu cyflawni i'r llythyren, "Byddi hefyd yn ymbalfalu ganol dydd, fel yr ymbalfala y dall yn y tywyllwch, ac ni lwyddi yn dy ffyrdd." "Liw dydd y cyfarfyddant â thywyllwch, a hwy a balfalant hanner dydd megys lliw nos."

"Am hyny os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch,"—os bydd y peth hwnw a ddylai fod yn arweinydd i'r corff wedi troi yn dwyllwr ac yn fradychwr—os bydd y goleuni sydd yn myned i'r llygad yn achosi annhrefn, ac yn ffurfio cymysgedd o ddarluniau ar y llygad, ac felly yn achosi dyblni yn y golwg, "pa faint fydd y tywyllwch!" Y goleuni yn achosi annhrefn! y goleuni yn troi yn dywyllwch! Mae goleuni yn achosi annhrefn yn waeth yn y canlyniadau na thywyllwch ei hunan; oblegid pan yn proffesu rhoddi arweiniad, mae yn arwain ar gyfeiliorn; a phan yn ein cymhell i weithio (fel y gwna goleuni) mae yn andwyo y gwaith dan ein dwylaw. Mae dallineb yn achosi amryfusedd, ond llygad drwg sydd yn achosi "amryfusedd cadarn." Goddefol yw yr amryfusedd cyntaf, ond cadernid amryfusedd, *energy* amryfusedd, amryfusedd gweithredol yw yr olaf. Mae crwydro yn ddrwg, ond y mae nerth a gweithgarwch mewn crwydro yn waeth. Nis gall tywyllwch amgyffred y gwirionedd; ond y mae llygad drwg yn gweled y gwirionedd yn gelwydd, a'r celwydd yn wirionedd.

Mae Duw wedi trefnu fod diogelwch a dedwyddwch y corff i fesur mawr yn ymddibynu ar sefyllfa y llygad. Os bydd y llygad yn glir a syml, mae yr holl gorff yn oleu; hyny yw, nid yw ysgogiadau, symudiadau, a gweithrediadau y corff yn ofer a diamcan; nid yw y corff sydd dan arweiniad llygad syml yn cael ei dwyllo a'i gynhyrfu gan gamau gweigion. Ond os bydd y llygad yn ddrwg, yn afiach, ac felly yn achosi dyblni yn y golwg, nis gall y corff sydd dan arweiniad llygad felly ddysgwyl am ddim ond siomiant, methiant, aflwydd, a dinystr.

Dyna ddigon, a gormod hwyrach, am yr arwydd. Beth am yr hyn a ddangosir trwy yr arwydd? "Canwyll y corff yw y llygad." Ond beth yw canwyll yr enaid?

Os edrychwn ar y geiriau ar wahân oddiwrth y cyd-destun, gellir dyweyd mai canwyll yr enaid ydyw y *gydwybod*—cydwybod glir, cydwybod na byddo ei heddwch yn cael ei aflonyddu na'i thawelwch ei gynhyrfu gan ymwybyddiaeth o gyflawniad pechod, ymwybyddiaeth sydd yn bwyta yr enaid ac yn parlysu y meddwl, cydwybod heb yr hyn a eilw Keble yn

"Bitter thoughts of conscience born,
Which with sinners wake at morn."

Yn yr olwg yna mae cydwybod yr un peth i'r enaid âg ydyw y llygad i'r corff. Mae cydwybod ddirwystr yr un peth i'r enaid âg ydyw llygad syml i'r corff. Mae cydwybod lawn o dramgwyddiadau yr un peth i'r enaid âg ydyw llygad drwg, golwg ddwbl i'r corff.

Mae cydwybod glir, cydwybod ddirwystr, yn ganwyll, ac yn ganwyll gwerth ei chael, ond nid canwyll hawdd ei chael. Na, teimlai Paul nad peth hawdd oedd ei chael. "Yn hyn yr ydwyf fi fy hun yn ymarfer i gael cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion yn wastadol." Nid ar ychydig drafferth yr oedd ei chael. Na, yr oedd yn rhaid ymarfer (*exercise*) i'w chael. Yr oedd yn ymegnïo i'w chael fel milwr yn ymarfer ar gyfer y frwydr, ac fel rhedegydd yn ymarfer i redeg gyrfa. Yr oedd cwrs o *training* yn anghenrheidiol. Ond pa fodd yr oedd Paul yn ymarfer? Trwy "gosbi ei gorff a'i ddwyn yn gaeth," trwy "gernodio" ei gorff. Nid peth naturiol i Paul yr apostol nac i neb arall ydyw cael cydwybod ddirwystr. Na, mae yn rhaid ymarfer i'w chael trwy gernodio y corff, trwy farwolaethu y tueddiadau anianol, a thrwy groeshoelio yr ewyllys hunanol.

Dyna ydyw cydwybod: nid yn unig y wybodaeth sydd rhyngom ni â Duw, ond y wybodaeth sydd rhyngom â ni ein hunain—ein gwybodaeth ni am danom ein hunain—ein hedrychiad i mewn i'n bywyd ein hunain—ein harholiad arnom ein hunain. Beth ydyw cydwybod ddirwystr? cydwybod heb dramgwyddiadau, heb *stumbling-blocks* ynddi; nid heb dramgwyddiadau i bobl eraill yn unig, ond heb y cyfryw bethau yn benaf i ni ein hunain. Dyna ydyw cydwybod ddirwystr: gallu myned

trwy ein henaid ein hunain, gallu cymeryd adolygiad arnom ein hunain, gallu arholi ein hunain, ac wrth wneyd hyny, peidio taro yn erbyn unrhyw feini tramgwydd, unrhyw greigiau rhwystr i ni ein hunain. O mor glir fyddai ein ffordd felly! Rhaid fod cydwybod fel hyn yn ganwyll; oblegid mae hi, nid yn unig yn dangos y rhwystrau, ond yn allu sydd yn eu cymeryd ymaith ac yn eu difodi.

Os dywedwn mai canwyll yr enaid ydyw y gydwybod, yna saif y ddammeg a'i deongliad fel y canlyn:

(1.) "Canwyll y corff yw y llygad." Canwyll yr enaid yw y gydwybod.

(2.) "Am hyny o bydd dy lygad yn syml, dy holl gorff fydd yn oleu." Am hyny os bydd dy gydwybod yn glir a didramgwydd, dy holl enaid fydd oleu.

(3.) "Eithr os bydd dy lygad yn ddrwg, dy holl gorff fydd yn dywyll." Eithr os bydd dy gydwybod yn ddrwg, ac yn llawn tramgwyddiadau, dy holl enaid fydd yn annhrefn a thywyllwch.

(4.) "Am hyny os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch!" Am hyny os bydd dy gydwybod yn dywyllwch, os bydd y gallu hwnw ynot sydd i ddyweyd am y da, "Dyma y ffordd, rhodia ynddi," ac am y drwg, "Cilia oddiwrtho," wedi ei wyro—os bydd y gallu llywyddol yna wedi ei dywyllu, pa faint fydd y tywyllwch!

Os edrychwn, yn y lle nesaf, ar y geiriau yn eu cysylltiad â'r cyd-destun, dywedwn mai canwyll yr enaid ydyw yr amcan, y bwriad, neu y dyben gyda pha un y mae dyn yn gweithredu. Fel y mae y llygad yn arwain ysgogiadau, symudiadau, a gweithrediadau y corff, felly mae y dyben neu yr amcan yn arwain ysgogiadau, symudiadau, a gweithrediadau yr enaid.

Os dywedwn mai canwyll yr enaid ydyw y dyben neu yr amcan, mae y ddammeg a'i hesboniad yn ymranu fel hyn:—

(1.) "Canwyll y corff yw y llygad." Canwyll yr enaid yw y dyben.

(2.) "Am hyny o bydd dy lygad yn syml, dy holl gorff fydd yn oleu." Am hyny os bydd dy ddyben yn un, yn syml neu yn unplyg, dy holl enaid fydd oleu.

(3.) "Eithr os bydd dy lygad yn ddrwg, dy holl gorff fydd yn dywyll." Eithr os bydd dy ddyben yn ddwbl, dy fwriad yn ddeublyg, dy holl enaid fydd tywyll a chymysglyd.

(4.) "Am hyny os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch!" Am hyny os bydd y dyben—llygad, goleuni ac arweinydd yr enaid—wedi ei ŵyro, ei ddyblu, ei dywyllu, pa faint fydd y tywyllwch a feddianna yr enaid! Mae tywyllwch pechod eisoes wedi ymwthio i gynneddfau yr enaid; ond os bydd y dyben, y bwriad sydd i arwain gweithrediadau y cynneddfau hyny, wedi ei dywyllu, yna dyma dywyllwch ar dywyllwch, dyma blygion o dywyllwch, dyma haen ar haen o dywyllwch! O dywyllwch, pa faint!

Wele ni, o'r diwedd, wedi cyrhaedd egwyddor fawr y bennod. Dyna ydyw yr egwyddor: Unplygrwydd Amcan, neu Symledd Dyben.

Mae yr egwyddor i'w chanfod yn rhedeg fel gwythïen trwy y bennod hon. Yn niwedd y bummed bennod dywed Iesu Grist, "Byddwch chwithau gan hyny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith;" a dyna rai o eiriau olaf y bennod hon: "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef." Hwyrach mai yr un peth yw cyfiawnder y chweched bennod â pherffeithrwydd y bummed. Beth ydyw y perffeithrwydd hwn? Dywedodd yr Arglwydd wrth Abraham, "Myfi yw Duw Hollalluog, rhodia ger fy mron i a bydd berffaith," neu, bydd uniawn, bydd bur. Dyna yn gyffredin yw ystyr y gair "perffaith" yn yr Ysgrythyrau. Mae Paul yn gwneyd gwahaniaeth rhwng bod yn "berffaith" a bod "wedi ei berffeithio." Dywed yn gyntaf, "Nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd eisoes, neu fod eisoes wedi fy mherffeithio;" ac yn un o'r adnodau nesaf dywed, "Cynifer gan hyny ag ydym berffaith." Bod yn berffaith—dyna rinweddau teyrnas nefoedd ynom yn yr hedyn; bod wedi ein perffeithio—dyna y rhinweddau hyny wedi addfedu ac ymddadblygu. Bod yn berffaith—dyna y gwreiddyn; bod wedi ein perffeithio—dyna y blodeuyn ar ymagor yn awyr y paradwysaidd dir. Bod yn berffaith ydyw bod yn Nghrist, bod yn greadur newydd; bod wedi ein perffeithio ydyw bod yn ŵr perffaith "at fesur maintioli cyflawnder Crist." Perffeithrwydd y bummed bennod ydyw bod yn drwyadl, yn drylwyr, yn

ddiffuant. Cyfiawnder y chweched bennod ydyw cyflawniad trwyadl o'r gweithredoedd crefyddol hyny ag y mae Duw yn eu gofyn genym. Mae gweithredoedd crefyddol, o'u cyflawni yn iawn ac yn drwyadl, yn troi yn "berffeithrwydd" ac yn "gyfiawnder" i'r gweithredydd. Pregeth ymarferol yw y bregeth ar y mynydd, a chyfiawnder ymarferol yw ei chyfiawnder. "Ni ddaethum i dori ond i gyflawni," trwy eangu cylch cymhwysiad y gyfraith, a thrwy ddyfnhâu ei hystyr. Yr oedd y cyflawniad a roddwyd i'r gyfraith yn gyflawniad o ran "hŷd a lled," ac yn gyflawniad o ran "dyfnder ac uchder:" yr oedd cyflawniad felly yn "gyfiawnder Duw," neu yn "berffeithrwydd."

Yn y chweched bennod mae Iesu Grist yn ymosod ar ffug-berffeithrwydd neu ar ragrith. Dyna ydyw rhagrith: *sham* o berffeithrwydd, *counterfeit* o gyfiawnder. Lle mae arian da i gael, mae arian drwg i gael hefyd.

Un o'r elfenau sydd yn gwneyd cyfiawnder yn gyfiawnder, a pherffeithrwydd yn berffeithrwydd, ydyw unplygrwydd amcan. Mae dyledswyddau crefyddol, wrth eu cyflawni gyda golwg ar ogoniant Duw yn unig, yn myned mewn ystyr yn gyfiawnder Duw. Ond os na bydd symledd dyben yn y cyflawniad o'r dyledswyddau hyny, mae y cwbl yn myned yn ddiwerth.

Edrycher ar yr egwyddor hon, sef symledd dyben, yn ei chysylltiad â gwahanol faterion y bennod.

(1.) Gwneyd elusen: adn. 1—4. Mae y rhagrithiwr wrth wneyd elusen yn gweled lle i wasanaethu Duw, ac ar yr un pryd yn gweled lle i wasanaethu ei hunan. Dyna ddybledd yn y golwg. Nid yw y rhagrithiwr wrth wneyd elusen yn ddyn o un amcan; mewn elusen gwel gyfleusdra i gyrhaedd perffeithrwydd, ond yn yr un lle gwel gyfleusdra i hunanogoneddiad. Nid oes yna ddim unplygrwydd amcan yn ei weithred. Mae ei lygad yn ddrwg. Mae y rhagrithiwr hwn yn edrych ar ddau beth ar unwaith, neu wrth edrych ar un peth y mae yn gweled hwnw yn ddau.

(2.) Gweddi: adn. 5—15. Mae yn rhyfedd meddwl fod hunanoldeb yn ymwthio i weithred uchaf ein bywyd, sef ein cymundeb â Duw mewn gweddi. Ond hyd yn nôd mewn gweddi mae yna yn aml ryw gilolwg ar y byd, ac y mae y cilolwg yna yn ddybledd yn y golwg. Mae y rhagrithiwr mewn gweddi yn gweled lle i wasanaethu Duw, ac i offrymu ar allor hunan. Ond nid yw y llygad hwnw mewn ystyr naturiol sydd yn dangos un gwrthddrych yn ddau yn *gwneyd* y gwrthddrych yn ddau; na, twyll-olwg yw y cyfan. Felly nid yw y rhagrithiwr mewn gweddi yn gallu offrymu i Dduw ac iddo ei hunan. Nid yw ei weddi yn berffeithrwydd; nid oes dim cyfiawnder ynddi. Fe wneir y gwaith hwn o weddïo trwy ocheneidiau yn hytrach na thrwy fawr siarad, trwy ddagrau yn hytrach na thrwy aml eiriau. Mewn gweddi, y peth i'w ochelyd ydyw ysbryd dangos, a'r peth i ymgyrhaedd ato, ac heb yr hwn y mae y weddi yn peidio a bod yn weddi, ydyw unplygrwydd amcan neu symledd dyben.

(3.) Ymprydio: adn. 16—18. Os nad oes eisieu ymprydio yn awr, mae eisieu un peth sydd yn hanfod pob gwir ympryd, sef "cosbi y corff a'i ddwyn yn gaeth." Ond am y dyn sydd yn cosbi ei gorff er mwyn ei weled gan ddynion, rhaid dyweyd fod ei lygad yn ddrwg. Mae rhinwedd yn foddlawn i fod yn ddisylw. Peth rhwng Duw a dyn yw rhinwedd, ac nid peth rhwng dyn a dyn; a'r foment y mae y cwestiwn, pa fodd i ennill edmygedd y byd, neu glod gan ddynion, yn ymgymysgu â'r cwestiwn, pa fodd i fod yn rhinweddol, y mae y llygad yn ddrwg a'r bwriad yn ddeublyg.

(4.) Trysori trysorau: adn. 19—21. Yn ein dyddiau ni y mae ffurfiau a pheryglon cyfoeth yn wahanol i'r peth oeddynt yn nyddiau Crist. Dyna ffurfiau cyfoeth y pryd hwnw fel yn amser Gehazi: dillad a thalentau; a dyna beryglon cyfoeth y pryd hwnw—perygl y dillad oedd y gwyfyn, perygl y talentau oedd y rhwd, a pherygl y dillad a'r talentau oedd y lleidr. Ond pe buasai Crist yn ein gwlad ni ac yn ein dyddiau ni yn myned i ddangos y ffolineb o drysori trysorau ar y ddaear a gosod ein serch arnynt, mae yn debyg y buasai yn newid y ffugyrau ac yn dyweyd, "Trysorwch iwch drysorau yn y nef, lle nid oes na banciau yn tori, na chwmnïau yn methu, nac anturiaethau yn aflwyddiannus." Nid oes yno *speculations;* ond os oes,

"Eu ffydd yno dry yn olwg,
Gobaith eiddil dry 'n fwynhâd."

Mae yr egwyddor hon yn treiddio trwy serchiadau y galon, ac yn tarddu o natur dyn ei hunan. Un ydyw dyn, un yw ei galon; ac nis gall gael dau drysor i fyned â'i holl galon ar unwaith. Os ydym yn gweled trysor yn y byd sydd i hawlio serchiadau y galon fel y

"Trysorau hyfryd can' mil gwell
Cuddiedig draw ar fryniau pell,"

yna nid yw ein llygad yn syml. Mae yna unoliaeth mewn dyn o ran serchiadau y galon; mae Duw yn gweled yr unoliaeth hwnw; ond os ydym ni yn tybied y gellir rhanu a rhwygo yr unoliaeth yna, nid ydym yn gweled fel y mae Lluniwr y llygad yn gweled, ac y mae ein llygad yn ddrwg.

(5.) Gwasanaeth rhanedig: adn. 24 "Ni ddichon neb wasanaethu dau arglwydd:" nid yn unig bod yn was, ond yn gaethwas i'r naill a'r llall. Mae y geiriau yn gryfach nag yr ymddengys ar yr olwg gyntaf. "Efe a ymlŷn wrth y naill, ac a esgeulusa y llall," ac a ddiystyra y llall. Mae nerth y geiriau a ddefnyddir, a grym y cyferbyniad a dynir yma, yn dangos yr anmhosiblrwydd o ranu dyn yn ngwasanaeth ei fywyd; ac os ydym ni yn tybied y gallwn ranu ein hunain yn ein gwasanaeth rhwng Duw a mammon, rhwng crefydd a bydolrwydd difäol, nid ydym yn gweled fel y mae Crist yma yn dysgu, ac y mae ein llygad yn ddrwg.

(6.) Pryder: adn. 25—34. Dyna ydyw pryder: rhaniad a rhwygiad y meddwl. "Na ofelwch," hyny yw, na *raner* chwi; na lether chwi gan orbryder. Os bwytewch fara, na fydded yn "fara gofidiau." "Edrychwch ar adar y nefoedd: oblegid nid ydynt yn hau nac yn medi;" ond gallwch chwi hau a medi yn onest, a phaham y mae yn rhaid hau a medi yn anonest? O chwi o ychydig ffydd! "Oni werthir dau aderyn y tô er ffyrling? ac ni syrth un o honynt ar y ddaear heb eich Tad chwi." Y mae Efe yn gweled ymherodraeth yn syrthio yn Ffrainc, a'r "*Sublime Porte*"—y "Pyrth Aruchel"—yn syrthio yn y Dwyrain; ond mae Efe hefyd yn gweled aderyn y tô yn syrthio i'r llawr yn Nghymru. O fanylder ei ofal rhagluniaethol! "Ac y mae, ïe, holl wallt eich pen, wedi eu cyfrif." Mae dynion yn mesur pethau "ar y cyfan"—ar "*average*,"—ond nid deddfau *average* ydyw deddfau Duw, ac nid amcangyfrif yw ei ystadegau Ef; na, mae yr *oll* yn gyfrifedig. "Na ofelwch gan hyny dros dranoeth"—ni ellwch chwi weled y dydd y fory dros y terfyngylch. "Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun;" ac yn ol Charles Kingsley, "Digon i'r diwrnod ei dda ei hun hefyd."

Paham yr holl bryder yma, ynte? Llygad yr enaid sydd heb ei sefydlu ar yr Hwn sydd yn porthi y brain, ac yn addurno y lili. Sefydler ein golwg arno Ef, ac yna fe fydd pryder yn ddianghenrhaid yn gystal a difudd. Ond yn y bywyd hwn y mae yna hyd yn nôd i'r cristion ryw bryder, rhyw raniad ar y meddwl, ag y mae yr efengyl ei hunan yn ei leddfu a'i ddofi yn hytrach na'i gau allan yn llwyr. Wrth edrych ar y byd a'i bethau, "y byd sydd ormod gyda ni hwyr a boreu," nid yw llygad y cristion bob amser yn glir a llawn o "oleuni gwŷn," neu "oleuni sych," fel y gelwir ef. Na, yr ydym yn edrych ar y byd ac ar fywyd yn aml, nid trwy lygad tawel iechyd, ond trwy lygad cyffrous afiechyd. Mae yna anhwylder yn llygad y meddwl, mae y llygad yn ddrwg.

Ni wnawn ymhellach ond enwi neu awgrymu rhai o effeithiau yr egwyddor hon.

Beth yw ei heffeithiau mewn perthynas i eraill? Un amcan, a hwnw wedi ei ddyrchafu a'i sancteiddio gan efengyl Crist, a dyna falais a chenfigen yn cael eu lladd. Unplygrwydd amcan—dyna daw ar y genau llawn melldith a dichell—dyna derfyn ar ddychymygu dichellion ar hyd y dydd. Symledd dyben: dyna ddiwedd ar "hoced dynion," ac ar "gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo." Mae twyllo yn ddrwg; mae cyfrwysdra i dwyllo yn waeth; ond cyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo, twyllo gyda *method*, bod yn Fethodistiaid mewn twyllo—dyna y gwaethaf. Ond gyda symledd dyben pur, dyna derfyn ar y tri: terfyn ar dwyllo, ar gyfrwysdra i dwyllo, ac ar gyfrwysdra i gynllunio twyllo.

Beth yw y canlyniadau i'r dyn ei hunan? I'r dyn o unplygrwydd amcan, pa faint o ammheuon sydd yn diflanu fel mwg? Pa sawl craig rhwystr sydd yn cael ei saethu yn ddrylliau? Ië, pa sawl mynydd uchel o anhawsderau mawrion sydd yn myned yn wastadedd o'i flaen? Mae ein bywyd

**weithiau fel anialwch dyrys, ac yr ydym ar adegau yn gallu myned i mewn i feddwl y geiriau hyny,—**

"Tyred, Iesu, i'r anialwch,
At bererin gwael ei lun,
Ganwaith dd'rysodd mewn rhyw rwydau,
Rhwydau weuodd ef ei hun."

**Ond trwy yr unplygrwydd amcan dyna y rhwydau yn cael eu difa, y mïeri yn cael eu llosgi, yr attalfeydd yn cael eu symud ymaith, a'r ffordd unwaith eto yn glir.**

**Yr egwyddor hon, unplygrwydd amcan, neu symledd dyben, a redo trwy ein holl weithrediadau—ein gweithrediadau yn ein perthynas â ni ein hunain, yn ein perthynas â'n gilydd, ac yn ein perthynas â Duw.**

---

## NEILLDUOLION YR EFENGYL.

*Gan y Parch.* J. Pugh, B.A., *Treffynnon.*

### RHAN III.

Y sylw nesaf sydd genym i wneyd ar y mater hwn ydyw, *Mai nerth a gogoniant yr efengyl ydyw y gwirioneddau a gydnabyddir fel ei neillduolion.*

Gallai y sylw hwn ein harwain i faes ëang a chwmpasog, ond cyfyngir ein nodiadau yn bresennol at rai o'r pethau mwyaf amlwg a tharawiadol. A'r peth cyntaf sydd yn taro i'n meddwl ydyw hyn,—Trwy ystyriaeth briodol o'r gwirioneddau dan sylw y gwelir gogoniant digymhar y drefn o achub dyn colledig.

Mae y gwirioneddau hyn yn gyferbyniol i'w gilydd, ac yn cordeddu y naill yn y llall, fel ag i ffurfio cyfundrefn ardderchog, teilwng o ddwfn gynghor Duw ei hun. Cawn y gwirionedd fod drygedd, gwrthuni, ac ysgelerder anaele yn perthyn i bechod fel y mae yn erbyn Duw; ond ar gyfer hwn cawn wirionedd arall, sef fod rhinwedd a gwerth anfeidrol yn aberth Crist, fel ag i fod yn iawn digonol dros y pechodau mwyaf anfad. Dysgir ni am wendid, neu, yn hytrach, hollol anallu dyn i adferu ei hun o'i sefyllfa resynol; ond ar gyfer hyn dysgir ni am nerth ac effeithioldeb dylanwadau Ysbryd Duw er cyfnewid a sancteiddio calon y pechadur gwaethaf. Anwybodaeth, anwadalwch, a mympwyaeth, ydyw nodweddiad dynion yn eu sefyllfa bresennol; ond ar gyfer hyn, arweinir ni at arfaeth gadarn ac etholedigaeth rasol y Duw anghyfnewidiol. "Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi, a ddaw ataf fi." "Myfi yr Arglwydd ni'm newidir, am hyny ni ddyfethwyd chwi, meibion Jacob." Annhrefn, dyryswch, trybini, a thrueni torcalonus sydd i'w gweled yn ein sefyllfa yn y byd hwn; ond y mae yr efengyl yn ein cyfeirio at "amseroedd adferiad pob peth." Y mae yn ein dysgu i edrych ymlaen at sefyllfa ddyfodol, pan y ceir eglurhâd ar lawer o'r pethau sydd yn ymddangos i ni yn awr yn ddyryswch, a goleuni ar y pethau sydd i ni yn bresennol yn ddirgelion, fel ag y bydd pawb yn cael achos i gydnabod mai "cyfiawn a chywir yw ei farnau Ef." A thra y mae yr efengyl yn gosod allan yr holl drefn o achub wedi deillio, ac yn cael ei dwyn ymlaen yn gwbl o ras Duw, eto y mae yn siarad â ni mewn hyfforddiadau, galwadau, rhybuddion, ac addewidion, ac felly yn ymwneyd â dynion yn briodol fel rhai sydd yn meddu deall, rheswm, a chydwybod.

Yn ngoleuni gwirioneddau mawrion yr efengyl y gwelir perffeithiau y Goruchaf yn cael eu hamlygu mewn gweithrediadau rhyfeddach nag y gellir eu gweled trwy unrhyw gyfryngau eraill. Sonier am ddoethineb Duw mewn natur, mae yr efengyl yn son am ei "fawr amryw ddoethineb." Profer daioni Duw fel Creawdwr a Chynnaliwr, mae yr efengyl yn son am ei ras, ei gariad, a'i drugaredd, ïe, am ragorol olud ei ras tuag at ddynion colledig. Pwy trwy unrhyw oleuni cyffredin a allasai ddangos trefn i'r annuwiol gael ei gyfiawnhâu, ac i ddyn sydd wedi haeddu ei ddamnio gael maddeuant? Ond y mae hyn i'w weled yn ngoleuni yr efengyl. Y mae yn ein cyfeirio at Iawn, "fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu." Y mae yn amlygu Duw "yn Dduw cyfiawn, ac yn Achubydd." Un o ragoriaethau yr wyddor a elwir alsawdd (*algebra*) ydyw ei bod yn gyfrwng i ateb cwestiynau nas gallesid byth mo'u hateb trwy rifyddiaeth gyffredin. Felly hefyd gogoniant yr efengyl ydyw ei bod yn gyfrwng i ateb cwestiynau mewn perthynas i gyfiawnhâd pechadur a fuasent yn anatebadwy gan ddynion ac angylion am byth bythoedd.

Sonir wrthym lawer am gysondeb a sefydlogrwydd deddfau natur; ac y mae yn dra thebyg fod y rhai hyn bob amser yn gweithredu yn rheolaidd yn ol yr elfenau priodol iddynt. Eto y mae ganddo Ef, y Llywydd mawr, ddeddf uwchlaw deddf, a deddf uwchlaw hyny; a dim ond iddo Ef gyffwrdd âg un o'r rhai hyn, gall gyflawni pethau sydd yn wyrthiau a rhyfeddodau yn ein golwg ni. Felly yn y drefn o achub, mae yma ddeddf uwchlaw deddf yn dyfod i weithrediad. Cwrs naturiol y ddeddf nesaf atom ydyw i'r troseddwr ei hunan

farw yn ol y condemniad sydd yn gorphwys arno. Ond y mae deddf yn dyfod i'r golwg yn nhrefn achub sydd uwchlaw iddi, sef, fod y Mab yn natur dyn wedi ei osod i sefyll yn lle yr euog fel ag i farw drosto. "Nid oes neb," medd efe, "yn dwyn fy einioes oddiarnaf, ond myfi sydd yn ei dodi i lawr o honof fy hun." Ac o ba le y mae y trefniad mewn perthynas i'w dodi i lawr wedi deillio? "Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad." "Yr hwn a osododd Duw yn iawn." Ni byddai yn ddychymyg eithafol pe tybiem fod y Creawdwr mawr yn creu haul newydd llawer mwy ei bwysau a'i faintioli na'n haul presennol ni, pe byddai ef a'i holl blanedau perthynol iddo wedi eu gosod ynghyd. A gallem ddychymygu ymhellach fod y Creawdwr yn lluchio yr haul hwn trwy yr eangder diderfyn tua chymydogaeth ein cyfundrefn heulaidd ni. Y canlyniad a fyddai fod yr haul newydd yn tynu ein haul ni, a'r holl blanedau perthynol iddo, ato ei hun, gan ddechreu eu rheoli yn ol y deddfau o sugndyniad perthynol iddo ei hunan. Ac ar y dybiaeth o'i fod Ef yn rhoddi bôd i beth o'r fath, byddai yr holl weithrediadau dilynol yn berffaith reolaidd yn ol y deddfau oedd yn bodoli yn flaenorol. Mae Duw yn y drefn o achub wedi gwneyd peth mwy na chreu haul newydd. "Pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf." "Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef drosom ni oll." Felly er fod y ddeddf a droseddasom ni yn ein condemnio i farwolaeth, eto trwy ddeddf uwchlaw iddi, ac yn unol â'i hanrhydedd, sef trwy y peth mawr newydd a wnaeth Duw, wele i ni faddeuant, cyfiawnhâd, a gogoneddiad. Mae Crist trwy rinwedd ei aberth yn ein dwyn ni at Dduw, sef i'w heddwch, ac i fwynhâd o hono am byth.

Mae nerth bywyd yn y gwirioneddau hyn pan ddygir hwynt trwy ddylanwad Ysbryd Duw i gyffyrddiad â chalon ac â chyflwr pechadur. Mae yr "Adda diweddaf yn Ysbryd yn bywhâu." Pan aeth Eliseus i gyfodi mab y Sunamees, efe "a osododd ei enau ar ei enau yntau, a'i lygaid ar ei lygaid yntau, a'i ddwylaw ar ei ddwylaw ef; ac efe a ymestynodd arno, a chynhesodd cnawd y bachgen.........ac efe a agorodd ei lygaid." Mewn modd cyffelyb mae y gwirioneddau hyn, trwy y dylanwad oddiuchod, yn cyfarfod yn hollol âg anghen, profiad, a theimlad pechadur. Y maent yn foddion i gynhesu ei galon, ac i adnewyddu ei ysbryd. "Y geiriau yr wyf fi yn eu llefaru wrthych," medd Crist, "ysbryd ydynt, a bywyd ydynt." Dywed D'Aubigne i'r adnod, "Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd," gael dylanwad dyeithrol ar feddwl Luther. "Yr oedd nerth *creadigol*," medd efe, "yn y frawddeg hon gyda golwg ar y diwygiwr a'r Diwygiad. Yr oedd Duw y pryd hwnw yn dyweyd yn y geiriau hyn, 'Bydded goleuni, a goleuni a fu.'" Mae yn hawdd i ni gydnabod priodoldeb y dywediad hwn pan ystyriom fod dynion yn yr olwg ar aberth Crist fel iawn digonol i Dduw, yn gweled digon o reswm dros beidio cael eu damnio hyd yn nôd yn wyneb yr adnabyddiaeth ddyfnaf o lygredigaeth a thrueni eu natur, y teimlad mwyaf brawychus o euogrwydd cydwybod, a'r golygiadau egluraf o Dduw, yr hwn y mae ei enw yn sancteiddiol ac ofnadwy. Mae hanes personau unigol, a hanes crefydd yn gyffredinol mewn gwahanol wledydd, yn profi mai y rhai hyn yw y gwirioneddau cyfaddas, yn ol trefniad Duw, tuag at aflonyddu y byd, a pheri chwyldröad ysbrydol yn nghalonau dynion. Gyda golwg ar hyn priodol iawn y dywed Cecil, "Mae Duw yn gosod anrhydedd neillduol ar y pregethiad o Grist croeshoeliedig. Dichon i athronydd athroneiddio ei wrandäwyr, ond y pregethiad o Grist a gyfnewidia eu calonau. Er i rai bregethu Crist mewn modd anfedrus a bwngleraidd, eto y mae Duw yn fynych yn ei fendithio i fod yn effeithiol, am ei fod yn ewyllysio mawrhâu ei osodiad ei hun."

Dichon y dywed rhywun, Pa le y mae yr effeithiau hynod hyn yn bresennol? Mae yr efengyl yn cael ei phregethu bob Sabbath, a pha le y mae y siamplau o'i nerthoedd rhyfedd er troi a dychwelyd dynion? Gellir ateb fod llawer siampl i'w chael, hyd yn nôd yn y tymmor marwaidd hwn, sydd yn brawf o nerth goruwchnaturiol yn cydfyned â'r efengyl er achub pechaduriaid. Ac y mae yn eglur yn ol hanes gweinyddiadau y Goruchaf ei fod ef yn gyffredin yn ewyllysio i waith dystaw gael ei gyflawni dros yspaid lled faith, ac yna pan ddêl cyfnod neillduol fod mwy o lwyddiant yn cael ei effeithio mewn tymmor byr nag a welwyd mewn ugeiniau o flynyddoedd yn flaenorol. Yr ydym yn cael cyfle i sylwi ar yr awyrgylch o'n cwmpas; ac yr ydym yn gweled ein bod yn fynych yn cael wythnosau a misoedd o dawelwch. Ond er hyny y mae gwefr (*electricity*) ar waith, ac yn cael ei barotoi trwy yr holl amser yn yr awyr. A rhyw ddiwrnod, neu ryw noswaith, wele yr ystorm yn tori allan. Mae fflachiadau y mellt a thwrf y daran yn creu dychryn yn mhawb. Wele rai o'r derw cedyrn yn cael eu gwneyd yn ysgyrion, ac y mae hyd yn nôd y bryniau oesol yn crynu. Cyffelyb a fu yr effeithiau mewn ystyr ysbrydol trwy y diwygiadau nerthol a fu yn Nghymru yn yr oesau sydd wedi myned heibio. Yr oedd

anialwch annuwioldeb yn crynu, ac yr oedd hen arferion, y rhai oeddent fel derw cedyrn, yn cael eu hanrheithio; ïe, yr oedd "llef yr Arglwydd mewn grym ac mewn prydferthwch" er iachawdwriaeth dynion.

Mae dynion trwy ddylanwad gwirioneddau mawrion yr efengyl ar eu calonau yn dyfod i gael eu rheoli gan yr egwyddorion uchelaf o ran eu bywyd a'u hymarweddiad. Mae y chwyldroad y cyfeiriwyd ato eisoes, yr hwn sydd yn cael ei effeithio trwyddynt yn ysbrydoedd dynion, yn rhoddi amcan neu ddyben hollol newydd i'w bywyd yn y byd. Byw iddo ei hun ydyw egwyddor naturiol calon dyn; ond y mae yr efengyl yn dysgu ac yn galluogi dynion i fyw er gogoniant Duw. Ac yr ydym yn cael y cymhelliadau cryfaf i amcanu at hynyma, gan ein bod yn ddyledus am ein bywyd, a'n gobaith, a'n cysur ysbrydol i'r ffaith fawr fod Crist wedi rhoddi ei hun i farw drosom. Ac yr ydym yn cael ein cefnogi i amcanu at bob rhinwedd, ïe i berffeithio sancteiddrwydd, gan fod yr Ysbryd Glân i'w ddysgwyl i'n nerthu yn wyneb pob math o anhawsderau. Ac y mae urddas yn cael ei gynnyrchu yn ein hysbrydoedd, gan y dysgir ni nad yw ein holl fywyd presennol ond parotöad at sefyllfa ddyfodol, yn yr hon y mae pethau mawrion a gogoneddus mewn gobaith a dysgwyliad. Ac yn hyn y mae moesoldeb yr efengyl yn tra rhagori ar holl foeswersi y doethion paganaidd. Y mae yn rhagori cymaint ag y mae byw i Dduw yn rhagori ar fyw i hunan—cymaint ag y mae nerthoedd y byd a ddaw yn rhagori ar nerthoedd y byd hwn—cymaint ag y mae gobaith iachawdwriaeth trwy Grist yn rhagori ar obaith clod neu enw daearol. Mae y cyfnewidiad sydd yn cymeryd lle yn ysbryd y dyn sydd yn dyfod i fyw yn ol egwyddorion yr efengyl yn fwy na phe meddyliem fod y pegwn deheuol yn cael ei droi i fod yn begwn gogleddol. Ond dichon y gofynir eto, Pa fodd y gellir profi nerth yr egwyddorion hyn, gan fod llawer sydd yn gyfarwydd âg athrawiaethau yr efengyl yn ddynion gwael ac isel o ran eu buchedd a'u harferion? I hyn eto gellir ateb fod llawer i'w cael sydd "yn dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd." Pe baem yn rhodio ar làn y môr ar ambell adeg, gallem weled degau o fân longau yn gorwedd ar eu hochrau; nid oes na llyw, na hwyl, nac olwyn yn symud; ond gŵyr pawb yn ddigon da mai ofer o herwydd hyn a fyddai dadleu yn erbyn nerth y môr i'w cludo, oblegid mae efe eto heb eu cyrhaedd. Er hyny bydd yr olwg arnynt yn dra gwahanol pan fyddo ei ddyfroedd ef wedi ymwthio odditanynt, a phan ddechreuant deimlo ei gynhyrfiadau. Cyffelyb i'r llongau hyn yw y bobl sydd heb wybodaeth brofiadol o'r gwirionedd yn eu calonau. Mae y gwirionedd eto heb eu cyrhaedd, heb eu hysgwyd a'u cyfodi; ond pan gymero hyn le, byddant hwythau yn dechreu hwylio i ddybenion teilwng.

Ond er fod achos i gwyno o herwydd drygfoes llawer sydd yn meddu gwybodaeth o'r efengyl, eto y mae dylanwad ei hegwyddorion mawrion yn cael ei deimlo yn lled gyffredinol, ac y mae yr effeithiau yn dra eglur a daionus. Maent i fesur mawr yn lliniaru nwydau cynddeiriog dynion, yn cynnyrchu cywilydd o herwydd gweithredoedd anfad, ac yn llesteirio llawer o bethau bryntion ag a fuasent yn y modd mwyaf gorwyllt yn tori allan. Felly y maent yn effeithio ar foesau yn gyffredinol, yn gyffelyb fel y mae y *Gulf Stream* yn effeithio ar yr hinsawdd yn ein gwlad ni, sef ei wneyd yn fwy tyner a nawsaidd.

Mae effeithiau yr egwyddorion hyn i'w gweled hefyd ar gymdeithas mewn gwahanol ffurfiau. Maent yn cynnyrchu tynerwch mewn dynion at eu gilydd, a pharodrwydd i amlygu cydymdeimlad mewn amgylchiadau o wasgfa a chaledi. Ac o herwydd hyn mae gwahanol sefydliadau dyngarol i'w gweled yn britho gwledydd cristionogol. Mae dylanwad cyffredinol yr efengyl yn yr ystyr yma yn gyffelyb i'r awyrgylch o'n cwmpas. Mae hwn nid yn unig yn gyfrwng i drosglwyddo oddiwrth yr haul ei oleuni, ond hefyd yn foddion i roddi prydferthwch i'r blodau, y llysiau, a'r planigion, ac i gludo oddiwrthynt eu perarogl dymunol.

Mae Henry Richard, A.S., yn ei araeth ragorol i'r Undeb Cynnulleidfäol, yn addef fod dylanwad Cristionogaeth ar ffurflywodraethau gwladol yn llai nag y gallesid dysgwyl iddo fod. Ac y mae efe yn edrych ar wirionedd y peth mewn tri golygiad; hanes caethwasanaeth—ymddygiad cristionogion at y brodorion mewn gwledydd tramor—ac ansawdd y teimlad gyda golwg ar ryfeloedd. Ac y mae efe yn profi mewn perthynas i'r naill beth a'r llall nad ydyw cristionogion yn y cymeriad o wladweinwyr wedi ymddwyn ar hyd yr oesau yn deilwng o'u hegwyddorion. Dengys yn eglur mai nid unrhyw ddiffyg yn addysg ac ysbryd Cristionogaeth ydyw fod caethwasiaeth wedi cael ei lochi am gynifer o ganrifoedd, ac ymddygiadau rhai a elwir yn gristionogion wedi bod mor farbaraidd at frodorion gorchfygedig, a'r fath duedd a pharodrwydd at ryfel yn parhâu. Ond er y diffygion y mae efe yn eu nodi, mae yr egwyddorion sydd dan sylw yn gweithio yn y cyfeiriadau hyn hefyd. Ac ni a obeithiwn nad yw yr

amser ddim ymhell pan y bydd pob caeth wedi ei ollwng yn rhydd, pan na chlywir son am drais yn yr holl derfynau, a phan na ddysgant ryfel mwyach. Mae y gwaith sydd i'w gyflawni ar ein daear ni yn fawr. Ac un o nodweddiadau y Penllywydd ydyw ei fod yn myned ymlaen yn araf yn ei weithrediadau, fel un ag y mae ganddo ddigon o hamdden i gyflawni ei amcanion; ac yna pan ddelo ei adeg neillduol Ef, "byr waith a wna Efe ar y ddaear." Gwelir weithiau ambell waith mawr tanddaearol wedi boddi. Mae peiriant cadarn yn cael ei godi fel sugnedydd er clirio y dwfr. Eto am fod y gronfa y mae i effeithio arni mor helaeth, nid yw yn gwneyd fawr o'i ôl arni dros faith amser. Ond ymhen ychydig y mae y gronfa yn myned lai lai, ac yna mae y peiriant gyda chyflymdra yn cwblhâu ei orchwyl gorchestol. Mae yr efengyl fel peiriant nerthol wedi bod yn gweithio dros ganrifoedd lawer ar ein daear ni. Yr oedd y gronfa o annhrefn a thrueni moesol a gwladol, yn ddwfn a chwmpasog iawn; ond y mae hi eisoes wedi bod yn foddion i glirio llawer o bethau niweidiol a chroes i'w hysbryd; a gellir dysgwyl y bydd iddi gyda chyflymdra mawr bellach, ddifa y gweddillion o bethau annheilwng sydd yn parhâu.

Mae neillduolion yr efengyl yn ein dysgu i feddwl yn ëang am ddyben creadigaeth a chynnaliaeth y byd hwn. Mae i'r byd hwn ddyben uwch na rhoddi cyfleusdra i uchel-ymgeiswyr ymestyn at goronau a gorseddfeinciau—dyben uwch na rhoddi difyrwch i'r ymgeiswyr am bleserau—dyben uwch na bod yn safle i beiriannau trystfawr a sefydliadau ëang er mwyn manteision daearol yn unig—ïe, dyben uwch na bod yn arddangosfa hyd yn nôd o ryfeddodau gwyddoniaeth. "Pob dim a grëwyd trwyddo Ef ac erddo Ef." Ni ddaw un gwirionedd naturiol byth i'r golwg ag a fydd yn anghyson â gwirioneddau mawrion yr efengyl; oblegid yn ei olwg Ef, yr hwn sydd wedi rhoddi bôd i bob peth, un gyfundrefn ëangfawr yw y cwbl mewn natur a gras; ac nid yw yr holl ddarganfyddiadau a wneir o bryd i bryd ond fel cynifer o fân olwynion mewn cysylltiad â'r un olwyn fawr, sef gogoniant Duw yn iachawdwriaeth dyn. Dysgir ni hefyd fod rhyw ogoniant yn perthyn i'r gwirioneddau am drefn achub ag sydd yn deilwng o sylw bodau uwch mewn graddau na'r bobl ddoethaf, dysgedicaf, a galluocaf ar y ddaear hon: "Fel y byddai yr awr hon yn hysbys i'r tywysogaethau a'r awdurdodau yn y nefolion leoedd, trwy yr eglwys, fawr amryw ddoethineb Duw." "Ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwennychu edrych."

Gellid meddwl oddiwrth y dull o siarad gan rai gwyddonwyr ymhongar ei fod yn ffafr oddiwrthynt i Gristionogaeth gael byw, a bod ei dysgeidiaeth hi yn rhywbeth a berthynai i'r oesau sydd wedi myned heibio, ond ei bod bellach ar ddiflanu. Eithr y mae hyn yn beth mor afresymol â phe dywedai rhywun, wrth olrhain ambell gornant fechan tuag i fyny, fod yr afon fawr yn ngwaelod y dyffryn wedi sychu, er mai hi sydd yn derbyn yr holl afonydd bychain yn yr holl wastadedd. Ac wrth ystyried effeithiau daionus yr efengyl ar gymdeithas yn ei holl gysylltiadau, mae y rhai sydd yn ceisio gwadu a gŵyrdroi ei hathrawiaethau neillduol, yn ymddwyn mor groes i'w llesâd eu hunain â phe byddai rhywrai yn ymdrechu eu goreu i wneyd tyllau yn ngwaelod y llong sydd yn eu cludo dros yr eigion mawr.

Dygir y sylwadau hyn i derfyn yn yr ysgrif nesaf.

---

## HEDDWCH EGLWYSIG.

*Gan y Parch.* JOHN FOULKES, *Rhuthyn.*

RHUFEINIAID XV. 19: "Felly, gan hyny, dilynwn y pethau a berthynant i heddwch, a'r pethau a berthynant i adeiladaeth ein gilydd."

*(Parhâd o tu dal.* 136.)

II. RHESYMOLDEB ANNOGAETH YR APOSTOL I DDILYN AR OL HEDDWCH.

*Un o orchymynion Iesu Grist, a hyny yn agos i ddiwedd ei daith yn y byd, oedd ar i'w ddysgyblion garu eu gilydd; a chefnogodd yr annogaeth hon â'i esiampl ei hun.* Tuedda y gorchymyn i rwymo y gydwybod, ond y mae esiampl yn bywhâu y galon. Pwy a all ddarllen ei hanes yn golchi traed ei ddysgyblion heb ryfeddu a theimlo? Gair a ddywedodd â'i lygad ar ei angeu a'i ymadawiad oedd hwn; ei ewyllys diweddaf megys. Gwelir hyn yn cael lle mawr yn y weddi hynod (Ioan xvii.): "Y Tad sancteiddiol, cadw hwynt trwy dy wirionedd, y rhai a roddaist i mi; fel y byddont un, megys ninnau—fel y byddont oll yn un—fel y byddont un, megys yr ydym ni yn un—fel y byddont wedi eu perffeithio yn un." Mynych y cawn Paul yn cymhell i gariad a heddwch: "Byddwch ddyfal i gadw undeb yr ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Un o nodweddau prydferth y ddoethineb oddiuchod gan Iago ydyw, "heddychlawn." Mewn amser o heddwch y ganwyd yr Iesu. Tangnefedd ar y ddaear oedd un peth mawr yn anthem yr angylion ar ei enedigaeth. "Ar y ddaear tangnefedd;" a hyn oedd megys ei anadliad olaf ef:

"Tangnefedd i chwi!" "Tywysog tangnefedd" y gelwir Ef!

Mae *perthynas credinwyr â'u gilydd* yn brawf eglur o resymoldeb yr annogaeth hon. Dywedai un philosophydd paganaidd fod dynion yn frodyr yn ol natur. Dywedai un arall, mai un enaid mawr sydd yn bywhâu y cyfan. Ond hyn sydd wir, mai o *un* gwaed mewn natur y gwnaed ni oll; a'r un Ysbryd Duw sydd yn bywhâu yr holl gredinwyr. Ac os yw dynion yn ddyledwyr i'w gilydd ar dir natur, pa faint mwy y mae y saint i fod felly ar dir crefydd? Y mae perthynas agosach rhwng dau gristion â'u gilydd nag sydd rhwng dau frawd yn ol y cnawd; oblegid arall yw yr eneidiau sydd yn bywhâu y ddau gorff, ond un Ysbryd sydd yn bywhâu yr holl eglwys. "Un corff—un Ysbryd—un gobaith—un Arglwydd—un ffydd—un bedydd—un Duw a Thad oll." Mor foneddigaidd y dywedai Abraham wrth Lot, "Na fydded cynhen, attolwg, rhyngof fi a thi, na rhwng fy mugeiliaid i a'th fugeiliaid di, o herwydd brodyr ydym ni." Cyffelyb oedd cynghor Joseph i'w frodyr pan yn eu gollwng adref o'r Aipht y tro diweddaf: "Nac ymrysonwch ar y ffordd."

Mae *yr amcanion at ddrygu heddwch, a'r peryglon gwastadol y mae heddwch ac undeb ynddynt*, yn brawf diymwad y dylai fod dylanwad annogaeth ein testun yn gryf, a hyny yn wastadol, ar ein meddyliau. Cyfyd y peryglon hyn o byrth uffern, a thrwy ddynion drygionus. Mae mwy o Jesuitiaid y diafol yn eglwys Crist i greu terfysg, nag a goeliai lliaws; oes! rhai y gellid eu galw yn swyddogion Satan! Gwelir fod y peryglon hyn yn bod hefyd yn y graddau gwahanol sydd yn yr eglwys: gwahaniaeth oedran a thymherau, a dygiad i fyny; a chyfyd lliaws o fân amgylchiadau a allai derfysgu a blino. Ac y mae yr athrodwyr ynddi hefyd, ac â'u holl ddyfalwch yn hâu hadau cynhen, blinder, a therfysg.

Y mae *y llesâd, y cysur, a'r dedwyddwch sydd ynglŷn â heddwch* yn gefnogaeth gref iawn i fod yn ofalus i'w ddilyn. Mae heddwch yn ddedwyddwch ynddo ei hun. Bywyd rhydd, llon, a hyfryd yw bywyd tangnefeddus; ac y mae dyn yn greadur hynod am rywbeth a rydd hyfrydwch; a darparodd y Goruchaf ar gyfer y duedd hono ynddo bethau yn ddifyrwch i'r glust, yn brydferthwch i'r llygad, ac yn hyfrydwch a phleser i'r archwaeth. Gwnaed dyn yn greadur cymdeithasgar, ac nid i fywyd o unigedd. "Nid da bod y dyn ei hunan." Chwanegiad at ddedwyddwch Adda oedd gwraig. Bydd fod *llawer* yn y nefoedd yn chwanegu y dedwyddwch, canys bydd yno dangnefedd perffaith. Dyn annedwydd iddo ei hun ac i bawb o'i amgylch ydyw dyn llawn o genfigen, dyn dialgar ac ymrysongar. Mae cenfigen, cynhen, ac ymbleidio, yn yr un dosbarth gan Paul (1 Cor. iii. 3). Iago yr un modd: "Eithr od oes genych genfigen chwerw ac ymryson." "Cenfigen a ladd yr annoeth, ac a bydra yr esgyrn." A lle byddo cenfigen, bydd ymryson cyn hir, ac ynglŷn â hyny derfysg, &c. (Iago iii. 16). "Pen y gynhen sydd megys ped agorid argae;" daw cenllif i mewn. Bywyd poenus yw bywyd felly. Mae rhyw gyfeillgarwch hapus rhwng dau fwnwr yn myned i lawr i'r pwll, a rhwng dau forwr yn myned dros hanesion eu mordeithiau. Mor gyfeillgar y gwelir dau fardd, neu ddau ymfudwr, yn enwedig dau gydymaith mewn cystudd. "Wele mor ddaionus ac mor hyfryd yw trigo o frodyr ynghyd." "Undeb," ebe un, "yw *cement* yr eglwys, a chysur y ddau fyd."

Mae heddwch a thangnefedd *yn anghenrheidiol er diogelwch.* Pa ddiogelwch a all fod hebddo? Teyrnas neu dŷ wedi ymranu, ni safant. Sail diogelwch yr eglwys yw Crist, a'i aberth, a'i lywodraeth; ond gall fod terfysg ac ymraniadau er hyny. Gall tŷ grynu ac agenu, er fod iddo sylfaen dda. Gall terfysg ddygwyddo mewn teulu. Rhaid fod heddwch ymarferol yn sail diogelwch ymarferol. "Am ben hyn oll," neu yn uchaf ar hyn oll, "gwisgwch gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd;" neu fel y gellid darllen y geiriau, "rhwymyn undeb;" gair yn arwyddo casgliad neu uniad rhanau i fod yn un. Gwnaeth ymraniadau fwy o niwed i eglwysi nag a wnaeth erlidiau. Gwna tangnefedd yr eglwys yn ofnadwy (Can. vi. 4). Tra byddo heddwch a thangnefedd, hi a fydd fel Samson tra y cadwodd ei Nazarëaeth; ond wedi ei golli, bydd yr eglwys, fel yntau, wedi colli ei nerth.

Gwelir rhesymoldeb yr annogaeth hefyd pan gofiom mai *hyn yw y cyflwyniad goreu ar grefydd i sylw y byd, ac a ennill iddi le uchel yn ei syniadau am dani.* Gweddïai y Gwaredwr yn achos undeb y dysgyblion, fel y gwybyddai y byd mai y Tad oedd wedi ei anfon. Hyn yw nôd ysgol Crist, ac wrth hwn yr adnabyddid y cristionogion cyntefig: "caru eu gilydd." Pa ddirmyg mwy a all fod i grefydd Mab Duw nag anghariad ac ymrysonau ymysg y rhai a'i proffesant? Pâr hyny i rai gilio ymhellach oddiwrthi, ac i galedu y byd annuwiol yn fwy. Paham y rhaid ymryson? Dywedai un wrth ddau oeddynt mewn rhyw ymrysonfa â'u gilydd, "Naill ai dyosgwch yr enw cristionogion, neu rhoddwch heibio ymryson."

Mae heddwch *yn hanfodol er llwyddiant.* "Yr holl eglwysi yn Judea, Galilea, a Samaria, a gawsant heddwch, ac a adeil-

adwyd; a chan rodio yn ofn yr Arglwydd, ac yn nyddanwch yr Ysbryd Glân, hwy a amlhäwyd." Saif pob amcan, ïe, yr amcanion goreu, mewn terfysg rhyfelgar. Yn un y gorchfyga byddin. Lle byddo heddwch, bydd yno frawdgarwch, cydymdeimlad, a chydweithrediad; wylo gyda y rhai sydd yn wylo, llawenhâu gyda y rhai sydd lawen, dwyn beichiau eu gilydd, a gweddïo dros eu gilydd; gofal mawr rhag rhoddi achos tramgwydd y naill i'r llall, a thuedd gref i roddi yr esboniad goreu ar bob ymddygiadau.

III. YMOFYNWN PA RAI YDYNT Y PETHAU I'W DILYN ER CADW HEDDWCH. "Dilynwch y pethau a berthynant i heddwch, ac adeiladaeth eich gilydd."

1. *Gofal yn y swyddogion am deimlad da a brawdol yn eu mysg eu hunain.* Os amgen, bydd effaith ddrwg yn fuan, canys daw yr eglwys i ddeall os na bydd felly. I hyny, rhaid iddynt gymdeithasu llawer â'u gilydd, a dwyn y cyfan ymlaen trwy gydymgynghoriad rhydd a brawdol. Gall y niwed godi oddiwrth yr hen, y cyfoethog, a'r galluog. Mae un, fe allai, yn cadw amryw bethau yn ei law ei hun; ond rhanu y gwaith yw y goreu. Gall un arall fod yn rhy gryf am ei ffordd ei hun, a'i mynu hefyd. Gofaler na byddys, trwy unrhyw ymddygiad, yn taflu diystyrwch ar ras, na barn, na theimlad y naill na'r llall. Gall fod llygad craff a barn dda heb dalent a hyawdledd. Cwynir weithiau fod ambell swyddog yn rhy gryf am ei ffordd ei hun, ac na chefnoga efe unrhyw beth a gynnygir os na bydd wedi cychwyn oddiwrtho ef. Bendithiol iawn fyddai fod gan y swyddogion adegau wedi eu trefnu er cydgyfarfod i fwrw golwg ar yr achos yn ei holl gangenau, i fynegu eu teimladau i'w gilydd, ac i gydweddïo; a buan iawn y derbyniai yr eglwys ffrwyth da o hyn.

2. *Rhoddi attalfa ddioed ar bob peth a dueddo at derfysg ac anmharu heddwch, yn mhwy bynag y byddo.* "*Pen* y gynhen"—"ychydig lefain"—"ychydig dân." O y galanastra a wnaed drwy wreichionen *matchen!* Pa fawr ddrygau a barodd gair garw—tuedd i ddadl—tebyg i gyfeiliornad—mymryn o duedd bleidgar! Adwy fechan yn nglawdd y môr a ollyngodd y llanw. Cramen oedd dechreu y *cancer* a ddyg ymaith fywyd y dyn. Tarth teneu a barodd y llifeiriant. Rhyw *shyness* a achlysurodd y rhwyg rhwng cyfeillion. Dylid attal yn ddioed bob peth a roddo y perygl lleiaf ar heddwch.

3. *Arfer cywirdeb yn nygiad ymlaen achosion crefyddol.* Gofaler na wneler dim yn fyrbwyll—y tu cefn, nac a dueddo at fod yn ormes ar hawliau a rhyddid yr eglwys. Mae llawer o bethau â pherygl ynglŷn â'u trafod, megys cyhoeddiadau pregethwyr, casgliadau, trefniadau, &c. Gyda phethau o'r fath, rhaid i gariad fod yn egwyddor, a heddwch a thangnefedd yn amcan. Y mae cadw heddwch eglwysig heb ragfeddwl doeth a chywirdeb trwyadl yn anmhosibl; oblegid nid yw pawb yn ddeillion a difarn. Cynghor Iesu Grist i'w ddysgyblion ydoedd, "Byddwch gall fel y seirph, a diniwed fel y colomenod:" callineb heb fod yn gyfrwysdra dichellgar, a diniweidrwydd ynglŷn â barn dda; gwneyd un rhinwedd o'r ddau. Nis goddef Cristionogaeth ddichell a phleidgarwch. Yr oedd y callineb a gymhellai Mab Duw yn cydsefyll â symlrwydd yr efengyl. Rhaid i naws cywirdeb redeg drwy, a'i argraff fod yn eglur ar, yr holl drafodiaethau.

4. *Gofal manwl a pharhâus ar ein geiriau.* "Ateb arafaidd a ddettry lid." "Rhyw un a ddywed eiriau fel brath cleddyf." "Bydded eich ymadrodd bob amser yn rasol." Rhaid gochel geiriau diystyrllyd, awdurdodol, chwyddedig, trahâus, bustlaidd, a mursenaidd. Effaith y fath eiriau fydd ysgaru brodyr, ac ni bydd iddynt byth uno gelynion. Effeithia rheswm ar synwyr, ond nid ar ragfarn. Mae geiriau cas fel saethau o wenwyn, yn sicr o beri gofidiau. Mae rhyw greadur, meddant, po ddyfnaf y bratha, lleiaf fydd y loes, ond dyfnaf y niwed. Haws, medd un, dori yr adamant ar glustog nag ar eingion y gôf. Gwres a bâr i ddyn ymddyosg. Addfwynder a lwydda yn fwyaf effeithiol. Un felly oedd Iesu Grist: "Ni waedda, ni ddyrchafa, &c." Cawn brawf gogoneddus o'i addfwynder yn ei ymddygiadau at y wraig a ddygwyd ato, yr hon a ddaliwyd mewn godineb.

5. *Ymgadw rhag cydnabod gormod o wahaniaeth bydol ar randir crefydd.* Mae yn yr un eglwys y *landlord* a'r *tenant*, y meistr a'r gwas, y gofynwr a'r dyledwr, y cyfoethog a'r tlawd, y dysgedig a'r annysgedig, y pum' talent a'r un dalent. Ond y mae cyfraith Crist yn rhoddi cydwastadrwydd hynod ar dir crefydd. "Na alwer chwi Rabbi, ond brodyr." Ni ddylai dim gael ei nabod a'i gydnabod ond duwiol a ffyddlawn. Gall barn dda fod lle na bydd hyawdledd, teimlad rhagorol lle na byddo doniau godidog, ffyddlondeb canmoladwy ar lai na phum' talent, cymaint o gariad yn y galon, er na byddo y rhodd ond dwy hatling, ag yn nghalon yr hwn a fwria i'r drysorfa lawer mwy. Melldith fawr i grefydd yw talu gormod sylw ar randir crefydd i wahaniaethau allanol. Ac nid yw dyweyd hyn yn milwrio dim yn erbyn rhoddi pob parch i'r hwn y byddo yn ddyledus. Y mae holl bethau teyrnas yr Iesu i'w dwyn ymlaen yn ol ei reolau ac yn ei ysbryd ef. Os derbyn, os ceryddu,

os galw rhai i swyddau, mae'r cyfan i'w dwyn ymlaen heb ragfarn na chydbartiaeth.

6. *Bod dan ddylanwad cryf y cynneddfau hanfodol i hyn oll.* "Bid genych halen ynoch eich hunain, a byddwch heddychlawn â'ch gilydd;" dyna egwyddor ac ymarferiad. Gostyngeiddrwydd, addfwynder, hunanymwadiad, dyoddefgarwch, maddeugarwch, cywirdeb—dyna rinweddau y mae gwaith mawr iddynt bob dydd yn mywyd cristion, ac ni bydd hir sicrwydd am heddwch hebddynt. Mae cristion, megys eraill, yn ddarostyngedig i deimlo gormod dros ei enw a'i fuddiannau —teimlo yn rhy gryf dros ei syniadau a'i gynlluniau, a bod yn rhy anhawdd ganddo ildio a maddeu. Ffol iawn fyddai i ddau a gyfarfyddent eu gilydd ar bont ry gul i allu pasio eu gilydd, fyned i ymladd â'u gilydd ar y bont, a pheryglu dau fywyd. Onid gwell fyddai i un ildio i orwedd er mantais i'r llall groesi? Dau gi yn rhwym wrth eu gilydd yn myned yn erbyn pôst, a methu myned ymlaen gan hwnw, a welir yn cyffroi, chwyrnu, dangos eu dannedd, a cheisio brathu y naill y llall. Pe buasai gan un o honynt synwyr i ildio, aethent yn dawel i'w ffordd. Help i fagu ac amaethu y cynneddfau hyn a fyddai ymgydnabyddu llawer â hanes y Gwaredwr mawr, ac yfed yn helaeth o'i ysbryd: "Yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn." Efe, yn lle y llawenydd, a ddyoddefodd y groes. "Nis boddhäodd ef ei hun;" ond gweddïodd am faddeuant i'w lofruddion pan yn ei ing mwyaf. Bydded ynom ninnau y meddwl oedd ynddo Ef!

7. *Ymgadw mewn llafur crefyddol.* Segurdod yw *soil* ymraniadau, a dynion segur yw y rhai parotaf i feïo ac ymryson. Onid oes genym fwy na digon o waith—llafur i ddeall trefn yr efengyl, ac i farweiddio ein llygredigaethau ein hunain, a darpar ar gyfer y byd a ddaw; llafurio dros Grist gyda ei deyrnas ef yn y byd? Mae gan y gweinidog y weinidogaeth i ofalu am dani, gan y blaenor waith ei swydd yntau, gan yr athraw ei ddosbarth, gan y tad a'r fam y teulu, a chan yr eglwys y byd yn gyfan. Mewn gwaith y mae diogelwch. Gofynai rhywun i Mr. Charles, a fyddai ef ddim yn digio weithiau wrth bobl y Bala, a'i ateb oedd, "Yr wyf yn methu a chael amser i hyny." Pe dygwyddai i rywun o filwyr Mab Duw, oddiar eiddigedd sanctaidd, ollwng ergyd at y gelyn heb *command*, ni pharai efe iddo gael ei saethu am hyny.

Mae heddwch a thangnefedd eglwysig ynddo ei hun yn ddedwyddwch, ac yn dwyn ei wobr i'r fynwes. Hyn yw dysgeidiaeth Crist, egwyddor fawr ei grefydd, ac elfen fawr ei llwyddiant. Gelwir y saint yn adar, yn ŵyn, yn blant, yn frodyr gan hyny dysgwylir iddynt fod yn dangnefeddus, a hwn yw y teimlad mwyaf nefolaidd ar y ddaear. "Gan hyny dilynwn y pethau a berthynant i heddwch, a'r pethau a berthynant i adeiladaeth ein gilydd."

---

## CYFFES PEDR A'R FFYDD GRISTIONOGOL.*

*Gan y Parch.* Hugh Roberts, *Rhydymain.*

Duwdod y Mab yw sylfaen Cristionogaeth, a chydnabyddiaeth y meddwl â Christ fel Duw-ddyn sydd yn dwyn dyn i'w chofleidio yn yr oll o honi, fel yr unig ddarpariaeth ddigonol ar fedr ei anghen fel pechadur. Dywedir gan Dr. Edwin A. Abbot, yn ei "*Through Nature to Christ,*" mai cyffes Pedr oedd genedigaeth y ffydd gristionogol, ac mai nid ffydd oedd ffydd Pedr yn yr ymgnawdoliad, neu yn yr iawn, neu yn yr adgyfodiad, neu yn y sacramentau, neu yn yr eglwys, ond ffydd yn unig yn Iesu Grist ei hun. Y mae y dywediad hwn yn wir, ac yn wirionedd gwerthfawr iawn âg ystyried mai un a berthyn i Eglwys Loegr a'i dywedodd, ac yn wir amserol i'w ddyweyd wrth ystyried fod un gyfran o'r ddeadell hon o eglwys Crist yn pwyso cymaint ar y pethau a welir, ac ar lawer iawn o bethau israddol iddynt, a phethau chwithig iawn o'u cymharu â chyffes Pedr. Ond onid un ochr i'r gwirionedd yw hyn? ac onid oes ochr arall i'r un gwirionedd, sef fod yr oll a berthyn i Gristionogaeth neu i eglwys Crist yn myned yn graig yn eu hundeb â Christ fel Pen yr eglwys?

Nid oes berygl bod ein ffydd ni yn rhy gref ymhobpeth a berthyn i'r eglwys, os ydyw y ffydd hono yn myned trwy Berson y Gwaredwr atynt; ac nis gellir rhoddi y gwerth priodol, na'r parch dyledus i osodiadau Crist yn ei eglwys, heb edrych arnynt bob amser fel gosodiadau Crist. Yr oedd edrych ar yr oll o'r hyn a dderbyniodd Moses ar Sinai yn eu perthynas â Duw y Jehofah fel eu gosodydd, yn peri i bob gwir Israeliad eu parchu a'u gwerthfawrogi. Yr un modd y mae yr eglwys, yr addewidion, yr ordinhadau, a'r athrawiaethau a berthyn iddi, ynghyd a'r sacramentau, yn derbyn eu grym a'u hurddas o Berson y Mab fel Pen yr eglwys. Ac wrth sylweddoli mawredd eu gosodydd, y maent yn ymddangos fel mynyddoedd cribog, fel ffynnonau dihysbydd o loewddwfr, fel coffrau

* Mae yr ysgrif hon i'w golygu fel parhâd o'r traethawd ar "Arholiad y Dysgyblion," yn y Drysorfa am Awst, 1877, tu dal. 296.

mawrion o bob trysorau, ac fel paradwys Duw yn nghanol anialwch. Os edrychwn ar y ddeddf foesol fel ei dygwyd drosodd o berchenogaeth yr eglwys Iuddewig i fod yn rheol buchedd ac ymarweddiad yr eglwys gan Iesu Grist yn ei bregeth ar y mynydd, y mae yn myned yn graig. Gallesid edrych arni, fel y gosodwyd hi ar Sinai ar y cyntaf, fel yr edrychid ar ddyn pan y crëwyd ef ar y cyntaf. Gwnaed ei gorff ef yn gyntaf; ac wedi hyny Duw a anadlodd yn ei ffroenau ef anadl einioes, a'r dyn a aeth yn enaid byw. Corff y ddeddf, megys, yr ydym yn ei gael ar y ddwy lech gan Moses. Yr oedd y swm yno,—y defnydd yno; ond llythyren farw yn unig ydoedd, neu felly yr ymgynnygiai i feddwl yr Iuddew; llythyren yn lladd. Ond ar y mynydd arbenig hwnw yn Galilea, anadlodd Mab Duw ynddi anadl einioes, a hi a aeth yn enaid byw. Eto wrth wneyd hyn, nid yw wedi rhoddi gallu ynddi i fywhâu, na rhoddi hawl iddi i arbed cymaint ag un troseddwr; ond efe a'i gosododd hi allan mewn goleuni newydd. "Ni ddaethum," meddai, "i dori ond i gyflawni."

Pa fodd y cyflawnodd hi? Gosododd hi allan yn y lle cyntaf yn ei hysbrydolrwydd fel deddf Chwiliwr y calonau, ac nid fel deddf llywodraethwr daearol, yr hon sydd yn foddlawn ar ufudd-dod llythyrenol yn unig. Yn bresennol y mae ei hawliau yn uwch, a'i gofynion yn galetach. O'r blaen nid oedd ei hawliau a'i gofynion, fel yr oeddynt yn ymgynnyg i feddwl yr Iuddew, ond llythyrenol; a phe buasai cenedl Israel yn cadw deddf eu Duw fel y ceidw llawer Cymro gyfraith y wlad mewn ystyr llythyrenol, buasai Duw yn rhoddi ei wyneb iddynt. Ond mae yr Athraw ar y mynydd yn dyweyd fod ei hawliau yn cyrhaedd holl fyd dirgel ddyn y galon. Ac wedi codi ei safle fel hyn, a'i chyflenwi âg enaid byw, efe ei hunan o bawb oedd y cyntaf i roddi yr ufudd-dod hwnw iddi. Trwy wneyd hyn, gwnaeth ei hawliau a'i gofynion, i bob meddwl ystyriol, mewn gwirionedd yn greigiau cedyrn ac ansymudadwy; a thrwy ei ufudd-dod hyd angeu, ïe angeu y groes, fel aberth ac iawn yn lle a thros eraill, dangosodd fod y ddeddf bellach yn ei pherthynas â'r dyn wedi dyfod yn rhywbeth ansymudadwy i Dduw ei hun; oblegid pe buasai yn bosibl symud o'r neilldu ei hawliau, ni buasai y Tad byth yn meddwl am roddi ei anwyl Fab tros droseddwyr.

Nis gellir meddwl — wedi cymeryd mawredd a manylrwydd hawliau deddf y digelwyddog Dduw, a dyfnder trueni dyn pechadurus, i ystyriaeth, am faddeuant pechodau a chyfiawnhâd pechadur, heb feddwl fod y ddeddf fawr ac ysbrydol hon yn cael ei hawliau. Y mae yn rhaid i Dduw gosbi pechod yn rhywle cyn y caiff y troseddwr ddyfod yn rhydd. Nid syched Duw am waed y troseddwr, na neb arall yn ei le, ydyw y rheswm am hyn, fel pe byddai efe yn greulawn. Pa fudd sydd iddo ef yn ngwaed neb o'i greaduriaid? Ond ffyddlawn ydyw efe i hawliau deddf anghyfnewidiol ei natur a'i lywodraeth. Pe byddai iddo fyned ar draws hawliau hon i drugarhâu, elai ei gymeriad i lawr am byth yn ngolwg yr angylion sanctaidd; a mwy na hyny, elai o dan gwmwl yn ei olwg sancteiddiaf ei hun. Nis gall yr hwn sydd yn tragywyddol hanfodi ynddo ei hun, a'r hwn nid yw gyfrifol i neb uwch nag ef ei hun, drugarhâu a thosturio yn groes i hawliau ei ddeddf sanctaidd. Dyma yr hyn nad oes ganddo ewyllys na gallu i'w wneyd byth. Nis gallaf fi ddygymmod â'r meddwl mai cwpan ei ddyoddefiadau iawnol oedd y cwpan y gweddïai Mab Duw ar gael peidio yfed o hono os oedd yn bosibl; yr oedd efe yn gwybod nad oedd yn bosibl. Dywedai cyn hyn, "Y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?" Rhaid boddloni hawliau deddf dros bawb a gedwir. "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant," ac heb ufudd-dod mewn bywyd nid oes gyfiawnhâd. Y mae Duw yn Dduw'r cariad, ond cariad at y da ydyw; ac y mae cariad at y da yn elyniaeth at yr anghyfiawn a'r drwg; ac am hyny nis gall faddeu heb foddlonrwydd; rhywbeth digonol mewn gwerth ac urddas i ddiffodd y llid sydd yn ei fynwes am y sarhâd a dynwyd ar ei ddeddf gan bechod. Wedi diffodd y digofaint sanctaidd yna sydd yn ei fynwes, nid oes dim ar y ffordd i faddeu a chymmodi â'r troseddwr. Y mae y boddlonrwydd yna wedi ei gael yn Iesu Grist. Y mae gwerth Dwyfol yn yr ufudd-dod a roddes efe i'r ddeddf yn ei fywyd. Gwnaed ef o wraig, ac o dan y ddeddf, ac felly yr oedd yn rhoddi ufudd-dod i'r ddeddf fel dyn; a chan mai y Duw-ddyn oedd yn ufuddhâu, yr oedd anfeidrol wiwdeb ynddo, fel ag i roddi i'r ddeddf y peth oedd hi yn ei ofyn, ac anfeidrol fwy, gan mai Person Dwyfol oedd yn ufuddhâu. Yr oedd y Duw sanctaidd yn caru gweled cysgod gwaed ei anwyl Fab yn ngwaed yr oen ar gapan y drws ac ar y ddau ystlysbost yn yr Aipht gynt, fel nas gadawsai i'r dinystrydd ddyfod i mewn i'r tai hyny i ddinystrio. Ac os oedd yn cael rhyw gymaint o foddlonrwydd yn y cysgod, beth am y sylwedd ei hun? "Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i," medd Crist, "am fy mod i yn dodi fy einioes fel y cymerwyf hi drachefn." Fel hyn y mae yr iawn yn myned yn graig gadarn mewn cysylltiad â Pherson y Gwaredwr.

Mewn canlyniad, y mae cyfiawnhâd pechadur yn myned yn graig mewn cysylltiad â'r iawn; ac y mae pobpeth arall—

mabwysiad, adenedigaeth, sancteiddhâd, a gogoneddiad pechadur yn myned yn greigiau mewn cysylltiad â'r cyfiawnhâd; oblegid pa derfyn sydd i ras maddeuol Duw? a pha derfyn sydd i'w allu ef wedi symud hawliau cyfraith o'r ffordd? Wedi i Iesu Grist farw ar Galfaria fel iawn digonol, peidier a synu llawer os bydd i Dduw sydd mor llawn o ras foddi y byd bach yma â diluw o ras lawer gwaith drosodd cyn ei roddi ar dân. Na thybied neb pechadur am fynyd nad oes digon yn yr iachawdwriaeth ar ei gyfer ef; ac na rodder pechadur i fyny byth am ei fod yn bechadur mawr; ac na ddigaloned pobl yr Arglwydd am fod achos Mab Duw yn isel yma a thraw. Y mae y moroedd o ras o'r tu cefn, ac heb yr un gyfraith ar ei ffordd.

Crediniaeth ddiysgog fel hyn am yr Arglwydd Iesu Grist sydd yn rhoddi i ddyn fôd yn ei eglwys ef. Peth mawr ydyw cael synwyr i ddeall trefn Duw i gadw dyn; y mae hyny y gwrtaith brasaf a ellir ei gael i'r meddwl, ar wahan oddiwrth gadwedigaeth; ond nid yw y dyn sydd yn unig yn deall yr athrawiaeth wedi cael ei fôd yn y deyrnas. Credu yn y Person yn unig sydd yn gwneyd hyn. Mae gallu aruthrol mewn meddwl mawr am Fab Duw. Mae'r syniad uchel yma am Iesu Grist yn gwneyd y dyn yn drwyadl newydd. Mae efe bellach mewn byd newydd, ac y mae yntau yn ddyn newydd. Y mae y gallu hwn yn gwneyd cristion, sef dyn yn ol Crist, o'r defnyddiau mwyaf annhebyg. Beth ydyw efe, medd rhywun, ac ymha le y mae cuddiad cryfder y gallu hwn? Y mae yn haws dyweyd beth y mae ef yn ei wneyd na rhoddi darnodiad o hono. Barnu yr ydwyf nad ynddo ei hun fel gras y mae ei nerth, ond yn y Gwrthddrych y mae yn gweithredu arno. Gras tlawd ydyw ffydd, ond y mae yn gardotyn heb ei ail, neu yn gludydd rhagorol. Yn yr iawn y mae'r nerth, ac wrth ymdeimlo â'i wendid, gan bwyso ar yr iawn, y mae yr enaid yn myned yn graig. Wrth bwyso fel hyn ar y graig, y mae cadernid y graig yn myned yn gadernid ynddo ef; fel pe gwelid adeiladydd yn ymgymeryd âg adeiladu teml ardderchog: wedi cael y cynllun yn ei law i ddechre, mae yn cloddio yn ddwfn am graig gadarn i fod yn sylfaen; ac wrth gloddio mae yn dyfod o hyd i graig gadarn, ac yn dechre adeiladu arni. Ond gyda'i fod yn gosod yr haen gyntaf, mae yn canfod elfen neu allu yn y graig i droi pobpeth arall i'r un natur â hi ei hunan—troi pobpeth a rodder i bwyso arni yn graig, hyd yn nôd y defnyddiau mwyaf gwagsaw a thywodlyd. Buasai craig fel hon i adeiladu arni yn gaffaeliad mawr yn ddiau, ac un o brif ryfeddodau yr oesoedd. Y mae hyn yn bod yn yr ystyr uchaf yn nheml corff Iesu Grist.

Y syniad cyffredin am Simon mab Jona yw mai dyn gwammal ydoedd, bron mor wammal â'r llyn y bu yn pysgota yn ei ddyfroedd; ond wedi iddo weled Mab Duw, yn ngoleuni yr Ysbryd, wedi ei berffeithio yn Archoffeiriad trwy ddyoddefiadau Calfaria, efe a aeth yn gristion digon cryf i fod yn ferthyr drosto. Yr oedd Saul o Tarsus yr annhebycaf o bawb i wneyd cristion. Nid oedd ond hen foncyn sych o dywod, yn pwyso ar ei gyfiawnder ei hun, gan ymffrostio yn nghrefydd ei dadau, ac yn berffaith erlidiwr y cristionogion, gan chwythu bygythion a chelanedd yn eu herbyn. Ond ar hanner dydd, ar y ffordd i Damascus, efe a welodd yr Iesu ac a ymdaflodd arno, dan law yr archadeiladydd mawr, ac a ddaeth yn gristion o'r fath oreu yn y fan; a byth wedi hyny, Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, oedd ei *idea* fawr ef.

Yr elfen hon sydd yn rhoddi bôd i'r eglwys oes ar ol oes, haen ar ol haen. Ac y mae yr elfen hon sydd yn y Graig ysbrydol yn sylfaen i'r eglwys, yn gwneyd yr oll o honi yn allu anorchfygol: "A phyrth uffern nis gorchfygant hi." Mae golwg ffydd ar Iesu Grist yn gwneyd y person unigol yn fwy na choncwerwr. Wedi i Saul gael golwg ar Iesu Grist, un o'r pethau cyntaf a wnaeth oedd pregethu mai efe oedd Mab Duw: "Ac efe a orchfygodd yr Iuddewon oedd yn trigo yn Damascus, gan gadarnhâu mai hwn yw y Crist." Nid oedd lladd na gorchfygu arno; yr oedd môr a thir, dynion a chythreuliaid, er iddynt geisio gwneyd eu goreu am yspaid maith, wedi methu ei orfodi. Nid oes na byd nac uffern a saif o flaen un dyn yn meddu ar ffydd gref yn y Cyfryngwr. Y mae ysbryd yn hwn; ac y mae un wreichionen o ysbryd yn gyfryw nas gall lloned byd o gnawd ei diffodd. "Nac ofnwch y rhai sydd yn lladd y corff, ac heb ganddynt ddim mwy i'w wneuthur." Wedi iddynt ladd y corff, mae yr ysbryd yn aros heb gyffwrdd âg ef. Meddyliodd Rhufain Baganaidd, a Rhufain Babaidd, mai trwy ladd y corff yr oedd lladd yr ysbryd; ond cyn hir gwelsant eu camsyniad; oblegid os byddai byddin o filwyr heddyw yn myned at y croesbrenau a'r ystanciau, yr oedd byddin arall drannoeth, lawn mor gadarn a phenderfynol, wedi codi o'u llwch. Gall un dyn, gyda ffydd yn Iesu Grist, fel Luther orchfygu byd ac uffern. Ac os ydyw un dyn yn allu mor fawr, beth am lawer mewn undeb â'u gilydd? "Pyrth uffern nis gorchfygant hi." Mae'r syniad sydd yma wedi ei gymeryd oddiwrth ddull y dwyreinwyr o gadw cynghorau yn mhyrth dinasoedd. Yn y

pyrth byddai holl ddoethineb y ddinas yn cael ei gynnrychioli. Ni bu porth ar y ddaear erioed mor gyflawn o ddichell ystrywgar, ynghyd a medrusrwydd i gario y dichellion allan, â phyrth uffern, y rhai sydd wedi llenwi y byd â phechod a thrueni. Nid rhyw un porth sydd yma, ond lliosogrwydd: "pyrth uffern." Ond y mae yr oll yn ddirym i orchfygu eglwys yn pwyso ar Grist.

Mae ffydd yn Mherson yr Arglwydd Iesu yn gwneyd yr eglwys yn allu ymosodol. Ni buasai yn bosibl iddi gadw ei thir heb yr ysbryd hwn. Yr ydym yn sicr o fyned yn ol os nad oes ynom ymdrech am fyned ymlaen. Crist yw Pen yr eglwys, ac fel y cyfryw efe yw canolbwynt mawr ei holl ysgogiadau. Megys y mae gyda'r pen a'r corff naturiol, felly y mae yn ysbrydol. Nis gall un aelod o'r corff weithredu heb dderbyn nerth i hyny o'r pen; ac wedi cael nerth i ysgogi, y mae yn rhaid iddo ofyn i'r pen pa ffurf a rydd i'r ysgogiad. Felly mewn ystyr ysbrydol: o'r Pen y mae yr holl aelodau a'r eglwys yn gyfansawdd yn derbyn nerth i ysgogi, ac nid yw yn rhoddi ffurf i'r ysgogiad heb gydsyniad y Pen, ac felly y mae yn sicr o lwyddo. Y mae yr eglwys i fod yn halen y ddaear, ac yn oleuni y byd, gan ei bod yn derbyn ei halltrwydd a'i goleuni o'r Arglwydd Iesu. Y mae dysg, dawn, ac ymdrech yn dda, fel sianelau i gario yr halltrwydd a'r goleuni—yn dda fel pethau cydfynedol â'r efengyl; ond nid oes halltrwydd na goleuni yn y naill na'r llall o honynt arnynt eu hunain; ond y mae rhyw sancteiddrwydd, rhyw zel y tŷ yn ysu, yn tarddu oddiar olwg ar y Person mawr ag sydd yn gwneyd y gweinidog yn fwy tanllyd yn ei weinidogaeth, yn gwneuthur y gweddïwr yn daerach, yn gosod mwy o fin ar gynghorion yr athraw, ac yn taflu goleuni llachar i gymeriad y penteulu, nes gwneyd pechu yn ysgeler o dan ei gronglwyd ef.

Wedi son am wrthddrych ac am swydd y ffydd Cristionogol, edrychwn eto ar ei tharddiad. Mae hi o darddiad uchel iawn, o Ddwyfol darddiad. "Nid cig a gwaed a ddadguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." Mae'r byd am y llen â Duwdod y Mab, a'i syniad yn ddïeithriad yn erbyn Iesu Grist, am nad ydyw yn ei weled, nac yn ei adnabod ef. Er iddo brofi ei hunan y mwyaf a welodd y byd erioed, eto aeth yn ei erbyn, am fod ei fawredd uwchlaw ac yn groes i egwyddorion y byd. Yr oedd miloedd o bobl wedi bod yn llygaid-dystion o'i wyrthiau heb weled ei wir fawredd ef. Yr oedd yno ryw fflachiadiau yn awr ac eilwaith, megys, o ffydd. Un diwrnod yr oedd efe yn llefaru gyda'r fath awdurdod, fel y torodd gwraig allan i'w ganmawl. "Gwyn fyd y groth a'th ddŷg di, a'r bronau a sugnaist." Y swyddogion a anfonwyd i'w ddal a ddywedent, "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." Unwaith yr ydym yn cael y tyrfäoedd ar fedr ei gipio a'i wneuthur yn frenin; ac ar ei fynediad i Jerusalem y pasc diweddaf gwaeddent, "Hosanna i Fab Dafydd; bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd." Ond yr oedd eirias fel hyn yn diffodd yn fuan. Y meddwl uchaf a feddai y byd am dano oedd mai un ai Moses neu Elias, neu un o'r prophwydi wedi codi ydoedd. Yr oedd yno syniadau îs o lawer i'w cael; "Onid hwn yw y saer? onid hwn yw mab y saer?" Ond yr oedd yno ddosbarth yn gweithredu dan haen galetach o galedwch, sef rhagfarn. Ceisiai y rhai hyn ei wneyd yn ddyn drwg ac yn gablwr; galwent ef yn ddyn glwth ac yn yfwr gwin, a dywedent mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, yr oedd yn bwrw allan gythreuliaid; a phan oedd y barnwr yn y llys, er mai pagan oedd, yn ewyllysio ei ollwng ef yn rhydd am nad oedd yn cael bai ynddo, gwaeddent hwy, "Ymaith âg ef, croeshoelier ef." Yn wir, syniad digon isel oedd yr uchaf a feddai dynion am dano; y mae gagendor mawr rhyngddo â'r gwir syniad. Trwy ddadguddiad y mae hyny i'w gael. "Nid cig a gwaed a ddadguddiodd hyn." Nid yw yn y dynol, nac o'r ddaear o gwbl, ond o'r nefoedd. Y mae haenau o dywyllwch, caledrwydd calon, a rhagfarn, rhwng meddwl pob dyn yn ei gyflwr natur â gweled y Mab. Y mae fel Saul o Tarsus, yn erlid yr Iesu hyd nes y caiff ei weled ef. Nid oes dim ynddo tuag at weled yr Iesu; ac nid yw yr olwg i'w chael gan na thad na mam, na meistr na meistres, ond yn unig gan "y Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Rhaid i'r goleuni ddyfod o'r cyfeiriad Dwyfol yna cyn y gwelir un pelydr o ogoniant y Mab. Ond wedi ei gael y mae yn werthfawr.

Am roddi pris teg ar bethau yr oedd Iesu Grist. Gallasai ef brisio pob peth yn ei berthynas â'r ddau fyd. Yr oedd yn llongyfarch Simon fel un wedi taro wrth gyfoeth mawr ar ei ffordd dros fynydd-dir diffrwyth. "Gwyn dy fyd di, Simon mab Jona;" yr wyf yn gweled dy fod wedi taro wrth y wythïen, a'm Tad a'i dangosodd i ti; y mae o'r fetel werthfawrocaf; yr wyt wedi dy wneyd i fyny am byth. "Gwyn dy fyd."

Y mae'r dadguddiad hwn gan y Tad i'w gael eto. Nid yw yn bosibl i neb fyned i'r nefoedd hebddo, na mwynhâu y dedwyddwch sydd i'w gael oddiwrth grefydd Crist ar y ddaear. Nid yw crefydd yn talu yn wirioneddol i neb ond sydd

wedi cael cyfryw ddadguddiad oddiuchod; ac y mae yn talu yn dda i'r rhai hyn; y maent wedi eu dwyn i fyd newydd a gogoneddus. Gweddïwn ninnau a llafuriwn am gael y dadguddiad hwn, a chynnyddu ynddo fwyfwy.

## Hanesynau ac Adroddiadau.

### CYMERIADAU YMHLITH EIN CYNNULLEIDFAOEDD.

#### I.—MR. JOHN RHYDDERCH.

MAE darluniau pin ac inc o bregethwyr, llenorion, a gwladweinwyr, erbyn hyn, yn bethau tra chyffredin; ond anfynych y cyfarfyddwn â darlun neu ddesgrifiad o un o'r "bobl," neu'r werin. Ac eto y mae ymhlith ein cynnulleidfäoedd crefyddol lawer ag sydd yn meddu ar lawn cymaint o nodweddiadau gwahaniaethol gwir gymeriad, er eu bod yn amddifad o aruchel-edd meddwl a diwylliad. Mae cymaint o amrywiaeth yn ngwir gymeriad pob un o'n gwrandäwyr âg sydd yn eu gwynebpryd. O'r ochr arall, y mae cymaint o debygolrwydd ac unoliaeth yn mhrif linellau cymeriad llawer o honynt, fel y byddai desgrifiad byw o un gwrandäwr yn y naill gynnulleidfa yn ddesgrifiad agos mor fyw o wrandäwr arall mewn cynnulleidfa bellder mawr o ffordd oddiwrtho.

Ein hamcan yn yr ysgrifau hyn fydd rhoddi desgrifiad, oreu y gallom, o wahanol wrandäwyr, yn aelodau ac heb fod yn aelodau eglwysig, y rhai sydd mewn un ystyr yn meddu ar nodweddau personol neillduol iddynt eu hunain, ac mewn ystyr arall yn cynnrychioli dosbarth o wrandäwyr mewn gwahanol gynnulleidfäoedd. Rhaid i'r darllenydd esgusodi symlrwydd a diaddurnrwydd y desgrifiadau, o herwydd natur y gwrthddrychau a ddarlunir. Ond tra yn gofyn am yr esgusawd hwn, yr ydym yn rhoddi ein gair y bydd y darluniau yn rhai gwirioneddol, ac nid yn ddesgrifiadau o bersonau ffugiol.

Ni a ddechreuwn gyda Mr. John Rhydderch. Mae efe yn ddyn canol oed, cryf a golygus, a llawer iawn o'r "dyn" i'w ganfod yn ei wynebpryd. Nid ydyw yn proffesu crefydd, er fod ei holl deulu yn aelodau eglwysig. Ystyrir ef gan ei gymydogion yn ŵr call—callach na'r cyffredin o ddynion; ac y mae yn dilyn y moddion cyhoeddus ar y Sabboth gyda chysondeb. Clywais gan ei athraw yn yr Ysgol Sabbothol fod ei wybodaeth o'r Ysgrythyrau yn ëang, a'i allu i esbonio adnod yn fawr iawn, pan na bydd ergyd yr adnod yn cyfeirio at grefydd bersonol neu brofiad cristionogol. "Ar yr adegau hyny," meddai ei athraw, "bydd yn dewis cael ei basio." Mae ei farn ar bregethwyr yn addfed; a gall wahaniaethu rhwng pregethwr da a phregethwr trystfawr. Mae yn hoff o siarad am bregethwyr a phregethau fydd yn amlygu llawer o allu meddyliol; ond os bydd y bregeth yn un "gyfeiriol," ac yn archolli cydwybodau a chalonau gwrandäwyr anufudd, bydd naill ai yn ddystaw neu yn arddangos awydd i ymddyddan am rywbeth arall, er y gwyddys ei fod yn gwerthfawrogi y bregeth, ac i raddau helaeth yn teimlo ei grym.

Mae Mr. Rhydderch yn cymeryd dyddordeb mawr yn amgylchiadau allanol crefydd, a phob amser yn hynod o hael yn ei gyfraniadau. Mae rhywbeth yn ei attal i roddi lletty i lefarwyr; ond yr ydym yn sicr mai nid diffyg moddion na diffyg caredigrwydd ydyw y rhywbeth hwnw. Nid gwiw a fyddai i neb ddyweyd gair brwnt yn ei glywedigaeth am weinidogion yr efengyl, ac yn enwedig am weinidog y lle. Gwae iddo a fyddai hyny. Mae yn wir ei fod yn graff i ganfod diffygion mewn crefyddwyr; ond ni chlywir ef byth yn yngan gair anmharchus am grefydd. Mae yn ofalus am anfon ei blant i'r moddion crefyddol, ac nid oes dim a'i boddia yn fwy na chlywed fod Bob bach wedi "dyweyd pennod allan;" a bydd yn gofalu am ddangos rhyw ffafr iddo am hyny. Bydd ef ei hun yn darllen cryn lawer ar y Bibl, ond nid yn ngolwg neb. Os dygwydd iddo fod adref ei hun, neu ynte wedi aros i fyny ar ol i'r teulu fyned i orphwys, bydd Mrs. Rhydderch, yr hon sydd wraig lygadog a duwiol, ac yn chwilio bob amser am ryw arwydd er daioni yn ei gŵr, yn canfod wedi hyny fod yr "Hen Lyfr" wedi bod ar led.

Mae rhai dynion ag yr ydys yn teimlo cryn anhawsder i siarad â hwynt am bethau mawr crefydd. Un o'r dosbarth hwnw ydyw Mr. Rhydderch. Er ein bod yn sicr fod gormod o'r gŵr boneddig ynddo i ddyweyd gair cas wrthym, eto y mae rhyw fath o *sternness* yn ei gymeriad, ac ymwybyddiaeth ynom nad allem ddyweyd dim wrtho nad yw yn ei wybod eisoes, yn peri i ni deimlo anhawsder mawr "closio ato," fel y dywedir, i ymddyddan âg ef am ei gyflwr. Mae Mr. Rhydderch wedi llenwi llawer swydd bwysig yn yr ardal lle y mae yn trigo, ac yn meddu ar ymddiried llwyraf ei gymydogion; ac nid oes yr un crefyddwr âg y mae ei egwyddorion yn uwch, a'i anrhydedd yn ddysgleiriach, gyda golwg ar bethau y byd a'r bywyd hwn. Mae yn ddyn llawn o gymwynasau; a

chafodd y weddw a'r amddifad amddiffynydd ynddo. Beth sydd yn ei gadw yn ol oddiwrth grefydd? Nid ydym yn gwybod ond am un peth—mae y dafarn felldigedig yn fagl iddo. Mae ef ei hun yn gwybod hyn yn dda, ond y mae yn rhy falch i gydnabod y ffaith. Anhawdd genym yw gollwng Mr. Rhydderch o'n gobeithion; ac y mae y meddwl iddo fod yn ol yn y diwedd yn ofnadwy. Ond pan gofiom ei fod wedi gwrandaw doniau gwychaf y pulpud Cymreig, a'i fod yn awr, yn ol pob ymddangosiad, yn yr un man âg yr ydoedd ugain mlynedd yn ol, yr ydym yn gorfod credu y bydd raid i Dduw yn ei ras roddi rhyw ysgytiad arswydus iddo cyn y dygir ef i roddi ufudd-dod llwyr i efengyl Mab Duw. Nid ydyw Mrs. Rhydderch wedi anobeithio am dano, na phallu gweddïo drosto. Gadewch i ni obeithio yr atebir ei gweddïau.

II.—ROBERT MATTHEWS.

Cwestiwn teilwng o'r athronwyr ydyw i ba raddau y mae dyn yn gyfrifol am ddiffygion sydd ynddo yn naturiol, nad allasai nac amser na lle, na manteision nac anfanteision, eu dileu, er y gallasent, o bosibl, roddi ffurf arall arnynt. Awgrymwyd y cwestiwn hwn i'n hystyriaeth wrth feddwl am Robert Matthews, neu fel yr adwaenir ef yn gyffredin, "Yr Hen *Father*." Mae Robert yn un o'r dynion mwyaf anhawdd ei adnabod a adwaenasom erioed, os goddefir i ni siarad mor wrthddywediadol. Yn wir, crynswth o wrthddywediad ydyw Robert ei hun, druan. Y rhai sydd yn ei adnabod oreu ydyw y rhai sydd yn ei adnabod leiaf. Gallai y rhai a fu yn ei gwmni ond am ychydig dybied eu bod yn ei adnabod yn lled dda; ond nid ydym yn gwybod am neb sydd wedi byw blynyddoedd gydag ef na fyddent yn barod i dystio nad ydynt yn deall ond ychydig arno.

Yr ydym yn credu, ac yn teimlo yn hapus yn y grediniaeth, nad ydyw yr Hen *Father* yn cynnrychioli dosbarth lliosog o wrandäwyr na chrefyddwyr; ac o herwydd hyny nid buddiol a fyddai rhoddi desgrifiad maith o hono, gan nad atebai hyny ddybenion cyffredinol. Pe buasai blynyddoedd yn ddigonol i wneyd dyn yn synwyrol, buasai efe felly; oblegid blodeua y pren almon ar ei goryn. Nid yn y gorlan y mae efe ynddi yn awr y dygwyd Robert i fyny; ac er fod blynyddoedd lawer bellach er pan adawodd ei gorlan ei hun, mae tipyn o wahaniaeth rhwng ei frefiad ef â brefiadau y defaid eraill. Yn ystod ei oes y mae wedi bod yn ymgeisydd am bob swydd bron mewn byd ac eglwys; a phe buasai ei gymydogion a'i gydaelodau eglwysig o'r un feddwl âg ef, buasai yn ddiammheuol wedi cael pob swydd; ond yn anffodus, dygwyddodd iddynt ymhob amgylchiad feddwl yn wahanol. Erbyn hyn y mae cyfnewidiad trwyadl wedi cymeryd lle yn syniad Robert am swyddi, ac yn enwedig am swyddogion. Yn ol ei syniad presennol, ni ddylai swyddi gael eu goddef i fodoli o gwbl; a'r swyddogion y sydd ydynt, yn ol ei feddwl ef, y dynion gwaelaf, os nad y rhai gwaethaf hefyd, o bob dynion. Mae Cymanfaoedd a Chyfarfodydd Misol, a'r cyffelyb, yn sefydliadau na ddylid ar un cyfrif eu cefnogi. Mae talu i ddynion, nad ydynt yn well nag ef ei hun, am bregethu yr efengyl, yn wrthun yn nhyb yr Hen *Father;* ac ystyriai ei hunan yn gwneuthur camwri pe cyfranai swllt at gynnaliaeth y weinidogaeth. Yn wir, nid ydyw efe yn cydweled âg unrhyw sefydliad sydd yn gofyn arian tuag at ei gynnal i fyny, ac ymddyga bob amser yn berffaith gyson â'r egwyddor odidog hon.

Mae efe mewn un ystyr yn gristion amlwg, oblegid pan lefara yn gyhoeddus, yr hyn sydd yn dygwydd yn bur fynych, llefara bob amser ar ddammegion; a phriodol y gellir dyweyd mai heb ddammeg ni lefarodd efe. Ond yn ofer y gofynir, Eglura i ni y ddammeg hon. Nid oes dim eglurhâd yn dyfod; a'r unig beth a allwn ddyfalu ydyw fod y ddammeg yn cynnwys pilsen wenwynig âg y mae Robert yn rhy anonest ac annynol i'w gweinyddu i'r rhai y mae yn ei bwriadu heb y blawd a'r triagl sydd o'i chwmpas. Mae efe yn Ismael o'r Ismaeliaid, a phrin y gellir dyweyd ei fod ar delerau da â neb na dim ond â'i logell, gan mai anfynych yr aflonydda efe ar dawelwch hon, oddigerth pan fydd eisieu ychwanegu at ei thrysorau. Y mae efe, fel y gallesid braidd ddysgwyl, yn un gorzelog dros yr hyn a eilw yn ddysgyblaeth eglwysig, sef nid gwaith y bugail yn porthi y praidd, neu yn eu cysuro â'i wïalen a'i ffon, ond eu curo â'r wïalen haiarn, os nid cymeryd y twca at ambell hwrdd neu ddafad. Trwy erwinder y mynai efe drin pawb, yn ddynol a duwiol deulu.

Yr ydym yn cofio yn dda, flynyddau yn ol, pan glywsom am ei briodas, i fraw ein meddiannu rhag y buasai Rhagluniaeth ddoeth yn gweled yn dda roddi iddo blant ar ei lun a'i ddelw ei hun; ond o drugaredd, neu ynte mewn canlyniad i ryw *freak* o eiddo natur, y mae ei blant yn tyfu i fyny yn debyg i blant pobl eraill, heb ddim o ddincod y grawn surion a fwytäwyd gan eu tad hyd yn hyn ar eu dannedd.

L. N. M.

### DARLUNIADAU O'R DIWEDDAR DANIEL JONES, GYNT O LANLLECHID.

UN o bregethwyr hynotaf a mwyaf llwyddiannus y Methodistiaid yn Ngogledd Cymru yr oes ddiweddaf oedd y Parch. Daniel Jones, Sir Gaernarfon. Am lawer o flynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth, gelwid ef yn "Daniel Jones, Llandegai;" ond wedi iddo, yn 1816, symud i fyw yn agos i gapel y Carneddi, yn mhlwyf Llanllechid, byddai yn cael ei alw fynychaf wrth yr enw "Daniel Jones, Llanllechid," nes iddo symud i Gaernarfon tua'r flwyddyn 1840.

Y Parch. Owen Thomas, yn *Nghofiant y Parch. John Jones, Talsarn*, a ddywed am Daniel Jones: "Yr oedd efe fel pregethwr, yn ei ddyddiau goreu, yn neillduolrwydd ei ddawn, yn sefyll yn hollol ar ei ben ei hun yn nghanol holl bregethwyr Cymru. Er nad oedd erioed wedi cael dim manteision addysg, ac nad oedd dim nerth mawr yn ei feddwl, yr oedd rhyw awdurdod a dylanwad gyda'i weinidogaeth, nas gall y rhai a'i clywsant byth ei hanghofio. Yr oedd y fath ddifrifoldeb yn ei ymddangosiad—y fath ddwysder pruddaidd, ac, ar amserau, agos annaearol yn ei lais—y fath wedd daranllyd ac argyhoeddiadol ar ei bethau, fel y byddai y cynnulleidfäoedd yn gwelwi ac yn crynu ger ei fron, a chanlyniadau llwybrau pechadurus wedi eu dwyn megys sylweddau byw i deimladau ei wrandäwyr. Y mae yn ammheus genym a fu neb yn ei oes yn fwy llwyddiannus nag ef i arafu annuwiolion yn eu ffyrdd drygionus, a'u dwyn i ddechre meddwl am eu diwedd. Yr oedd ganddo ryw allu anghyffredin i'w wneyd ei hunan yn eglur yn hyny i ddeall y rhai mwyaf anwybodus yn y wlad. Byddai weithiau yn camgymhwyso ei destynau yn ddirfawr, er mwyn cael yn ei destun ryw air neu eiriau nodweddiadol y gallai gydio ynddynt, a'u gwthio i feddyliau ei wrandäwyr, er sicrhâu ei amcan mawr; ac ni byddai braidd byth yn aflwyddo i gynnyrchu teimladau dwfn a dwys, ac yn fynych gyffroadau aruthrol yn eu plith. Rhyw un drychfeddwl fyddai ganddo ef yn wastad, heb braidd byth amcanu at nodi penau—cyntaf, ail, a thrydydd,—ond yn peri i'w holl sylwadau droi o amgylch yr un meddwl cyffredinol yr amcanai ar y pryd wneyd cartref iddo yn meddyliau a chalonau y bobl."

Cyhoeddwyd cofiant am dano yn llyfryn chwech cheiniog, lle y ceir rhai desgrifiadau tra chywir a tharawiadol o hono gan frodyr cydnabyddus âg ef, ond y rhai sydd oll erbyn hyn, fel yntau, wedi myned i orphwys oddiwrth eu llafur.

Dywedai y Parch. Morris Hughes, Felinheli: "Nid oedd Daniel Jones yn ddyn mawr o ran talentau naturiol, dysg, a gwybodaeth. Credwn nas adwaenem neb a fu mor lwyddiannus âg ef gyda'r weinidogaeth, yn meddu mor ychydig âg ef o'r pethau hyn. Gwelsom lawer yn y weinidogaeth yn meddu càn lleied, a rhai lai; ond ni lwyddasant fel efe. Dangos y mae ei hanes ef gymaint a ellir ei wneyd gyda'r efengyl hefo graddau canolig o dalentau a gwybodaeth, ond bod yn meddu helaethrwydd o 'ddawn y weinidogaeth.' Ond eithriad oedd efe yn yr ystyr hwn, ac nid rheol; a byddai mor ofer i neb geisio bod yn Ddaniel Jones ar ei ol ef â cheisio bod yn John Elias. Byddai ceisio gwneyd fel y gwnaeth efe, nid yn unig yn aflwyddiannus, ond yn ddirmygus. Ac ni wnaethai Daniel Jones ei hunan mo'r tro mewn un adeg nac amgylchiad ond y pryd y bu efe. Yr oedd efe yn un *yn* ei dymmor, ac yn un *i'w* dymmor. Offeryn ydoedd wedi ei lunio at faes penodol, ac at dymmor penodol; ac wedi i'r maes gael ei arloesi, a'r tymmor ddyfod i ben, nid oedd gan Arglwydd y winllan ddim gwell i wneyd âg ef na'i gymeryd ato ei hun, cyn iddo gael ei fwrw o'r neilldu fel yr hen farchgerbyd yn mhresennoldeb y *steam-engine*. Mab y daran ydoedd, cymynwr yn y goedwig, cloddiwr meini yn y chwarel, ac nid un i'w naddu a'u gosod yn yr adeilad; a chredu yr ydym mai gweinidogaeth a llafur rhai eraill oedd raid eu cael i'w dysgu yn ffordd Duw yn fanylach, a'u hadeiladu ar eu sancteiddiaf ffydd. Yr oedd ei gorff a'i feddwl yn *suitio* eu gilydd yn hynod dda. Darlun o symledd a difrifwch oedd ei holl ymddangosiad personol. Ei lais, ei wedd, ei olwg fer a'i *spectacles*, ei arafwch yn ei holl symudiadau, ac yn enwedig wrth farchogaeth, gyda'i gyfarchiadau mwynbruddaidd i bawb wrth fyned heibio, oeddynt oll yn elfenau yn ei boblogrwydd a'i effeithioldeb."

Yn dra chyffelyb y sylwai y Parch. David Jones, Caernarfon, ac o Dreborth wedi hyny, am dano. "Rhyw ysbryd dylanwadol oedd yn ei bregethu, ac nid corff ei bregeth, oedd yr hyn a'i hynodai fel pregethwr. Hyd yn nôd pan gyfarchai ei wrandäwyr yn y geiriau hyn a'u cyffelyb, 'Fy mechgyn bach i—lanciau bach—bobl, bobl—fechgyn anwyl'—gwelwyd effeithiau anarferol drwyddynt, yn gwefreiddio ugeiniau a channoedd o bobl ar unwaith. Gellid barnu fod ei ddylanwad yn ennill cefnogaeth oddiwrth fod yr olwg arno mor sobr a difrifol, ei ymadrodd yn rhwydd a phwysig, ei iaith yn hollol gyffredin a dirodres, ei lais yn gryf ac yn dreiddgar, ac yntau trwy hyn yn gallu ymdaflu i'w waith fel â'i holl egni. Yr oedd yn meddu y cymhwysderau hyny

mewn rhwyddineb ymadrodd, gallu corfforol, a llais cryf ac eglur, fel ag yr oedd yn medru taflu allan wresogrwydd ei ysbryd yn ei lawn nerth ar ei wrandäwyr. Pregethai yn wastad yn fygythiol, gan dynu darluniad arswydus o drueni yr annuwiol, a hyny gyda bywiogrwydd ac yn yr iaith agosaf at ddeall y cyffredin o'i wrandäwyr; ac yna cyn diweddu, dangosai ddiangfa i'r pechadur teimladol, yr hyn a deimlid ar y pryd yn fywyd o farwolaeth, ac fel cyfnewidiad disymwth o ganol ystormydd ofnadwy y gauaf i ganol gwresogrwydd yr haf. Dyma oedd ei ddull cyffredin o bregethu trwy ystod ei weinidogaeth. Nid oedd un gwahaniaeth beth fyddai natur y testun a ddarllenai. Os cymerai destun yn cynnwys addewid felus, pregethai ar y trueni gwrthgyferbyniol i'r addewid; ac yna, cyn y diwedd, sylwai yn fywiog a chyffrous am ychydig amser ar yr addewid yn agor drws gobaith o flaen pechadur edifeiriol."

Y sylwedydd craff, yn gystal a'r pregethwr hynod, y Parch. William Roberts, Amlwch, a adrodda, "Tybiaf fod o gylch deng mlynedd a deugain, neu fwy, er pan y cymerodd ei daith gyntaf trwy Fôn gyda'i frawd O. Jones. Cefais ryw argraff ar fy nychymyg wrth ei wrando y tro hwnw sydd hyd yn hyn i mi yn rhy anhawdd ei anghofio; canys yr oedd yr olwg arno ar y pryd yn ieuanc fel dyn ac fel pregethwr. Ymddangosai fod ei olwg yn fyr; a gweled un o'i oed yn arfer *spectacles*, a barai syndod i fachgenyn heb weled nemawr o'r byd, namyn y gymydogaeth lle yr oedd ei rieni yn byw, fel ag yr oeddwn i y pryd hwnw—yr oedd hyn, meddaf, yn taro fy syniadau â rhyw gynhyrfiad dyeithriol; ond yn benaf ei ddull syml a chyffredin o gyfarch y bobl ieuainc megys yr arferai wneyd, gan ddywedyd, 'Lanciau bach,' &c. Ac ni wyddwn i nad oedd y rhwnc oedd yn ei wddf y pryd hyny wrth lefaru yn addurn lled angylaidd, ac yn un o'r pethau anghenrheidiol i wneyd pregethwr mawr. Pa fodd bynag, yr oedd ei ddull Boanergaidd yn tywallt ar y gynnulleidfa ddesgrifiad o'r 'farn a fydd' a bregethodd Paul ger bron Agrippa yn peri i ugeiniau o rai doethach na mi braidd feddwl ei fod wedi dyfod i'r areithfa o fysg y seraphiaid sydd yn amgylchu gorsedd Duw."

Yr oedd y Parch. Cadwaladr Williams, Môn, yn adnabyddus fel un o dymher tra digyffro, a gŵr oer ei deimlad; ond ymddengys fod Daniel Jones yn y pulpud yn dywysog oedd yn gallu cael goruchafiaeth arno ef; o herwydd dywedai am dano, "Byddai yn meistroli ac yn meddiannu holl alluoedd fy enaid yn wastad. Yr oedd wedi ei wisgo i radd helaeth â nerth o'r uchelder. Er mai prin, fe allai, y gwyddai efe yr un o'r iaith gelfyddyd freiniol, eto yr wyf yn cwbl gredu y gwyddai ofn yr Arglwydd; a gwyddai hefyd gariad Crist yn ei gymhell at y gorchwyl o berswadio dynion. Ynddo collodd Môn ac Arfon un o'r rhai mwyaf ffyddlawn a charedig fel rhybuddiwr pobl ieuainc; ac nis gallai y rhai hyny ymysgwyd chwaith oddiwrth y dylanwadau a gaffai y rhybuddiwr ar eu cydwybodau. Parai fraw a dychryn mewn cynnulleidfa, pan fyddai yn darlunio y farn a'i chanlyniadau. Teimlwn fy hun ar rai amserau pan yn ei wrando megys pe buaswn yn canfod y dyrfa yn sefyll o flaen yr orseddfainc, a'r cyhoeddiad yn myned o enau y Barnwr, 'Ewch ymaith!' Gofynai y gweinidog zelog, 'I ba le? i ba le?' Rhyfedd y fath effaith fyddai yn cydfyned â'r atebiad: 'I'r tân tragywyddol!' Teimlai ef ei hun, a theimlai eraill, bwysfawrogrwydd y mater a drinid ganddo, pan y gwaeddai allan ar y dyrfa am iddynt fod yn barod cyn cyfarfod â'r amgylchiad pwysig hwnw."

Yr ydym yn cofio y Parch. John Peters, Trawsfynydd, wedi bod yn un o Gymdeithasfäoedd Llanrwst, yn adrodd am Daniel Jones yn pregethu yno gyda nerth mawr, ac yn dyweyd, 'Ond yr oedd efe mor daranllyd ag erioed; ac er nad wyf i'n brydydd, mi wnes ddarn pennill wrth ei wrando, sef

'Dàni, *yr wyt ti yn* taranu,
Ac yn lluchio Sinai dân!
Pam na wnei di chware weithiau
Ar delynau Sïon lân'"

Y Parch. Robert Davies, Sir Drefaldwyn, pan unwaith yn y Carneddi, yn nghartref Mr. Jones, a ddywedai wrtho, yn ei ffordd ffraeth-ddifyr ef, "A wnewch chwi roi benthyg eich yspectol i mi, Daniel Jones!" "I ba beth, Robert?" ebe yntau. "Wel, yr oeddwn yn llettya yn y fan a'r fan echnos, pryd y dygwyddodd i'ch enw chwi ddyfod ar y bwrdd; a dywedai gŵr y tŷ, 'Un o'r pregethwyr y bydd arnaf fwyaf o'i ofn o bawb yw Daniel Jones. Bydd golwg ar ei yspectol pan y bydd efe yn dringo grisiau'r pulpud yn peri i mi grynu trwof.' Felly pe cawn i eich spectol chwi, hwyrach yr arswydid rhagof finnau." Ond gwyddai Mr. Davies yn dda mai gweinidogaeth gynhyrfiol y gŵr oedd yn gwisgo yr yspectol oedd yn peri hyd yn nôd i'r yspectol ei hun fod yn arwydd cyffrous i'w wrandäwyr.

Yr oeddym wedi bwriadu rhoddi yma un o bregethau Daniel Jones fel dangoseg o hono; ond rhag i ni fyned yn rhy faith y tro hwn, rhaid oedi ei chyhoeddi hyd ymddangosiad ein rhifyn nesaf.

# Barddoniaeth.

## Y BYD TU DRAW I'R BEDD.

DARPARWYD lle i ddiafol a'i angylion,
A hwnw sydd yn gartref damnedigion;
Tywyllwch dudew yno yn arosol,
Heb obaith gwawr na llewyrch yn dragwyddol.
"Mwg poenedigaeth" a esgyna i fyny,
A phawb o'i fewn sy 'n wastad yn gruddfanu;
Mewn carchar caeth eu rhoddwyd gan gyfiawnder;
Yno mae Duw i'w deimlo yn ei ddigter;
Mae "llid yr Oen" yn rhywbeth annyoddefol;
Er hyn i gyd, rhaid bod o dano bythol,
A theimlo pwys cydwybod wedi deffro,
Heb obaith cael ymadael oddiyno.
Y gair "tragwyddol" gerfiwyd ar ei furiau;
Ni ddichon neb roi llàm dros ei ganllawiau;
Anadlu maent mewn awyr lawn o frwmstan;
Sisiala 'r pyrth, "Nid ellwch fyned allan."
Dyledwyr ŷnt, gresynus yw eu cyflwr,
Nid ânt yn rhydd heb dalu i'w Gofynwr
Bob ffyrling sydd yn aros ar y llyfrau,
Ac erbyn hyn ni cheir dim modd i'w maddau.
Nid oes i'w gael ond profi "ail farwolaeth;"
Y naill a'r llall i'w gilydd mewn gelyniaeth,
Mewn fflamau tân heb le i ffoi am gysgod,
Na hanes dafn o ddwfr "i oeri tafod."
Eu dagrau a gynnyrchir gan anobaith;
Er maint eu rhif, ni ddiffydd nerth y goddaith;
Ni ddisgyn byth un angel i'w ffurfafen
I sychu gruddiau neb â blaen ei aden.
Ddychymyg, gâd y lle, a'r oll sydd ynddo;
Ni bu, nid oes, ni ddaw dim da o hono:
Lle llwm, lle tlawd, lle nad oes ond newynu,
Er hyny mae miliynau yno 'n cyrchu!
Dyrchafa dy olygon o'r dyfnderoedd,
Er mwyn rhoi tro yn fywiog tua 'r NEFOEDD.

Y nefoedd! O y nefoedd, sydd le hyfryd,
Yno y mae elfenau bythol fywyd,
A "Haul" yn llon dywynu ar bob wyneb,
Ac nis gall dim byth attal ei ddysgleirdeb.
Ni bydd un nos, ni raid wrth oleu canwyll,
Diffyg ni ddaw ar dro i'w gwneyd yn dywyll.
Y gauaf du, hin oer, y rhew a'r eira,
Y newyn tost na syched, ni bydd yma.
Un hafddydd hir, a hwnw o dan goron
Sydd yn y nef, a phawb uwch ben ei ddigon.
Dinas ein Duw, ei seiliau fydd arosol,
Saernïwyd hi o flaen y bryniau oesol;
Caed hon erioed yn uchder ei gogoniant,
Ni sudda byth i dir o ebargofiant—
Edrychir fry ar swynion ei pharwydydd,
Ac ar yr aur sydd balmant i'w heolydd.
Ieuenctid a barhâ yn ei ogoniant
O fewn i'r wlad, heb henaidd arwydd methiant.
Beth am y rhai sydd ynddi yn preswylio?
Angylion â seraphiaid fyrdd sydd yno,
A'r seintiau fu yn ymladd brwydrau poethion,
Bron cwympo gynt i afael eu gelynion,
Ond sydd yn awr yn rhodio heirdd orielau,
Heb ofn na braw, uwchlaw pob rhyw ofidiau.
Coronau heirdd a gynau gwynion, gànwyd
Yn ddysglaer iawn yn ngwaed yr Oen a laddwyd,
Sydd ganddynt hwy, ac hefyd aur delynau
Seraphaidd lu ni feddant eu tôn-nodau;
Angylion glân ni dd'ônt â'u bysedd meinion
I chwareu ar delynau y duwiolion.
Yno mae 'r Person rhyfedd, bendigedig,
Fu ar y groes rhwng lladron yn hoeliedig.
Yr un yw ef â phan yr ydoedd yma
Ar draed o gnawd yn rhodio gwlad Judea;
Angylion sydd yn hoff o edrych arno,
A'r seintiau oll sydd yn glymedig wrtho.
Cânu maent hwy alawon am ei gariad,
Mewn cywair llòn heb gwrdd â thrawsgyweiriad.
A nefol hwyl mewn gwaith maent yn gorphwyso,
Yr oll a wnânt yn newydd y bydd yno.
Ni ddaw un rhwyg i dori ar yr undeb
Sydd rhyngddynt hwy ar fryniau anfarwoldeb.
Yno 'd oes neb yn ochain dan afiechyd,
Nac yn y boen yn nofio môr o ofid.
Y dagrau byw fu 'n symud ar y gruddiau
A sychodd Duw—maent oll yn ei gostrelau.
Plant oeddynt hwy cyn iddynt hwylio yn hylon
I wynt y wlad lle maent yn etifeddion.
Maent gyda Crist, a mwy—y maent hwy *ynddo*,
Ac ynddo byth, gan fod yn debyg iddo;
Dim pechod mwy, dim llygredd, dim halogrwydd,
Pob peth yn lân, yn bur, a phawb yn ddedwydd.
Os câf ryw bryd fy nwyn i blith y dyrfa,
Rhof yn yr ŵyl hir lawen haleluia.

EINION DDU.

*Tregeiriog.*

## OCHENAID AR OL CYFAILL.

I.

CRYMU o flaen yr awel leddf,
Wna 'r ddeilen welw grîn;
Y gauaf ddaeth â breichiau noeth,
A'i oer, dymhestlog hîn.
Y nentydd lament ar eu hynt
Sydd heddyw 'n syn a phrudd,
A chrefant am i wanwyn dd'od
I'w gollwng hwy yn rhydd:
Ni chlywir un aderyn mwyn,
Yn pyncio rhwng y dail;
Ymlapio mewn cymylau trwch,
A wna y melyn haul.

II.

Galaru 'r wyf am danat, ffrynd,
Drwy y nosweithiau hir;
Ond pan y delo gwanwyn gwyrdd,
A'i nen yn las a chlir,
A phan ddêl haf a'i dywydd brâf,
A'i wleddoedd chwêg, dirî',

Dwysâ fy hiraeth am na châf
Dy gwmni serchog di:
Mewn beddrod oer, gorphwyso 'r wyt
Dan fantell wen o iâ;

Ond dysgwyl 'r wyf cael eto gwrdd,
Yn ngwlad tragwyddol hâ.'

*Bala.* ANTHROPOS.

# Bwrdd y Golygydd.

## HYNODION BYWYD YR ARGLWYDD IESU.

MR. GOLYGYDD,—Dymunaf gyflwyno y nodiadau canlynol i sylw darllenwyr y DRYSORFA.

Wrth ddarllen hanes bywyd yr Arglwydd Iesu o'i enedigaeth hyd ei esgyniad, cawn ei fod yn gwisgo gwedd driphlyg, yn arwain trwy dri o wahanol agweddau, gan ymranu yn naturiol yn dri dosbarth, a phob plyg neu ddosbarth arno yn ymgadw yn ei nodwedd i'w gyfnod ei hun.

Nid bywyd ydoedd yn ymddadblygu felly yn ol cwrs unrhyw ddeddf neu ddeddfau moesol a naturiol. Ond tra yn dyweyd hyn, nid ydwyf yn gwneyd i ffordd â'r ffaith fod bywyd hyd yn nôd yr Arglwydd Iesu yn ddarostyngedig i awdurdod a llywodraethiad "deddfau," megys pe yn unig yn "fôd moesol a naturiol." Ond nid felly oblegid yr un angheuraidrwydd yn gorphwys ynddo ef ei hun. Mewn goddefiad yn unig y mae genym i edrych arno yn y wedd yma, oblegid ei ddarostyngiad, a'r baich "cyfrifiad" pechodau a gwendidau naturiol y natur a gymerodd efe ato ei hun. Nid oedd un angheuraidrwydd ynddo ef yn galw arno i blygu i unrhyw ddeddf; ond gan iddo gymeryd arno ei hun wendidau y rhai hyny oeddynt, o angheuraidrwydd eu sefyllfa, yn ddarostyngedig i ddeddf natur, ac oblegid eu cyflwr pechadurus oeddynt hefyd yn droseddwyr o'r ddeddf foesol, ac yn ddarostyngedig i'w hawdurdod a'i chollfarn, felly yn hollol y cawn ei fod yntau yn plygu i'r naill a'r llall o'r deddfau hyn, gan iddo ymddangos "yn *nghyffelybiaeth* cnawd pechadurus."

Nid cymeryd dynoliaeth yn swp o wendidau a ddarfu efe, ond dynoliaeth lân, ddilychwin, a chyfan. Eithr mewn trefn i fod ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr, "yntau hefyd a fu gyfranog o'r un pethau." Perchenogodd y natur mewn ystâd berffaith, a chymerodd bechodau a gwendidau y natur hono trwy gyfrifiad yn unig; a chyn y gallasai ddwyn y baich hwn arno ei hun, yr oedd yn rhaid iddo feddu ar gorff heb bechod na gwendid yn bod ynddo. "Yr hyn ni allai y ddeddf o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd." Yr hyn ydoedd corff yr Arglwydd Iesu wedi ei adgyfodi o'r bedd oedd efe yn flaenorol, pe heb gyfrifiad o bechodau a gwendidau ei bobl; ond gan fod y baich hwn yn cael ei ddwyn arno yn ei fywyd, cawn ei fod yn darostwng ei hun i lywodraeth deddfau, fel y rhai hyny oeddynt yn wreiddiol felly. Nid yn unig yr oedd yn rhaid i Grist feddu corff heb bechod i allu dwyn cyfrifiad o bechodau, ond yr oedd yn rhaid iddo hefyd feddu ar gorff heb wendidau naturiol cyn y gallasai ddwyn gwendidau eraill, gan fod ganddo o'i flaen y gorchwyl o ddwyn ei bobl i sefyllfa heb bechod na gwendid o un natur. Yn nyddiau ei gnawd yr oedd efe yn gyffelyb iddynt hwy; ond yn ei adgyfodiad yr oedd efe yr hyn a fyddant. Ar gyfrif perffeithrwydd hanfod ei natur, cyflawnai y ddeddf foesol mewn perffaith gydgordiad cydrhwng ei natur sanctaidd a'i gorchymynion Dwyfol.

Cyflawnai efe holl eiriau y ddeddf, nid am y rheswm ei bod yn tynu llinell wahaniaethol rhwng y da a'r drwg, ac felly yn gorchymyn cyflawni y naill ac ymattal rhag cyflawni y llall; eithr cyflawnai efe y da, am ei fod ef felly o angheuraidrwydd ei natur; ac yr oedd yn gwrthod y drwg am nad oedd iddo ddim ynddo ef. Nid oedd iddo letty yn ei Berson ef; ni lettyodd efe bechod am un eiliad. Teml oedd ei gorff ef i'r Duw anweledig ymddangos yn y cnawd. Y mae dynolryw o angheuraidrwydd natur yn ddarostyngedig i ddeddf natur. Nis gall dyn fyw am un foment ond wrth reol a chysondeb llywodraeth y ddeddf hon. Oddiar fronau anian y mae efe yn derbyn ei faeth a'i gynydd, ei fwyd a'i ddiod. Breichiau y ddeddf hon sydd yn ymlapio yn blethedig am dano yn yr hwyr, ac yn ei süo i gysgu; a dadblethiad y breichiau hyn ar doriad y wawr bore drannoeth sydd yn ei ddihuno; ac felly wrth gysondeb yr un rheol y mae bob dydd yn huno ac yn dihuno. Fel hyn yr ydym yn cael fod yr Arglwydd Iesu yn ddarostyngedig i ddeddf natur megys un o honom ni. Ond a oedd efe felly o angheuraidrwydd ei natur ei hun, ac ar wahan i'r cyfrifiad o'r hyn a gymerodd efe, sydd yn gwestiwn a erys o dan orchudd i raddau. Ond pa fodd bynag am hyny, cawn iddo ddyweyd geiriau wrth y dysgyblion sydd yn awgrymu y gallai efe wneyd heb angheuraidiau naturiol bywyd. Pan oeddynt hwy yn bwyta wrth eu hanghen, sylwodd un o honynt nad oedd yr Athraw yn cydgyfranogi â hwy; a dywedodd, "A ddŷg neb ddim iddo i'w fwyta?" Yna yr atebodd efe, "Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys fy Nhad yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef." Ond, fel pe yr ychwanegai wrthynt, Gan fy mod i yn dyfod i'ch deddfle chwi, a dwyn eich gwendidau arnaf fy hun, yr wyf yn bwyta ac yn yfed fel un o honoch chwithau. Gan eich bod chwi yn ddarostyngedig i ddeddf natur, yr wyf finnau yn wirfoddol yn myned o dan y ddeddf hono, nid oblegid fy hun, ond o'ch plegid chwi.

Tra yn edrych ar fywyd yr Arglwydd Iesu yn annhraethol uwchlaw deddfau, cawn ei fod holl ddyddiau ei ymgnawdoliad yn cerdded ar hyd llwybr a drefnwyd gan Bleidiau mewn cyfammod, ac sydd yn dangos cynllun o feddwl Anfeidrol, neu yn hytrach yn ffrwyth meddwl Bôd Anfeidrol. A chan ei

fod yn cyfateb yn ei fywyd i'r meddwl hwnw, rhaid ei fod yn cydgyfranogi o hono, neu mewn gair arall, yn un âg ef, fel y mae ewyllys y Pleidiau yn un hefyd; y Tad ar y naill law, a'r Mab ar y llaw arall, fel pa beth bynag yr oedd y Tad yn ei ofyn yn y cyfammod, fod y Mab yr un ffunud o anghenrheidrwydd yn ei gyflawni, a'r cariad tuag at wrthddrychau y cyfammod yn gymesur yn y naill tra yn gofyn ag ydoedd yn y llall pan yn wirfoddol yn cyflawni. Ewyllys fawr wirfoddol y Mab yn ei ddarostyngiad a'i ddyoddefaint angeuol ydyw yr eglurhâd llawnaf ar gariad Duw tuag at y byd. Yr un ydyw yr ewyllys, a'r un y cariad yn y Tad ar y naill law, ac yn y Mab ar y llaw arall yn y geiriau hyny, "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Yn y geiriau hyn wele y Mab yn dwyn tystiolaeth am y Tad megys pe yn caru ar wahân i'r Mab; ond dengys mewn gwirionedd mai yr un faint oedd y cariad yn y Tad pan yn rhoddi y Mab âg ydoedd yn y Mab pan yn rhoddi ei hun. Efe a'r Tad un oeddynt, fel yr oedd yn anmhosibl i'r naill weithredu heb i'r llall ganlyn o anghenrheidrwydd. Wele dystiolaeth y Mab am dano ei hun fel pe yn gweithredu ar wahân i'r Tad yn y geiriau hyny, "Nid oes neb yn dwyn fy einioes oddiarnaf, ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun; y mae genyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf feddiant i'w chymeryd hi drachefn." Ond wele lais yr undeb yn adseinio, cyn cwblhâu y dystiolaeth, "Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad." Rhoddi y mae y Tad, a rhoddi y mae y Mab; y Tad yn rhoddi y Mab, a'r Mab yn ei roddi ei hun. O ganlyniad, un ydyw yr ewyllys fawr wirfoddol yn yr Hanfod Dwyfol, a chariad yn unig sail ei holl weithrediadau. Pa beth bynag ydoedd nodwedd bywyd yr Arglwydd Iesu, hyny hefyd ydyw y fynwes Ddwyfol yn ei chysylltiad â'r byd. Ffurf ar gyfrinach y fynwes hono ydoedd bywyd ardderchog y dyn Crist Iesu.

Yr ydym wedi cyfeirio ar y cyntaf at fywyd yr Arglwydd Iesu fel y mae yn ymranu yn ddosbarthiad triphlyg, er yn yr ysgrif hon nas gallwn draethu ar y gwahanol ddosbarthiad yr ydym yn ei wneyd: y laf yn dwyn nodwedd gyffredin, yr 2il cyhoeddus, y 3ydd anghyffredin. Y cyntaf yn estyn dros gyfnod helaethaf (deng mlynedd ar hugain) o'i fywyd, yr ail dros dair blynedd a hanner mwy neu lai, a'r olaf dim ond deugain niwrnod. Yr oedd gan bob un o'r cyfnodau hyn eu hŷd penodol; awr i ddechreu, ac awr i derfynu. Clywsom ef yn dyweyd ar derfyn un cyfnod, "Ni ddaeth fy awr i eto, ond eich hamser chwi sydd yn wastad yn barod." Gwelwn fod y naill yn fywyd wrth gynllun arfaeth a chyfammod Duw yn Drindod o Bersonau, tra nad ydoedd y llall ond yn anuniongyrchol felly. Ar ddechreuad ei fywyd cyhoeddus yr ydym yn cael geiriau felly, pan oedd Ioan yn anfoddlawn i'w fedyddio: "Gad yr awr hon, canys fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder." Wrth hyn gwelwn fod ganddo awr neillduol i'w fedydd, awr i ddyoddef, awr i dderbyn y cusan bradychol, ac awr i farw. "Yr Iesu yn gwybod ddyfod ei awr ef i ymadael â'r byd hwn at y Tad." Nid oedd bywyd yr Arglwydd Iesu yn dal dim cysyllt iad âg oriau bach ein byd ni. Cerddai holl ddyddiau ei fywyd ef wrth amseriad oriawr mawr y cyfammod tragywyddol, yr hwn ni wyddai y byd am dano; a diammheu genym y byddai y dysgyblion yn rhyfeddu ac yn dyfalu beth allai fod ystyr y geiriau hyny a'r cyffelyb, "Y Tad, daeth yr awr, gogonedda dy Fab." Yr oedd yn amlwg fod rhyw oriawr manwl yn y byd ysbrydol am y llen â'r byd hwn a'r dysgyblion; ac efe yn e fywyd cyson ydoedd ysgogydd yr hen oriawr hwnw, fel pe rhwystrasai hwn y buasai holl arfaethau Duw yn rhwystro yr un pryd. "Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?"

Gyda llawer o wylder yr wyf yn cyflwyno y sylwadau hyn i ddarllenwyr lliosog y DRYSORFA; ac mewn rhifyn eto bwriadaf roddi cipdrem dros gyfnod y deugain niwrnod, sef o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu hyd ei esgyniad.

LEVI.

*Cemmaes, Môn.*

---

GAIR O ABERGELE.

BYDDED hysbys i'r neb a yrodd lythyr yma, Ebrill y 12fed, iddo gyrhaedd yn ddiogel. Yr wyf yn diolch i'r cyfryw un, yn diolch yn yr Arglwydd, ac yn deisyf rhan yn ei weddïau yntau.

WILLIAM ROBERTS, *Gweinidog.*

---

# Y Wasg.

COFIANT CALEDFRYN, *wedi ei ysgrifenu ganddo ei hun. Dan olygiaeth* SCORPION; *ynghyda Nodiadau arno gan rai o Wŷr Blaenaf yr Oes.*

Bala: H. Evans.

(AIL SYLW.)

YN ein sylw blaenorol ar "Gofiant Caledfryd," nodasom rai pethau y dangosai Mr. Williams eu bod yn ei anghysuro a'i anfoddloni ymysg ei genedl a'i gyfeillion ef ei hun yn Nghymru; ond os drwg y Cymry, gwaeth fyth y Saeson. Dyma fel yr ysgrifenai am dano ei hun mewn cysylltiad â hwynt-hwy:

"Nid dymunol ganddo oedd gweled rhai o'i frodyr yn ceisio myned yn fawr gyda'r Saeson, am y gwyddai gyda pha fath eiddigedd a dirmyg yr edrychid gan y Saeson ar y

cyfryw. Yr oedd ambell un yn ddigon diniwed i feddwl, os gallai Sais wenu arno, ei fod wedi cael mwy nag ystâd o fil o bunnau yn y flwyddyn; ond ni welodd efe nemawr Gymro yn dyfod i sylw mawr gyda'r Saeson os nad arosai yn Nghymru i gasglu at y Gymdeithas Genadol, neu ryw gymdeithas arall. Y mae y Cymry wedi bod yn barchus iawn mewn ffugyrau yn y blwyddlyfr; ond ni ddangoswyd fawr fwy na hyny o barch tuag atynt, os na fyddai rhywun ŏd yn eu plith wedi dyfod i fyny yn lled dda drwy hunan-lafur. Nid oedd ef yn cofio gweled hanes un brawd teilwng o Gymro a arosodd yn Nghymru, wedi cael ei osod mewn cyfarfod cyhoeddus yn y rhestr flaenaf ymhlith y Saeson; ond math o gymynwyr coed a gwehynwyr dwfr yr ystyrid y Cymry gan y Saeson. Cafodd ef ddigon am byth ar y Saeson pan aeth efe i Lundain i gasglu at addoldŷ Caernarfon. Yr oedd taiogrwydd, trahausder, a baweidd-dra amryw o honynt yn annyoddefol. Dywedai un, 'Y mae pobl yn meddwl os egyr dyn ei wefusau fod yn rhaid iddo agor ei boced hefyd.' Un arall a ddywedai, 'Y mae gan ddynion hawl i adeiladu y nifer a fynont o addoldai, ac i dalu am danynt megys yr ewyllysiont.' Yr atebiad yn fynych fyddai, 'Oddicartref,' neu, 'Rhy brysur.' 'Yr wyf wedi gwneyd fy meddwl i fyny i beidio rhoddi dim y flwyddyn hon.' 'Daethoch o Gymru, a rhaid i chwi fyned yn ol i Gymru.' Pan ddywedai fod ei achos yn un teilwng, 'Ydyw, mi warantaf; y maent felly i gyd os coeliwn chwi.' 'Pa fodd yr ydych yn dyfod ataf fi i geisio rhodd?' 'Pa fodd y cawsoch afael arnaf?' "Ni fêdd dynion ddim hawl i adeiladu addoldai heb arian i dalu am danynt.' Ysgydwai rhai eu penau heb yngan gair. Ni oddefai eraill iddo fyned i'w presennoldeb. Galwodd chwe' gwaith mewn un tŷ, pum' waith heb weled y gŵr oedd arno eisieu, a'r tro diweddaf pan alwodd, dymunodd y gŵr arno alw rywdro wedi hyny, a chafodd bum' swllt am ei boen. Costiodd iddo drafaelu pymtheng milldir i gael pymtheg swllt. Dangosai rhai y drws iddo cån gynted ag y delai i'w presennoldeb. Ni ofynai rhai iddo gymaint ag eistedd i lawr ar ol iddo gerdded chwe' milldir. Safent yn y porth, ac yr oedd yn rhaid iddo yntau wneuthur yr un peth. Ni chodai rhai eu penau oddiar y papyr, os cawsai genad i fyned i'w gŵydd. Cadwai rhai ef am hir amser i ofyn holiadau gwag a dibwrpas, ac ni roddent ddim iddo wedi y cwbl. Dywedai un, 'Dim ond hyn a hyn wedi ei gasglu! Pe buaswn i wedi adeiladu tŷ heb fod genyf fwy na'r swm hwn, buasai fy achretwyr *(creditors)* yn meddwl yn ammheus iawn o honof.' 'Yr wyf wedi penderfynu na roddaf ddim at un achos ond sydd yn y gymydogaeth.' 'Nid ydwyf yn eich adnabod, syr,' meddai un. 'Y mae'r Cymry yn adeiladu gormod o gapeli,' meddai y llall. 'Os gall dynion fforddio i gael mwy nag un capel yn yr un gymydogaeth, gallant fforddio talu am dano heb ddyfod i Loegr i gasglu.' 'Ni ddylai cristionogion byth fyned i ddyled,' meddai un. Dywedai un arall, ar ol deall ei neges, 'Ymaith â chwi, syr; ni wrandawaf arnoch,' a lliaws o atebion cyffelyb. A barnai ef bob amser mai gwell oedd i bob un wneuthur cymaint ag a allasai o ddaioni yn ei wlad ei hun, ac ymhlith ei genedl ei hun, oni theimlai efe awydd i fyned i blith y Paganiaid."

Y mae yn dda genym ddeall fod yr hen arfer o fyned i gardota rhoddion i Loegr, ac yn benaf i Lundain, tuag at dalu dyled capelau yn Nghymru, erbyn hyn wedi llwyr ddarfod ymysg ein brodyr Annibynol, pryd y mae'r Cymry, o bob enwad crefyddol, yn deall yn well egwyddorion haelioni cysegredig, ac yn haws cael, trwy y Dywysogaeth, bum' punt gan un person at godi addoldŷ nag y ceid pum' swllt yn y dyddiau gynt. Ac am y Saeson gyda'u brodyr Cymreig yn y dyddiau hyn, fe dybygid eu bod yn dra annhebyg i'r portrëad gan Caledfryn yn y dyddiau hyny. Ymha le y gwreiddiodd y cyfnewidiad, ai yn y Sais ai ynte yn y Cymro, nid ydym am geisio dywedyd; ond gŵyr pawb mai nid *Carnarvon versus London* yw'r cynghaws yn bresennol. Os bu Mr. Williams, y pryd hwnw o Gaernarfon, yn nôd "trahausder a baweidd-dra" 'r Saeson, nid felly y mae yn awr gyda'r Parch. E. Herber Evans o Gaernarfon. *Y mae* efe wedi "dyfod i sylw mawr gyda'r Saeson"—mor fawr fel y gwahoddwyd ef gan fwy nag un o eglwysi lliosocaf yr Annibynwyr yn Llundain i ddyfod i'w harolygu yn weinidogaethol; a phan elo i'r brifddinas, caiff "ei osod mewn cyfarfod cyhoeddus yn y rhestr flaenaf ymhlith y Saeson." Yr ydym yn cael y beirdd ysbrydoledig yn brophwydi; ond fe welir mai nid prophwyd oedd y bardd Caledfryn.

O'n rhan ni, hyfryd ac addysgiadol genym fydd darllen yn nghofiaint gweinidogion wedi cyrhaedd gradd o sylw ac enwogrwydd, adroddiadau am eu pryder a'u hyder ynglŷn â'u crefydd bersonol, am eu hysbryd gweddi, eu hymdrechfeydd yn erbyn twyll y galon, ac "yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd," a'u "dyddanwch yn Nghrist"—dyfnderau ac uchelderau profiad efengylaidd. Ond nid anrhegir ni â dim o'r cyfryw yn y cofiant hwn, oddigerth y dywed am dano ei hun, wrth gyfeirio at rai o wahanol farn iddo ef, "ei fod ef yn foddlawn i fyned i'r farn gyda'r credo oedd ganddo, gan bwyso ei enaid yn hollol ar aberth y Meichiau mawr, a'i fod heb erioed syflyd oddiwrth y gwirionedd mai trwy 'ras yr ydych yn gadwedig.'" Fel yr oedd ei gyfansoddiad naturiol yn nodweddu ei athrylith, ei ddawn, a'i ddull yn gyffredinol, yr ydoedd hefyd, yn ddiau, yn rhoi ei nodwedd ar ei grefydd, ac yn peri ei fod yn cael edrych arno yn fwy megys cangen o bren derwen,

yn hytrach nag un yn blodeuo fel y lili neu y rhosyn.

Gallem dybied mai nid cymeradwy gan y Bedyddwyr a fydd darllen yr hyn a ysgrifenai efe yma am fedydd:

"Nid ydoedd yn hoffi bedydd trochi, oblegid y barbareidd-dra sydd ynglŷn â gweinyddiad y peth; a barnai, fel y daw dynion i fwy o wybodaeth, ac i feddu gwell chwaeth, y gadawant yr arferiad barbaraidd. Yr oedd yn hoffi bedyddio babanod, oblegid y gwyddai nad oedd dim twyll ynddynt. Nid ydoedd efe yn gweled dim mwy o afresymoldeb yn eu bedyddio hwy heb ofyn eu barn, neu heb iddynt hwy gael barnu drostynt eu hunain, nag oedd mewn enwaedu babanod dan yr Hen Oruchwyliaeth heb ofyn eu barn."

O hono fel pregethwr, cawn amryw bortrëadau. Y golygydd, sef y Parch. T. Roberts, Llanrwst, a ysgrifena,

"Yr ydym yn cofio gwrando arno unwaith yn diweddgloi pregeth ar 'Ymweliad Duw â'r ddaear yn y dydd diweddaf,' pryd y teimlem eiriau y Salmydd fod 'Duw yn ofnadwy yn nghynnulleidfa y saint,' yn fwy byw nag erioed. Nid oeddym ond lled ieuanc ar y pryd; ond yr ydym yn cofio yn dda am y darluniad cyffrôus o rwymau y greadigaeth yn ymddryllio, y bydoedd yn ymguro y naill yn erbyn y llall wedi colli adnabod ar eu gilydd, rhyferthwy wedi ymgodi 'uwch dyfroedd aberoedd y byd,' a'r mellt fforchog yn cribo mwng yr ystorm, tra yr oedd yr annuwiol, wrth ei ddal â dychryn Duw, yn llewygu gan ofn. Wrth gwrs, nid yw ein hadgofion toredig ni yn gosod allan ddim o'r cysondeb a'r grym a'r effeithiau oedd yn cydfyned â'r fath ddarluniad ofnadwy ar y pryd; ac nid ydym yn tybied y gallasai'r pregethwr ei hun wneuthur hyny, yn gymaint ag mai rhyw gynhyrfiad sanctaidd a ymddangosai wedi dyfod drosto, am yr hwn nas gallasai roddi un cyfrif."

Mr. Prothero, un o bobl y Groeswen, a diacon yno, fel y gallem feddwl, a ddywed,

"Buom unwaith yn ei wrando yn pregethu ar agoriad capel. Yn y gynnulleidfa līosog, gyferbyn â ni, yr oedd masnachwr parchus; dyn ieuanc gwrol, yn edrych yn hytrach yn ddifater. Daliasom sylw arno, am y gwyddem fod ychydig ragfarn ganddo at y pregethwr. Dechreuodd y llefarwr yn naturiol, heb gyffro nac arwydd o ymgais. Gellid tybied ei fod yn ddibris a diofal, ac nad oes ganddo ddim neillduol i'w fynegu nac i bryderu yn ei gylch. Anaml y gwelwyd y fath gyfuniad o bethau manteisiol i bregethu—mewn gwedd, symudiadau, llais, parabl, acen, goslefau, ac iaith. Derbynia celfyddyd ei bri gofynol; ond y mae naturioldeb yn ei chysgodi hi, fel y mae'r dail gwyrddion yn cysgodi y blodau teg, nes gwneyd prydferthwch yn brydferthach. Fel y mae golygfa ar ol golygfa yn ymddangos, y mae'r dyrfa yn bywhâu, a'r llefarwr yn gwresogi; er hyny, hamddenol iawn y symuda o'r naill linell i'r llall, fel y mae'r bobl yn cael amser i dawelu. Y mae llèn ar ol llèn yn cael ei symud, ffurfafenau ar ol ffurfafenau yn cael eu harddangos mewn mawredd a gogoniant cynnyddol, a'r pregethwr yn llawn nwyfawenawl ysbrydoledig yn ymlonyddu mewn mwynhâd; fel arwr wedi cyrhaedd ei nôd, â gwedd orphwysol gesyd ei luman ar binacl y cysegr. Gan fy mod wedi clywed y bregeth o'r blaen, tybiwn y gallwn sefyll yn dalgryf i'w gwrando, a gwnaethum fy ngoreu at hyny; ond yr oedd y dylanwad yn ddymchweliadol. Tra yr oeddwn yn ceisio dwyn llinellau fy wyneb i'w lle, gwelwn y masnachwr gyferbyn mewn ymdrech i adferu ei wynebpryd. Ymddangosai fel un wedi ei faeddu. Tywalltodd Caledfryn gawodydd o hyawdledd arno, a llwyr orchfygodd ef."

*Ap Fychan*, fel y gelwir ef yma, enw barddonol hysbys y Parch. Robert Thomas, Bala, sydd yn dywedyd,

"Fel pregethwr, safai yn uchel iawn; ac yr oedd yn wir deilwng o gael ei restru ymysg pregethwyr blaenaf yr oes mewn llawer ystyr. Pregethodd lawer iawn, a daliodd yn ei barch a'i boblogrwydd hyd y diwedd. Yr oedd yn hyn yn tebygu i'r diweddar Williams o'r Wern. Nid yr un peth a barai iddynt ddyfod i wrando arno ef âg a barai iddynt ddyfod i wrando ar y tywysog o'r Wern chwaith; ond yr oedd gan Caledfryn allu i'w tynu i'r addoldŷ er hyny. Yr oedd yr olwg arno yn yr areithfa yn dywysogaidd. Dangosai ei dalcen uchel, ei lygaid craffus, ei safiad annibynol a hunan-feddiannol, a'i dremiad deallus a meistrolaidd ar y gynnulleidfa, i bob gwrandäwr a allai feddwl, fod dyn o bwys yn myned i anerch y dorf. Yr oedd ei lais yn hyglyw a soniarus. Yr oedd yn beraidd a swynol iawn tra y parhâi i lefaru yn y cywair oedd yn naturiol iddo. Pan godai ef i gywair uwch yn y rhan olaf o'i bregeth, yr oedd yn myned yn fwy crâs; ond er hyny, yr oedd yn y cyffredin yn cryfhâu yn ei ddylanwad ar fwyafrif y gynnulleidfa. Yr oedd yn pregethu o ddifrif, ac yn aml â'i holl egni. Yr ydym yn cofio ei glywed ddeugain mlynedd yn ol. Siarad yn bwyllog a meistrolgar iawn yr oedd y pryd hwnw. Daeth cyfnewidiad drosto o ran ei ddull yn nghanol ei oes. Barna rhai mai cyfnewidiad er gwaeth ydoedd; ond y mae un peth yn dra sicr, mai wedi y cyfnewidiad hwnw y daeth ei nerth anorchfygol ef fel pregethwr i gael ei deimlo yn y wlad yn gyffredinol. Mae hyn yn awgrymu mai cyfnewidiad er gwell ydoedd, ag ystyried pob peth a ddylid ddwyn dan ystyriaeth mewn mater o'r fath. * * * Ni adroddai chwedlau wrth bregethu. Yr oedd yn ystyried peth felly yn darostwng urddas y weinidogaeth. Pethau ymarferol crefydd oedd faterion ei bregethau yn y cyffredin. Pregethai ar holl ddyledswyddau dynion fel creaduriaid cyfrifol i Dduw ac i'w cyd-ddynion, yn broffeswyr crefydd ac yn bobl ddi-

broffes. Argymhellai bob rhinwedd. Condemniai bechodau yr oes yn ddiarbed, a chyhoeddai drueni dyn yn ei holl erchylledd, ac iachawdwriaeth yr efengyl, gwaed y groes yn ei rinwedd, a chadernid a diogelwch yr holl drefn i gadw pechaduriaid, gyda llawer iawn o nerth a melusder. Yr oedd wedi profi blâs 'y pethau ynghylch Iesu o Nazareth' ei hunan, ac felly gallai yn brofiadol eu hargymhell ar eraill. Ei brif nerth, fe allai, oedd mewn dau beth gwrthgyferbyniol: gwirioneddau melusaf yr efengyl ac addewidion Duw i ddynion trwy Iesu Grist, a gwawdiaith lem a ysai bobpeth o'i flaen. Efe, o bawb yn ei oes, a wawdiai ofergoeledd ac arferion llygredig y wlad yn fwyaf effeithiol. Yr oedd ei eiriau yn disgyn ar y pethau hyn fel olew berwedig—fel brwmstan llosgedig. Nid oedd dim a safai o flaen ei wawdiaith ef. Gyrai ddynion naill ai i adael eu hynfydrwydd, neu i lynu wrtho dan regu y pregethwr. * * * Yr oedd yn credu arfaeth Duw, etholedigaeth gras, cyfiawnhâd drwy ffydd, dylanwad yr Ysbryd Glân, parhâd mewn gras, a phynciau cyffelyb, am y gwelai hwynt yn eglur yn y Bibl; a chyhoeddai hwynt yn ddigêl, a gwawdiai 'y grêd grîn' wrthwynebol. O'r ochr arall, daliai ddyledswydd dyn, ei allu, ei gyfrifoldeb, a'i weithgarwch yn ei iachawdwriaeth, mewn modd eglur a diammheuol. Ni cheisiai efe gysoni y pethau hyn. Yr oedd yn tueddu i wawdio pob cynnyg tuag at hyny; eu dal i gyd, a gadael llonydd i'r gwaith o'u cysoni â'u gilydd, oedd yr iawn ffordd yn ol ei farn ef. Nid ydym yn meddwl ei fod ef wedi astudio na llywodraeth foesol, na gweinyddiadau gras, na chyfammod Eden, na chyfammod prynedigaeth pechaduriaid, nac odid o bwnc duwinyddol na philosophaidd, yn eu manylion. Yr oedd ei feddwl ef yn rhedeg mewn cyfeiriad gwahanol. Gallai fod gwŷr grymus yr oes a aeth heibio, bron i gyd, wedi cael eu siomi ganddo yn hyn. Gwyddom fod y diweddar Williams o'r Wern wedi cael ei siomi ynddo, am na buasai yn ymroddi mwy i astudio egwyddorion. Gallai eu bod hwythau wedi ymroi ar y mwyaf, yn ol barn Caledfryn, gyda phethau pell a dyfnion, ac na welai ef fod y cynnyrch a ddeilliai oddiwrth hyny yn llesâu cymaint ar y wlad âg a ddysgwylid, ac am hyny iddo gymeryd gwirioneddau sylfaenol yn ganiatäol, fel *starting points*, a throi nerth ei feddwl at yr ymarferol a'r dealladwy. Ni phregethodd neb yn ei oes y pethau hyny yn fwy cyflawn nag efe; a bu yn drà llwyddiannus hefyd yn ei ymdrechiadau."

Cawn yn y llyfr dair o'i bregethau: *Pregeth angladdol Williams o'r Wern*—"*Dull y byd hwn yn myned heibio*"—a "*Phethau mawrion fy nghyfraith,*" y rhai sydd yn orphenedig a tharawiadol. Cyhoeddir yma hefyd ei draethawd miniog ar "*Arddull y Pulpud.*"

Am y sylwadau arno fel bardd, eisteddfodwr, a beirniad, rhaid i ni, yma, o herwydd i ni fod mor hael yn ein dyfyn-nodiadau eisoes, eu gadael heibio.

Y mae tua'r drydedd ran o'r llyfr yn cynnwys Barddoniaeth, a ddosberthir yn Englynion Amrywiaethol—Englynion Priodasol—Englynion Marwnadol—Englynion Beddargraffiadol—Caneuon Rhyddion ac Emynau. Gelwir y rhai hyn gan y golygydd yn "ôl-weithiau o'i weddillion barddonol." Buasai yn llawer mwy dewisol genym ni pe gadawsid yr holl bethau hyn allan, er mwyn dodi i mewn Awdl drylliad y *Rothsay Castle*, Awdl yr Adgyfodiad, a Marwnad Christmas Evans. Mae yma lawer o englynion nad oes un rhith o awen ynddynt—dim ond clec y gynghanedd, y rhai, dybygem ni, y buasai Caledfryn ei hun yn gwneyd hafog arnynt pe dygwyddasai iddo ef eu beirniadu yn lle eu cyfansoddi. Pa le y mae "enaid y gân, dân y doniau," yn y fath englynion â'r rhai canlynol?—

"Dyma ni heb ddim damwain—hyd y dydd
Wedi d'od i Lundain,
Dan nawdd Iôr, o'n goror gain,
Heb achos i neb ochain."

"Wedi i niwl llwyd anelwig—ledu
Dros y wlad Brydeinig,
Aml y bydd rhyw dywydd dig
Yn dilyn y Nadolig."

"Cewch ar fyr lythyr helaethach—na hwn
A hanes amgenach;
Dyna bwt i Ioan bach
I aros cael un hirach."

Ond dyma englyn gwerth ei gofio:

"Du ragfarn ni fyn drigfod—mewn goleu;
Myn gael rhyw le dinod;
Y man fyth lle myn hi fod,
Yw llenyrch dylluanod."

Ac englyn ffraethbert yw hwn,

"Nid âf os na fyn Dofydd—o Groes Wen
I groes waeth rhag c'wilydd;
Gwell ganwaith filwaith a fydd
Hen groes na'r un groes newydd."

Yr ydym fel hyn wedi rhedeg yn frâs drwy yr holl gyfrol hon; ond y mae ynddi eto liaws o faterion ysgrifenedig gan Caledfryn, a chan gyfeillion am dano, na chyffyrddasom â hwynt. Un oedd efe a adawodd ei farc ar ei wlad a'i oes, dyn a Chymro trwyadl, er nad i'w efelychu ymhob peth, eto yn werth ei wrando yn yr oll a ddywed; ac, fel y dywed y craff a'r hybarch *Hiraethog*, "yr oedd yn ddyledus ar y wasg Gymreig dalu teyrnged i enw a choffadwriaeth un a'i gwasanaethai mor hir, mor ffyddlawn, galluog, ac effeithiol ag oedd efe fel ieithydd, bardd, beirniad, a llenor; a dylai y genedl a wasanaethodd efe yn y cymeriadau hyny, ac fel pregethwr enwog, a gweinidog defn-

yddiol, roddi derbyniad croesawgar i'w *Gofiant*, drwy bwrcasu y llyfr wrth y miloedd."

---

ANFFYDDWYR YR OES HON YN EU PERTHYNAS A CHRISTIONOGAETH. *Darlith gan y Parch.* DAVID CHARLES DAVIES, M.A., *Llundain.* Trydydd Argraffiad.

Bangor: Evan Williams, Argraffydd a Chyhoeddwr.

HYSBYSIR i ni am y ddarlith a gyhoeddir yma, y traddodwyd hi gan yr awdwr parchedig yn addoldŷ y Tabernacl yn Mangor i gynnulleidfa lïosog, ac yr aeth ato bwyllgor o wŷr ieuainc i ddeisyf arno ei chyhoeddi trwy'r wasg. Mr. Davies yn rhwydd a gyflwynodd iddynt ei nodiadau o'r ddarlith, fel yr oeddynt, heb eu trefnu yn orphenol ar gyfer eu hargraffu. Dywed y pwyllgor, "Nid yw y ddarlith i'w chael yn union fel y traddodwyd hi; ond y mae'r syniadau a geir yn y ddarlith, fel y mae, mor darawiadol, yr arddull mor wreiddiol, a'r iaith mor ddyrchafedig a barddonol, fel y penderfynwyd ei chyhoeddi mewn ffurf a'i dygai i gyrhaedd pob un o ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol." Tybygid mai yr Ysgol Sabbothol yn Arfon oedd mewn golwg gyntaf gan y pwyllgor; ac yr oedd yno y fath alw am y llyfryn fel y llwyr werthwyd yr argraffiad cyntaf, a'r ail, gyda neu cyn eu bod yn gadael dwylaw yr argraffydd. Nid oedd y pris isel oedd arno, sef ceiniog yr un, yn gadael dim elw arianol oddiwrtho, eithr yn hytrach colled; ond wele y trydydd argraffiad yn dwyn allan nifer helaethach o gopïau; a hyderwn y bydd galwad dioed a chyffredinol o bob parth o Gymru am y ddarlith sydd fel hyn o isel bris ond o ddirfawr werth.

Gwnai yr awdwr dwfn-ddeallgar wasanaeth mawr i'w genedl, ac yn enwedig i'r dosbarth ieuainc o honi, ped ymhelaethai efe ar y nodiadau hyn, a'u dwyn i ffurf llyfr a fyddai o leiaf yn ddeuddeng waith mwy na'r llyfryn ger ein bron. Nid oes yma ond esgyrn mewn cymhariaeth; ond y mae y rhai hyny yn wir gywrain a chedyrn a lluniaidd, ac fel yn aros am eu gwisgo â chig a chroen.

Mae'r darlithydd yn nodi fod anffyddwyr, y rhai goreu yn eu mysg, yn cynnyg crefyddau i'r byd yn lle Cristionogaeth, ond fod pob peth a gynnygir hyd yn nôd ganddynt hwy yn gynnwysedig yn barod o fewn Cristionogaeth ei hun, tra y mae hi hefyd yn cynnyg llawer mwy nag a geir yn yr un grefydd arall. Dosberthir y crefyddau a gynnygir yn lle Cristionogaeth i ddau fath: crefydd gwyddoreg, a chrefydd dynoliaeth. Gyda gwyddoreg, "y mae dynion yn sylwi ar natur, yn elfenu ei defnyddiau, yn chwilio am achosion ac achlysuron ei chyfnewidiadau, ac yn darganfod ei deddfau." Ond dangosir yma fod Cristionogaeth yn dyrchafu gwyddoreg i sefyllfa anfeidrol uwch nag ei gosodir gan anffyddwyr, "trwy ei dangos yn ei pherthynas â Bôd personol moesol a thragywyddol, a'i fedyddio i enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân." Dangos natur, fel y gwna'r Bibl, "yn gysylltiedig â Meddwl ac â Chalon dragywyddol ac anfeidrol," sydd yn dalu mwy o barch iddi nag y medr gwyddonwyr anffyddol byth ei estyn. Ac am yr hyn a gynnygir fel crefydd dynoliaeth, 'egwyddor yr hon yw moesoldeb dan yr enw *utilitarianism*, sef buddioldeb i gymdeithas, ac nid uniondeb, yn safon dyledswydd, gan gynnwys yn y gair cymdeithas y dyn ei hun a phawb arall, mae yr oll sydd gadarnhäol yn y grefydd hon yn gorwedd yn barod o fewn Cristionogaeth, ac ynddi hi mewn moddau uwch nag y gall fod o'r tu allan iddi.' Ydyw, "y mae dadguddiad mawr y Grefydd Gristionogol o zel Duw dros les dynion, o danbeidrwydd cariad ei Fab, âg yntau yn Berson Dwyfol, tuag atynt nes marw drostynt, yn foddion cymhwys i ennyn cariad mewn dynion tuag at eu gilydd sydd yn peri iddynt roddi eu cyrff yn aberthau byw dros eu gilydd."

Temtir ni i roddi llïaws o ddyfyn-nodiadau tarawgar o'r ddarlith i'n darllenwyr, ond ymattaliwn, gan ddysgwyl y bydd hi ei hun yn eu dwylaw hwynt oll; a hwy a gaent y darlleniad ystyriol o honi yn effeithiol i ëangu eu meddyliau, ac ar unwaith i buro a thwymno eu calonau.

---

CYNNORTHWY I'R CYMUNWR IEUANC. *Gan y Parch.* THOMAS LEVI.

Treffynnon: P. M. Evans & Son.

Y NODIAD arweiniol a ddywed, "Pan oedd yr ysgrifenydd yn darparu pamphled bychan ar Swper yr Arglwydd i'w roddi yn llaw plant yr eglwys y perthynai iddi, gyda golwg ar eu darparu i'r Cymundeb, gwnaed cais yn y Cyfarfod Misol am lyfryn bychan ar y pwnc, at wasanaeth plant a phobl ieuainc trwy y Sîr. Ac ar gais y Cyfarfod hwnw y darparwyd y llyfryn hwn."

Gwnaeth Mr. Levi waith da wrth gydsynio â chais ei frodyr; ac yn awr, wele y "cynnorthwy" rheidiol a manteisiol yn hylaw a chyfleus, nid yn unig i ieuenctyd yr eglwysi yn Ngheredigion, ond i'n cyfeillion ieuainc trwy holl Gymru. Dylai fod yn llaw ein holl blant a'n pobl ieuainc

yn gyffredinol, a chael ei ddarllen a'i ddysgu ganddynt, ac iddynt hwythau gael eu holwyddori yn fanwl a difrifol ynddo. Mae y rhan fwyaf o hono ar ffurf catecism, yn bennodau ar ddefod y Pasc—sefydliad ac amcan y Swper—a'r cymhwysderau anghenrheidiol tuag at gyfranogi o Swper yr Arglwydd. Ceir yma hefyd Fyfyrdodau rhagorol, a Gweddïau byrion tra phriodol, gyda detholiad blasus o waith Matthew Henry, a rhai hen emynau cymhwys iawn ar y mater. Nid yw y cyfan ond pris pedair ceiniog; ac y mae ffurf y llyfryn yn ei wneyd yn hwylus i'w ddwyn yn y llogell, ac felly i'w gael i'r llaw ac o flaen y llygad pan fyner. Yr ydym yn hyderu y gwneir defnydd o'r "Cynnorthwy" yn ein holl eglwysi, er mwyn parotoi y rhai sydd eto heb eu cyflawn dderbyn, i "iawn farnu corff yr Arglwydd," ac i gymuno yn yr ysbryd teilwng i arwyddocâd y Swper sanctaidd.

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA LLANRHAIADR-YN-MOCHNANT.

EBRILL 10, 11, a'r 12FED, 1878.

LLYWYDD,—Y Parch. EMRYS EVANS, Dinbych.

DYDD MERCHER, EBRILL Y 10FED.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch y prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Darllenwyd y Cenadwriaethau canlynol:—

O Gyfarfod Misol *Gorllewin Meirionydd:*—"Dymunir cydsyniad y Gymdeithasfa i werthu capel Maentwrog, a chapel Bethania, Corris; o herwydd fod capelau newyddion yn cael eu hadeiladu yn lle y naill a'r llall."—R. OWEN, *Ysg.*

O Gyfarfod Misol *Liverpool:*—"Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Mount Pleasant, Liverpool, Ebrill 3, 1878,—(1.) Penderfynwyd,—'Ein bod yn dymuno awgrymu y priodoldeb o fod y Gymdeithasfa yn anfon deiseb at Lywodraeth ei Mawrhydi, gan daer erfyn ar fod pob moddion dichonadwy yn cael eu defnyddio i droi ymaith y perygl o ryfel, ac yn annog y gwahanol Gyfarfodydd Misol i wneuthur yr un peth.'—(2.) Daeth cais taer oddiwrth yr eglwys yn Southport, fod i'r brawd Mr. E. J. Evans, sydd wedi ymsefydlu yno fel gweinidog, gael ei neillduo i'r holl waith. Y maent hwy yn teimlo anfantais fawr o eisieu cael gweinyddiad mwy cyson a rheolaidd ar yr ordinhadau arwyddol yn eu plith, ac yn neillduol oblegid eu bod yn fynych yn gorfod cymeryd eu plant i'w bedyddio at weinidogion o enwadau eraill, yn enwedig yn yr Eglwys Wladol. Y mae y brawd wedi cael y nifer anghenrheidiol o bleidleisiau yr eglwysi, o fewn cylch ein Cyfarfod Misol, ac yn cael ei ddewis i'w gyflwyno i'r Gymdeithasfa, er ei ordeinio yn Mehefin nesaf. Efe yn unig sydd eleni, yn ein mysg ni, wedi ei ddewis felly.—Fe sicrheir i ni hefyd trwy lythyrau oddiwrth Gyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd, o'r hwn yr oedd yn aelod cyn symud i Southport, fod cwestiwn ei ordeiniad wedi bod dan eu sylw hwynt pan ydoedd yn ymadael oddiwrthynt; ac fe'i cyflwynwyd i ni fel un ag a fuasai braidd yn sicr o gael ei ddewis yn unfrydol i hyny ganddynt hwy, ped arosasai gyda hwynt.—Eithr, gan nad ydyw wedi bod mewn cysylltiad â'r eglwys yn Southport am y flwyddyn y cynghorir oedi cyn cyflwyno rhai a elwir yn fugeiliaid i'w hordeinio, yr ydym yn teimlo gradd o betrusder ynghylch y modd y mae deall y cynghor hwnw yn ei berthynas âg ef, ac felly yn dymuno cyflwyno yr achos i sylw ein brodyr yn y Gymdeithasfa, gan obeithio, erbyn ystyried amgylchiadau neillduol Southport, a'r anfanteision y rhaid i'r achos yno fod danynt tra y byddo efe heb ei ordeinio, ac yn enwedig y cymeriad uchel a roddir iddo ef gan y Cyfarfod Misol y perthynai iddo cyn dyfod atom ni, ac yn arbenig, y sicrwydd, fel y tystiolaethir i ni, y cawsai ped arosasai yno ei gyflwyno ganddynt hwy,—erbyn ystyried y pethau hyn, yr ydym yn gobeithio y gwelant y ffordd yn rhydd i ganiatâu y cais am ordeinio y brawd yn y Gymdeithasfa yn Mehefin nesaf.—J. GRIFFITH, *Ysg.*—Liverpool, Ebrill 5, 1878."

O Gyfarfod Misol *Manchester:*—"Penderfynwyd fod Mr. John Davies, Salford, i gynnrychioli Manchester ar Bwyllgor y Gymdeithas Genadol Gartrefol am y tair blynedd nesaf."—J. DAVIES, *Ysg.*

O Henaduriaeth *Lancashire, &c.:*—"That permission be granted to the Church at Glanyrafon to convert their old chapel into cottages, and to build on the land adjoining."—EDWARD JERMAN, *Secretary.*

O Henaduriaeth *Trefaldwyn:*—"(1.) Gofynir cydsyniad y Gymdeithasfa i werthu hen gapel Penygloddfa.—(2.) Dymunir cael sylw yn y Gymdeithasfa ar yr Ordinhâd o Fedydd."—R. JONES, *Ysg.*

III. Derbyniwyd enwau pedwar ar ddeg o frodyr, y rhai a ddewisasid gan y gwahanol Gyfarfodydd Misol i'w cynnyg i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa i'w hordeinio y flwyddyn hon, sef:—

O *Arfon:*—Meistri William Elias Williams, Pentir; a David Jones, Llanllyfni. O *Leyn ac Eifionydd:*—Mr. Robert Owen Williams, Bethel. O *Sir Ddinbych:*—Meistri Thomas

Hughes, Llanddulas; a Morris Williams, Dinbych. O *Sir Fflint*:—Mr. Ezra Jones, Lodge. O *Ddwyrain Meirionydd*:—Meistri William Griffith, Llansantffraid; ac Eli Evans, Dolyddelen. O *Orllewin Meirionydd*:—Meistri O. T. Williams, Croesor; a G. Ceidiog Roberts, Maentwrog. O *Sir Drefaldwyn* (y Rhan Isaf): Mr. Henry Jones, Llanwyddyn. O Gyfarfod Misol *Liverpool*:—Mr. E. J. Evans, Southport. O Gyfarfod Misol *Manchester*:—Mr. D. C. Davies, Bolton. O Henaduriaeth *Trefaldwyn*:—Mr. John Davies, Trefaldwyn.

[Derbyniodd yr Ysgrifenydd hysbysiad ar ol y Gymdeithasfa fod Mr. Evan Jones, Machynlleth, wedi cael ei basio yn rheolaidd gan Gyfarfod Misol *Rhan Uchaf Sir Drefaldwyn*, i gael ei ordeinio; ond trwy ryw amryfusedd, ni anfonwyd y genadwri mewn pryd.]

Wedi cael gan y Cynnrychiolwyr air cymeradwyol i gymeriad a llafur y brodyr hyn yn eu gwahanol Gyfarfodydd Misol a'u Siroedd, a hysbysrwydd fod eu dewisiad yn rheolaidd, cymeradwywyd hwy i gael eu cyflwyno yn y cyfarfod prydnawn y dydd canlynol i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa.

IV. Yn unol â'r cais o Gyfarfod Misol *Gorllewin Meirionydd*, cynnygiwyd gan y Parch. T. Gray, a chefnogwyd gan Mr. E. T. Jones, Dinbych, a chytunwyd,—Fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu capel Maentwrog, a chapel Bethania, Corris.

V. Yn unol â'r cais o Henaduriaeth *Lancashire*, cynnygiwyd gan Mr. J. Williams, Moss Bank, cefnogwyd gan y Parch. J. Williams, Llandrillo, a phenderfynwyd,—Fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i droi hen gapel Glanyrafon yn dai, ac i adeiladu hefyd ar y tir sydd yn gysylltiol âg ef.

VI. Yn unol â chais cyffelyb o Henaduriaeth *Trefaldwyn*, cynnygiwyd gan Mr. J. Jones, U.H., Llanfyllin, ac eiliwyd gan Mr. Thomas Lloyd, Liverpool, ar fod i ganiatâd y Gymdeithasfa gael ei roddi i werthu capel Penygloddfa.

VII. Gyda golwg ar y penderfyniad o Gyfarfod Misol Liverpool:—"Ein bod yn dymuno awgrymu y priodoldeb o fod y Gymdeithasfa yn anfon deiseb at Lywodraeth ei Mawrhydi, gan daer erfyn ar fod pob moddion dichonadwy yn cael eu defnyddio i droi ymaith y perygl o ryfel; ac yn annog y gwahanol Gyfarfodydd Misol i wneuthur yr un peth;" ar gynnygiad y Parch. Dr. Thomas, a chefnogiad y Parch. T. Gray, cyttunwyd,—Fod penderfyniad i'r perwyl yn cael ei anfon o'r Gymdeithasfa hon at Lywodraeth ei Mawrhydi.

Penodwyd fod i Mr. J. Jones, U.H., Llanfyllin, ynghyda'r cyn-Ysgrifenydd, a'r Ysgrifenydd presennol, ffurfio y penderfyniad.

Mewn cysylltiad â dwyn i sylw y penderfyniad uchod, cafwyd sylwadau ar yr amserau presennol yn mawredd a phwysigrwydd y pethau sydd yn cymeryd lle ynddynt—eu bod yn gyfryw ag a fydd yn cael edrych arnynt yn bwysig ymhen oesoedd a chanrifoedd i ddyfod, ond ofnir fod dynion yn byw yn eu canol heb gydnabod dim o lywodraeth Duw arnynt. Rhoddwyd hyn i lawr fel mater anghenrheidiol galw sylw ato yn y Gymdeithasfa, a threfnwyd fod i Dr. Thomas draethu ar hyn—*Llywodraeth Duw ar y byd*, ynglŷn â chynnyg y ddeiseb, yn y cyfarfod prydnawn y dydd canlynol.

Penderfynwyd hefyd i'r *Sacramentau* fod yn destun ymdriniaeth yn y cyfarfod am wyth o'r gloch y dydd canlynol.

VIII. Darllenwyd y llythyr canlynol oddiwrth Arglwydd Sudeley, yn cydnabod y bleidlais o ddiolchgarwch y Gymdeithasfa am y tir oedd wedi ei roddi i adeiladu capel arno:—

"Feb. 7, 1878,
"79, Eccleston Square, S.W.

"DEAR SIR—I beg to acknowledge the receipt of your letter of the 2nd, together with a copy of a Resolution passed at the North Wales Quarterly Association of the Calvinistic Methodists, for which I am much obliged.—Yours faithfully,

"SUDELEY."

"Rev. G. Parry."

IX. Cyflwynwyd i sylw Adroddiad y Cyfeisteddfod a gynnaliwyd yn Machynlleth, yr hwn y penodasid ar ei gynnal gan y ddwy Gymdeithasfa, y De a'r Gogledd, i gydymgynghori o berthynas i'r Gymanfa Gyffredinol, yr hwn oedd fel y canlyn:—

*Cyfeisteddfod i ystyried Cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol, a gynnaliwyd yn Machynlleth, Mawrth 27 a'r 28ain*, 1878.—Yr oedd yn bresennol, dros *Sir Fôn*, y Parch. R. Hughes a Mr. Samuel Dew. *Arfon*, y Parch. Rees Jones a Mr. T. Lewis. *Lleyn ac Eifionydd*, y Parch. Thomas Owen a Mr. Robert Rowland. *Dinbych*, Mr. Roberts, Fox Hall. *Fflint*, y Parch. R. Edwards a Mr. P. M. Evans. *Dwyrain Meirionydd*, y Parch. Dr. Edwards a Mr. Owen Lloyd. *Gorllewin Meirionydd*, y Parch. Robert Roberts a Mr. Griffith Jones. *Trefaldwyn Uchaf*, y Parch. J. F. Jones a Mr. Richard Owen. *Trefaldwyn Isaf*, y Parch. Robert Davies a Mr. John Jones. *Henaduriaeth Trefaldwyn*, Mr. Richard Williams. *Henaduriaeth Lancashire*, Mr. Charles Hughes. *Liverpool*, Mr. D. Roberts. *Manchester*, y Parch. William James a Mr. J. Frimstone. *Gogledd Aberteifi*, y Parch. T. Levi a Mr. J. Jones. *Deheu Aberteifi*, y Parch. J. Jones a Mr. Samuel Morris. *Caerfyrddin*, y Parch. John Owen a Mr. Howell Davies. *Penfro*, Mr. Thomas Harries. *Gorllewin Morganwg*,

y Parch. D. Saunders a Mr. D. Davies. *Dwyrain Morganwg*, y Parch. W. James a Mr. D. Evans. *Mynwy*, y Parch. D. Edwards a Mr. William Griffiths. *Brycheiniog*, y Parch. Ebenezer Williams a Mr. Roger Edwards. *Henaduriaeth Morganwg a Mynwy*, y Parch. Joseph Evans.—Llywyddwyd y cyfarfodydd gan y Parch. Dr. Edwards.—Cynnaliwyd tri chyfarfod, am 3 a 6 y dydd cyntaf, ac am 9 bore yr ail ddydd.—Bu ymddyddan maith a phwyllog ar gyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol, ac awgrymwyd amryw ddiwygiadau, neu gyfnewidiadau yn ei chyfansoddiad a'r dull o'i chynnal. Yn y diwedd, penderfynwyd gydag unfrydedd hollol i anfon y materion canlynol i ystyriaeth y Gymdeithasfa Chwarterol yn y Dehau a'r Gogledd:—1. Ein bod yn cynnyg y cynllun canlynol o gynnrychiolaeth yn y Gymanfa Gyffredinol, sef *dau* gynnrychiolydd dros bob Henaduriaeth, a thros bob un o Gyfarfodydd Misol Llundain a Manchester; *pedwar* dros bob Cyfarfod Misol arall y byddo nifer yr aelodau eglwysig dan bum' mil; a *chwech* dros bob un o'r Cyfarfodydd Misol eraill. 2. Fod Cyfeisteddfod y Cyhoeddiadau i barhâu fel o'r blaen, ond fod etholiad ei aelodau o hyn allan i gael ei wneyd drwy y *ballot*, a bod un o bob Cyfarfod Misol yn ychwanegol i eistedd ar y Cyfeisteddfod hwnw, a bod y Cyfarfod Misol i enwi un o'i gynnrychiolwyr i fod ar y cyfryw Gyfeisteddfod dros ystod y Gymanfa hono. 3. Fod adroddiadau ac anerchiadau ar yr Athroföydd, y Cenadaethau Cartrefol, yr Ysgol Sabbothol, a'r Achosion Seisonig, i gael lle ymhob Cymanfa Gyffredinol. 4. Mai dymunol fyddai cyfuno y ddau Arholiad Cymdeithasfäol yn y De a'r Gogledd, a gwneyd un arholiad gyda'r un materion, ac arholwyr o Dde a Gogledd. 5. Mai dymunol iawn, er cynnal undeb, a meithrin y teimladau goreu, fyddai i'r Dehau alw· brodyr o'r Gogledd, a'r Gogledd alw brodyr o'r Dehau, i gymeryd rhan yn ngwasanaeth yr Ordeiniad. 6. Fod y cyfarfod hwn yn dadgan y dymunoldeb o gael Pwyllgor ynglŷn â'r Gymanfa Gyffredinol i ystyried y rheolau hyny ymha rai y mae Dehau a Gogledd yn gwahaniaethu, er mwyn cael unffurfiaeth mewn rheolau cysylltiedig â swyddogaeth eglwysig, a materion eraill.—THOMAS LEVI, *Ysgrifenydd*.

Wedi gwrando darllen, a chael ymdriniaeth am beth amser ar y Cynnygion uchod, cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Hughes, a chefnogwyd gan Mr. W. Williams, Tanygrisiau—Fod y Cynnygion hyn yn cael eu cyflwyno i sylw y gwahanol Gyfarfodydd Misol, er cael eu barn arnynt.

Gyda golwg ar farwolaeth Dr. Duff, y cenadwr enwog a llwyddiannus, penodwyd, ar gynnygiad Mr. R. Rowland, a chefnogiad y Parch. J. Williams, Llandrillo — Fod i'r Parch. Dr. Hughes, ynghyda'r Ysgrifenydd blaenorol, anfon llythyr yn dadgan cydymdeimlad y Gymdeithasfa â'r Eglwys Rydd yn wyneb y golled hon.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa* (parhâd) *am ½ awr wedi 6 yn yr hwyr.*

I. Yn y Gymdeithasfa flaenorol penodasid ar fod i'r Parch. G. Parry, y Cyd-Ysgrifenydd, ymohebu â holl Arholwyr yr Arholiad Cymdeithasfäol er cael eu barn hwy o berthynas i'r priodoldeb o gyhoeddi enwau yr Ymgeiswyr Llwyddiannus yn yr Arholiad hwnw yn dri dosbarth. Darllenwyd deg o lythyrau, y rhai a gynnwysent amryw syniadau gyda golwg ar hyny.

Wedi ymddyddan maith a phwyllog ar y mater, cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Hughes, a chefnogwyd gan Mr. R. Rowlad, a phenderfynwyd—Fod y mater hwn i gael ei adael fel y mae, gan nad oes unfrydedd gyda golwg arno, a bod cynnygiad ger bron oddiwrth y Cyfeisteddfod a gynnaliwyd yn Machynlleth i gyfuno y ddau Arholiad yn y De a'r Gogledd—hyd nes y delo y ddwy dalaeth i gyd-ddealltwriaeth gyda golwg ar hyny.

II. Cyflwynodd Mr. E. Roberts, Bangor, Pa., U.D., ei ddiolchgarwch gwresocaf i'r Gymdeithasfa, ac i'r Cyfarfodydd Misol drwy y Gymdeithasfa, am y derbyniad brawdol a charedig a roddwyd iddo yn ei waith yn casglu yn y wlad hon at ddileu dyled eu capel yn y lle a enwyd. Rhoddwyd annogaeth ar fod i'r Cyfarfodydd Misol sydd eto heb wneyd y casgliad i ymgymeryd â hyn mor fuan ag y byddo modd. Trysorydd—Mr. J. Williams, Moss Bank, Liverpool.

III. Galwyd sylw at y casgliad at Athrofa'r Bala, sef, tuag at dalu y gweddill o'r ddyled sydd yn aros ar yr adeilad. Hysbyswyd fod rhai Siroedd wedi gwneuthur y casgliad yn unol â phenderfyniad y Gymdeithasfa; eraill wedi dechreu arno, ond heb ei orphen; ond rhai Siroedd heb ddechreu o gwbl. Annogid yn daer ar fod i'r gwahanol Gyfarfodydd Misol gymeryd hyn i fyny yn ddioed a chwblhâu y casgliad o hyn i ddiwedd Mai; a'i anfon i'r Trysorydd Cyffredinol, Mr. D. Roberts, Tanyrallt, Abergele, ar neu cyn y dydd diweddaf o'r mis nesaf, fel y gellir rhoddi adroddiad o sefyllfa y casgliad yn Nghyfeisteddfod yr Athrofa, yr hwn a gynnelir yr wythnos gyntaf o Mehefin. Teimlid ond cael ychydig o ffyddlondeb a chydymdeimlad, y symudid ymaith yn llwyr y gweddill hwn o'r ddyled sydd yn aros.

EMRYS EVANS, *Llywydd*,
THOMAS OWEN, *Ysgrifenydd*.

*(I'w barhâu.)*

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

I DDARLLENWYR *Methodistiaeth Cymru* y mae Aberthyn yn enw cynnefin. Pentref bychan ydyw, o fewn milldir i Pontfaen yn Mro Morganwg, lle mae un o'r achosion hynaf yn y Sîr. Yn ddiweddar adnewyddwyd y capel, yr hwn sydd yn awr yn adeilad gyfleus a phrydferth. Un o'r teuluoedd sydd wedi bod yn hynod ffyddlawn mewn cysylltiad â'r achos yw teulu'r Prysg, ffermdŷ sydd gerllaw; ac y mae yn ymddangos fod y teulu hwn yn symud o'r gymydogaeth. Ar y 25ain o Fawrth cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus, dan lywyddiaeth y Parch. T. R. Lloyd, i gyflwyno Bibl hardd i Mr. a Mrs. Morgan, a chopïau o'r Llyfr Tônau Canu Cynnulleidfäol, a Llyfr Tônau Sankey i'r meibion. Cafwyd tê mewn cysylltiad â'r cyfarfod, pryd y daeth dros gant o bersonau ynghyd.

Yr ydys wedi sicrhâu tir i adeiladu capel arno yn North Risca, Sir Fynwy, ac eir ymlaen ar unwaith gyda'r ymgymeriad. Ac yr ydys wedi sicrhâu tir i godi capel newydd yn ardal Penygroes, Sir Gaerfyrddin.

Y mae Cyfarfod Misol Sir Gaerfyrddin hefyd wedi penderfynu casglu y gyfran sydd yn disgyn ar y Sîr hono tuag at Drysorfa'r Gweinidogion. A phenodwyd y Parchn. Daniel Morgan, Llandeilo, a Robert Salmon, Llansadwrn, yn oruchwylwyr y casgliad. Y Parch. John Watkins, Gorwydd, sydd wedi ei enwi yn oruchwyliwr y casgliad hwn yn Siroedd Brycheiniog a Maesyfed; ac y mae nifer mawr o frodyr, yn weinidogion a blaenoriaid, wedi eu dewis i'w gynnorthwyo yn y gwahanol ddosbarthiadau.

Y mae genym i'w hysbysu fod Adroddiad Trysorfa'r Gweinidogion perthynol i Gymdeithasfa'r Dehau am 1877 wedi dyfod allan. Cyfanswm y derbyniadau y flwyddyn ddiweddaf ydoedd £833; a daeth £2 yn rhy ddiweddar i ymddangos yn yr Adroddiad o Aberaeron. Derbyniwyd y cyfanswm hwn o bedair o ffynnonellau, sef, taliadau'r gweinidogion eu hunain, £380 2s.; llogau y gronfa, £170 0s. 11c.; casgliadau y cynnulleidfäoedd, £207 10s. 0½c; a rhoddion i'r gronfa, £76 1s. Talwyd allan i 11 o weinidogion methedig, 39 o weddwon, 2 o amddifaid, tuag at amrywiol achosion o gystudd, a threuliau un gladdedigaeth, a mân dreuliau'r swyddogion Sirol, £753 9s. 8c.; a'r treuliau gweithio cyffredinol, £23 6s. 6c.; y cyfan yn £776 16s. 2c. Archwiliwyd y cyfrifon gan y Parch. Ll. Edwards, M.A., Ardwyn School, a Mr. David Lloyd, *Accountant*, Aberystwyth; ac y mae yr adroddiad wedi ei argraffu yn rhagorol iawn gan Mr. Phillip Williams.

Bu cynnydd o 442 yn nifer yr aelodau o fewn cylch Cyfarfod Misol Dwyrain Morganwg y flwyddyn ddiweddaf; a chasglwyd £12,757 at yr achos yn ystod y flwyddyn, sef dim ond £374 yn llai na'r flwyddyn flaenorol. Cynnyddodd dyled y capelau dros £10,000, sef £29,000; ond cynnyddodd hefyd gwerth eiddo y Cyfundeb dros £14,000, sef i £94,000 a throsodd.

Er fod Gwilym Williams, Ysw., Miscin, wedi bod yn garedig iawn i'r achos bychan yn y Felin Newydd gerllaw Llantrisant, y mae wedi addaw rhoddi cynnorthwy helaethach rhagllaw; ac fel y gallesid dysgwyl, y mae wedi derbyn diolch cynhesaf Cyfarfod Misol Dwyrain Morganwg.

Cynnaliwyd cyfarfod pregethu blynyddol Dinas Rhondda, ar yr 31ain o Fawrth a'r 1af o Ebrill, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. Thomas Davies, Caerdydd; Evan Williams, Llysyfronydd; Abraham Roberts, Heolfach; John Cynddylan Jones, Caerdydd; a'r Sul a'r Llun blaenorol, yn nghapel Seisonig Tredegar, yr oedd y gweinidogion, y Parchn. W. Howells, Trefecca; J. Cynddylan Jones, a Thomas Evans, Merthyr, yn y gwaith. Cafwyd cyfarfodydd hwylus yn y ddau le, a chasgliadau da.

Llonwyd y cyfeillion sydd yn perthyn i'r achos Seisonig yn Nolgellau gan anrheg hardd o lestri cymundeb a gyflwynwyd iddynt gan Mr. G. Davies, y diacon hynaf yn y fam-eglwys Gymreig yn y dref hono.

Mae y Parch. Dr. Hughes, Liverpool, wedi traddodi cyfres o ddarlithiau ar "Y Weinidogaeth a'r Offeiriadaeth" yn ystafell ddarlithiol Athrofa y Bala yn nechre'r mis diweddaf. Caffaeliad y gyfres hon o ddarlithiau i'r efrydwyr, megys yr eiddo y Parchn. D. Charles Davies, M.A., J. Ogwen Jones, B.A., a G. Parry, yno yn flaenorol, sydd ffrwyth gweithrediad Ymddiriedolwyr *Fund* y diweddar T. Jones, Ysw., Rhuthyn. Gwelir fod mater darlithiau y Dr. Hughes yn dra amserol; a chan fod galluogrwydd y darlithydd mor hysbys, nid oes eisieu sicrhâu eu rhagoroldeb; ac y mae yn ddiau y darllenir hwynt yn dra chyffredinol pan y deuant allan o'r wasg.

Jubili capel mawr a hardd y Carneddi, Bethesda, Arfon, yr hwn a ailadeiladwyd yn 1868, a gynnaliwyd yn ddiweddar. Yno yn ystod y naw mlynedd diweddaf, talwyd, ar gyfartaledd, y swm o £315 14s. 7¾c. o'r ddyled bob blwyddyn; £2859 11s. 11c.

yn y cwbl. Llywyddwyd cyfarfod y Jubili gan y gweinidog, y Parch. T. Roberts; a chymerwyd rhan ynddo gan Mr. G. Hughes, Cilhafodau; a'r Parchn. G. Jones, Tre'r garth; J. Jones, Bryn teg; J. M. Jones, Gerlan; a Robert Ellis, Ysgoldŷ. Yn ddilynol i gyfarfod llongyfarchiadol a moliannol y Jubili, cynnaliwyd cyfarfod pregethu, ymha un y gwasanaethwyd gan y Parchn. Dr. Hughes, a D. Saunders.

Y mae Mr. Charles Williams, Dyffryn, Llandyrnog, wedi ymgymeryd â gorchwylion gweinidog a chenadwr ymysg y Cymry yn nhref newydd a phoblogaidd Crewe, Sir Gaerlleon. Cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus i'w groesawu fel y cyfryw, pryd y llywyddid gan y diacon medrus a gweithgar, Mr. R. Thomas, y canwyd yn rhagorol gan y côr, ac yr anerchwyd y cyfarfod gan y Parchn. M. Jones, Fflint, a J. P. Davies, M.A., Caerlleon, fel cynnrychiolwyr Cyfarfod Misol Sir Fflint, gan Mri. John Hughes a James Jones, a chan Mr. Williams ei hun; a bernid ei fod yn un o'r cyfarfodydd mwyaf dyddorol a gynnaliwyd yno erioed.

Mae y Parch. Edward Evans, M.A., wedi ymsefydlu yn Rhuthyn, i gadw Ysgol Ramadegol. Cyflwynwyd ef yn rheolaidd ac yn serchiadol gan Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd i Gyfarfod Misol Sir Ddinbych; a dysgwylir y bydd efe yn llwyddiannus a chysurus yn ei le newydd.

Cymdeithasfa Flynyddol Môn eleni a gynnelir yn Amlwch, Mehefin 20 a'r 21ain.

Yn Nghyfarfod Misol Sir Ddinbych, gwnaed coffhâd teimladol am y blaenoriaid ymadawedig, Mri. R. J. Rogers, Trefriw; Isaac Daniel, Ffynnoniau; a Mr. Hugh Williams, Llysfaen. Yr oeddynt ill tri yn ddiaconiaid da a ffyddlawn. Yr oedd Mr. Rogers yn adnabyddus i laweroedd fel un a ennillodd iddo ei hun radd dda yn y ddiaconiaeth, ac a wir ofalai am achos yr efengyl yn ei holl gysylltiadau, gan dreulio oes faith yn ngwasanaeth ei Arglwydd. Ymhen ychydig ddyddiau ar ol ei ymadawiad ef, bu farw ei chwaer ieuengaf, Miss Jane Rogers, yn dra disymwth. Yr oedd hi yn ferch synwyrol a christionogol, a chyda ei chwaer sydd yn aros, fel yr anwyl Persis, wedi "cymeryd llawer o boen yn yr Arglwydd." Anfonwyd llythyr o gydymdeimlad y Cyfarfod Misol at Miss Rogers, yr hon sydd, fel hyn, yn dyoddef "rhwygiad ar rwygiad."

Gwnaed sylwadau coffadwriaethol yn Nghyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd am y diweddar flaenoriaid, Mri. Hugh Thomas, Llwyngwril, a Robert Williams, Minffordd. Yr oedd Hugh Thomas yn "hen ddysgybl," ac wedi bod yn egnïol a diflino yn ei wasanaeth i'r achos mawr yn Llwyngwril. Robert Williams a gymerwyd ymaith yn mlodau ei ddyddiau; ac yr oedd yntau yn gristion glöew a swyddog gweithgar.

Un ffordd ragorol i wneuthur daioni gan y rhai sydd esmwyth arnynt yw, anrhegu brodyr sydd "yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth" â llyfrau da. Y Parch. Hugh Roberts, un o'r cenadon trefol Methodistaidd yn Liverpool, a dderbyniodd yn ddiweddar "*Stier on the Words of the Lord Jesus*," wyth cyfrol, gan foneddwr adnabyddus am ei haelfrydedd, ond un nad yw yn dewis udganu o'i flaen.

Y Parch. E. Roberts, Llangernyw, Sir Ddinbych, a symudodd i Landegla, yn nosbarth Cyfarfod Misol Sir Fflint, i fod yn weinidog yr eglwys yno. Rhoddwyd derbyniad croesawgar i Mr. Roberts gan y Cyfarfod Misol ar ddarlleniad llythyr ei gyflwyniad o Gyfarfod Misol Sir Ddinbych.

Anfonwyd llythyrau o gydymdeimlad oddiwrth Gyfarfod Misol diweddaf Sir Fflint at Mr. W. Evans, ariandŷ Gogledd a Dehau Cymru, a Mr. J. Evans, Maes y Coed, y rhai a amddifadwyd o'u hanwyl wragedd trwy angeu, ac at Mr. T. Owens, Gerddi Beuno, Treffynnon, yn ei henaint methedig a'i gystudd maith.

Cyflwynwyd tysteb, gyda phwrs yn cynnwys aur ac arian, i'r Parch. Robert Hughes, Dyserth, gan gyfeillion y lle, fel dangosiad eu bod yn gwerthfawrogi ei lafur ffyddlawn. Cafodd Mr. Hughes hefyd anrheg o yspectol aur oddiwrth Mr. W. Griffiths, Beacon Lane, Liverpool, yr hwn, ynghyda'i foneddiges, sydd yn arfer ymweled yn flynyddol â'r Ddyserth.

Y mae Mr. Josiah Jones, Rhosllanerchrugog, wedi ei sefydlu fel gweinidog ar yr eglwys a'r gynnulleidfa Seisonig yn nhref y Fflint. Yn y cyfarfod sefydliad, llywyddwyd gan y Parch. Michael Jones, yr hwn a roes grynodeb o hanes yr achos yno o'i ddechreuad. Y Parchn. J. Pugh, B.A., Treffynnon; J. P. Davies, M.A., Caerlleon; a W. Foulkes, Rhosllanerchrugog, a gymerasant eu rhan yn ngorchwylion y cyfarfod, ynghyd a Mr. Josiah Jones ei hun, a Mr. J. Grey Jones, Beaumaris, un o'i gydefrydwyr yn ngholeg y Bala. Dywedir fod golwg obeithiol iawn yn bresennol ar yr achos Seisonig hwn.

Yn nghyfarfod ymadawol y Parch. Dr. Llugwy Owen yn Acrfair, llywyddwyd gan Mr. J. Davies, Tŷcoch, Llangollen, gynt

yn ddiacon yn Aerfair; a chymerwyd rhan yn ngorchwylion y cyfarfod gan Mr. J. Williams, Acre House, a chan Mrs. Williams yn nghyflwyniad yr anrheg; gan y Parchn. J. Jones, Pen y cae; Peter Ellis, Penybryn; J. H. Hughes *(Ieuan o Leyn)*, Annibynwr; a W. Edwards, Bedyddiwr; ynghyda Mri. Ebenezer Williams, a W. Davies, masnachdŷ Plas Kynaston. Darllenwyd anerchiad cynhes i'r Doctor, wedi ei ysgrifenu yn ddestlus; a chyflwynwyd i Mrs. Owen *teapot* arian, yn werth £14.

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### PRYDAIN A RWSSIA.

PARHAU i edrych yn dywyll y mae yr awyrgylch wleidiadol gyda golwg ar yr anghydwelediad rhwng gweinyddiaeth Arglwydd Beaconsfield a llywodraeth Rwssia. Ond yn ein byw y gwelwn ni y rheswm lleiaf i'n llywiawdwyr wthio y deyrnas i ryfel. Mae enciliad Arglwydd Derby, ar ol Arglwydd Caernarfon, oddiwrth lywyddiad Arglwydd Beaconsfield, yn niweidiol iawn i'r weinyddiaeth yn marn pawb pwyllog a thangnefeddol, ac yn dangos mai barn arnom fel gwlad yw prif weinidog ei Mawrhydi, yr hwn nad yw, fel y ddau bendefig crybwylledig, yn ymddangos yn gofalu dim am wir egwyddor ac uniondeb.

### LLAWER YN FYR.

Y MAE'R Parch. C. T. Astley, M.A., ficer Gillingham, Chatham, wedi rhoddi i fyny ei ficeriaeth, yr hon oedd yn werth £680 yn flynyddol, gyda thŷ, a phymtheng erw o dir. Yn ei bregeth ddiweddaf yn eglwys Gillingham, dywedai ei fod yn ymdeimlo fel un yn cael ei orfodi i dori ei gysylltiad âg Eglwys Loegr, gan nad oedd yn credu mewn adenedigaeth yn medydd, na gollyngdod yr offeiriad o bechodau *(absolution)*, ac yn gweled Pabyddiaeth yn cynnyddu mor ddirfawr ynddi. Ystyrir Mr. Astley yn bregethwr grymus a phoblogaidd.

Mae Archesgob Caergaint wedi cynnysgaethu y Parch. David Howell, ficer Gwrecsam, â'r teitl o *Bachelor in Divinity* (Mebydd mewn Dwyfyddiaeth, yn ol cyfieithiad y Proffeswr Cymreig, Silvan Evans), am ei wasanaeth o blaid llenyddiaeth yn Nghymru.

Cyhoeddiad Seisonig mewn cysylltiad â'r Annibynwyr, o'r enw *The Christian Era*, a ddywed fod "agos bob blwyddyn nifer o weinidogion wedi eu dwyn i fyny yn *Congregationalists*, wedi cael hyfforddiad yn ein colegau, a'u hordeinio yn ein heglwysi, yn ein gadael am gyfundebau eraill, yn enwedig am yr Eglwys Sefydledig, a'r Eglwysi Presbyteraidd." Dywed ymhellach fod tuag ugain o weinidogion wedi myned ymaith fel hyn y flwyddyn ddiweddaf.

Y penadeilydd *(architect)* eglwysyddol enwog, Syr Gilbert Scott, a fu farw, ac a gladdwyd yn Mynachlog Westminster; a'r Sabboth ar ol ei gladdedigaeth Deon Stanley a bregethodd y bregeth angladdol iddo yn y Fynachlog, oddiar Psal. cxxii. 1. Syr Gilbert oedd yr offeryn i ddwyn adeilyddiaeth Gothig i'r bri mwyaf yn yr oes hon. Yr oedd efe, tybygem, yn ŵyr i'r clerigwr duwiol, a'r esboniwr nid anenwog, Thomas Scott.

Bu farw Syr James Watts o Abney Hall, gerllaw Didsbury, yr hwn a gyfrifid fel pen yn nghydfasnach Meistri J. S. a J. Watts a'u Cymdeithion, Manchester. Yr oedd efe yn faer Manchester yn nhymmor y *Manchester Art Treasures Exhibition*, pryd y derbyniodd efe ymweliadau y Frenines â'r diweddar Dywysog ei phriod, ac yr urddwyd ef yn Farchog gan ei Mawrhydi. Yr oedd efe yn Rhyddfrydwr profedig, ac yn Anghydffurfiwr Cynnulleidfäol ffyddlawn.

Argraffdŷ mawr Meistri *Nelson and Sons* yn Edinburgh a ddinystriwyd gan dân. Cyfrifir y golled dros gan' mil o bunnoedd.

Gwelsom mewn newyddiaduron Seisonig mai y gymhariaeth ddiweddaraf a arferir am brydferthwch a diniweidrwydd ydyw "gwŷn fel calch." Ond os yw hona yn gymhariaeth ddiweddar ymhlith y Saeson, y mae "càn wyned â'r calch" yn gymhariaeth hen iawn ymysg y Cymry.

Mr. Disraeli (yn awr Iarll Beaconsfield), mewn araeth a draddododd efe yn Nhŷ y Cyffredin yn 1854, a ddywedai, "Yr wyf yn credu yn gadarn, yn wirioneddol, ac yn gydwybodol, fod y rhyfel presennol (yr un Criméaidd) wedi ei ddwyn oddiamgylch gan un dyn, a'r dyn hwnw yn dal y sefyllfa gyfrifol o fod yn Brif Weinidog y Goron, trwy lywodyddiaeth pa un y mae'r drwg echrydus hwn wedi ei ddodi yn orfodol arnom." Ai nid oes yn awr "un dyn," a hwnw "yn Brif Weinidog y Goron," wedi gwneyd ei oreu, neu yn hytrach ei waethaf, tuag at "ddodi yn orfodol arnom y drwg echrydus" o ryfel? Ond rhaid cofio yr hen chwedl, am "myfi" yn lle "efe," *that it alters the case.*

Dywedai'r naill ddadleuydd wrth y llall, "Nid yw o un defnydd siarad; nis gellwch byth wneyd dau dri yn saith." "Ond mi allaf ddyfod o fewn un i hyny," oedd yr atebiad.

Ymysg lliaws o weithredoedd haelionus yn ddiweddar gan Mr. Crawshay o Gastell Cyfarthfa, adroddir iddo gyfranu i dlodion Merthyr Tydfil ddau cant a hanner o bârau o ddilladau gwelyau, pob pâr yn cynnwys gwrthban a dwy gynfas.

Yr oedd tysteb goffadwriaethol y diweddar deilwng Ioan Pedr yn dyfod i £420 wedi talu pob treuliau. Cyflwynwyd £300 i Mrs. Peter, ei weddw; ac y mae'r gweddill i fod yn llaw'r pwyllgor tuag at osod cofadail briodol ar fedd Mr. Peter.

Y Parch. B. S. Taylor, gweinidog yr eglwys Esgobyddol Fethodistaidd yn Sandlake, talaeth New York, yn ddiweddar, yn lle pregethu

pregeth, a wnaeth yr hysbysiad a ganlyn; "Y mae bwrdd yr ymddiriedolwyr heb dalu i mi fy nghyflog, na gwneuthur un sylw o'm gofynion—heb ledaenu un papyr tanysgrifiad, na gwneyd unrhyw ymdrech arall i gyflawni eu hymrwymiadau i mi. Yr wyf wedi myned yn ddwfn i ddyled, ac nis gallaf barhâu i bregethu am ddim. Yr wyf gan hyny yn hysbysu y bydd y pulpud hwn yn wag hyd nes y gwnelo Duw yn ei drugaredd anfon i chwi weinidog a allo fyw ar awyr, a gwisgo llodrau croen carw o'i wneuthuriaid ei hun."

Dr. Selwyn, Esgob Lichfield, a fu farw y mis diweddaf, yn 69 mlwydd oed, ar ol byr selni. Lichfield oedd yr ail esgobaeth a ddelid ganddo. Yn 1841, cafodd ei benodi yn esgob New Zealand; ac efe oedd y cyntaf a aeth yno yn Esgob, a'i garedigrwydd, ei hunanymwadiad, a'i ymroddiad i lafur cristionogol, a ennillodd iddo barch mawr oddiwrth hen frodorion y wlad, yn gystal ag oddiwrth y Saeson. Wedi iddo ddychwelyd i Loegr, gwnaed ef yn Esgob Lichfield yn 1867, lle y mawr ganmolid ef gan bob dosbarth o bobl. Dygwyddodd i'r ysgrifenydd gyfarfod âg ef yn achlysurol unwaith pryd yr oedd wedi bod yn gweinyddu conffirmasiwn yn Ellesmere, a chael ei gyflwyno i'w sylw, pan y dywedai ei arglwyddiaeth wrtho ei fod yn coleddu meddwl uchel am lafur a llwyddiant Methodistiaeth Cymru.

Yr oedd yr hysbysiad hwn, ymysg llawer o hysbysiadau eraill cyffelyb, i'w gael yr wythnosau diweddaf yn y newyddiaduron: "Ar werth, y *presentation* i fywioliaeth eglwysig ddymunol yn Bucks; yr *income* oddeutu £300 yn y flwyddyn, heblaw tŷ da; yr eglwys a'r ysgolion mewn adgyweiriad da; golwg obeithiol am gael meddiant buan; y pris a ofynir, oddeutu £1500; ni wrthodir un cynnygiad rhesymol os ceir ef yn ebrwydd." Sylwa yr *Echo* am gyfryw hysbysiad, "Dywedwyd gynt, 'Na wnewch dŷ fy Nhad yn dŷ marchnad;' ond yr oedd hyny er ys llawer o amser yn ol, ac wele ni erbyn hyn wedi myned yn ddoethach."

Gohebydd i'r *Presbyterian* yn ysgrifenu o Rio Janeiro a ddywed fod holl ymherodraeth Brazil yn agored i bregethiad yr efengyl, a bod cenadon yn cael gwrandawiad astud ymhob tref a phentref. Yr unig rwystr gweledig i efengyleiddiad holl wlad Brazil mewn deng mlynedd, medd efe, yw y diffyg am ddynion a moddion.

Y gweinidog efengylaidd cyntaf o'r brodorion yn Japan a neillduwyd yn mis Ionawr diweddaf, ac a gynnelir yn gwbl gan ei gynnulleidfa ei hun.

Y diweddar Mr. Simeon Smithard a adwaenid trwy Loegr, ac mewn parthau o Gymru, fel dadleuwr hyawdl dros lwyrymattaliad oddiwrth wlybon meddwol. Ar gân, yn gystal ag ar lafar, efe a wasanaethai yn dda yr achos dirwestol. Mae yn awr gronfa wedi ei chychwyn tuag at anrhegu Mrs. Smithard ei weddw â blwyddrodd o £100.

Dydd Sadwrn, Ebrill 13eg, anrhegwyd Iarll Shaftesbury, Llywydd y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, a phendefig adnabyddus yn gyffredinol am ei grefyddoldeb efengylaidd a'i weithredoedd da, â brain dinasyddiaeth yn Edinburgh, pryd yr oedd tua dwy fil o bobl yn wyddfodol, ac yn eu mysg yr holl rai blaenaf yn y ddinas, fel cydnabyddiaeth o'i ymdrechiadau llwyddiannus er ys maith flynyddoedd yn achos diwygiadau cymdeithasol ac iechydol, a'i ymroddiad dros ddyngarwch yn gyffredinol. Cafodd ei arglwyddiaeth y derbyniad gwresocaf. Yn ei araeth, llefarai yn rymus dros y priodoldeb o gadw heddwch hyd nes y byddo pob peth a allesid ei wneyd i attal rhyfel wedi syrthio yn aflwyddiannus.

Cafwyd eglurhâd hyfryd ar wybodaeth neu gallineb ci yn ymyl Southwark-bridge, Llundain, un diwrnod yn ddiweddar. Yr oedd bachgen bychan, saith neu wyth oed, yn chware ar risiau'r bont, pryd y llithrodd efe, ac y syrthiodd i'r afon. Ar y mynyd hwnw yr oedd boneddwr yn peri i'w gi *(retriever)* nofio, trwy daflu ei ffon i'r afon. Wrth nofio ar ol y ffon, y ci a ganfu'r bachgen yn yr afon, ac efe a gyfeiriodd ato ar unwaith, a chan afael ynddo wrth ei siaced, efe a'i dygodd yn ddiogel i'r làn, yn nghanol bloeddiadau cymeradwyol torf lïosog oedd wedi ymgasglu ar y bont.

---

## BASGED Y GWIREBAU.

*Y Bedwaredd Fasgedaid.*

XXXVII.

Y MAE tŷ Dduw yn cyrhaedd o'r byd hwn dros afon angeu i'r byd arall; ceir ef yn feddygdŷ yr ochr yma i angeu, ac yn freninllys yr ochr draw.

XXXVIII.

Rhyddid rhai pobl yw rhyddid y genfaint foch a ruthrodd dros y dibyn i'r môr, ac a foddwyd.

XXXIX.

Nid ydym i feddwl fod gwrthddadl yn anatebadwy o herwydd ein bod ni yn methu ei hateb, nac i farnu cywirdeb nac anghywirdeb egwyddorion oddiar ein galluogrwydd neu ein hanalluogrwydd ni i'w hamddiffyn.

XL.

Peiriant yn llaw yr Arglwydd yw cystudd, sydd yn cael ei weithio ganddo ef i godi'r galon o'r ddaear i'r nefoedd.

XLI.

Pechod wedi ei adwaen, a'r euogrwydd heb ei faddeu,—dyna a awchlyma felldith uffern; ond pechod wedi ei adwaen, a'r euogrwydd wedi ei ddileu,—dyna a felusa anthem y nefoedd.

XLII.

Mae fflamau anghydfod yn fwy niweidiol i eglwys Crist na fflamau erlidigaeth.

XLIII.

Nis gallwn ddwyn ein teilyngdod at allor Duw; ond ni a allwn ddwyn yno ein

hannheilyngdod. Gorseddfainc y gras ydyw; ac nis gall gras ddangos ffafr i neb ond i'r annheilwng. Os nad allwn brynu y nefoedd, gallwn ei chardota yn llwyddiannus.

XLIV.

Y gelyn agosaf yw y gelyn gwaethaf. Ein pechodau sydd agosaf o bob peth atom ninnau; cyfrifer hwynt, gan hyny, fel ein gelynion gwaethaf oll.

XLV.

Pa le bynag y mae Duw yn ei heddwch a'i ras, y mae nefoedd yno; ac os bydd Duw felly yn y galon, bydd y galon hono yn nefoedd ar y ddaear, gan y bydd y meddwl mewn myfyrdod melus, a'r gydwybod mewn tangnefedd dedwydd.

XLVI.

Am un a bechodd i'th erbyn, os yw yn dduwiol, maddeu iddo, canys Duw a'i derbyniodd ef; neu, os yw yn annuwiol, maddeu, a gweddïa drosto, canys ni wyddai pa beth yr oedd yn ei wneuthur.

XLVII.

Pa beth bynag sydd raid ei wneuthur, ac a ellir ei wneyd yn awr yn gystal âg ar ol hyn, gwneler hyny yn ddioedi. Segurdod ac esmwythder ydynt ladron amser.

XLVIII.

Fel yr haul, yr hwn sydd yn dangos pob peth i ni trwy ei oleuni, ond nas gallwn, o herwydd mawredd ei oleuni, syllu yn uniongyrchol arno ei hun, felly, tra y mae goleuni Duw yn egluro i ni bobpeth arall, y mae efe ei hunan yn rhy ogoneddus i ni allu ei weled neu wybod am dano yn ddigyfrwng.

## Amrywiaethau.

### CANGAU O GOED MYNYDD YR OLEWYDD.

Y MAE offeiriad Pabaidd, a elwir yn *Father* Dunne, yn addaw y bydd pwy bynag a roddo gynnorthwy arianol iddo ef i godi ysgoldai penodol, yn meddu hawl i gyfranogi yn nghynnwysiad swp mawr o gangau palmwydd ac olewydd, a dorwyd oddiar goedydd yn tyfu ar Fynydd yr Olewydd, pa swp y mae efe newydd ei dderbyn oddiwrth y Tad Ratisborne o Jerusalem. Mewn amgylchiad fel hwn, mae'r cwbl yn dibynu ar ddilysrwydd y cangau; ond pa fodd y sicrheir hyny? A ydyw yr anffaeledig Bab o Rufain wedi sicrhâu eu gwireddoldeb? Os ydyw, oni ddylasai efe yn hytrach arfer hyny o awdurdod sydd ganddo tuag at ddal y coed cysegredig i fyny? Nid oes ond ychydig brenau, a'r rhan fwyaf o'r rhai hyny yn gangenau wedi tyfu o fôn yr hen goedydd, yn aros erbyn hyn ar lechweddau yr Olewydd; a buan y byddent oll wedi myned o'r golwg pe caniateid i'r lliaws ymwelwyr anghenus a rheibus wneyd fel y mynent â hwy. Ond ai nid ellir trefnu lliosogiad y cangau hyn fel y gwneir gyda choed "y *wir* groes?" Mae darnau coed gwir bren y groes, fel eu dangosir yn yr Eglwysi Pabaidd mewn gwahanol wledydd, mor lïosog, fel, pe casglid hwy ynghyd at eu gilydd, y byddai digon o honynt i wneuthur llong ryfel. Ac ni synem ddim os yw y cangau palmwydd ac olewydd hyn, y derbyniodd y Tad Dunne swp o honynt, yn meddu yr un rhinwedd goruwchnaturiol, i fawr lïosogi.

### GWEDDI AM HEDDWCH.

Y MAE Archesgob Caergaint yn annog y clerigwyr i wneuthur defnydd yn eu haddoliadau o'r Colect am y pummed Sul wedi'r Drindod, yn ystod yr amser hwn o bryder gwladol. Y Colect hwnw, yn y Llyfr Gweddi Gyffredin, sydd fel hyn:—"Caniatâ, Arglwydd, ni a attolygwn i ti, fod i chwŷl y byd hwn, trwy dy reoledigaeth di, gael ei drefnu mor dangnefeddol, âg y gallo dy eglwys di dy wasanaethu yn llawen ymhob duwiol heddwch, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen."

### TRAPIAU.

DYWEDWYD wrth swyddog cyllidol gan rywun fod rhyw berson penodol yn cadw *trap* heb dalu *duty*. Galwodd y swyddog ar y person a nodwyd, gan ddyweyd, "Yr wyf yn deall eich bod yn cadw *trap*." "Ydwyf." "A oes genych chwi *license* tuag at hyny?" "Nac oes." Dyna'r swyddog yn ebrwydd yn rhoi i lawr adroddiad o'r fath addefiad gonest yn ei nôd-lyfr. "Ai nid oedd genych drwydded y flwyddyn ddiweddaf?" "Nac oedd." Rhoddwyd hyny hefyd i lawr yn y nôd-lyfr. "Paham na buasech yn cymeryd *license?*" Am nad oeddwn yn meddwl fod hyny yn angenrheidiol." "Pa sawl olwyn sydd yn perthyn i'r *trap?*" "Nid oes yr un." "Yr un olwyn! beth? pa fath *drap* ydyw?" "*Trap* llygod!" Dychymyger am deimlad y cyllid-swyddwr.

## Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

### DOSBARTH CHERRA.

WRTH anfon ystadegau y dosbarth sydd dan ei ofal ef am y flwyddyn ddiweddaf, ysgrifenai y Parch. John Roberts, Chwefror 23ain, 1878, fel y canlyn:—

"Chwi welwch mai ychydig fu y cynnydd yn nifer y gwrandäwyr. Y mae yn bur hawdd rhoddi cyfrif am hyn. Cawsom wrthwynebiadau cryfion, a gwaethaf rhai mewn awdurdod yma. Bu hyny yn achos i rai beidio dyfod i'r capel. Cyfyngwyd finnau hefyd yn llwyr iawn i'r ysgol gan afiechyd U Jura (ail athraw yr Ysgol Normalaidd), fel nas gallwn fyned ond anfynych i'r pentref. Colli mawr hefyd oedd colli llafur U Jura fel efengylydd, heb son am yr ysgol. Y mae yr eglwys wedi cynnyddu cryn lawer er y colledion trymion a gawsom trwy ddiarddeliadau ac ymadawiadau i eglwysi eraill; y cyfan gyda'r rhai fu farw yn 23. Derbyniasom 34 ar brawf yn ystod y flwyddyn. Bedyddiwyd 13 o rai mewn oed, ac 8 o blant. Casgl-

wyd £18 at y weinidogaeth, a £7 10s. at doi y capel, a £5 at y newyn yn India; y cyfan yn gwneyd i fyny £30 10s. Y mae yma bawb yn bur heddychol â'u gilydd, pawb yn cyd-dynu mewn ysbryd rhagorol, a rhai yn gweithio yn dda iawn gyda'r achos. Y mae yma amryw o'r Cristionogion wedi gwneyd cynnydd amlwg mewn gras a gwybodaeth; y mae eraill bron yr un fath. Bu U Borsing Siim ar hyd y flwyddyn mewn treialon mawrion, ond y mae erbyn hyn yn gweled y làn, ac yr wyf yn gobeithio fod ei helbulon drosodd. Fel yr ysgrifenais atoch o'r blaen yn fyr, mae Hajammanick wedi ildio yn llwyr a chaniatâu i Borsing ei holl dir yn y gwastadedd.

"Yn Cherra y mae yr achos yn myned ymlaen yn weddol. Bydd yno ar y Sabboth o 20 i 30 yn bresennol. Y mae un wraig o Nongsawlia yma yn Cherra yn dysgu y menywod mewn oed i ddarllen; ac y mae erbyn hyn rai degau o wragedd mewn oed yn medru darllen y Bibl yn lled rwydd. Bydd Mrs. Roberts yn myned i fyny i'r pentref mor aml ag y gall i arolygu y gwaith, ac i egluro y Bibl i'r rhai sydd yn awyddus am hyny. Yn Nongrim y mae genym wraig o Gristion mewn oed, un sydd yn ddeallgar iawn yn y Bibl, yn dysgu y merched, ac y mae yn llwyddo i gael llawer o honynt i'r moddion Sabbothol. Y mae U Ksan a Ka Lapimon yn gweithio yn dda, ar y cyfan, yn Mawsmai. Y mae yno amryw yn dyfod i wrandaw, ac y mae yr ysgolion yn dal eu tir yn dda.

"Dal rywbeth yn debyg y mae pethau tua Sohbar. Y mae U Kher yn dal i weithio yn dda, ond y mae yn cwyno mai lled ddifywyd ydyw y Cristionogion. Y mae y grefydd Gassi yn colli tir yn gyflym yno, a chyn pen hir bydd yno bawb naill ai yn Gristionogion neu yn rhai heb Dduw yn y byd.

"A chymeryd golwg gyffredinol ar y gwaith, y mae genym lawer iawn o achos diolch i Dduw a chymeryd cysur. Y mae heddwch perffaith rhyngom oll fel Cenadon; nid wyf yn meddwl fod yn bosibl i gynifer o ddynion ffaeledig fod â gwell cyd-ddealltwriaeth rhyngddynt. Nid ydym wedi cytuno i segura chwaith. Y mae y Cristionogion yn cynnyddu mewn gwybodaeth a phrofiad, ac y mae nifer y gwrandäwyr yn agos i 600 yn fwy y flwyddyn hon na'r flwyddyn ddiweddaf, ac y mae dros 200 wedi eu hychwanegu at yr eglwysi. Y mae parch i air Duw ac awydd i'w ddeall yn cynnyddu hefyd yn gyflym iawn dros yr holl wlad. Y mae y darn hwnw o Cassia a elwir Khadsawphra wedi cael adfywiad rhyfeddol, ac fe ddylai Mr. Jerman Jones ar bob cyfrif gael bod yn rhydd am flwyddyn neu ddwy i arolygu a sefydlu yr achos yno. Yr wyf yn mawr obeithio mai felly y trefnir i Mr. Robert Evans fyned i Shillong, er galluogi Mr. Jones i roddi o leiaf dair rhan o bedair o'i amser rhwng Khadsawphra a Mawdem.

"Diwedd yr wythnos ddiweddaf a dechreu hon, cynnaliwyd Henaduriaeth yn Shella. Mae'n debyg y rhydd yr ysgrifenydd, Mr. John Jones, hanes manwl am yr holl weithrediadau, fel na raid i mi ond gwneyd rhyw sylw neu ddau. Fel yr ydych yn gwybod, yr oedd yr Henaduriaeth i fod yn Shella yn mis Hydref; ond pan gyrhaeddodd y cyfeillion hyd yma, daethai newydd fod y *cholera* yn Shella, felly trodd pawb drachefn i'w gartref. Fel y tro o'r blaen, gwnaeth pobl Shella babell tua deugain llath wrth ugain, ac yr oedd yn brydferth iawn,—yn llawn mwy felly na'r tro cynt. Yn y cyfarfod cyntaf ddydd Sadwrn, cafwyd ymddyddan am bregethu, i geisio argraffu ar feddyliau ein gilydd, mai y *Gair* oedd i gael ei bregethu, ac nid ein mympwyon ni ein hunain. Wedi hyny cafwyd hanes yr achos yn y Dosbarth. Mewn rhai lleoedd yr oedd pethau yn aros bron yr un fath, ond yn Shella ei hun a rhai lleoedd eraill, yr oedd yn amlwg iawn fod gwaith mawr iawn wedi cael ei wneyd—yr eglwys a'r gwrandäwyr wedi llïosogi yn ddirfawr. Wedi hyny cynnaliwyd cyfarfod gan y brodorion eu hunain, ac ymddengys iddynt gael cyfarfod da iawn. Am bump, pregethodd U Sati a Mr. Hughes, i gynnulleidfa lïosog. Y Sabboth am ddeg, pregethodd U Jang, Shangpoong, a minnau; am un pregethodd U Ksan a Mr. Jerman Jones; am bump, pregethodd Mr. Hughes. Yr oedd y Tabernacl yn llawn iawn y ddau gyfarfod cyntaf; nid wyf yn meddwl fod yno nemawr lai o bobl os dim y tro hwn na'r tro o'r blaen. Am wyth o'r gloch boreu ddydd Llun, cafwyd cyfarfod i ymdrin am "Gariad brawdol," ac wedi gorphen, cafodd pawb o'r dyeithriaid eu gwala a'u gweddill o gig moch, a reis, gan un o bobl Shella, o'r enw U Monsing. Cafwyd cyfarfod da rhagorol drwyddo—gwell, mi dybygwn, na'r cyffredin. Gobeithio i lawer o'r had da a hauwyd gael tir da, ac y bydd iddo ddwyn ffrwyth toreithiog yn y dyfodol. Yr oedd Mr. a Mrs. Jones, a'r un bychan, yn weddol iach, er nad yn hollol felly."

---

## YR YSGOL NORMALAIDD.

DIAU y bydd yn dda gan ein darllenwyr weled y dyfyniadau canlynol o adroddiad Dr. Martin, Arolygydd Ysgolion dros y Llywodraeth yn Nhalaeth Assam, am ei ymweliad eleni â'r sefydliad athrawol yn

**Nongsawlia. Ymgymerodd Dr. Martin ei hunan â dwyn ymlaen yr arholiad yn y rhan fwyaf o'r materion. Yr ydym yn barnu mai gwell rhoddi yr adroddiad yn ngeiriau yr Arolygydd, gan adael allan yn unig ryw awgrymiadau nad ydynt o ddyddordeb ond i athrawon y sefydliad.**

"I inspected the Normal School at Cherrapoonjee on the 9th of January, 1878. I was very much pleased with the progress made by the boys, and by the school, since my last visit. I do not remember to have ever seen the boys of this school so far advanced. Great pains has plainly been taken in getting the boys to pronounce English properly. * * In Arithmetic I found the boys of the first three classes much further advanced than I expected. * * * In Algebra some of the First class boys shew that they have worked up to Simple Equations (inclusive), and have understood how to work with symbols. * * I have already spoken about *English*, but I should add that I gave a paper on English Grammar, and the boys of the first classes answered very creditably indeed. The Third class boys did remarkably well in Arithmetic up to Vulgar Fractions (inclusive). To one boy I was able to give full marks in this subject. The lower classes all seemed to be doing very well too.

"I was very much pleased with the state of the Girls' School. Mrs. Roberts has brought the girls on wonderfully. I could not spend much time with them, but I was able to see that their progress has been most satisfactory.

"On the whole both Schools are doing very well under the able and patient management of Mr. and Mrs. John Roberts.

"C. A. Martin,
"Inspector of Schools, Assam."

"Yr wyf yn sicr," meddai Mr. Roberts, wrth gyfeirio at yr Adroddiad hwn, "y bydd yn dda genych chwi yna wybod beth yw barn dyn o safle Dr. Martin, am sefyllfa yr ysgol, ac yr oedd yn llawenydd mawr i ninnau ddeall fod ein llafur yn gymeradwy ganddo. Y mae yr ysgolion hefyd yn dal eu tir yn dda, gyda golwg ar y nifer sydd yn eu mynychu. Yr wyf yn ymwybodol iawn fod cryn gost gyda'r ysgolion hyn, ond rhaid i ni wrthynt, gan nas gall gair Duw gynnyddu yma heb i'r bobl allu ei ddarllen. Yn yr ysgolion hyn y mae y Bibl yn cael ei ddysgu hefyd, ac y mae erbyn hyn *bron yr oll* o'r athrawon yn Gristionogion. Yma hefyd, fel yn yr ysgolion ar hyd a lled y wlad, y mae y plant yn dyfod i'r moddion ar y Sabboth: gallwch deimlo yn hollol dawel fod yr ysgolion, ac hyd yn nôd yr ysgol hon o eiddo y Llywodraeth, yr ysgolion cenadol yn ngwir ystyr y gair. Ac nid wyf wedi cael un lle i feddwl fod gan neb o swyddogion y Llywodraeth un gwrthwynebiad iddynt fod felly.

"Blwyddyn o weithio caled iawn y cefais i y flwyddyn ddiweddaf, gan fod yr ail athraw, U Juramon, wedi bod yn sal ar hyd y flwyddyn. Weithiau, yn wir yn fynych, yr oeddwn yn gorfod bod yn yr ysgol o hanner awr wedi chwech yn y boreu hyd dri o'r gloch brydnawn, heb gael ond prin amser i gael tamaid o fwyd, a chadw addoliad teuluaidd. Da genyf ddyweyd fod U Jura wedi gwella llawer erbyn hyn, ond nid yw wedi d'od yn ol yma. Pa fodd bynag, yr wyf yn ei ddysgwyl o hyn i ben mis. Yr oedd fy mod yn cael fy nghyfyngu fel hyn mor llwyr i'r ysgol, yn peri nas gallaswn wneyd ond ychydig, mewn cymhariaeth, mewn ffordd o ymweled â'r pentref i ymddyddan â'r bobl. Yr wyf yn gobeithio yn fawr y caf fwy o hamdden i hyny y flwyddyn hon."

---

## DOSBARTH SHILLONG.

Llythyr oddiwrth y Parch. T. Jerman Jones, dyddiedig Shillong, Mawrth 9, 1878.

[Golwg ar waith y flwyddyn ddiweddaf—Cynnydd —Mawdem, Khadsawphra, Shillong—Yr Ysgolion Dyddiol: eu perthynas âg efengyleiddiad y wlad—Anghen am weithwyr—Rhanau heb eu meddiannu.]

Mae blwyddyn eto wedi myned heibio, a dylaswn cyn hyn fod wedi anfon atoch ychydig o sylwadau ar y gwaith yn y Dosbarth hwn, ond fy mod oblegid teithio mynych yr wythnosau diweddaf, a gorchwylion eraill, yn methu cael hamdden.

Dylwn yn gyntaf a phenaf gydnabod daioni Duw, am ei ofal dros y gwaith a'r Cristionogion, a throswyf finnau, y flwyddyn ddiweddaf. Ni a gawsom lechu dan ei gysgod, estyniad dyddiau ac iechyd gweddol i fwynhâu ei fendithion; ac yr ydym, er ein holl annheilyngdod a'n diffygion, wedi cael rhai profion nad yw ein llafur gyda'r gwaith yn ofer yn yr Arglwydd: ac i'w enw Ef yn unig y byddo yr holl glod!

Mae y gwaith wedi llwyddo peth yn ystod y flwyddyn; bu cynnydd yn yr holl eglwysi a'r cynnulleidfaoedd yn y Dosbarth, fel y gwelwch wrth y tafleni a anfonwyd adref. Mae y cymunwyr yn fwy o 27, mwy yn yr eglwysi o 100, yr Ysgol Sabbothol o 185, a'r gwrandäwyr o 166. Mae cynnydd wedi bod yn y tair eglwys sydd yn y Dosbarth, ond yn Khadsawphra y bu fwyaf o un man: darfu i'r eglwys fechan agos dreblu yn ystod y flwyddyn.

Am eglwys Mawdem, yr wyf wedi anfon i chwi yn barod hanes fy ymweliad â'r rhan hono o'r wlad yn mis Ionawr diweddaf, ac nid wyf wedi clywed dim oddiyno

ar ol hyny, ond fod y gwaith yn parhâu i fyned rhagddo, ac nad oes dim anghysurus wedi dygwydd. Yr wyf yn mawr obeithio na bydd i ddim gymeryd lle i darfu ac aflonyddu y ddeadell, ond y bydd iddynt barhâu mewn cariad at yr Iesu ac at eu gilydd, a ffyddlondeb a chydweithrediad gyda'r achos.

Mae gwedd lawer mwy calonogol a gobeithiol ar yr achos yn Khadsawphra yn awr nag ydoedd y flwyddyn flaenorol. Mae yno yn bresennol bregethu a chyfarfodydd crefyddol eraill yn cael eu cynnal yn rheolaidd mewn pedwar neu bump o bentrefi, a nifer gweddol yn gyffredin yn dyfod at eu gilydd i wrando gair y bywyd, ac amryw dealuoedd wedi ymwrthod â'r cythreuliaid a'u haddoliad, yn dysgu darllen gair Duw, ac yn dyfod i'r cyfarfodydd ar y Sabboth, a nifer wedi cofleidio Cristionogaeth. Ond yr hyn y maent yn ddiffygiol ynddo yw gwybodaeth o air Duw ac o drefn yr efengyl; ni ellid dysgwyl yn amgen mewn rhai wedi treulio hanner eu hoes yn nghanol tywyllwch ac ofergoeledd. Mae anghen mawr am ryw Acwila a Phriscila i'w cymeryd atynt ac agor iddynt ffordd Duw yn fanylach. Os nad ellir gwneyd hyn, yr wyf yn ofni mai bychan fydd eu cynnydd yn ngras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist; ac nid yn unig na bydd iddynt gynnyddu, ond yr wyf yn pryderu rhag y dygwydd i rai o honynt yn niffyg hyn ddiffrwytho a throi yn ol i'w hen lwybrau ac at eu hen ddefodau. Yr ydym yn ceisio gwneyd a allwn i gyfarfod yr anghen hwn. Yn ychwanegol at yr addysg grefyddol a gyfrenir gan athrawon yr ysgolion dyddiol yno, yr ydym yn anfon Efengylydd oddiyma yn bwrpasol i'w dysgu yn mhethau crefydd, ac y mae eglwys Shillong wedi ymgymeryd â thalu ei holl gyflog am o chwe' mis i flwyddyn, fel y gallo roddi ei holl amser i'w hyfforddi mewn gwybodaeth grefyddol. Yr ydym yn hyderu y bydd hyn yn beth help i'w harwain ymlaen. Fel y mae y gwaith yn myned rhagddo mae ein cyfrifoldeb yn cynnyddu, ac y mae yn debyg o ddyfod yn faich trwm cyn hir, ac fe fydd yn rhaid i ni fel Cenadaeth feddwl am foddion mwy effeithiol a chyffredinol i addysgu y dychweledigion yn ngwirioneddau a dyledswyddau crefydd Crist. Ni ddylid tynu i lawr nes bod genym foddion adeiladu, a'r defnyddiau wedi cael eu parotoi.

Mae yr achos yn Shillong hefyd wedi cerdded ychydig, ac yn dal i gerdded yn araf. A chymeryd y flwyddyn gyda'i gilydd, darfu i'r Cristionogion yma weithio yn dda: dangosasant dipyn o zel a gweithgarwch a deffroad. Mae amryw o'r Cristionogion hyn yn ngwasanaeth y Llywodraeth, ond y maent yn rhydd ar y Sabboth, a byddant yn arfer myned bob yn ail i'r pentrefi cylchynol—weithiau fore Sabboth, weithiau yn yr hwyr, i bregethu; a byddant yn gyffredin yn cael tipyn o gynnulleidfa. Fel hyn y mae gwybodaeth o air yr Arglwydd yn cael ei thaenu mewn pentrefi bychain, a bydd rhai personau o honynt yn dyfod yma yn achlysurol ar y Sabboth. Ond rhwystrau mawrion sydd ar ffordd cerbyd yr efengyl yma, ac nid oes dim a'u symud o'r ffordd ond nerth gras ein Duw ni: nid oes neb ond Ysbryd Duw a all blygu y bobl wargaled hyn, eu hargyhoeddi a'u dychwelyd o gyfeiliorni eu ffordd — newid eu calon, darostwng eu balchder, a dyfod â hwynt i ddysgu fel plant bychain wrth draed yr Arglwydd Iesu.

Dylwn eto ddyweyd gair am yr ysgolion dyddiol, y rhai sydd yn ffurfio rhan bwysig yn efengyleiddiad y Bryniau. Er cymaint sydd wedi ei ddyweyd o bryd i bryd am danynt,—y dull y cerir hwynt ymlaen, a'r addysg a gyfrenir ynddynt, a'u dylanwad ar y pentrefi, yr wyf yn teimlo fod yn dra anhawdd i chwi yna ffurfio dirnadaeth gywir am danynt. Y mae swm cyflog yr athraw, er fod rhan o hono yn dyfod oddiwrth y Llywodraeth, yn ymddangos yn llawer i'w dalu i athraw ysgol; ond nid yw yn ymddangos felly i ni yma. Un ffaith mewn perthynas iddynt yw eu bod oll yn ysgolion crefyddol, y Bibl yn cael ei ddarllen a'i ddysgu ynddynt yn wastad; yn wir, efe yw y prif lyfr ynddynt, a llyfrau crefyddol eraill yn ei ddilyn, yr Holwyddoreg, yr Hyfforddwr, Taith y Pererin, *Come to Jesus*, &c. Mae yr athrawon agos oll yn Gristionogion. Dyma Ddosbarth Shillong, nid oes yma ond tri heb fod yn Gristionogion, a bydd un o'r rhai hyny yn ymuno â'r eglwys y mis hwn. Yr wyf yn credu na chamgymerwn lawer pe dywedwn fod saith o bob wyth o'r holl athrawon dros y Bryniau yn Gristionogion; dichon fod naw o bob deg, ond nid yw y cyfrif wrth law y fynyd hon. Yr ydym yn wastad yn cadw mewn golwg, ac y mae cyfnewidiad mawr er gwell wedi cymeryd lle yn hyn y blynyddoedd diweddaf. Fel hyn y mae yr athraw nid yn unig yn athraw yn dysgu yn yr ysgol, ond hefyd yn dysgu crefydd, yn ymddyddan â'r bobl, yn ymweled â hwynt yn eu tai, yn cynnal cyfarfodydd crefyddol ar y Sabboth, yn hyfforddi y Cristionogion os dygwydd y bydd yno rai yn y pentrefi. Bydd ef yn pregethu, yn cynghori, ac yn rhybuddio, yn ceisio dysgu ac arwain yr hen a'r ieuainc at y Gwaredwr. Yn y ffordd hon y mae yr ysgol yn dyfod yn gnewyllyn achos crefyddol; a lle y mae athrawon llafurus a ffyddlawn, yr ydym yn gweled effeithiau

daionus mewn gweled personau, rhai yma a rhai acw, yn troi at Dduw. Mae dysgu y bobl i ddarllen a deall gair yr Arglwydd yn rhan bwysig—yn rhan hanfodol, o'r cynllun sydd wedi ei fabwysiadu i wasgar goleuni a gwybodaeth o Dduw ac o'r Bibl dros y Bryniau. Ac os yw ein Cenadaeth i lwyddo—os ydyw i chwalu y tywyllwch a'r anwybodaeth, i ddarostwng ofergoeledd ac addoliad cythreuliaid, a dyrchafu y llwythau hyn—eu dwyn i adnabod ac ymddiried ac ufuddhâu i Grist fel eu Gwaredwr a'u Brenin, yr wyf yn hollol argyhoeddedig mai dyma y ffordd oreu i gyrhaedd hyn,—y ffordd oreu yn sefyllfa bresennol y bobl a'n Cenadaeth ninnau. Dichon y gwelir yn y dyfodol y bydd yn anghenrheidiol a doeth mabwysiadu rhyw gynllun arall. Ond mor bell ag yr wyf yn gallu gweled a barnu, dyma y ffordd oreu i gario y gwaith ymlaen yn awr, sef gweithio drwy yr ysgolion hyn. Gydag ychydig iawn o eithriadau—os oes rhai hefyd i'w cael o gwbl, mae y Cristionogion oll yn dyfod o bentrefi yn y rhai y mae ysgolion, neu o rai ar gyffiniau pentrefi felly.

Dyma un ffaith fel yn dwyn perthynas â hyn, a ffaith ddyddorol yw: mae yn holl Dalaeth Assam tua 32,000 o blant dan addysg; o'r nifer hwn nid oes ond 518 yn blant ag y mae eu rhieni yn Gristionogion; o'r 518 hyn y mae 308 yn blant o Cassia a Jaintia.

Dyma i chwi frawddeg neu ddwy o *Educational Report* Dr. Martin, Arolygwr yr Ysgolion, am y flwyddyn 1876—77,—

"The cost of education in the hills is necessarily abnormally great. When it is not easy to obtain a common coolie for less than R10 [20 swllt] a month, it is clear that a man with some little education cannot be expected to serve for a smaller sum, and yet in the plains numerous applications would be received from tolerably good pundits for posts worth from R8 to R10 a month. Thus, each primary school costs on an average R130 (£13); and it is difficult to see how it could be kept in working at a smaller cost. An average daily attendance of 13 to each school cannot be looked upon as low, when we consider how small and scattered the villages are as a rule throughout the hills. * * * It is in the Khasi and Jaintia hills alone that there is any regular and systematic teaching of girls. To the missionaries and their wives all the credit on this account is due. Of the 76 schools in existence at the close of the year, 15 were girls' schools; and of 1882, pupils 458 were girls; or, in other words, 24 per cent. of the pupils in 1876—1877 were girls, against 21 per cent. in the year 1875—1876."

Mae arnaf ofn eich llwytho wrth ddyfynu, ond dyma i chwi frawddeg o "*Resolution*" y *Chief Commissioner* ar yr *Educational Report*,—

"The sum spent by the Welsh Calvinistic Mission on educational operations in the Khasi and Jaintia hills is, as Dr. Martin remarks, large, and it appears to be laid out to the best advantage. The educational work performed by the missionaries in these hills is very valuable, and their efforts appear to be attended with increasing success."

Chwi welwch fod swyddogion y Llywodraeth yn siarad ac yn barnu yn ffafriol am ysgolion y Genadaeth, ac fod ein hymdrech i addysgu y bobl yn cael ei werthfawrogi ganddynt. Ond nid ydynt hwy yn edrych arnynt, nac yn eu barnu, yn ddim pellach na moddion addysg yn unig, ond yn yr ystyr yma derbyniant eu cymeradwyaeth; tra yr ydym ni yn edrych ar ddysgu darllen, ysgrifenu, &c., fel moddion i wareiddio ac yn enwedig i efengyleiddio y bobl. Addysg yn llawforwyn i'r efengyl yw hi gyda ni.

Mae un mater arall y carwn ddyweyd gair bychan arno, sef, yr anghenrheidrwydd pwysig—os ydym am feddiannu yr holl Fryniau hyn yn enw ac i Iesu Grist, am ychwaneg o Genadon yma, a hyny mor fuan ag y gellir. Oddiwrth ryw sylwadau a welais yn cael eu cyhoeddi gartref fwy nag unwaith, ymddengys fod yna ryw nifer o leiaf yn tybio, ac o bosibl yn credu, fod yr holl Fryniau agos a chael eu dwyn dan ddylanwad Cristionogaeth, ac felly nad oes anghen am ychwaneg o weithwyr yma. Nid yn fynych y bu mwy camgymeriad. Nid oes eto ond rhan fechan iawn o'r Bryniau ac o'r bobl wedi eu dwyn dan ddylanwad yr efengyl. Mae poblogaeth y Bryniau tua 150,000; o'r nifer hwn nid oes ond ychydig dros 2000 yn wrandäwyr, ac ychydig uwchlaw 1000, a chyfrif y plant, yn yr eglwysi; mae hyn yn llwyddiant mawr, ond beth yw hyn wrth ei gymharu â'r miloedd ydynt yn aros yn y tywyllwch ac yn addoli duwiau gau? Nid oes ond ychydig lwyni bychain yma a thraw o wyrddlesni, yn nghanol anialwch sych a thywodlyd, heb laswellt na dwfr. Hefyd mae y trigolion yn wasgaredig dros wlad fawr agos gymaint a Chymru (gallwn dybio). Y cyfartaledd yw, yr wyf yn meddwl, tua 23 o bersonau i bob milldir ysgwar; ond yn fil anhawddach ei theithio na Gwlad y Bryniau. Mae rhanau helaeth o'r wlad yn cynnwys poblogaeth lïosog, yn y rhai nad oes nac ysgol na Christion; ac nid yn unig hyny, ond ni bu cenadwr erioed yn ymweled â hwynt. Fe allai fod hyn yn swnio yn rhyfedd, ond dyna y ffaith; a phe gofynid am y rheswm byddai yn hawdd ei roddi, a rhoddi amryw hefyd: un ydyw ein bod yn methu yn lân a chael amser i hyny, er

meddwl, a threfnu, a dymuno, a gweddïo, eto methu a chael hamdden. O hyny y cyfyd yr anghenrheidrwydd am ychwaneg o weithwyr.

Mae amryw o freniniaethau Cassia rhyngom â'r Garo Hills, yn cynnwys rhai o honynt, megys Nongstoin, Maram, &c., boblogaeth lïosog, nad ydym eto wedi bod unwaith yn ymweled â hwynt, heb son am eu dwyn o dan ddylanwad Cristionogaeth. Rhwng Cherra a Jaintia y mae rhan fawr o wlad yn perthyn i deyrnas Nongkrem, a elwir Khadarblang, ac yn wynebu y Gwastadedd, lle y mae amryw bentrefi yn cynnwys o gant i ddau gant o dai, ond ni bu neb eto yn ymweled â'r parth hwnw, mor bell ag yr wyf fi yn deall. Ac y mae llawer o bentrefi a chymydogaethau mewn rhanau eraill o Cassia na buwyd yn ymweled â hwynt erioed, ac heb wybod dim am y Gwaredwr fu farw drostynt. A phe yr elid dros y terfyn i Jaintia, dylai fod yno dri o Genadon beth bynag—un yn y canol, un tua'r dwyrain, ac un arall yn agos i'r Gwastadedd; byddai gan bob un felly tua 14,000 o eneidiau i edrych am eu dysgu yn ffordd y bywyd,—digon o waith fe fuasid yn tybio.

Ar gyfer yr holl eneidiau hyn yn wasgaredig dros wlad fawr fel Cymru, nid oes yma ond pedwar oll—un ar gyfer 36,000 o bersonau; ac eto fe ddywedir nad oes anghen am ragor o weithwyr oddicartref. Yr hyn ddymunwn i'r rhai sydd yn tybio felly fyddai iddynt ddyfod yma am un flwyddyn a gweled a theimlo y wlad â'r bobl, ac yna yr wyf yn bur sicr y dychwelent yn ol wedi cael cyfnewidiad a'u llwyr argyhoeddai o'u mawr gamsyniad.

Gymaint o bregethwyr ac ysgolfeistriaid, o gynghorwyr, a diaconiaid, &c., sydd yn Sir Fôn a Sir Aberteifi, ac eto, dyma ni, bedwar o honom—gyda 150,000 yn wasgaredig dros wlad fawr fryniog, nantiog, ac anhygyrch, a'r rhai hyny yn Baganiaid zelog, yn addoli cythreuliaid oes ar ol oes, ac wedi suddo yn ddwfn mewn anwybodaeth ac ofergoelion a llygredigaethau,—yn rhodio yn ol helynt y byd hwn, yn ol tywysog llywodraeth yr awyr; a dyma yr ysbryd sydd yn awr yn eu llywodraethu, iddo ef y maent yn ufuddhâu, yn cyflawni ewyllysiau y cnawd a'r meddyliau, ac y maent heddyw yn blant digofaint. Ac fel y mae y Llywodraeth—yr hon sydd yn awr yn eu canol—yn gwthio yn gyffredin wareiddiad digrefydd ar y bobl, y mae arfer dyfod i gyffyrddiad mynych âg Ewropeaid heb ofni Duw, ac â'r fath nifer o Bengaliaid twyllodrus ac anfoesol, yn cael argraff annymunol iawn arnynt, nes peri iddynt wrth gopïo pethau gwaethaf y ddau suddo yn ddyfnach mewn pechod ac aflendid, a dyfod mewn canlyniad yn llawer mwy anhawdd dylanwadu arnynt gan Air Duw. Mae hyn yn rheswm ychwanegol dros frysio rhag i nifer llïosog gwympo i'r pydew hwn.

Mae y pethau hyn oll, gyda llawer eraill a allesid grybwyll, yn dyweyd y dylai nifer ein Cenadon fod yn ddwbl o leiaf. Pe byddai genym ddeg yma, gallem feddwl y gwnaem rywbeth yn effeithiol tuag at achub y bobl hyn. Yr ydym yn gwneyd ein goreu yn awr, ond gwnaem fwy ddengwaith wed'yn, a gallem gredu a dysgwyl, ar sail addewid Duw, y deuai y Bryniau yn eiddo Iesu Grist. Nid wyf yn credu fod ein Cyfundeb erioed wedi deffro unwaith i bwysigrwydd y gwaith, gwerth y fraint, a'r ffafr a roddes Duw i ni pan yr ymddiriedodd i'n Heglwys gartref y gorchwyl gogoneddus o ddwyn y llwythau hyn o feddiant Satan i fod yn eiddo ac yn goron gogoniant i'n Harglwydd Iesu Grist. Cyfundeb o chwarter miliwn o eneidiau yn proffesu eu bod yn caru Iesu Grist yn fwy na phawb ac na phobpeth, ac eto yn casglu dim ond £3000 neu lai mewn blwyddyn i anfon yr ymadrodd am y groes i dywyll-leoedd y ddaear ydynt yn llawn o drigfanau trawsder; ac y mae dynion yn brinach na hyny. Gobeithio y bydd i eglwys Dduw ddeffro o ddifrif at y gwaith hwn, a chyfodi ar ei thraed i weithio mewn ffydd a chariad dros yr Iesu, ac nad eistedda mwy nes gweled yr holl bechaduriaid wedi dyfod i addoli y gwir a'r bywiol Dduw. Mae addewidion y Bibl o'n plaid, ac y mae marwolaeth y Mechnïydd yn sail ddigonol. "O lafur ei enaid y gwel, ac y diwellir." Mae llafur enaid yr Iesu yn sicr o gael ei dâl, ond y mae eglwys Dduw wedi ei gadw yn hir iawn i ddysgwyl—wedi dysgwyl am agos ddwy fil o flynyddoedd, ac eto heb ei wobr. Beth a wnaethom ac a wneir genym ni tuag at ddiwallu ei enaid Ef? dyna y mater i ni. Pa fodd yr edrychwn yn ei wyneb a ninnau yn gwneyd can lleied drosto? Fe dywalltodd Ef ei enaid i farwolaeth; a ydym ni yn tywallt rhywbeth—ein hunain neu rywbeth a feddwn, drosto ac er ei fwyn Ef?

Mae yn dda genym glywed fod Mri. Griffiths ac Evans yn hwylio dyfod drosodd yma, ac fod genym obaith eu gweled yr ochr hon i'r ddaear cyn pen 12 mis. Ni a fawr hyderwn y cyrhaeddant yn ddiogel, ac y cawn yr hyfrydwch o gydlafurio â hwynt am dymmor gyda theyrnas yr Arglwydd Iesu. Ond ai nid oes genych bump neu chwech eto yn cael eu parotoi ar gyfer meusydd Cenadol; rhai i India a rhai i Llydaw, er eu hanfon i efengylu pethau daionus, pethau y bywyd, i drueiniaid ydynt yn marw o eisieu gwybodaeth?

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 572.] MEHEFIN, 1878. [LLYFR XLVIII.

## DYSGEIDIAETH YR YSGOL SABBOTHOL, A'R CYMHWYSDER GOFYNOL YN Y DEILIAID I'W CHYRHAEDD.

PREGETH A DRADDODWYD MEWN CYFARFOD BLYNYDDOL YSGOLION SABBOTHOL GWAELOD SIR DREFALDWYN, YN Y FLWYDDYN 1875.

GAN Y PARCH. ROBERT DAVIES, AMWYTHIG.

IOAN vii. 16, 17: "A'r Iesu a atebodd iddynt, ac a ddywedodd, Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i. Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru."

Y PETH pwysicaf o ddigon i'w gadw mewn golwg ynglŷn â'r Ysgol Sabbothol yw natur uchel ei dysgeidiaeth. Ein perygl yn barhâus yw anghofio ei hamcan mawr, a myned i edrych arni fel sefydliad i gyrhaedd amcanion îs. Un amcan mawr sydd iddi; ac nid yw yr holl bethau eraill y mae hi yn eu cyflawni ond y moddion a ddefnyddir ganddi ar ei ffordd i gyrhaedd yr un amcan hwnw. Y mae yn wir ei bod hi yn dysgu yr anfedrus i ddarllen; ond nid hyny yw ei phrif amcan: y mae yn wir ei bod hi yn cynnorthwyo ei deiliaid i gyrhaedd elfenau gwybodaeth gyffredinol, megys hanesyddiaeth a daearyddiaeth gwahanol wledydd a gwahanol amseroedd ar y byd, ynghyd a changenau eraill o wybodaeth; ond nid hyn yw ei chenadwri benodol tuag at y byd. Y mae yn wir ei bod yn dysgu duwinyddiaeth i'w deiliaid, ac yn eu hyfforddi mewn moes a gwareiddiad; ond nid ydyw yn gorphwys ar hyn ychwaith. Nid yr un o'r pethau hyn, na'r oll gyda'u gilydd, sydd yn gwneyd i fyny amcan yr Ysgol Sabbothol. Wrth gyflawni y pethau hyn, nid yw ond yn gwneyd ei gwaith parotöol i'w phrif amcan, sef y gwaith hwnw o'i heiddo ag sydd yn cyfateb i oruchwyliaeth Ioan Fedyddiwr yn ei pherthynas â goruchwyliaeth uwch. Efe oedd "lef un yn llefain yn y diffeithwch, Parotowch ffordd yr Arglwydd; gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef. Pob pant a lenwir, a phob mynydd a bryn a ostyngir, a'r gŵyrgeimion a wneir yn uniawn, a'r geirwon yn ffyrdd gwastad." Yn gyffelyb y gellir dyweyd am yr Ysgol Sabbothol, fod pantiau anwybodaeth yn cael eu llenwi, a mynyddau a bryniau o dywyllwch a rhagfarn yn cael eu darostwng ganddi, a llawer o syniadau gwyrgam y ddynoliaeth am Dduw a phethau ysbrydol yn cael eu gwneyd yn uniawn ganddi; ac y mae hi yn gwneyd ffyrdd geirwon anfoesoldeb mewn cymdeithas yn wastad. Ond wrth wneuthur yr holl bethau hyn, nid yw ond yn gwneyd ei gwaith parotöol i gyrhaedd ei hamcan mawr; a'r amcan hwnw ydyw *arwain a dysgu ei deiliaid i ddyfod i afael â bywyd ysbrydol a thragywyddol.* Nid rhoddi syniadau yn unig yn mhen y deiliaid am Dduw a phethau crefydd yw ei hamcan penaf, ond eu cyfarwyddo i ddyfod i afael â gwirionedd a bywyd crefydd. Y mae hi yn gwneyd ychwaneg na gwaith

Ioan Fedyddiwr. Y mae hi yn sefydliad yn yr hwn y mae goruchwyliaethau Ioan a'r efengyl yn cael eu cyfuno.

Pan leferir gan hyny am yr Ysgol Sabbothol, fel y gwneir yn fynych, fel llawforwyn i'r efengyl, nid oes ond un rhan o'r gwirionedd am dani yn cael ei gyflwyno i'n sylw trwy y gymhariaeth gyffredin hon. Y mae yn wir ei bod yn gwneyd gwasanaeth llawforwyn i'r efengyl; ond nid ydym o'r ochr arall i edrych ar yr Ysgol Sabbothol fel offerynoliaeth i gyrhaedd amcan is nag sydd mewn golwg gan yr efengyl ei hunan. Yn hytrach, gellir dynodi y rhan arall o'r gwirionedd am dani, trwy ddyweyd mai merch yr efengyl ydyw, yr hon sydd wedi ei geni ar ddelw ei mam, a'r hon sydd i arddangos yn ei chynnydd parhâus fwyfwy o ddelweddau a rhagoriaethau ei mam. Yr Ysgol Sabbothol yw planigfa yr efengyl, lle y mae ei blagur cyntaf yn tarddu allan. Yma y mae bywyd ac egwyddorion ysbrydol yr efengyl yn cael eu meithrin yn y planigion ieuainc.

Pa beth bynag arall y mae yr Ysgol Sabbothol yn ei wneyd heblaw dysgu ei deiliaid i ddyfod i afael â bywyd crefydd, y mae hyny i gael ei ystyried genym fel rhan o'r offerynoliaeth sydd ganddi tuag at gyrhaedd yr un amcan mawr hwn. Ond nid ydym heb ganfod arwyddion lled amlwg weithiau ein bod yn yr Ysgol Sabbothol wedi myned i orphwys yn ormodol ar yr offerynoliaeth yn unig, gan golli golwg ar yr un dyben mawr sydd i fod yn barhâus o'n blaen. Clywsom rywdro am ddosbarth wedi treulio rhai Sabbothau yn olynol i geisio penderfynu beth oedd y seren ag oedd yn arwain y doethion gynt o'r dwyrain, ac, wedi methu penderfynu eu hunain, yn apelio at yr arolygwr, yr hwn a weinyddodd gerydd priodol iddynt, pan ddywedodd, "Druain bach, yr wyf yn ofni eich bod wrth fyned gymaint ar ol y seren wedi anghofio am y Mab bychan." Y mae yr hanesyn hwn yn egluro ein meddwl pan yn dyweyd ein bod yn ofni fod yr Ysgol Sabbothol wedi myned i orphwys yn ormodol ar yr offerynoliaeth sydd ganddi, gan golli golwg ar yr amcan uchaf sydd iddi.

Gwall cyffredin iawn ymysg dynion gyda phobpeth ydyw camgymeryd y moddion am y dyben. Y maent yn syrthio i'r gwall hwn gyda golwg ar eu bywyd naturiol yn y byd yma. Y mae bwyta ac yfed ac ymddilladu wedi cael eu trefnu gan y Creawdwr i fod fel moddion i gynnal y bywyd hwnw; ond y mae cynnefindra parhâus dynion â'r pethau yma wedi peri iddynt fyned i edrych arnynt fel dyben eu bywyd yn lle y moddion. Yn lle bwyta ac yfed ac ymddilladu er mwyn byw, y maent yn byw er mwyn bwyta ac yfed ac ymddilladu. Eu cwestiynau parhâus ydynt, "Beth a fwytäwn, beth a yfwn, ac â pha beth yr ymddilladwn?" Y mae dynion yn gwneyd yr un camgymeriad hefyd mewn cylch uwch na chylch eu bywyd naturiol. Y maent yn camgymeryd ordinhadau crefydd am fywyd crefydd. Oddiar y cyfeiliornad hwn y tardd yr holl ymryson sydd yn ein gwlad ynghylch defodaeth. Helynt mawr yr oes hon yw ynghylch trefniadau a rheolau a chynlluniau allanol gyda phobpeth. Ymofyniad llawer gyda golwg ar grefydd ydyw, Pa seremonïau, a pha ddefodau, a pha ordinhadau i'w harfer? fel pe byddai crefydd yn y diwedd yn gynnwysedig yn y pethau hyn. Nid yw y pethau hyn ar y goreu ond moddion. Y dyben mawr sydd i fod o'n blaen yn barhâus gyda chrefydd yw, cenedlu a chynnal a chynnyddu y bywyd ysbrydol yn enaid dyn. Y mae yr ymrafael ynghylch ordinhadau i fod yn ddarostyngedig i'r amcan mawr hwn.

Ac fel y mae dynion yn agored i syrthio i'r camgymeriad yma gyda golwg ar grefydd mewn ystyr eang, felly y maent gyda golwg ar unrhyw ran o waith crefydd. Y mae ein cynnefindra parhâus â gwaith ac offerynoliaeth yr Ysgol Sabbothol yn ein gosod yn y perygl o aros gyda hyny, ac anghofio y dyben mawr sydd i fod i'r cwbl. Y mae perygl i'r dysgu darllen a gwybod hanesyddiaeth a deall daearyddiaeth y Bibl, fyned yn ddyben genym, yn lle yn foddion i gyrhaedd dyben. Os nad yw dysgu darllen am Dduw, a dyfod i wybod am ei orchwyliaethau tuag at y byd mewn gwahanol oesau, yn creu ynom ofn a pharch a chariad tuag ato, gan ddwysâu y teimlad addolgar ynom, a pheri i ni ymostwng i'w awdurdod a'i lywodraeth fawr, y mae dyben uchel yr Ysgol Sabbothol heb ei gyrhaedd genym. Y mae y dysgu allan o air Duw sg sydd yn cael ei gymhell a'i feithrin yn y sefydliad hwn yn beth

tra gwerthfawr, ond gwerthfawr fel moddion yn unig; oblegid er y cyfan a ellir ei ddyweyd am ragoriaeth hyn, nid yr amcan eithaf yw trysori gair Duw yn y cof yn unig, ond ei gael i suddo i'r galon, gan ymagor a chynnyddu a ffrwytho yno. "Yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i," medd Crist wrth yr Iuddewon, "am nad yw fy ngair yn gèni ynoch chwi," sef, yn ymeangu ynoch chwi. Yr oedd ei air yn eu cof hwynt, ond nid oedd yn gèni yn eu calonau. Y mae cymaint o wahaniaeth rhwng gair Duw yn y cof yn unig â gair Duw yn y galon, ag sydd rhwng ŷd mewn ysgubor âg ŷd yn y ddaear. Ni ddaw dim ffrwyth o hono tra yn yr ysgubor, ond y mae yn gèni yn y ddaear, ac yn ffrwytho ar ei ganfed. Yr un modd hefyd, nid oes dim yn dyfod o air Duw yn y cof yn unig, ond fe ddaw ffrwyth o hono os bydd yn y galon. Dyben eithaf gan hyny trysori gair Duw yn y cof ydyw iddo ddisgyn oddiyno i'r galon, a gèni a dwyn ffrwyth. Nis gellir dyweyd gormod ychwaith am werth yr egwyddori o chwilio i mewn i wybodaeth dduwinyddol; a gresyn yw na byddai mwy o hyn yn bod nag y sydd, ac na byddai hyny a wneir yn y ffordd hon yn cael ei wneyd yn fwy egnïol a thrwyadl, yn enwedig mewn dyddiau pan y mae athrawiaethau Cristionogaeth mewn cyferbyniad i'w moesoldeb yn cael eu gwadu. Ond er hyny, os ydym yn aros gyda gwybodaeth dduwinyddol yn unig heb fyned ymhellach, y mae amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol yn cael ei golli er ein holl lafur. Er engraifft, nid ei hamcan uchaf ydyw rhoddi syniad cywir i ni yn y deall am bechod, ond dwyn argyhoeddiad o bechod adref at y galon. Nid ei hamcan yw ein galluogi i roddi deffiniad clir i'n gilydd o faddeuant, a chyfiawnhâd, a sancteiddhâd, a'n cynnorthwyo i ddangos yn eglur y gwahaniaeth rhyngddynt. Y mae gallu gwneyd hyn yn beth o werth mawr, ond nid yn y cyrhaeddiadau hyn y mae dyben yr Ysgol Sabbothol yn gorphwys. Y dyben mewn golwg yw, ein cael i feddu profiad ymarferol o'r pethau hyn ynom ein hunain. Ac wrth hòni fel hyn ddyben eithaf i ddysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol, nid ydym yn hòni iddi ond yr hyn sydd hefyd yn briodoledd i bob dysgeidiaeth fydol o unrhyw werth. Pe meddyliem am forwriaeth, er esiampl; y mae yn rhaid dysgu llawer o gangenau o wybodaethau mewn trefn i ddeall morwriaeth yn dda. Y mae yn cynnwys y wybodaeth am ffurf llongau, a'r modd i'w gweithio—gwybodaeth o ddaearyddiaeth, a rhyw gymaint o seryddiaeth, ac am berthynas y ddaear â rhai o'r cyrff nefol—ac y mae yn golygu dealltwriaeth da am wasanaeth a defnydd cwmpawd y morwr, trwy yr hwn y mae yn abl i weithio ei ffordd yn iawn yn nghanol eigion anfesurol y môr. Ond nid yw amcan eithaf morwriaeth yn gorwedd mewn deall yn dda yr un o'r cangenau hyn o wybodaeth, nac mewn deall yr oll o honynt gyda'u gilydd. Yr amcan eithaf yw hwylio yn ddiogel rhwng y naill borthladd a'r llall, gan gario ymlaen fasnach a thrafnidiaeth rhyngddynt, a dwyn gororau pellenig y ddaear i undeb ac agosrwydd â'u gilydd. Yn gyffelyb i hyn hefyd yr ydym yn edrych ar ddysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol, yr hon sydd yn cynnwys llawer o gangenau o wybodaeth; ond nid yw ei hamcan uchel yn cael ei gyrhaedd yn unig trwy ddeall yn dda y gwahanol gangenau hyny. Y mae yn anghenrheidiol i ni ddeall y Bibl yn dda, yr hwn yw llyfr yr Ysgol Sabbothol, a'r hwn yw ein cwmpawd i hwylio dros gefnfor amser. Ond nid yw hyn yn ddigon. Yr amcan eithaf yw gwneuthur cymhwysiad ymarferol o'r wybodaeth sydd ynddo, mewn cario trafnidiaeth barhâus rhwng ein heneidiau â byd arall, ac mewn dwyn y byd mawr ysbrydol a thragywyddol i agosrwydd atom, fel y byddom yn gweithredu o dan ddylanwad goruchel y byd hwnw.

Yr ydym wedi dewis geiriau y testun i wneuthur ychydig o sylwadau arnynt ar yr achlysur presennol, am eu bod yn ein golwg ni yn ein dwyn at wir ystyr ac amcan y sefydliad daionus, sef yr Ysgol Sabbothol. "A'r Iesu a atebodd iddynt, ac a ddywedodd, Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i," &c. Y ddysgeidiaeth hon, yr hon yw dysgeidiaeth Crist, a dysgeidiaeth y Tad, a dysgeidiaeth y Bibl, yw y ddysgeidiaeth ag sydd yn ffurfio amcan goruchel yr Ysgol Sabbothol.

Amcenir sylwi ar ddau beth—

I. Dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol. "Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo y Tad," &c.

II. Y CYMHWYSDER GOFYNOL YN NEILIAID YR YSGOL SABBOTHOL I GYRHAEDD Y DDYSGEIDIAETH HON. "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff wybod y ddysgeidiaeth," &c.

I. DYSGEIDIAETH YR YSGOL SABBOTHOL

(1.) *Y mae gan yr Ysgol Sabbothol ei dysgeidiaeth neillduol ei hunan.*

Y mae hi wedi ei sefydlu yn arbenig i ddysgu geiriau Crist, y rhai ydynt hefyd eiriau Duw. Yr un peth mae yr Arglwydd Iesu yn ei olygu yma wrth ei "ddysgeidiaeth" ag y mae yn ei olygu mewn manau eraill wrth ei "air" neu ei "eiriau," ac wrth ei "dystiolaeth." Y mae ei ddysgeidiaeth yn golygu yr hyn oll ag y mae ei genadwri i'r byd yn ei gynnwys. Yr ymadroddion syml cyntaf a nodwyd yw y rhai ag y mae Efe ei hunan yn eu defnyddio yn fynychaf am ei genadwri i'r byd. Y mae yn defnyddio y gair mwy ymhongar "dysgeidiaeth," yn y fan hon, mewn cymhwysiad at gwestiwn yr Iuddewon, "Pa fodd y medr hwn ddysgeidiaeth âg yntau heb ddysgu?" Pa fodd y mae efe, yr hwn na ddygwyd i fyny erioed wrth draed yr un Rabbi Iuddewig—pa fodd y mae Efe yr hwn na ddysgwyd erioed mewn un coleg dynol—yn medru dysgeidiaeth? Y mae yr Arglwydd Iesu yn ei atebiad yn addef y sefyllfa y maent yn ei roddi iddo fel Dysgawdwr, ac yn cydnabod fod ganddo ddysgeidiaeth yn gystal â dysgawdwyr eraill. Beth bynag yw yr honiad a wna dysgawdwyr y byd, a pha fanteision bynag y maent yn eu hawlio ynglŷn â'u dysgeidiaeth, nid yw yn petruso gosod ei hunan yn ogyfuwch â hwynt, gan ddyweyd, "Fy nysgeidiaeth." Ond ar yr un pryd er caniatâu ei fod yn ddysgawdwr fel eraill, a bod ganddo ddysgeidiaeth yn gystal ag eraill, er hyny dengys yn amlwg ei fod fel Dysgawdwr yn sefyll, nid ymysg dysgawdwyr eraill, ond yn wrthgyferbyniol i bob dysgawdwr arall, a bod ganddo ddysgeidiaeth sydd ar wahân oddiwrth bob dysgeidiaeth arall; obleg-id meddai, "Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i."

Ei ddysgeidiaeth ef yw dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol; ac yr ydym i gydnabod yn wastadol o ganlyniad fod dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol yn ddysgeidiaeth neillduol ac ar wahan oddiwrth bob dysgeidiaeth arall. Nid addysg fydol, nid gwybodaeth gyffredinol, y mae hi yn proffesu eu cyfranu i'w deiliaid. Y mae ysgolion a sefydliadau eraill yn bod sydd yn gwneyd hyn yn fwy effeithiol nag y gall hi ei wneyd. Ac fel ag y mae ysgolion a sefydliadau eraill i gyfranu addysg fydol a chyffredinol wedi cynnyddu mor ddirfawr yn ein gwlad, ac fel ag y mae yr anhawsder i ddysgu crefydd yn-ddynt wedi cynnyddu gyda hyny, dylai yr ystyriaeth yma ein gwasgu ninnau i ymroi yn fwy egnïol gyda'r un amcan mawr sydd i'r Ysgol Sabbothol fel sefydliad ar wahan oddiwrth bob sefydliad arall, sef dysgu ei deiliaid yn ngwirioneddau crefydd, ac mewn ymarweddiad sanctaidd.

Y mae pynciau y ddysgeidiaeth a gyfrenir yn yr Ysgol Sabbothol yn rhai neillduol iawn. Trwy y ddysgeidiaeth hon yr ydym yn dyfod i wybod am Dduw, ac am gyflwr dyn fel pechadur o dan gondemniad, ac am ddrwg pechod, ac am drefn yr iachawdwriaeth trwy ras, ac am y canlyniad ofnadwy o wrthod a dirmygu y ddysgeidiaeth hon, ac am sefyllfa dyn yn y byd tragywyddol. Dyma rai o gangenau y ddysgeidiaeth neillduol hon.

Y mae dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol yn neillduol hefyd yn yr awdurdod a berthyn iddi. Nid tybiaeth ansicr ydyw, fel llawer o ddysgeidiaeth y byd hwn. Nid damcaniaeth anmhrofedig ydyw, ond dadguddiad eglur—gwirionedd Dwyfol! Dywedir am y Dysgawdwr mawr ei hun, yr hwn yw ffynnonell y ddysgeidiaeth hon, ei fod "yn dysgu fel un âg awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion." Nid llythyren farw ydyw y ddysgeidiaeth hon, ond y mae awdurdod y tu cefn iddi; ac y mae grym deddf yn perthyn iddi. Nid yw yn gynnwysedig mewn cynifer o reolau a gosodiadau ac egwyddorion allanol, ond y mae yn "ysbryd" ac yn "fywyd," gan effeithio ar dynged pob dyn sydd yn dyfod i gyffyrddiad â hi. Nid llenwi y cof a goleuo y deall yn gymaint yw ei gwaith; ond "barnu meddyliau a bwriadau y galon." Y mae hi yn effeithio ar bob dosbarth o ddynion ag sydd wedi dyfod o fewn ei therfynau; nid yn unig ar y rhai sydd yn ei derbyn, ond hefyd ar y rhai sydd yn ei gwrthod. Nis gall deiliaid yr Ysgol Sabbothol rwystro ei

dysgeidiaeth i effeithio arnynt mewn rhyw fodd neu gilydd. Y mae hi yn "arogl bywyd i fywyd," neu ynte yn "arogl marwolaeth i farwolaeth," i bob un. Nid yn unig y mae hi yn "gyfodiad i lawer" o'r rhai sydd yn ei pharchu, ond hefyd yn "gwymp i lawer" o'r rhai sydd yn ei dirmygu, ac y mae "meddyliau llawer o galonau yn cael eu dadguddio" drwyddi hi. Y mae awdurdod a nerth mawr yn perthyn i'r ddysgeidiaeth hon, yr hyn sydd yn ei gwneyd yn neillduol ac ar wahân oddiwrth bob dysgeidiaeth arall. Da fyddai i'r ystyriaeth hon gael mwy o le yn meddyliau y rhai y perthyn iddynt, fel y byddo iddynt ddangos llai o'r hyfder a'r rhyfyg, y balchder a'r hunanoldeb anweddus ag y maent yn eu hamlygu uwchben gair Duw. Cofied deiliaid yr Ysgol Sabbothol yn wastadol nas gallant byth mwyach ymysgwyd oddiwrth effeithiau y ddysgeidiaeth a gyfrenir ynddi, ond fod natur yr effaith a gâ y ddysgeidiaeth hon arnynt yn dibynu arnynt hwy eu hunain. Y sylw nesaf a wnawn yw,

(2.) *Fod dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol o ran ei tharddiad yn Ddwyfol ac nid yn ddynol.*

Nid yn unig y mae hi yn neillduol o ran ei phynciau, ac o ran ei hawdurdod a'i dylanwad, ond hefyd yn Ddwyfol o ran ei tharddiad; ac oddiar y gwirionedd hwn y mae ei neillduolrwydd mawr yn codi. Nid dynol ei dysgeidiaeth yw, ond Dwyfol. Y mae yr Ysgol Sabbothol yn sefydliad pwysig yn hanes y byd, fel ag y mae hi yn gydnabyddiaeth weledig a chyhoeddus fod dysgeidiaeth uwch na dysgeidiaeth fydol yn bod, ac fel ag y mae yn wrthdystiad eglur yn erbyn y cyfeiliornad nad oes unrhyw ddysgeidiaeth yn bod ond a ddysgir gan ddyn. Dywedir wrthym yn y geiriau o flaen y testun fod yr Iuddewon yn rhyfeddu wrth waith Crist yn athrawiaethu yn y deml, gan ddywedyd, "Pa fodd y medr hwn ddysgeidiaeth âg yntau heb ddysgu?" Yr oeddynt yn cydnabod fod ganddo ddysgeidiaeth; yr oeddynt yn cael eu gorfodi yn erbyn eu hewyllys i ddwyn tystiolaeth i'w ddoethineb; ond yr hyn oedd yn peri dyryswch iddynt oedd ei fod yn medru dysgeidiaeth ac yntau heb ddysgu. Y mae eu gwrthddadl yn erbyn Crist y tro hwn, fel llawer tro arall, yn cynnwys gwrthddywediad,—*medru dysgeidiaeth, ac eto heb ddysgu.* Y mae y casgliad y maent yn ei dynu am dano wrth ei glywed yn athrawiaethu yn y deml yn un teg, sef ei fod yn medru dysgeidiaeth; ond y mae y casgliad hwn fel yn dinystrio y gosodiad y maent yn ei wneyd pan yn dyweyd ei fod heb ddysgu. Ond y ffordd y mae Crist yn egluro y gwrthddywediad hwn yw trwy ymadrodd ag sydd yn ymddangos fel yn cynnwys gwrthddywediad arall o'i eiddo ei hun. Y mae genyf ddysgeidiaeth, meddai, ac eto nid fy nysgeidiaeth i ydyw. Y mae y naill wrthddywediad yn cyfateb i'r llall, ac yn eglurhâd arno. "Fy nysgeidiaeth nid eiddo fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i." Y rheswm ei fod ef yn medru dysgeidiaeth, ac yntau heb ddysgu, hyny yw, heb ddysgu mewn unrhyw ysgolion dynol, ydyw am nad oedd ei ddysgeidiaeth ef, sef y ddysgeidiaeth oedd ganddo i'w chyfranu, yn ddysgeidiaeth o'i eiddo ei hun o gwbl yn ei sefyllfa fel dyn ar y ddaear, ond eiddo yr Hwn a'i hanfonodd ef. Nid dynol yw y ddysgeidiaeth ond Dwyfol.

Yn gyffelyb y gellir dyweyd mai nid eiddo yr Ysgol Sabbothol yw y ddysgeidiaeth a gyfrenir ganddi, ond ei bod yn Ddwyfol o ran ei tharddiad; ac yn yr ystyr hwn y mae hi yn gwahaniaethu oddiwrth bob sefydliad arall o addysg sydd yn y byd. Y mae y byd, ymhob oes, i raddau mwy neu lai, o dan ddylanwad hen dybiaeth niweidiol a chyfeiliornus, sydd yn crebachu meddyliau a syniadau dynion, gan eu gwneyd yn dra rhagfarnllyd, sef y dybiaeth nas gall dyn ddysgu ond gan ddyn. Ac y mae yr Ysgol Sabbothol o ran ei dysgeidiaeth, fel ag yr oedd y Dysgawdwr mawr ei hun, yn wrthdystiad yn erbyn y dybiaeth gyfeiliornus hon. Yr oedd yr Iuddewon yn cael eu llywodraethu yn fawr gan y dybiaeth hon, nes eu gwneyd yn ddall i bob dysgeidiaeth ond dysgeidiaeth ddynol. Ystyrient yn beth chwithig fod neb yn medru dysgeidiaeth âg yntau heb ei ddwyn i fyny yn eu hysgolion hwy.

Y mae genym le i gredu fod y dybiaeth hon yn dallu miloedd o bobl yn ein gwlad ni ein hunain, fel nas gallant gydnabod rhagoriaeth ond a fyddo wedi derbyn argraff eu sefydliadau hwy eu hunain. Ryw ychydig amser yn ol, dangoswyd gwrthwynebiad mawr ymysg rhyw ddosbarth yn ein gwlad i benod-

iad esgob penodol i un o esgobaethau Cymru, ar y tir nad oedd wedi derbyn ei addysg yn un o'r prifysgolion. Ymhob ystyr arall yr oedd y gŵr parchedig a benodwyd yn addas iawn i gyflawni y swydd, ac i wneyd unrhyw waith ynglŷn â theyrnas y Gwaredwr ag yr oedd y cyfryw swydd yn galw arno i'w wneuthur. Ond am nad oedd wedi derbyn ei addysg yn y dull penodol ag a farnai ei wrthwynebwyr yn anghenrheidiol, taflent bob rhwystr a allent ar ffordd ei benodiad. Rhywbeth o'r un dallbleidiaeth ydyw peth fel hyn yn ein gwlad ein hunain ag yr oedd yr Iuddewon yn ei arddangos pan yn gwrthwynebu Crist ar yr achlysur y mae geiriau y testun yn cyfeirio ato. Cafwyd engraifft arall hefyd yn ddiweddar o'r un peth pan yr ymostyngodd ei Ras Archesgob Caergaint, o'i uchder Olympaidd, i wneyd sylw mewn llythyr o'r symudiad pwysig gyda chrefydd a ddygir ymlaen yn y dyddiau hyn gan y gwŷr da hyny, Moody a Sankey. Yr oedd ei Ras yn cael ei orfodi i ddwyn tystiolaeth i'r daioni oedd yn cael ei wneyd; ac y mae yn tynu ei law hyd ben y symudiad, ac yn dyweyd rhai pethau hyfryd am dano mewn modd tadol iawn; ond ar yr un pryd, yn ei ddallbleidiaeth goruchel, y mae yn gresynu yn fawr fod y fath symudiad yn cael ei ddwyn ymlaen gan ddynion "heb ddysgu," ac heb dderbyn awdurdodiad swyddogol ganddo ef a'i gyffelyb. Fel hyn y mae dosbarth o bobl yn bod yn ein dyddiau ninnau, sydd, fel yr Iuddewon gynt, yn methu gwerthfawrogi dim dysgeidiaeth na gwasanaeth crefyddol ond gan ddynion fyddo wedi derbyn meithriniad mewn ysgolion dynol penodol. Gresyn fyddai gweled Ymneillduaeth, yr hon sydd wedi cadw ei hunan mor bur oddiwrth y camgymeriad hwn, yn gŵyro drachefn iddo. Ond nid yw yn debyg o wneuthur hyny tra y pery i roddi lle mawr i ddylanwad yr Ysgol Sabbothol, yr hon sydd yn ymgadw at addysg syml yr un llyfr Dwyfol, sydd yn abl i wneuthur rhai yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Ond tra y mae dynion yn dueddol i goleddu y dybiaeth nad oes dysgeidiaeth ond a geir drwy ddyn, nid oes eisieu ond ychydig o feddwl i ganfod ei bod yn hollol ddisail. Os edrychwn i gylch y greadigaeth ddireswm, ni a gawn fod yno lawer o ddysgeidiaeth na ddaeth erioed drwy ddyn. Pwy sydd yn dysgu adar y nefoedd i wneyd eu nythod, ac i leisio mor beraidd oddirhwng cangenau y coed? Ai dyn sydd yn dysgu y ciconia yn yr awyr i adwaen ei dymmorau, y durtur hefyd, a'r aran, a'r wenol i gadw amser eu dyfodiad? Y mae creaduriaid direswm yn arddangos campau a rhyfeddodau parhâus, na ddysgwyd iddynt erioed gan ddyn. Ac y mae gan ddyn ei hunan—y creadur rhesymol—alluoedd a chymhwysderau naturiol y tu hwnt i greaduriaid direswm, heb fod yn ddyledus i ddyn am danynt, fel y cyfaddefa Elihu pan ddywed, "Yr hwn sydd yn ein dysgu yn fwy nag anifeiliaid y ddaear, ac yn ein gwneuthur yn ddoethach nag ehediaid y nefoedd."

Ond y mae y dybiaeth nas gall neb ddysgu ond gan ddyn, yn ymddangos yn fwy disail drachefn pan y deuwn i diriogaeth pethau ysbrydol. Y gwirionedd am bethau ysbrydol yw, fod dyn mor bell o gael ei ddysgu ynddynt gan ddyn, fel ag y mae yn rhaid iddo beidio cymeryd ei ddysgu ynddynt gan ddyn yn unig mewn trefn iddo eu dysgu a'u gwybod yn briodol. Fel ag y mae y ddysgeidiaeth hon yn un neillduol ynddi ei hunan, ac ar wahân oddiwrth bob dysgeidiaeth arall, felly hefyd y mae yn rhaid i ni ei gwybod yn wahanol i'r modd yr ydym yn gwybod dysgeidiaeth arall; ac y mae yn rhaid i ni ei gwybod yn wahanol i'r hyn a fuasem yn ei gwybod pe wedi ein dysgu ynddi gan ddyn yn unig. Y mae y ddysgeidiaeth hon i gael ei gwybod genym, nid yn ddynol, ond yn Ddwyfol ac yn ysbrydol.

Y mae yn bosibl dysgu pethau Dwyfol mewn dull dynol yn unig. A dyma lle y gall fod perygl ynglŷn â duwinyddiaeth, fel ag y mae duwinyddiaeth yn wyddoriaeth neu gelfyddyd, sef fod pethau Dwyfol yn cael eu dysgu mewn modd dynol yn unig. Fe all un fod yn dduwinydd da heb fod yn dduwiol. Y mae gagendor yn bod yn fynych rhwng duwinyddiaeth a duwioldeb, tra y mae gwir wybodaeth am bethau Dwyfol, y wybodaeth fewnol ac ysbrydol o honynt, yr un â duwioldeb ei hunan, heb ddim gwahaniaeth rhyngddynt. A dylem gofio ynglŷn â gwaith yr Ysgol Sabbothol, mai nid dysgu cyfundrefn o opiniynau dynol ar bethau Dwyfol yw ein dyledswydd benaf. Y

mae yn perthyn i ni, mae yn wir, fod yn hysbys yn ymchwiliadau eraill o'n blaen i wirioneddau Dwyfol; er hyny y mae yn rhaid i ni addef, os oes gan yr Ysgol Sabbothol ryw genadwri mwy neillduol na'i gilydd tuag at y byd, mai yn hyny y mae y genadwri yn gorwedd: mewn gosod arbenigrwydd i'r gwirionedd fod y ddysgeidiaeth sydd ganddi hi i'w chyfranu, nid yn unig yn Ddwyfol o ran ei tharddiad, ond hefyd mai trwy oleuni ac arweiniad a dysgeidiaeth Ddwyfol y gellir ddyfod i ddirnadaeth briodol o honi. Wrth i ni geisio cyfarwyddo eraill gan hyny i ddyfod i afael â dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol, dylem fod yn ochelgar rhag trethu meddwl neb â'n syniadau ein hunain ar bethau Dwyfol; ond yn yr amgylchiad hwn y mae yr athraw a'r dysgybl, y naill fel y llall, i edrych am oleuni ac arweiniad uwch, oblegid mai yn Ddwyfol yn unig y gellir dysgu pethau Dwyfol. "*Fy nysgeidiaeth nid eiddo fi yw,*" medd Crist. Fel ag yr oedd yn ddyn, ac yn ei sefyllfa o ddarostyngiad, yr oedd yn rhy hunanymwadol i hòni meddiant yn y ddysgeidiaeth oruchel yr oedd yn ei chyfranu i eraill; "eithr," meddai, "eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i." Y mae yn llawer mwy gweddus gan hyny i'r athraw yn yr Ysgol Sabbothol, yr hwn sydd greadur ffaeledig a phechadurus, deimlo gostyngeiddrwydd dwfn a hunanymwadiad hollol wrth geisio cyfranu ei ddysgeidiaeth i eraill. Dylai yn wastadol fod o dan yr argraff mai nid ei ddysgeidiaeth ef ydyw, ac mai yr eithaf a all ef wneyd yw cyfarwyddo meddwl y dysgybl at ffynnon y goleuni, a'i adael i dderbyn iddo ei hunan lewyrchiadau Dwyfol y goleuni hwnw.

I'r dyben o geisio egluro y gosodiad fod pethau Dwyfol i gael eu gwybod, nid yn ddynol, ond yn Ddwyfol, gellir dyweyd er engraifft nad oes modd i neb ddysgu gan ddyn am Dduw, ond fod y wybodaeth briodol am Dduw i gael ei dysgu yn uniongyrchol gan Dduw. Nid yw y drychfeddwl priodol am Dduw yn dibynu ar ymarferiad ein synwyrau ar bethau allanol, neu ar nerth ein galluoedd deallgar ac ymresymgar, fel ag y mae ein drychfeddwl am bethau mewn gwybodaeth naturiol. Ond y mae y ddysgeidiaeth briodol am Dduw i'w chyrhaedd yn fewnol, ac yn dibynu ar ewyllys ac ansawdd y galon, ac ar brofiad dyn o'r dadguddiad am Dduw. Canlyniad anwrthwynebol dysgu gan ddyn am Dduw yw amldduwiaeth ac eilunaddoliaeth. I'r graddau ag yr ydym yn derbyn ein drychfeddwl am Dduw trwy ddeffiniadau dynol o hono yn unig, nid yw Duw ond eilun genym. Nis gall y rhieni na'r athraw roddi y ddysgeidiaeth briodol am Dduw i'r plentyn. Y cwbl a allant hwy ei wneyd yw ei hyfforddi i ddeall gair Duw drosto ei hun, a'i gymhell i weddïo ar Dduw am oleuni ar y gair hwnw. Y mae y wir ddysgeidiaeth am Dduw i gael ei chyfranu yn uniongyrchol gan Dduw i feddwl y plentyn, yn ol ei alluoedd a'i gymhwysderau i dderbyn y syniad am dano. Y mae yn wir fod gan y plentyn ddrychfeddwl am Dduw yn ol fel y mae wedi ei ddysgu am dano gan ei rieni a'i athrawon, ac yn ol y desgrifiadau anmherffaith y maent hwy wedi eu tynu am Dduw o flaen ei feddwl. Ac y mae y plentyn wedi iddo dyfu i fyny yn gwneyd y darganfyddiad poenus yn fynych fod yn rhaid iddo ddad-ddysgu yr hyn a ddysgodd ganddynt hwy, a dadwneyd yr argraff a gafodd am Dduw ganddynt, mewn trefn i gyrhaedd y wir ddysgeidiaeth am dano. Nid trwy ddesgrifiadau dynol yr ydym yn cyrhaedd y wir ddysgeidiaeth am Dduw, ond trwy oleuni mewnol a Dwyfol ar y dadguddiad o hono yn ei air, a thrwy brofiad o hono yn ein calonau ein hunain. Yr unig ran a all dyn ei gyflawni mewn trefn i ddwyn eraill i afael â dysgeidiaeth o bethau Duw, yw hwyluso y ffordd iddynt i ddyfod at oleuni y dadguddiad ei hun, a dangos yr anghenrheidrwydd am arweiniad mewnol ac ysbrydol i'w iawn ddeall. Dyma yw gwaith a galwedigaeth yr Ysgol Sabothol. Ac yn nghyflawniad ei gwaith arbenig ei hunan, nid yw yn dibrisio, ond yn hytrach yn gwerthfawrogi, pob manteision a chyrhaeddiadau eraill a ellir eu cael a'u troi at ei gwasanaeth, megys gwybodaeth o ieithoedd, hanesiaeth gyffredin, &c.; eto nid ar feddiant o'r rhai hyn y mae ei llwyddiant yn troi. Er meddu yr holl wybodaethau eraill, nid ydym yn nês at gyrhaedd y wybodaeth y mae hi yn ei ddysgu. Y mae rhyw berthynas rhwng gwybodaethau eraill â'u gilydd, ac y mae meddiant o'r naill wybodaeth yn ein hyrwyddo ymlaen i

feddiant o un arall. Y maent oll yn perthyn i un dosbarth mawr, a gwahaniaeth graddau yn unig yw y gwahaniaeth sydd rhyngddynt. Ond nid yw dysgeidiaeth uchel yr Ysgol Sabbothol yn perthyn i'r un dosbarth a'r lleill; y mae hon yn ddosbarth ar ei phen ei hun. Nid gwahaniaeth graddau sydd rhyngddi â'r lleill, ond gwahaniaeth natur. Y mae bwlch, y mae gagendor, yn bod rhwng y lleill â hon; ac nid yw y mwyaf cyfarwydd yn y gwybodaethau eraill o herwydd hyny yn ddim nês at feddu y ddysgeidiaeth hon na'r mwyaf anwybodus. Y mae hon yn Ddwyfol yn ei tharddiad, ac i gael ei dysgu yn Ddwyfol.

Yn y Gwaredwr cawn engraifft o un yn meddu dysgeidiaeth âg yntau heb ddysgu. Nid aeth efe trwy gwrs o ddysgeidiaeth mewn ysgolion dynol, ond daeth i'r byd i fynegu meddwl ac ewyllys Duw. Ac ni buasai yn unrhyw fantais iddo Ef at fynegu cenadwri Duw gael ei ddwyn i fyny mewn ysgolion dynol. Ond i'r gwrthwyneb, buasai yn anfantais iddo, oblegid yr oedd ei ddysgeidiaeth ef yn wrthdarawiadol i'r hyn a ddysgid ynddynt hwy, ac yn dadwneyd llawer o ddysgeidiaeth y byd. Ac nid oedd ei ddysgeidiaeth ychwaith yn ffrwyth ei astudiaeth neu ei ymchwiliad ei hun. Nid un *self-taught* ydoedd mewn cyferbyniad i rai a dderbyniasant eu haddysg mewn ysgolion, ond dadguddiad yw ei ddysgeidiaeth ef oddiwrth y Tad. "Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i." Yr oedd ei ddysgeidiaeth mor bell o fod yn ddynol, fel nad oedd yn ffrwyth neu yn gynnyrch ei feddwl ei hun o gwbl, ond dadguddiad uniongyrchol oddiwrth Dduw. Ac fel na buasai yn un fantais iddo ef i gael ei ddwyn i fyny mewn ysgolion dynol mewn trefn i gyhoeddi ewyllys Duw, felly nid yw y cymhwysderau a geir mewn ysgolion dynol ynddynt eu hunain yn ddigonol i'n galluogi i ddirnad ewyllys Duw; oblegid yn ysbrydol a Dwyfol y mae yr ewyllys hon i'w gwybod.

Cofiwn ynte bob amser yr arbenigrwydd neillduol sydd i waith a dylanwad yr Ysgol Sabbothol. Dyma'r unig sefydliad o addysg yn y byd ag sydd yn proffesu dysgeidiaeth nad yw o'r byd hwn. Nid gan ddyn y dysgodd Pen mawr yr Ysgol, ond gan Dduw; ac nid gan ddyn ychwaith y mae aelodau yr Ysgol yn cael eu dysgu; ond fe ellir dyweyd am wir ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol, "Dy holl feibion hefyd fyddant wedi eu dysgu gan yr Arglwydd, a mawr fydd heddwch dy feibion." Y mae yn bosibl i ni fod yn yr Ysgol Sabbothol heb fod yn wir ddeiliaid o honi. Y mae rhai eto fel yr Iuddewon gynt yn methu dirnad geiriau Crist, "Pa fodd y mae efe yn dywedyd, O'r nef y disgynais?" meddynt. Yr atebiad a rydd Crist yn wyneb eu dallineb ysbrydol yw, "Ni ddichon neb ddyfod ataf fi oddieithr i'r Tad yr hwn a'm hanfonodd, ei dynu ef......Y mae yn ysgrifenedig yn y prophwydi, A phawb a fyddant wedi eu dysgu gan Dduw. Pob un gan hyny a glywodd gan y Tad, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod ataf fi." Yr un modd gall llawer sydd yn yr Ysgol Sabbothol fod fel yr Iuddewon hyny, gan wrando geiriau Crist ond heb eu dirnad. Ond y mae y rhai sydd yn ddeiliaid gwirioneddol o honi yn dyfod i feddu dirnadaeth ysbrydol o'i eiriau; y maent hwy yn wrthddrychau yr addewid, "A phawb fyddant wedi eu dysgu gan Dduw." Cyn gadael y mater hwn, dymunem ddyweyd y dylai yr ystyriaeth o natur dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol alw arnom i ymarfer â'r moddion priodol i'w chyrhaedd. Gan mai ysbrydol a Dwyfol ydyw y ddysgeidiaeth hon, yna dylai cofio hyn ddwyn allan y teimladau dyfnaf o barch a hynawsedd wrth ymwneyd â hi; ac fe ddylai cofio hyn beri i ni ymarfer mwy â gweddi ac ymddibyniad ar Dduw fel yr unig ffordd i'w chyrhaedd. Yn olaf ni a sylwn

(3). *Fod dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol o ran ei sylwedd yn golygu Person a gwaith y Cyfryngwr.*

Ar y naill law y mae Crist yn hòni perthynas â'r ddysgeidiaeth hon, oblegid y mae yn ei galw, "Fy nysgeidiaeth," ac ar y llaw arall y mae yn ymwrthod â'r meddiant o honi fel yr eiddo ef ei hun, ond gan ei chydnabod fel eiddo yr Hwn a'i hanfonodd ef—"Nid eiddo fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i." Y mae yn ymwrthod â'r berthynas o Awdwr tuag at y ddysgeidiaeth hon: "Nid eiddof fi yw;" "Nid wyf yn gwneuthur dim o honof fy hun; ond megys y dysgodd fy Nhad fi, yr wyf yn llefaru y pethau hyn." "Canys

myfi ni leferais o honof fy hun; ond y Tad yr Hwn a'm hanfonodd i, efe a roddes orchymyn i mi beth a ddywedwn a pha beth a lefarwn." Pe buasai efe yn hòni iddo ei hun awdurdod ei ddysgeidiaeth, buasai hyny yn gosod ei ddysgeidiaeth mewn gwrthgyferbyniad i ddysgeidiaeth Moses a'r prophwydi, ac nid oedd yn ewyllysio gwneuthur hyny. Ei bwnc mawr ef bob amser oedd dangos yn hytrach mai yr un awdurdod ag oedd y tu cefn i'r hen oruchwyliaeth ac i grefydd yr Iuddewon, oedd y tu cefn i'w ddysgeidiaeth yntau. Yn ei ymddyddan â Nicodemus, y mae yn cysylltu ei hun â'r prophwydi a fu o'i flaen: "Yn wir, meddaf i ti, yr hyn a wyddom yr ydym yn ei lefaru, a'r hyn a welsom yr ydym yn ei dystiolaethu, a'n tystiolaeth ni nid ydych yn ei derbyn." Yr un gan hyny yw dysgeidiaeth Crist â dysgeidiaeth y rhai a aethant o'i flaen o ran awdurdod. Nid oes dim newydd yn ei ddysgeidiaeth ef o ran ei tharddiad. Nid ei eiddo ef yw, ond eiddo yr Hwn a'i hanfonodd. Ac eto ei ddysgeidiaeth Ef yw hi. Ond gan ei fod yn ymwrthod â'r berthynas â hi fel ei Hawdwr, gellir gofyn, Beth yw y berthynas neillduol, ynte, y mae yn ei ddal â'r ddysgeidiaeth hon? Fe ellir dyweyd mewn atebiad mai efe ydyw sylwedd mawr y ddysgeidiaeth—efe yw ei thestun a'i phwnc neillduol. O ran awduriaeth, nid yw yn dysgu dim newydd. Ni ddaeth i ychwanegu un dybiaeth newydd at athroniaeth y byd paganaidd, nac i ychwanegu un gorchymyn neu addewid neu ddadguddiad newydd at grefydd yr Iuddewon, i'r rhai yr ymddiriedwyd am ymadroddion Duw. Ac eto y mae ei ddysgiaeth ef yn newydd; a'r hyn sydd yn newydd ynddi, ac yn gwneyd pobpeth arall yn newydd, yw ei fod yn tystiolaethu ei fod ef yn ei Berson ei hun yn gyflawniad o'r holl Hen Destament, ac yn sylweddoliad o bob gwybodaeth yn y byd. Nid yn unig y mae efe yn achos o Destament Newydd ynddo ei hun, ond y mae wedi gwneyd yr Hen Destament yn newydd hefyd. Yr oedd yr Hen Destament yn ei ffigyrau a'i gysgodau, cyn ei ddyfodiad ef, fel ystordŷ ëang, yn llawn o bob math o lestri gweigion, ac amrywiaeth mawr o honynt o bob llun a maintioli; ond yr oeddynt yn weigion i gyd. Ond pan ddaeth Crist, fe'i llanwodd hwynt oll, fel mai yr un peth i ni yn awr o'r bron yw yr Hen Destament a'r Newydd. Yr un peth i ni o'r bron yw darllen y prophwyd Esaiah â darllen un o'r efengylau, oblegid yr Iesu yw testun a sylwedd y naill a'r llall.Ië, y mae yn anmhosibl i ni ddarllen llyfr Genesis yn awr, ac edrych ar bren y bywyd yn ngardd Eden, ac ar arch Noah, ac ar ysgol Jacob, heb ei weled ef. Os awn ymlaen drachefn i ddarllen am y waredigaeth trwy y Môr Coch, a'r daith trwy yr anialwch, ynghyda'r holl ryfeddodau a wnaed i'r genedl, bydd raid i ni ei gydnabod ef yn y cwbl, a dyweyd gyda'r prydydd,

"Y manna pur, y golofn dân,
Yr arch a'r drugareddfa lân,
Y dŵr o'r graig i'w gael bob pryd—
Fy Iesu ydyw rhai 'n i gyd."

Beth oedd dodrefn drudfawr ac addurniadau gwychion y deml, gwisgiadau heirdd a chostus yr archoffeiriad, y sidan a'r aur oedd ynddynt, y gemau hyny a'r meini gwerthfawr? A oeddynt yn rhywbeth amgen nag arwyddluniau neu gysgodau o'r perffeithiau anghymharol ag sydd yn ei Berson ef? Nac oeddynt, oblegid efe yw eu sylwedd i gyd. Nid oes yn ei ddysgeidiaeth ef ond dau orchymyn mawr, fel yn nysgeidiaeth yr Hen Destament. Yr hyn sydd yn newydd yn ei ddysgeidiaeth ef yw, mai efe ei hun yw y sylweddoliad mawr o'r ddau orchymyn hyn. Nid oes unrhyw brophwydoliaethau newyddion yn ei ddysgeidiaeth ef. Yr oedd prophwydoliaethau yr Hen Destament wedi eu rhoddi am y diwedd oll; ond yr hyn sydd newydd yn ei ddysgeidiaeth ef yw, mai efe ei hun yw cyflawniad yr holl brophwydoliaethau. Y mae yn selio ac yn cau i fyny y cwbl ynddo ei hun.

Ac yn awr cofiwn mai efe ei hun yw y dadguddiad uchaf o Dduw, a'i Berson a'i waith ef yw sylwedd mawr dysgeideidiaeth yr Ysgol Sabbothol. Ymha le bynag y byddwn yn darllen ac yn chwilio, dyfod at y sylwedd yw dyfod ato ef. Efe yw meddwl gwreiddiol pob rhan o'r Ysgrythyr. Cael gafael ar y meddwl gwreiddiol yn y Bibl yw dyfod o hyd i'w Berson ef.

*(I barhâu.)*

## DYSGYBLAETH EGLWYSIG.

Mae yn amlwg i ddarllenwyr y Bibl na bu eglwys Dduw erioed heb ddysgyblaeth o'i mewn.

Prif ddyben dysgyblaeth oedd ac ydyw puro yr eglwys, a chadw i fyny anrhydedd crefydd ysbrydol; ac y mae'r gweinyddiad priodol o honi yn anhebgorol anghenrheidiol i lwyddiant, ac hyd yn nôd i hanfod, eglwys gristionogol.

Gweinyddid dysgyblaeth eglwysig yn yr eglwys Iuddewig gyda'r manylder mwyaf, a hyny, y rhan fynychaf, gan yr Arglwydd ei hun. Pan gollodd Miriam ei lle yn yr eglwys yn yr anialwch, cafodd gerydd trwm a chyhoeddus am ei bai, er ei bod yn chwaer i Moses, blaenor yr eglwys. Uzzah a wnaeth yn rhy hyf âg arch Duw; a tharawodd yr Arglwydd ef yn farw yn y fan o herwydd yr amryfusedd hwnw. Dafydd, hefyd, er ei fod yn frenin, pan bechodd wrth rifo y bobl, a gafodd gerydd: "Canys bu farw o'r bobl, o Dan hyd Beerseba, ddeng mil a thriugain o wŷr."

Yr oedd eglwys Corinth wedi colli ei lle gyda golwg ar natur a dyben swper yr Arglwydd; yn gwneyd y sacrament yn fwy o wledd i'r corff nag i'r enaid—yn bwyta ac yfed hyd feddwdod; ac wele aelodau yno yn cael eu ceryddu gan yr Arglwydd â barnedigaeth dymmorol. "Oblegid hyn yr oedd llawer yn weiniaid ac yn llesg yn eu mysg, a llawer yn huno."

Ymddengys fod y cyfryw ddull o weinyddu dysgyblaeth wedi peidio yn bresennol, a bod gweinyddiad y ddysgyblaeth wedi ei hymddiried i eglwys Crist, a hyny gan Ben yr eglwys ei hun. "Yn wir meddaf i chwi, Pa bethau bynag a rwymoch ar y ddaear, a fyddant wedi eu rhwymo yn y nef; a pha bethau bynag a ryddhäoch ar y ddaear, a fyddant wedi eu rhyddhâu yn y nefoedd." Nid yn unig y mae agoriadau y deyrnas yn athrawiaethol wedi eu rhoddi i weinidogion yr eglwys, ond y maent hefyd wedi eu rhoddi yn ddysgyblaethol, sef ei awdurdodiad Ef iddynt fel goruchwylwyr yn ei deyrnas, neu yn ei eglwys, i ollwng i mewn iddi, i lywodraethu ynddi, ac i fwrw yr aflywodraethus a'r halogedig allan o honi. Hyny yw, Pob peth a fyddoch chwi, fy eglwys, yn ei wneyd yn ol fy ngair i ar y ddaear, mi fyddaf finnau yn ei gymeradwyo, ac yn gosod fy sêl wrtho.

Mae yn debyg mai wrth ddysgyblaeth eglwysig y mae i ni ddeall yn gyffredin llywodraeth, addysg, iawn-drefn, cerydd, cynghor, ynghyda chwbl ddiarddeliad o'r eglwys pan fo achos yn galw am hyny. Yr unig reol i ddysgyblu ydyw gair yr Arglwydd. "Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder."

1. *Llywodraethiad yr eglwys.* Mae yn amlwg fod llywodraethu neu reoli yr eglwys wedi ei ymddiried gan y Pen mawr, yn y gweinyddiad o hono, i weinidogion y gair, y rhai oll ydynt henuriaid, ynghydag eraill o aelodau yr eglwys a alwer ac a neillduer gan yr eglwys i hyny. Y mae hyn i gael ei ddwyn ymlaen, nid mewn modd tra-arglwyddiaethol, eithr yn hollol yn ol cyfarwyddyd y gair sanctaidd. Cynnwys hyn fwrw golwg dros yr holl eglwys yn gyffredinol, a phob aelod o honi yn neillduol; edrych ar fod gorchymynion Crist yn cael eu parchu ac ufuddhâu iddynt ymhob peth, ac edrych na byddo un gwreiddyn chwerwedd yn tyfu i fyny, rhag trwy hyny lygru yr eglwys. Mae y llywodraeth yma yn gynnwysedig yn rhoddiad yr Arglwydd Iesu o agoriadau teyrnas nefoedd i'w weinidogion. "Cyfrifer yr henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda yn deilwng o barch dauddyblyg."

2. *Addysg.* Mae dyn wrth natur yn casâu addysg; gan hyny mae hwn yn fater i fod o dan sylw yr eglwys yn wastadol. Pan oedd Pen yr eglwys ar ymadael â'r byd hwn, dyma un o'i orchymynion olaf ef i'w ddysgyblion, "Ewch a dysgwch yr holl genedloedd," neu, "Ewch a gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd, gan eu bedyddio hwynt yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân;" gwnewch hwy yn aelodau cymhwys o eglwys y Testament Newydd. Ac wedi eu gwneyd hwy felly, "dysgwch hwy i gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi;" nid yn unig dysgu yr athrawiaeth a phynciau sylfaenol crefydd, ond eu dysgu yn fanylach yn mhethau ymarferol crefydd, trwy gynghorion aml a rhybuddion caredig a ffyddlawn. Dysger hwy i ymofyn am brofiad iachusol ac effeithiol o weithrediadau Ysbryd Duw ar eu calonau; a dysger hwy hefyd i fucheddu yn grefyddol a duwiol ymhob man, fel yr harddont athrawiaeth Duw a'n Hiachawdwr Iesu Grist. Mae holl ddysgyblaeth yr eglwys i fod yn gwreiddio mewn addysg. Os ceryddu, ceryddon addysg a ddylid eu gweinyddu.

3. *Iawn-drefn.* Ceir ambell eglwys fel angeu ei hun, "heb drefn." Peth pwysig yn ngolwg yr Apostol fyddai cael iawn-drefn yn yr eglwysi. "Gwneler pob peth yn weddaidd ac mewn trefn." Mewn lle mor ofnadwy â thŷ Dduw, mewn cynnulleidfa mor anrhydeddus âg eiddo'r saint, ac mewn gwaith mor fawr âg addoli Duw, mae yn dra dyledus gwneyd pob peth yn weddus a threfnus. Yr oedd y ddysgyblaeth dda a weinyddid yn eglwys Colossa, y dull trefnus a gweddaidd yr oeddynt yn

dwyn yr holl wasanaeth ymlaen, ynghydag ymddygiadau gweddus a threfnus yr aelodau yn gyffredinol, yn destun llawenydd i enaid yr Apostol, wrth feddwl am danynt. "Canys er fy mod i yn absennol yn y cnawd, er hyny yr ydwyf gyda chwi yn yr ysbryd, yn llawenychu ac yn gweled eich trefn chwi." Ac meddai eilwaith wrth Titus: "Er mwyn hyn y'th adewais yn Creta, fel yr iawn drefnit y pethau sydd yn ol."

4. *Cerydd* Mae cerydd weithiau yn dynodi addysgu, hyfforddi, a dysgyblu. Y mae llawer o geryddu i fod ar amserau, hyd yn nôd ar ddyn Duw, cyn y daw yn berffaith. Dywedai Paul wrth Timotheus ieuanc, "Na cherydda henafgwr, eithr cynghora ef megys tad, a'r hen wragedd megys mamau." Dichon fod yr apostol yma yn cyfeirio at ryw ffaeleddau neu wendidau ag y mae henaint yn ddarostyngedig iddynt; gan hyny ni ddylid bod yn rhy fryslog i geryddu henafgwr. Ond os ceir yr hen yn euog o bechodau gwarthus, ac yn glynu yn anedifeiriol ynddynt, gorchymyn Paul i Timotheus oedd, Cerydda y cyfryw un yn llym a didderbyn wyneb, gyda phob awdurdod; a hyny yn ngwydd yr holl eglwys. "Y rhai sydd yn pechu, cerydda yn ngwydd pawb, fel y byddo ofn ar y lleill." "Os pecha dy frawd i'th erbyn, cerydda ef." "Cured y cyfiawn fi yn garedig, a cherydded fi." Y neb sydd i geryddu, ni a welwn, yw y cyfiawn, a'r modd mae hwnw i wneyd ydyw yn garedig.

5. *Cynghor*. Cynghori ydyw annog gyda thaerineb a thiriondeb; hyfforddi, cyfarwyddo, a dysgu. Yr oedd Paul yn gallu apelio at gydwybodau y Thessaloniaid y gwyddent hwy pa fodd y bu ef a'i frodyr yn eu cynghori, bob un oedd yn yr eglwys, a hyny fel tad ei blant ei hun. A chawn ef eilwaith ac eilwaith yn annog Timotheus i ddysgu a chynghori, ac i lynu wrth gynghori. Un o ddyledswyddau mwyaf pwysig yr eglwys pan ddêl ynghyd ydyw i'r frawdoliaeth gynghori eu gilydd, a hyny bob dydd tra gelwir hi heddyw.

6. *Cwbl ddiarddeliad o'r eglwys.* Nid rhaid ond craffu ar "ystadegau" yr eglwysi, na welir fod hyn gyda ni yn myned yn llai lai y naill flwyddyn ar ol y llall. Pa un a ydyw yr eglwysi wedi myned yn fwy pur yn yr oes hon, ai ynte y ddysgyblaeth sydd yn cael ei hesgeuluso? Rhaid fod un o'r ddau. Barned swyddogion yr eglwysi pa un o'r ddau sydd yn bod. Yr ydym ni o'r farn mai yr olaf.

I fod yn gywir ein golygiadau am ddysgyblaeth eglwys Dduw, rhaid bod yn hyddysg a goleu yn y Bibl; oblegid y Bibl yw deddflyfr yr eglwys, a rhaid i ni dderbyn ein holl ddysgeidiaeth oddiyno. Yno y ceir cynllun, rheolau, a deddfau tŷ Dduw; ac nid oes gan neb hawl i ychwanegu atynt na thynu oddiwrthynt. Ac yn wir, mae yn hyfrydwch calon cael golwg ar, a chymdeithasu ambell awr âg eglwys Dduw yn nghwmni adnodau y Bibl. Yno y gwelir hi yn "degwch bro, yn llawenydd yr holl ddaear, yn fynydd sanctaidd, ac yn ddinas y Brenin mawr;" a neb ond y glân ei ddwylaw a'r pur ei galon yn esgyn i'r mynydd, ac yn preswylio ei le sanctaidd ef. Yno y gwelir hi fel "y wawr, yn deg fel y lleuad, yn bur fel yr haul, yn ofnadwy fel llu banerog." Yno y gwelir hi yn ferch y Brenin, yn ogoneddus o fewn. Yno y gwelir hi yn gorff Crist, ac yn briodasferch, gwraig yr Oen. Y mae y darluniad a geir o'r eglwys yn y gair sanctaidd, mor fanwl, mor bur, mor ogoneddus a sanctaidd, fel ag yr ydym yn gorfod petruso yn fynych yn yr olwg arno, pa un a wnawn ai ei briodoli i'r eglwys ar y ddaear ynte yr eglwys yn y nef. Y mae y cyfeiriad mynych a wneir at aelodau yr eglwysi apostolaidd, yn profi yn amlwg eu bod yn cael eu tybied yn rhai didoledig i'r Arglwydd, a chwbl ymroddedig i grefydd—yn gymundeb o saint. Dyma fel yr anerchir hwy yn y llythyrau apostolaidd: "At bawb sydd yn Rhufain, yn anwyl gan Dduw, wedi eu galw i fod yn saint." "At eglwys Dduw, yr hon sydd yn Corinth, at y rhai a sancteiddiwyd yn Nghrist Iesu, a alwyd i fod yn saint." "At y saint sydd yn Ephesus, a'r ffyddloniaid yn Nghrist Iesu." "At yr holl saint sydd yn Philippi." "At y saint a'r ffyddlawn frodyr yn Nghrist, y rhai sydd yn Colossa." Er mae yn wir nad yw hyn yn cynnwys nas gallai rhai fod o gymeriadau gwahanol mewn cysylltiad â'r amrywiol eglwysi a gyferchid fel hyn, y mae yn profi yn bur amlwg a diddadl mai hyn oedd eu proffes gyffredinol hwy. Er mai cymundeb y saint ydyw yr eglwys, eto nid ydynt ond saint anmherffaith tra yn y byd hwn. Mae llygredigaeth yn aros yn y rhai goreu tra yma ar y ddaear, ac yn gofyn gwyliadwriaeth ofalus, fanwl, a chyson er ei farweiddio. Nis gellir yn amgen na dysgwyl iddo, yn achlysurol, hyd yn nôd mewn duwiolion, dori allan mewn gweithredoedd cydnaws â'i natur, a hyny er tristwch a gofid i'r eglwys. Mewn amgylchiadau o'r fath, dylai swyddogion yr eglwys arfer pob doethineb er ceisio ymddwyn tuag at y troseddwr yn ol natur neillduol yr amgylchiad a maint y trosedd.

Pan fo cwymp achlysurol a disymwth i afael rhyw bechod wedi cymeryd lle, mae yn amlwg mai y cyfarwyddyd Dwyfol y pryd hyny ydyw, "Y brodyr, os goddiweddir dyn ar ryw fai, chwychwi, y rhai ysbrydol, adgyweiriwch y cyfryw un mewn

ysbryd addfwynder, gan dy ystyried dy hun rhag dy demtio dithau." Bryd arall, fe olygir un yn rhoddi prawf dybryd, unwaith ac eilwaith, o duedd i encilio oddiwrth ymddygiad addas i'r efengyl, ond heb dori allan i unrhyw weithrediad amlwg ag y gellid cymeryd gafael uniongyrchol ynddo. Mewn amgylchiadau felly y ddyledswydd eglur ydyw, "Rhybuddiwch y rhai afreolus." Ond weithiau ceir rhai yn yr eglwysi â'u bywyd yn gwbl anaddas ac annheilwng i rai yn proffesu duwioldeb; ac mewn amgylchiadau o'r fath, arddodir ar yr eglwys yn y modd mwyaf difrifol i wrthod eu cydnabod yn aelodau eglwysig o gwbl: "Ac yr ydym yn gorchymyn i chwi, frodyr, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist, dynu o honoch ymaith oddiwrth bob brawd a'r sydd yn rhodio yn afreolus, ac nid yn ol y traddodiad a dderbyniodd genym ni." Hwyrach nas gellir golygu hyn eto yn ddiarddeliad cyhoeddus. Hysbyswch ef; gosodwch nôd o warth arno, fel yr adnabyddo ac y gochelo pawb ef. Noder ef allan trwy ryw arwydd hollol o anghymeradwyaeth; ei attal i gymundeb, fe allai, os nid ei ddiaelodi ef yn hollol; pa fodd bynag, peidio cymdeithasu âg ef fel o'r blaen. Bryd arall, fe olygir trosedd o natur mor ysgeler, yn arwyddo yn y sawl a fyddo yn euog o hono galon mor anghydnaws âg ysbryd yr efengyl, ac yn tueddu i dynu y fath warth a dianrhydedd ar yr Enw rhagorol a elwir yn yr eglwys, fel y mae yn cael ei galw ar unwaith i wneyd diarddeliad cyhoeddus o'r troseddwr. Sylwa Dr. King wrth ymdrin ar ddysgyblaeth eglwysig,—"Fod y Testament Newydd yn dra amlwg yn dysgu purdeb cymdeithas i'r eglwysi cristionogol. 'Am hyny certhwch allan yr hen lefain, fel y byddoch does newydd, megys yr ydych ddilefeinllyd. Canys Crist ein pasc ni a aberthwyd trosom ni.'" Pan leddid oen y pasc yn ei amser penodol, ni oddefid i'r Iuddewon am saith niwrnod gadw lefain yn eu tai. Am hyny cyn lladd yr oen, byddai pob tŷ yn cael ei lanhâu yn ofalus oddiwrth lefain, fel na byddai dim o hono yn aros yn un gongl o'r tŷ. Ond mae yr apostol yn coffâu i eglwys Corinth fod y gwir oen pasc, Oen Duw, yn awr wedi ei ladd, ac y dylai yr eglwys gristionogol, gan hyny, garthu allan gymeriadau annheilwng a llygredig, y rhai, os cânt aros i fewn, a fyddant yn lefain llygredig o falais a drygioni. Mae achos y dyn godinebus yn eglwys Corinth yn cael ei grybwyll a'i ddynodi fel gwarth i'r holl gymdeithas, eu bod hwy wedi ymchwyddo, ac ni alarasent yn hytrach, fel y tynid o'u mysg y neb a wnaethai y weithred hono. Oddiwrth yr hanes, mae yn berffaith amlwg y dylasai y troseddwr gael ei fwrw allan o gymundeb yr eglwys—oddiwrth yr holl freintiau neillduol yr oedd aelodau yr eglwys, fel y cyfryw, yn eu mwynhâu. Mae hyn yn cael ei gadarnhâu pan mae yr apostol yn gorchymyn, "Bwriwch chwithau ymaith y dyn drygionus hwnw o'ch plith chwi." Mae yr hanes hwn am eglwys Corinth yn ddadl hollol benderfynol o blaid cymundeb pur. Nis gallai yr apostol oddef i unrhyw ymddygiad afreolaidd basio heibio yn ddisylw. Nid yw chwaith yn cyfeirio ei gyhuddiad yn unig at y troseddwr. Ond mae yn cyfarch yr eglwys, gan orchymyn iddi gymeryd i fyny y mater, ac nid ymddyddan ac ymresymu â'r euog yn unig, ond ar y pryd ei fwrw ef allan. Nid yw chwaith yn llefaru yn ammheus a gochelgar, megys pe buasai ar dir gwan, a bod llwybr dyledswydd yn anhawdd ei ganfod, a pherygl iddo dynu gŵg y troseddwr arno, neu ŵg rhai o'i berthynasau neu ei gyfeillion yn Corinth. Na, mae yn arfer iaith hollol benderfynol a diamwys ar y mater, ac yn ymddangos yn anoddefgar a digofus wrth unrhyw annybendod i gyflawni dyledswydd mor eglur a rhwymedig. Nis gellir troi heibio y ffaith, na chymylu ei hystyr, na lliniaru dim ar y ddysgyblaeth. Ac os oedd galwad am y fath ddysgyblaeth mewn un achos, rhaid bod galwad am dani eto mewn achosion cyffelyb; a rhaid bod yr engraifft hon o Ddwyfol osodiad yn gosod rhwymedigaeth neillduol ar bob eglwys i ymddwyn yn gyffelyb mewn achosion tebyg.

Wedi i'r apostol roddi gorchymyn iddynt fwrw y dyn godinebus o'r eglwys, y mae yn gosod rheolau i lawr pa fodd y dylent ymddwyn tuag at eraill oedd yr un modd yn euog o droseddau adnabyddus. "Mi a ysgrifenais atoch mewn llythyr, na chydgymysgech â godinebwyr; ac nid yn hollol â godinebwyr y byd hwn, neu â'r cybyddion, neu â'r cribddeilwyr, neu âg eilunaddolwyr; oblegid felly rhaid fyddai i chwi fyned allan o'r byd;" hyny yw, Nid wyf yn meddwl y dylech chwi ymgadw yn llwyr oddiwrth bob cyfeillach â'r paganiaid, y rhai ydynt aflan a drygionus; oblegid gan fod y rhan fwyaf o'r byd yn baganiaid, mae achosion bywyd yn gofyn fod i chwi fasnachu ac ymdrafod gyda hwy. Ond am y math arall, y rhai ydynt gristionogion ffiaidd a drygionus, bwriwch hwy allan: na chyfeillechwch, na fwytewch, gyda brawd a fyddo yn odinebwr, neu yn gybydd, neu yn feddw, neu y cyffelyb. Cyfrifwch hwy fel y byd, ïe, yn waeth na'r byd, yn gymaint a'u bod trwy eu harferion drygionus yn gwadu y ffydd hono y maent â'u genau yn ei phroffesu. Ymddengys mai yr holl amcan yn hyn yw, fod yr apostol yn gorchymyn iddynt ymddwyn

tuag at y cyfryw yr un modd ag at y dyn godinebus, ac y dylai yr eglwys eu tori hwy ymaith, fel yntau, trwy ysgymundod. A phwy oedd y rhai a ddifuddid fel hyn, hyd oni amlygent arwyddion o edifeirwch a diwygiad? A oeddynt yn rhyw drosedd-wyr anfad, yn ddrwgweithredwyr rhyfyg-us? Ni fuasent oll yn y dyddiau hyn yn cael eu hystyried felly. Os dywedir nad oes un eglwys yn gweithredu yn ol y safon hon, ac na oddefai un aelodaeth y fath ar-chwiliad, hyn sydd i'w ateb, mai nid yr ymofyniad yw, pa beth mae eglwysi yn ei wneuthur, na pha beth y maent yn ei oddef, ond pa beth mae Crist yn ei orchy-myn? pa beth a ddywed y Meistr wrth ei weision? ac os yw trefn ei dŷ yn cael ei dadguddio yn eglur yn ei eiriau, gadawer y gwrthddadleuwyr i ystyried yr ymad-rodd hwnw, "Chwychwi yw fy nghyfeill-ion, os gwnewch pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi."

Y diweddar Mr. James, o Birmingham, a ddywed ar y mater dan sylw: "Mae derbyn neu oddef dynion ansanctaidd yn aelodau yn ein heglwysi yn ddirywiad dir-fawr ar eglwys Crist, yr hon a fwriadodd i fod yn gynnulleidfa y ffyddloniaid, a chymundeb y saint. Mor ddwys y cer-ydda yr apostol eglwys gynt am gadw yn eu plith yr aelod godinebus; ac mor awdurdodol y gorchymynodd efe ei dori ymaith—ei droi allan o'r *society!* Gadael pechaduriaid nodedig yn nghyfundeb yr eglwys yw y cydymffurfiad mwyaf dychryn-llyd â phechod y gellir meddwl am dano; canys felly y dygir awdurdod eglwys Crist i amddiffyn y troseddwr ac i lunio esgus dros ei fai. Y mae gan rai personau gy-maint o wrthwynebrwydd i ddiarddel aelod annheilwng am unrhyw drosedd âg sydd gan yr anafus i roi ei aelod i'w thori ymaith oddiwrth ei gorff. Ond gwelir y rhaid gwneuthur hyny; y mae diogeliad bywyd y corff, yn gystal a'i gysur, yn galw am hyny. Yn ngwyneb cwympiadau di-symwth ac am unwaith, a phan y byddo teimlad dwys o edifeirwch yn ymddangos, a chyffes ddiffuant o'r bai yn cael ei gwneuthur, dylid arfer cryn dynerwch y pryd hyny. Ond pan fyddo'r pechod yn fawr a chyhoeddus, a'r gydwybod wedi caledu, byddai dangos trugaredd yn deyrn-fradwriaeth yn erbyn Crist, trwy lochesu gelynion a bradwyr yn ei deyrnas, y rhai sydd mewn effaith yn ceisio ei dymchwel-yd. Y mae yr eglwys yn gwmwl o dystion i'r anghenrheidrwydd am sancteiddrwydd yn gystal ag i'w ragoroldeb; ac y mae pa beth bynag a dueddo i wanhâu y dyst-iolaeth hono yn gwneuthur annhraethol ddrwg i foesoldeb cristionogol, ac yn taflu sarhâd dirfawr ar yr Hwn a fu farw i'n puro ni iddo ei hun yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da. Pa bryd bynag y mae eglwys yn pallu dwyn tyst-iolaeth i sancteiddrwydd, y mae yn ym-adaw â'r gwasanaeth a roddwyd iddi, ac nid yw mwyach yn dyst dros Grist. Os rhaid iddi ymollwng i'r naill ochr neu y llall, dylai fod o du llymder mewn dysg-yblaeth yn hytrach na thynerwch; o her-wydd gwell ychwanegu hyny at gosbedig-aeth aelod fyddo wedi troseddu, nag i'r holl eglwys gael ei llychwino a'i hanafu fel tyst dros wirionedd a sancteiddrwydd."

Ceir fod y dynion goreu, mwyaf ysbrydol ac addfed eu barn, yn cwyno yn ofidus fod adfeiliad a dirywiad mawr wedi ac yn cymeryd lle yn eglwysi y Methodistiaid y blynyddoedd diweddaf hyn gyda golwg ar ddysgyblaeth eglwysig. Dyma fel yr ys-grifenai y diweddar Mr. Roberts, Amlwch, a hyny oddiar riniog y bedd, at ei frodyr yn Nghymdeithasfa'r Bala: "Dymunaf i chwi annog yr holl eglwysi, gyda golwg ar yr hyn a alwyd dysgyblaeth fanol. Bu hyny yn foddion cydweithredol â llafur-waith arall i godi i fyny anrhydedd cref-ydd yn ein plith gymaint a dim arall; ac fe fachluda ein haul pryd y collir dysgybl-aeth fanol o'r eglwysi, er pob rhagoriaeth arall a ddichon fod ynddynt." Sylwai y Parch. Joseph Thomas, Carno, mewn araeth ar natur eglwys, "Dichon nad oes dim yn syrthio yn fyrach o gael ei gwein-yddu yn deg a gonest yn yr eglwysi y dyddiau hyn na dysgyblaeth briodol, fel y gosodir hi allan yn ngair Duw. Mae o'r perygl mwyaf i eglwysi dderbyn a goddef cymeriadau o'u mewn ag a baro iddynt gael eu gwrthod gan y Pen mawr, ac felly colli pob hawl i fod yn eglwys i Dduw o gwbl."

Ond er y cyfan, tybia rhai y dyddiau hyn mai goreu yw goddef bron bob math o droseddwyr yn yr eglwys. Dichon fod y syniad yma yn cyfodi weithiau mewn aelodau o swyddogion gwir dduwiol, oddiar ryw dynerwch a lledneisrwydd sydd briodol iddynt fel duwiolion, ond heb ddigon o wybodaeth a golwg ar les yr achos y perth-ynant iddo i oruwchreoli hyny. Mewn eraill y mae yn codi oddiar ddifaterwch am iawn-drefn tŷ Dduw, diffyg llafur i ddeall y Bibl, deddflyfr yr eglwys,—golwg ysgafn ar bechod; ac fe allai chwennych-iad am gael eu goddef eu hunain yn y cyffelyb gamweddau. Ac hwyrach fod mwy na hyny heb ddigon o wroldeb moesol i allu dwyn tystiolaeth i'r gwirionedd, rhag iddynt, wrth ddwyn y troseddwr ger bron i lys barn, ddwyn arnynt eu hunain ei ŵg ef, neu ei gyfeillion a'i berthynasau. Dyma rai sydd yn caru gogoniant dynion yn fwy na gogoniant Duw. Ond pa fodd bynag, ymddengys fod y prif gristionogion yn dra phenderfynol mai yr hyn ydoedd

yn wir drugaredd a thynerwch tuag at ddynion, ac hefyd yr hyn oedd ffyddlawn tuag at Dduw, oedd cynnal yn yr eglwys lywodraeth neu ddysgyblaeth fanol a diderbyn wyneb, boed y canlyniad iddynt hwy eu hunain y peth a fyddai. Felly y gwnai yr hen Fethodistiaid. Gwrthodid yn aelodau bawb a fyddent yn euog o droseddau amlwg. Felly hefyd y tebygir i Grist, y Pen Athraw. Dechreuodd a diweddodd ef ei weinidogaeth gyhoeddus gyda bwrw allan o'r deml y prynwyr a'r gwerthwyr—glanhâu tŷ ei Dad. Gwnaeth hyn y pasc cyntaf a'r olaf o'i weinidogaeth, a hyny gyda'r fath ymroddiad ac angerddoldeb, fel mai ei iaith briodol wrth wneuthar oedd, "Zel dy dŷ di a'm hysodd i."

*Brynsiencyn.* R. P.

---

## PAWB I GRYNU A BRAWYCHU YN RHYWLE.

PREGETH GAN Y DIWEDDAR BARCH. DANIEL JONES, LLANLLECHID.

ACTAU ix. 6: "Yntau, gan grynu ac â braw arno, a ddywedodd, Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?"

MAE yr hanes y mae'r testun yn rhan o hono, mi dybygwn, yn lled hysbys i chwi, fy ngwrandäwyr. Saul o Tarsus oedd yma ar y ffordd yn myned i erlid. Yr oedd efe yn *scholar* mawr, ac yn un o'r Phariseaid, y sect fanylaf gyda chrefydd, o'r fath âg ydoedd, yn y wlad; ac yr oedd ei galon yn llawn gelyniaeth at enw ac achos Iesu o Nazareth. Nid digon oedd ganddo erlid dysgyblion Crist yn ninas Jerusalem a gwlad Judea; ond fe fynai eu herlid yn nhref Damascus hefyd; ac i fyned yno mewn grym ac awdurdod, efe a gafodd lythyrau oddiwrth yr archoffeiriad, a dynion i'w helpio, tuag at ddwyn y cristionogion yn gaeth i Jerusalem i'w cosbi yno. Ac yn llwyddiannus yr aeth nes myned yn agos i Damascus; ond yno fe gyfarfu â rhywun oedd yn drech nag ef. "Yn ddisymwth llewyrchodd o'i amgylch oleuni o'r nef." Nid oedd un bwlch iddo ddiengyd; mae'r goleuni cryf o'i amgylch, *round about* iddo. Mae eisieu peth fel hyn yn ysbrydol eto tuag at ladd cariad pechadur at bechod; goleu o'r nef, a hwnw yn myned *round*, goleu cryno, crwn, nes y byddo raid myned i lawr, mewn argyhoeddiad calon. Nid oedd gan Saul ddim i'w wneyd yn wyneb y llewyrch mawr, disymwth, ond myned i lawr yn y fan. "Ac efe a syrthiodd ar y ddaear." Mae yn dda genyf feddwl fod gallu eto yn yr hen efengyl i daflu i lawr bechadur caled. Mae llawer wedi cael eu hysgwyd gan y weinidogaeth o bryd i bryd, ond yn dal eto heb fyned i lawr; ond os daw goleu Ysbryd Duw i'th *roundio* di, bechadur, yr wyt yn sicr o ddyfod i lawr. Mae rhyw fyned i lawr yn perthyn i ddyn wedi pechu; naill ai syrthio mewn edifeirwch wrth draed yr Iesu, neu syrthio dan ei ddigofaint i'r pwll na bydd byth godi o hono.

Wedi i Saul syrthio ar y ddaear, efe "a glybu lais yn dywedyd wrtho;" nid dywedyd am dano, ond dywedyd *wrtho.* Pan elo Duw i ddywedyd wrth ddyn, *rhaid* gwrando arno, ac nis gellir anghofio yr hyn a ddywedo efe. Dyma oedd y dyweyd yn agos i Damascus: "Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i?" Erlid rhyw ddynaid o bobl dlodion sydd yn ôd, ac yn annhebyg i bobl eraill, y mae Saul. Nage, medd y Gŵr mwyaf yn y nefoedd,—*fy erlid i;* a *phaham* yr wyt ti yn gwneyd hyny? "Pwy wyt ti, Arglwydd?" ebe Saul ar lawr. "Myfi yw Iesu, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid." Yr oeddit ti yn meddwl mai dy ochr di, yr erlidiwr, oedd yr un uchaf, ac mai fy mhobl i oedd y rhai isaf: ond dyna di ar lawr, a minnau i fyny mewn gogoniant; ac yr wyf yn galw arnat i ildio bellach am byth. "Caled yw i ti wingo yn erbyn y symbylau."

Ac yn awr, dyma'r testun: "Yntau gan grynu, ac â braw arno." Dyma'r llew na thröai yn ol er neb wedi myned yn wanach na'r oen bach; yn lle chwythu bygythion, mae efe wedi myned i grynu ac ofni. "A dywedodd, Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" Mae ei hen ewyllys gyndyn wedi ei hystwytho, ac ni *stiffia* byth mwyach. Arglwydd mawr, ni chei di mo honof yn gwneyd dim i'th erbyn eto; ond fe fydd yn dda genyf wneuthur rhywbeth drosot tra y gadewi fi mwy ar y ddaear. Mae gwaith Ysbryd Duw ar y galon yn ystwytho yr enaid drwyddo, ac yn codi awydd ynddo i weithio dros enw yr Arglwydd Iesu.

Ond sefyll a wnaf bellach yn unig ar y ddau air yma yn y *text:* crynu a braw. "Yntau gan grynu ac â braw arno."

Yr oedd Saul yn fawr ei fôst, mae yn debyg, ac yn gryf ei ysbryd, wrth gychwyn allan o Jerusalem; ond yr oedd yr olwg arno yn bur wahanol cyn iddo gyrhaedd Damascus; yn crynu ac â braw arno y gwelir ef yn bresennol. Mae yn dueddol i bechadur dideimlad fod yn llawen a diofal; ond mor sicr â'i fod yn bechadur, fe ddaw y cryndod a'r braw i'w ran yn rhywle. Gelli ddianc rhag llawer o bethau y bydd eraill yn eu cyfarfod; ond ni ddiengi rhag hyn. Yr wyf finnau yn meddwl myned i'r nefoedd, medd y dyn yn iach, *hearty;* ond nid ä efe sydd yn

haeddu uffern, byth i'r nefoedd, heb iddi fyned yn grynfa a braw arno yr ochr yma i farw. Dacw ddyn yn berchen teulu, heb addoli Duw yn ei gartref erioed, ond yn ddigon caled i gablu Duw'r nefoedd; mae yn ddifraw yn gallu tyngu a rhegu, ac yn hanner meddw yn canu gyda'r meddwon. Druan oedd o! mae ei grynu a'i fraw yn ol. Fechgyn bach, lanciau anwyl, os nad yw meddwl i chwi bechu yn erbyn Duw wedi peri i chwi grynu a brawychu, mae'r crynu a'r braw mawr eto yn eich aros. Ddynion sydd yn euog yn wyneb deg gorchymyn Duw, pe buasech ond wedi pallu mewn un pwnc, buasai hyny yn eich rhwymo yn euog o'r cwbl; ond dyma chwi wedi tori pob gorchymyn; ac y mae diwrnod *settlo* yn agosâu, a chwithau heb ddim i'w ateb drosoch eich hunain. Pa fodd na byddai meddwl am eich cyflwr euog yn peri i chwi grynu? Ond y mae'r crynu a'r braw yn eich aros. Chwithau sydd wedi cymeryd enw o grefydd yn bur ysgafn—heb i'r olwg ar eich mater rhyngoch â Duw beri i chwi grynu uwch ei ben, nes i chwi redeg yn eich braw at Gyfryngwr; chwi sydd yn esmwyth arnoch yn Sïon: mae'r braw i chwithau yn ôl. Mae'r Brenin i ddyfod i mewn i dŷ'r briodas i weled y gwahoddedigion; a gwae'r dyn a geir yno heb y wisg briodas am dano! Os teflir i'r tywyllwch eithaf, yno y bydd wylofain a rhincian dannedd; yno y bydd crynu a braw na dderfydd.

A welwch chwi'r dyn annuwiol, diweddi, ar ei wely angeu? Mae brenin y dychryniadau wedi gafael ynddo; ac ni wna meddyg, na theulu, na chyfeillion, na neb, beri iddo ollwng ei afael o hono; ac y mae yn arllwys ei ddychrynfeydd arno. "Dychryniadau a'i goddiweddant ef fel dyfroedd;" fel llifeiriant wedi ymdori dros bob gwrthglawdd, ac ymgâu am y pechadur i'w ddinystr. Mae arno yn awr eisieu rhywun i weddïo drosto. Y gydwybod sydd wedi deffro, a'r braw wedi dechre. Ond fe adawodd i'r amser fyned yn rhy ddiweddar cyn meddwl am weddïo. Crynu y mae, a chrynu a wna efe bellach, heb un tebyg iddo sadio byth.

Yr oedd pobl yr hen fyd cyn y diluw yn edrych yn gellweirus ar waith Noah yn adeiladu yr arch, ac yn wawdus iawn o'i bregethu. Ond pan rwygwyd ffynnonau'r dyfnder mawr, ac yr agorwyd ffenestri'r nefoedd, ac y gwlawiodd ar y ddaear yn ddi-*stop* am ddeugain niwrnod a deugain nos, yr oedd yr holl ddiystyrwyr wedi myned yn ddigon sobr. Dyna hwynt oll yn crynu ac â braw arnynt, ac felly yn cael eu boddi yn y dyfroedd mawrion. Yr oedd dawon Lot yn gwrando yn ysmala iawn arno ef yn dyweyd fod yr Arglwydd yn myned i ddyfetha eu dinas. "Yn ngolwg ei ddawon yr oedd efe fel un yn cellwair." Ond pan yr oedd y gwlaw o frwmstan a thân yn ymdywallt arnynt o'r nefoedd, sobrwydd, ac nid cellwair, cryndod ac nid digrifwch, oedd wedi eu dal. Gallasech feddwl mai'r bobl hapusaf ar y ddaear ar y pryd oedd y brenin Belsasar a'i fil tywysogion wrth y wledd fawr yn Babilon; ac yr oedd efe yn ddigon caled i alw am lestri teml Dduw, iddo ef, a'i dywysogion, a'i wragedd, a'i ordderchadon, yfed gwin o honynt wrth fwrdd y wledd. Yr oedd yno gwmni *noble*, a chanu a chwerthin brâf, a *sport* yn cael ei wneyd o Israel Duw, ac o Dduw Israël. Ond ar ganol y wledd, dyna ddarn llaw yn ysgrifenu rhywbeth ar galchiad y pared o flaen wyneb y brenin; ac y mae ychydig bach oddiwrth y Duw byw yn ddigon i godi braw mawr ar bechadur euog. "Newidiodd lliw'r brenin, a'i feddyliau a'i cyffroisant ef, fel y dattododd rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei liniau ef y naill wrth y llall." Efe a ddechreuodd grynu yn y wledd y noson hono, a chyn y bore yr oedd ei enaid wedi myned i wlad y crynu tragywyddol, ac yn y grynfa y mae Belsasar byth! O bobl sydd hyd yma yn ddifraw a diofal mewn cyflwr drwg, gwyliwch rhag syrthio i fraw na dderfydd yn dragywydd.

Deuwch gyda mi i edrych ar y dorf annuwiol fore'r farn ddiweddaf. Mae daear a môr wedi rhoddi i fyny y meirw oedd ynddynt; hwy, gyda phawb o'r rhai byw yn gorfod dyfod i'r farn o bob man. Beth sydd heddyw ar freninoedd y ddaear, a'r gwŷr mawr, a'r pen-capteniaid, y rhai nid ofnent Dduw, ac ni pharchent ddyn? Maent yn eu braw yn ymguddio yn yr ogofeydd, ac yn nghreigiau'r mynyddoedd. Ai am fod yr haul yn duo y maent yn crynu? Nage, ond am fod yr Hwn a wnaeth yr haul yn ei ddangos ei hun, a hwythau yn elynion iddo. Nid oes ganddynt ond bloeddio ar y mynyddoedd a'r creigiau, "Syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o ŵydd yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac o ŵydd yr Oen!" Mi welaf y farn yn eistedd, a'r llyfrau yn cael eu hagor, a'r dorf euog yn myned yn eu braw o flaen nerth y gair Ewch i'r tân tragywyddol; ac yno y byddant mewn braw a gwarth tragywyddol.

Ond y mae yn dda genyf allu dywedyd rhywbeth yn ychwaneg. Diolch i Dduw! mae modd i chwi gael y crynu a'r braw i'ch dal yr ochr yma i angeu a'r farn. Felly am yr hen erlidiwr yn y testun. Dyma'r goleuni o'r nef, a gogoniant a geiriau y Gŵr yr oedd efe yn ei erlid, yn peri iddi fyned yn y fan yn grynu a braw arno; ac am dridiau, efe a barhäodd yn ei fraw. Ond fe dynwyd y braw i ffwrdd

gan faddeuant pechodau trwy Grist; ac fe drodd y crynu o flaen Crist yn orfoleddu ynddo ef. Diolch am drefn i gael yr holl fraw yr ochr yma, lle y mae meddyginiaeth effeithiol gwaed y groes yn gallu codi'r braw ymaith, a rhoi llawenydd yn ei le. Rhoed Duw i ni rywbeth tebyg i brofiad Habacuc dduwiol: "Yn fy lle y crynais, fel y gorphwyswn yn nydd trallod." Dydd trallod yn ddiau a fydd dydd angeu; ond gyda chydwybod wedi ei chlirio trwy'r gwaed, gallwn ffarwelio â chyfeillion mewn tangnefedd, a myned trwy'r glŷn du heb grynu dim. "Ië, pe rhodiwn ar hyd glŷn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi." Ac yn nydd y farn, ceir y bobl oedd yma yn crynu yn eu lle, yno yn eithaf digryn ac heb fraw. Ië, meddai'r wraig ieuanc dduwiol o Sir Drefaldwyn yn un o'i phennillion gwerthfawr,—

"Amser cànu, diwrnod nithio,
Minnau 'n dawel heb ddim braw."

O ryfedd! gallu sefyll yn y dydd hwnw HEB DDIM BRAW! Beth? dim braw nac ofn rhag i'r wyntyll fawr dy chwythu ymaith! Nac oes ddim:

"Y Gŵr sydd i mi yn ymguddfa
Sydd â'r wyntyll yn ei law."

Pan ddaw'r Barnwr ar y cymylau, oddiwrth wyneb yr Hwn y ffoa'r ddaear a'r nef, nid ffoi rhagddo, ond rhoi pob croesaw iddo, y byddant hwy a welwyd yma cyn marw yn crynu wrth y gair. Y dydd hwnw y dywedant, "Wele, dyma ein Duw ni; gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw. Dyma yr Arglwydd: gobeithiasom ynddo." Mae peth wedi bod rhwng ein heneidiau âg ef sydd yn dal yn glir wedi i'r haul dduo; ac wele bellach, "gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef." Gadewch i mi ddywedyd wrthych chwi yma: mae iachawdwriaeth yn eich ymyl heddyw, bobl anwyl, yn yr hon y mae digon i symud ymaith bob achos braw, ac i'ch codi i orfoleddu yn oes oesoedd.

---

## ANERCHIAD I FLAENORIAID EGLWYSIG.

Crynodeb o ba un a draddodwyd yn Nghyfarfod Misol Gwyddelwern, Dwyrain Meirionydd, Rhagfyr 11, 1877,

*Gan Mr.* CADWALADER LLOYD, *Llanfihangel.*

ANWYL FRODYR,—Mae yn hawdd genyf gydymdeimlo â chwi yn y fath amgylchiad â hyn, gan fod yn brofiadol o'r unrhyw deimladau pryderus, er fod hyny wedi cymeryd lle er ys mwy na deugain mlynedd, ac yn ymwybyddus o'm hanghymhwysder i'ch cyfarch. Ni feddaf unrhyw gymhwysder oddieithr henaint, ac y mae hwnw yn gymhwysder egwan ac ammheus ar y goreu. Gan hyny amcanaf ddywedyd ychydig eiriau yn wylaidd, yn dirion, ac yn gefnogol.

Mae yn hanfodol angenrheidiol fod swyddogion yn perthynu i bob cymdeithas, ac felly yn sicr i'r gymdeithas uchaf, sef eglwys Iesu Grist, tra yn ei sefyllfa filwriaethus ar y ddaear. Mae ffurflywodraeth a swyddogaeth eglwysig wedi bod yn destynau dadl rhwng dysgedigion er ys canrifoedd. Yn y Bibl, ac yn benaf yn y Testament Newydd, y ceir yr unig awdurdod anffaeledig ar y pynciau hyn. Darfu i dywyllwch ac ofergoeledd Pabyddiaeth dywyllu llawer ar hyn, fel y mae Pabyddiaeth wedi tywyllu a llygru bron bob peth perthynol i grefydd; a darfu i'r diwygiad Protestanaidd adferu goleuni ar ffurflywodraeth a swyddogion yr eglwys, yn gystal ag ar athrawiaeth yr efengyl. Daeth Henaduriaeth trwy brawf tanllyd y Diwygiad Protestanaidd yn llawn mor ddianaf âg unrhyw ffurflywodraeth eglwysig arall.

Ar y cyntaf, yn nechre Cristionogaeth, yr oedd swyddwyr crefydd yn myned dan amrywiol enwau. Mae yr apostol yn 1 Cor. xii. 28 yn rhoddi rhestr reolaidd o honynt: "A rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys; yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau, wedi hyny doniau i iachâu, cynnorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau." Ac yn Ephes. iv. 11, mae yn enwi hefyd "efengylwyr a bugeiliaid." Mae yn eithaf amlwg nas gallai fod olynwyr swyddol i'r apostolion, canys yr oedd yn angenrheidiol i apostol weled Iesu Grist ar ol ei adgyfodiad, a derbyn ei awdurdodiad i'r swydd ganddo ef yn bersonol. Am y gwahanol swyddogaethau eraill a enwir uchod, yn enwedig y rhai sydd i barhâu—mae yn debyg nad ydyw llefaru â thafodau dyeithr, a deall yr unrhyw, yn parhâu, beth bynag a feddylir am barhâd gwyrthiau—am y lleill, meddaf, maent yn rhedeg yn naturiol i ddau ddosbarth o swyddogion, sef esgobion neu henuriaid, a diaconiaid: prophwydi, athrawon, efengylwyr, a bugeiliaid, yn llithro yn naturiol i'r urdd a elwir genym ni gweinidogion yr efengyl; a'r diaconiaid yn dyfod i fewn yn y cynnorthwyau, y llywodraethau, a'r gweinidogaethau. Oddiwrth hyn gwelir mai dwy swydd sydd i fod yn barhâus yn yr eglwys, sef esgobion neu henuriaid, a diaconiaid. Gwelir yn eglur mai yr un urdd ydoedd esgobion a henuriaid yn ngwaith yr Apostol yn galw ato henuriaid

eglwys Ephesus ac yn eu galw yn olygwyr neu esgobion (Act. xx. 28). A cheir yr un prawf yn nghyfarwyddyd yr Apostol i Titus, i osod henuriaid ymhob dinas yn Creta, gan hysbysu y cymhwysderau gofynol i fod ynddynt; ac yna mae yn chwanegu, "Canys y mae yn rhaid i esgob fod yn ddiargyhoedd." Os nad oedd esgob a henuriad yr un a'r unrhyw urdd swyddogol, nid oes dim grym yn ymresymiad yr Apostol; ïe, ni byddai yn deilwng o ddysgybl Gamaliel, chwaithach o Apostol Iesu Grist.

Cymerwn bellach yn ganiataol ei fod wedi ei brofi o'r Ysgrythyr mai yr un urdd fel swyddwyr ydoedd esgobion a henuriaid, er fod yn hollol resymol i ryw berson lywyddu ymhob eglwys trwy ddewisiad yr eglwys, a hyny o herwydd oedran, duwioldeb, a defnyddioldeb. Wel, onid oedd esgobion yn yr eglwys apostolaidd? Oedd, ond yr oeddynt yn dra gwahanol i esgobion taleithiol y dyddiau hyn. Yr oedd *dau* o leiaf ymhob eglwys. "Ac wedi ordeinio iddynt *henuriaid ymhob eglwys*" (Act. xiv. 23). Dyma drefn syml y Testament Newydd. Mae rhywbeth dyrys—y naill allu yn gwrthweithio y llall—yn nhrefniadau dynion; ond y mae trefniadau Duw yn syml ac eto yn effeithiol. Cawn hanes neillduad cyntaf diaconiaid (er nas gelwir hwy felly yn y Bibl) yn Act. vi. 6. Yr achlysur ydoedd cynnydd crefydd yn Jerusalem. Yma gwelwn eu bod wedi eu dewis gan yr eglwys, a'u gosod yn eu swydd gan yr Apostolion trwy weddi ac arddodiad dwylaw. Ac y mae'r swydd hon i fod yn un barhâus yn yr eglwys, am fod cyfarwyddiadau yn y gair i ddewis y swyddwyr. Ceir hefyd y cymhwysderau gofynol i fod ynddynt: "Edrychwch yn eich plith am seithwyr da eu gair, yn llawn o'r Ysbryd Glân a doethineb." A rhai felly a etholwyd. "A boddlawn fu yr ymadrodd gan yr holl lïaws: a hwy a etholasant Stephan, gŵr llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân," gyda chwech eraill. Gwelir y cymhwysderau eraill sydd i fod ynddynt yn 1 Tim. iii. 8—13: "Rhaid i'r diaconiaid yr un ffunud fod yn onest; nid yn ddaueiriog, nid yn ymroi i win lawer, nid yn budrelwa; yn dala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur. A phrofer y rhai hyny yn gyntaf; yna gwasanaethant swydd diaconiaid, os byddant ddiargyhoedd." Mae y cymhwysderau uchod yn dangos yn eglur y dylai diaconiaid fod yn ddynion duwiol—yn amlwg mewn duwioldeb—"yn llawn o'r Ysbryd Glân, ac o ffydd, a doethineb"—yn "dda eu gair," sef eu cymeriad yn ddiargyhoedd. "*Rhaid* i'r diaconiaid yr un ffunud"—yr un ffunud â'r esgobion, "fod yn onest;" nid, fe fyddai yn dda eu bod felly, ond *rhaid* iddynt fod felly; ac y mae yr un *rhaid* yn ddealledig am yr holl gymhwysderau cadarnhaol eraill a enwir. Y mae eisieu rhyw bethau yn ychwanegol at dduwioldeb mewn swyddogion. Doethineb sydd yn cael ei nodi yn arbenig; mae llawer o eneidiau grasol heb fod yn hynod am eu doethineb, ond y mae doethineb yn ofynol i fod mewn swyddog. "Pwy sydd was ffyddlawn a doeth, yr hwn a osododd ei arglwydd ar ei deulu, i roddi bwyd iddynt mewn pryd?" Mae rhai aelodau yn yr eglwysi yn ddoeth iawn, dybygid; hwy a wyddant y cwbl, ond ni wnânt nemawr ddim, tra y mae eraill yn hynod ffyddlawn, am wneyd y cwbl, eithr, o ddiffyg doethineb i wybod pa beth i'w wneuthur, a wnânt weithiau fawr ddrygau. Mae eisieu cyfuniad o'r ddau rinwedd: "ffyddlawn a doeth."

Gair cyfansawdd anghyfiaith ydyw diacon. Mae yn cael ei gyfieithu gwas, gwasanaethwr, a gweinidog; ac oddiwrth y cysylltiadau yr arferir ef, gwelwn fod yn hanfodol i'r cyfryw swyddwyr y cynneddfau o ostyngeiddrwydd, ufudd-dod, hunanaberthiad, gweithgarwch, a ffyddlondeb; a'r oll o'r grasau gwerthfawr hyn i darddu o gariad. Matth. xx. 26; Marc ix. 35; x. 43; Ioan ii. 5; 2 Cor. vi. 4—10; 1 Cor. iv. 12; Col. i. 7; iv. 7; Heb. vi. 10. Yn yr ystyr eang am wasanaeth cristionogion yn gyffredinol yr arferir y gair yn y cyfeiriadau uchod; eithr fe'i harferir, mewn ystyr cyfyng neu swyddol, am ddosbarth o swyddwyr yn eglwys Crist; ac y mae yr un egwyddor a'r un ysbryd i lywodraethu eu gwasanaeth a'r rhai a ddynodir yn flaenorol. Fel hyn mae diaconiaeth yn swydd bwysig a pharhâus yn eglwys Crist. O syniad difrifol! *swyddogion* teyrnas Dduw! Mae cryn urddas yn perthyn i swyddogion teyrnas Lloegr; ceir mantais i weled nifer o'r cyfryw rai ar adeg y brawdlysoedd mewn sîr. Gwelwch yr uchel-reithwyr, y mwyafrif o honynt yn heddynadon, ac yn foneddwyr oll; mor loew yr olwg arnynt, a'r fath urddas o'u hamgylch, yn enwedig y rhai sydd yn fwyaf uniongyrchol yn cynnrychioli y Frenines! Beth ynte ddylai fod urddas swyddogion teyrnas Dduw? "Pa ryw fath ddynion a ddylem ni fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb?" Bydded i ni, gan hyny, gofio yn wastadol ein sefyllfa uchel, mewn trefn i ni ymddwyn yn deilwng o honi bob amser ac ymhob amgylchiad.

Gan fod diaconiaeth yn swydd, mae gwaith yn perthyn iddi. Od oes neb yn chwennych y swydd hon, *gwaith* da y mae yn ei chwennych. Nid oes segurswyddau yn nheyrnas ein Gwaredwr. Mae y gwaith yn fawr ac amrywiol: hyfforddi y plant yn

mhen yr iawn ffordd, gan eu magu a'u meithrin yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd; dysgu yr ieuenctyd, trwy gadw cyfarfodydd darllen gyda hwynt a'u hegwyddori yn ngwirioneddau yr efengyl. Dyma waith mawr a phwysig a ddylai gael ei wneyd ynglŷn â phob eglwys yn ein gwlad; ac y mae cyflawni hyn yn deilwng yn gofyn gradd dda o wybodaeth a phrofiad o wirioneddau y Bibl. Os nad all y blaenoriaid gyflawni y gwaith angenrheidiol hwn, dylent ar bob cyfrif—os gall yr eglwys hyfforddio i dalu—ymofyn am rywun cyfaddas i wneyd y gwaith. Yr Ysgol Sabbothol eto: dyma faes eang i'w lafurio a'i amaethu; un o'r sefydliadau goreu a fêdd ein gwlad, yn nesaf i weinidogaeth fawr yr efengyl. Dysgwylir i'r blaenoriaid fod ar y blaen mewn llafur a gwybodaeth, fel y gallont arwain a holi yr ysgol yn ddyladwy, neu ofalu fod rhywrai cymhwys ar gylch yn cyflawni y gorchwylion pwysig hyn. Gyda golwg ar y Cyfarfod Eglwysig, mae rhwymedigaeth bwysig iawn yn disgyn ar y blaenoriaid, yn enwedig os nad oes gweinidog, pregethwr, na bugail yn yr un eglwys â hwynt; yna mae eu rhwymedigaeth yn ddeublyg i ddarparu cyfluniaeth addas i bob gradd, rhyw, ac oed yn yr eglwys, a hyn erbyn pob cyfarfod; fel penteulu ffyddlawn yn rhoddi bwyd i'r teulu mewn pryd, "fel ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd yn dwyn allan bethau newydd a hen;" hyny yw, rhoi gwedd a blas newydd ar hen wirioneddau y Bibl. Gorchwyl llednais yw cadw *society* yn dda: yr ydys yn sangu ar ryw dir cysegredig, yn ymdrin â syniadau mwyaf mewnol yr enaid, a hyny am bethau o'r pwys mwyaf. Dyma yr hyn yr amcenir ei wneyd yn y gymdeithas eglwysig. "Deuwch, y rhai oll a ofnwch Dduw, a mynegaf yr hyn a wnaeth efe i'm henaid."

Nid ydym eto wedi hyd yn nôd enwi holl waith y blaenoriaid. Maent i ymweled â'r cleifion, y gweddwon a'r amddifaid, yr hen a'r methedig; ac y mae eisieu gras a doethineb i wneyd yr ymweliadau hyn yn fuddiol. Maent i ofalu hefyd am wneyd pob casgliad a benoda y Gymdeithasfa a'r Cyfarfod Misol, a'u gwneyd yn eu hamser, fel y byddont "yn ffrwyth yn ei bryd." Maent i ofalu am bethau a ystyrir yn fychain, megys prydlondeb i ddechre a diweddu y moddion mewn amser priodol. Mae hyn yn brydferthwch ac iawn drefn, a rhaid bod yn ffyddlawn ar ychydig cyn cael ein gosod ar lawer. Mae prydlondeb gyda phobpeth yn rhinwedd y cwynir fod ein cenedl yn rhy ddiffygiol ynddo. Mae genym yn awr dri athraw i ddysgu prydlondeb i ni. Cofiwn y tair *T*—"*Time, Tide,* and *Train,* will stay for no man;" eu cofio mewn trefn i'n dysgu i fod yn brydlawn gyda phob rhan o waith yr Arglwydd.

Y mae ar amserau bethau gofidus yn cyfarfod y blaenoriaid yn nghyflawniad eu swydd, megys ymrafaelion rhwng aelodau yn yr eglwys, yr hyn sydd flinder mawr i'r frawdoliaeth, ac yn enwedig i'r swyddogion. Drwg ysbryd ydyw hwn nad ä allan ond trwy ympryd a gweddi. Mewn achosion fel hyn, mae yn ofynol fod y blaenoriaid yn dangnefeddwyr o galon; ac y mae arnynt eisieu cymaint o nerth i ddyoddef ag o nerth i gyflawni dyledswyddau crefyddol.

Wrth glywed am amlder a mawredd y gwaith sydd i'w gyflawni, a theimlo ein gwendid ein hunain, mi ddychymygaf fod fy mrodyr yn barod i waeddi allan gyda'r Apostol, "Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" Mae yr ateb yr un a'r eiddo ef: "Ein digonedd ni sydd o Dduw." Wel, meddynt eto, mae arnom eisieu *llawer* o ras, nerth, a doethineb. Oes, a chwi a gewch ofyn am lawer, ac y mae ein Tad nefol yn abl, ac yn barod i roi llawer. Gofyn llawer y byddai gweddïwyr mawr y Bibl. "Trugarhâ wrthyf, O Dduw, yn ol dy drugarogrwydd;" ac ni wyddai neb ond y Gwrthddrych mawr ei hun pa faint oedd hyny. Gweddïwr mawr oedd Paul; mae pob pregethwr mawr yn weddïwr mawr. Cawn ef yn gweddïo dros yr Ephesiaid: "Ar roddi o hono ef i chwi, yn ol cyfoeth ei ogoniant, fod wedi ymgadarnhâu mewn nerth, trwy ei Ysbryd ef, yn y dyn oddimewn." Ac ar ran y Colossiaid y mae yn deisyf iddynt gael eu "nerthu â phob nerth, yn ol ei gadernid gogoneddus ef, i bob dyoddefgarwch a hirymaros." Wel, dyma weddïwr yn gofyn llawer, yn ymgryfhâu, fwyfwy, bob ergyd yn ei ddeisyfiadau. Er mawredd y rhwystrau, er amlder a chryfder y gelynion, a'n gwaeledd a'n gwendid ninnau, onid oes yma swn digon yn ngweddi yr Apostol, sef "nerthu â phob nerth?" Mae ein perygl ni yn fwy i ofyn rhy fychan yn ein gweddïau na gofyn gormod, gan y cawn ofyn mewn ffydd, yn enw yr Archoffeiriad mawr sydd ar y ddeheulaw yn eiriol dros ei bobl. Dyma ein hunig sail i fyned yn hyderus at orseddfainc y gras. Gyda golwg ar ddoethineb eto, wele ras anhebgorol anghenrheidiol i swyddogion crefydd. Ni ddarfu Solomon mewn dim a wnaeth foddio y nefoedd yn gymaint â phan ofynodd am ddoethineb i farnu Israel; ac y mae hyn yn galondid i ninnau i ofyn am yr un fendith, gan gofio geiriau yr Apostol, "O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, gofyned gan Dduw, yr hwn sydd yn rhoi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod; a hi a roddir iddo ef." Gweddïo ydyw y

prif foddion i orchfygu ein holl elynion. Pan oedd Moses yn dyrchafu ei ddwylaw tua'r nefoedd, yr hyn sydd yn arwyddocâu gweddïo, yr oedd Israel yn cael yr oruchafiaeth ar Amalec. Nid oes o fewn y byd drwg presennol, nac yn uffern chwaith, ddigon o allu i lwyr lethu gwir weddïwr. Dywedai Mari, brenines y Scotiaid, fod arni fwy o ofn gweddïau John Knox na deng mil o filwyr. Nid oes ar y diafol nemawr o ofn dysg na dawn, ond fel y canodd y profiadol John Newton o Lundain,

"Satan gryn pan gynta' gwelo
Y cristion gwana' yn gweddïo."

Dylai swyddogion eglwysig gydymgynghori â'u gilydd am bob peth o bwys; ac o gydymgynghori, daw cydweled, ac yna bydd yn hawdd cydweithredu. Mae llawer amgylchiad gofidus yn dygwydd o ddiffyg cydymgynghori. Fe ddygwydd weithiau i hen flaenor feddwl y gall efe wneyd pethau heb gydymgynghori oblegid ei oedran a'i ddylanwad, ac y mae yn dyfod â rhyw gynnygiad i'r eglwys; a dyna y blaenor ieuanc, sydd mor gywir ei farn â'r hen frawd, yn aros yn ddystaw. Mae yn cael digon o ras i dewi, ond nid ydyw yn cefnogi cynnygiad yr hen frawd, ac ar hyn dyna yr hen swyddog yn tramgwyddo. Neu ynte, bydd y blaenor ieuanc yn cynnyg rhyw gynllun newydd, a'r peth yn dda fe allai, ond heb ofyn cydsyniad yr hen frawd, ac yntau yn gwrthwynebu, a thrwy hyn oerfelgarwch yn myned rhwng y swyddogion. Gwyliwch yn arbenig rhag hyn. Nis gall y diafol wneuthur drwg mwy na pheri anghydfod rhwng swyddogion crefydd. Gall eglwys ddal ymosodiad llym oddiwrth rai oddiallan; ond "os cnoi a thraflyncu eich gilydd yr ydych, gwyliwch na ddyfether chwi gan eich gilydd." Gellir arbed y drygau mawrion hyn i raddau helaeth trwy gydymgynghoriad pwyllog y swyddogion â'u gilydd am y ffordd oreu i ddwyn ymlaen y gwaith mawr.

Os oes gweinidog, pregethwr neu fugail, yn yr un eglwys â chwi, gofelwch am ei barchu. Nid arwr-addoliad ydyw hyn. Mae yr Ysgrythyr yn dyweyd fod y neb sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth yn deilwng o barch dauddyblyg. "Yr ydym yn attolwg i chwi, frodyr, gydnabod y rhai sydd yn llafurio yn eich plith, ac yn eich llywodraethu chwi yn yr Arglwydd, a gwneuthur cyfrif mawr o honynt mewn cariad er mwyn eu gwaith." Yn gymaint a bod holl wasanaeth cristionogion o bob gradd, henuriaid a diaconiaid, yn cael ei ddynodi trwy yr un gair, sef *diaconiaeth*, a bod cymhwysderau y ddwy swydd, i fesur helaeth yr un, y casgliad naturiol ydyw, y dylai y gweinidogion a'r blaenoriaid fod yn unol i gydweithredu i ddwyn ymlaen achos yr Arglwydd Iesu yn y byd. Mae yr apostol, er mwyn egluro a chefnogi y pwnc hwn, yn defnyddio cymhariaeth naturiol a phrydferth iawn, ac un hawdd i bawb ei deall, sef cyfaddasder gosodiad gwahanol aelodau y corff dynol, er cysur, harddwch, a gwasanaeth y corff. Mae y llygaid, nid yn unig yn angenrheidiol, ond wedi eu gosod yn y lle goreu, fel ffenestri yn mhen y palas. Pe buasent wedi eu gosod yn mlaenau ein traed, buasem mewn perygl o'u colli wrth fyned i'n llettyau heno. Mae y trwyn eto, gan yr arogliad, yn y lle mwyaf cymhwys i arogli y bwyd cyn ei gymeryd i fewn; ac felly am yr holl aelodau. Pe byddai rhywun mor ynfyd â cheisio newid lle unrhyw aelod yn y corff, fe ddarostyngai y drefn brydferthaf yn annhrefn, a'r creadur harddaf yn y byd hwn, yn anferthlun *(caricature)*. Nid arosaf gyda hyn rhag codi gwên, a minnau yn ymdrin â phethau mor ddifrifol. Ond nid yn unig, nac yn benaf, lle yr aelodau oedd yn meddwl yr apostol, eithr undeb a chydweithrediad yr holl aelodau er cysur a gwasanaeth y corff. Fel hyn y dylai swyddogion eglwysig fod. Nid oes yma ddim lle i eiddigedd *(jealousy)*. Nid oes dim rheswm i'r traed genfigenu o herwydd craffder y llygad; ac ni ddylai y llygad eiddigeddu o herwydd grymusder y dwylaw. "Ni all y llygad ddywedyd wrth y llaw, Nid rhaid i mi wrthyt ti;" na, y mae yn rhaid i ni wrth ein gilydd. Fel hyn y byddwn gryfion a llwyddiannus gyda gwaith yr Arglwydd. Mae yr apostol wrth ysgrifenu at y ddwy eglwys liosocaf y cawn eu hanes yn y Testament Newydd, oddieithr eglwys Jerusalem, yn defnyddio y gymhariaeth brydferth hon, a hyny y ddwy waith i'r un amcan hwn, sef i annog swyddogion eglwysig i fod yn unol mewn cydweithrediad i ddwyn ymlaen grefydd Iesu Grist yn y byd. Yr wyf yn meddwl fod yn y mater hwn wersi buddiol iawn i ni y blaenoriaid; a bydded i ni eu dysgu yn dda, gan amcanu yn gydwybodol roddi mewn gweithrediad benderfyniadau y Gymdeithasfa a'r Cyfarfod Misol.*

*(I barhâu.)*

* Gellid gofyn paham na buasai Iesu Grist ei hun yn ordeinio henuriaid a diaconiaid. Yr ateb yw, yr oedd yr amser heb ddyfod; ac mewn ystyr nid oedd eu heisieu y pryd hwnw. Yr oedd Iesu Grist, Brenin yr eglwys, gyda'i ddysgyblion, ac yn eu dysgu am y pethau a berthynent i deyrnas Dduw; ac heblaw hyn, yr oedd Iesu Grist wedi arfer y gair *diacon* amryw weithiau. "Os gwasanaetha neb fi, dilyned fi; a lle yr wyf fi, yno y bydd fy ngweinidog"—yn hytrach, "fy niacon hefyd." Crist oedd pregethwr cyntaf yr efengyl:

# Hanesynau ac Adroddiadau.

### PREGETH GAN UN GORPHWYLLOG.

Yr oedd gŵr ieuanc, yn un o drefi Taleithiau Cyfunol America, wedi cael ei ddwyn i fyny mewn teulu crefyddol a pharchus, ac yn un o ddeall a dawn a medr nodedig. Yn ei flynyddoedd cyntaf, yr oedd efe yn fachgen da a gobeithiol; ac wedi tyfu yn llanc, yr oedd yn ymddangos yn rhodio llwybrau rhinwedd a chrefydd efengylaidd. Ond, rywfodd, wedi iddo ymgymeryd â galwedigaeth fydol anrhydeddus, dylanwadwyd arno gan gyfeillach lygredig; ac, o radd i radd, efe a syrthiodd yn ysglyfaeth i drythyllwch ac anghymedroldeb. Un noson, efe a gludwyd adref mewn cyflwr o ddideimladrwydd meddwol; a'r bore canlynol, cafwyd ef yn glaf o dwymyn angerddol, yr hyn oedd yn amlwg yn ffrwyth ei benrhyddid a'i afradlonedd. O'r dwymyn hono, ar ol llawer o ddyddiau dychrynllyd, a thrwy y gofal mwyaf a thyneraf oddiwrth ei berthynasau pryderus, ac ymdrech y meddygon rhagoraf, efe a welläodd; ond er ei adferu i iechyd, cafwyd nad oedd efe wedi ei adferu i reswm a synwyr; yr oedd ei dwymyn wedi ei adael, ysywaeth, yn wallgofddyn gorwyllt. Mor arswydlawn oedd ei wallgofrwydd cynddeiriog, fel y gwelwyd yn anghenrheidiol ei gaethiwo mewn gwallgofdŷ, er mwyn ei gadw rhag gwneuthur niwed iddo ei hun ac i eraill. Ymhen amser, yr oedd efe yn ymddangos wedi ei adferu mor bell fel y bernid y byddai yn ddiogel ei ddwyn adref at ei deulu. Yr oedd efe eto yn anmhwyllog; eithr yr oedd erbyn hyn yn hynod lariaidd ac ufudd, yn ymgeisio i wneuthur pob peth a erchid iddo.

Cynnaliwyd *camp meeting* yn y gymydogaeth ymhen rhai wythnosau ar ol ei ddychweliad adref—cyfarfod pregethau ac anerchiadau efengylaidd dan yr awyr agored, i ba un yr oedd tyrfa lïosog iawn wedi ymgasglu. Gan fod y truan gorphwyllog yn ymddangos mor dawel a rhadlawn, barnwyd y gallai ei ddwyn i'r cyfarfod effeithio er lles iddo, neu o leiaf na wnai hyny iddo ddim niwed, gan y byddai ceraint gofalus yn ddyfal yn edrych ar ei ol. Nid oedd efe yno ymhell oddiwrth yr esgynlawr; ac yn ystod y gwasanaeth arweiniol, y canu, y darllen, a'r gweddïo, yr oedd efe yn ymddwyn yn llonydd a gweddaidd, fel nas gallai pobl ddyeithr ddeall fod dim anhwyldeb meddyliol arno. Yn awr yr oedd y dorf ar orphen canu wedi'r gweddïo, a'r pregethwr yn eistedd gyda'r Bibl ar ei lîn, ac yn troi at ei destun, pan yn ddisymwth yr aeth y gŵr ieuanc gorphwyllog oddiwrth ei gyfeillion, heb iddynt feddwl, ac y dringodd mewn mynyd i'r esgynlawr, ac yr ymwthiodd heibio i'r pregethwr i fyny i'r pulpud. Yr oedd llïaws o'r gynnulleidfa yn ei adnabod, a mawr oedd y cyffro wrth ei weled felly; ond gan y gwelid ef yn codi ac yn ysgwyd ei ddwylaw megys am osteg, ac yn edrych yn dawel yn hytrach nag yn wyllt, tybiodd y rhai oedd yn gyfagos iddo mai gwell oedd ei adael yno am fynyd yn hytrach na'i gymeryd ymaith trwy orthrech, gan y gobeithid y ceid ef

---

"Yr hon wedi dechre ei thraethu gan yr Arglwydd." Dadblygu yr athrawiaethau mawrion a ddadguddiodd Iesu Grist a ddarfu yr Apostolion. Ymhellach, nid oedd yn gyfleus dewis a gosod swyddogion yn yr eglwysi apostolaidd ar y cyntaf. Yr oedd eisieu i'r eglwysi gael amser i'w hadnabod yn ol y cymhwysderau. Ynglŷn â'r syniad hwn, ymhen yspaid o flynyddoedd y cawn i Paul a Barnabas osod henuriaid ymhob eglwys. Yr oedd yn y trefi hyny eglwysi yn flaenorol i'r ymweliad hwn; a'r un modd yn Creta, "Fel yr iawn-drefnit ac y gosodit henuriaid ymhob dinas:" iawn-drefnu, gosod pethau mewn trefn. Yr oedd hyn yn agos i ddiwedd oes yr Apostol. Onid oes yn hyn awgrymiad i ninnau rhag bod yn orbrysur i ddewis swyddogion, pa un a fydd yno ar y pryd ddefnyddiau ai peidio?

*Henuriaid a diaconiaid.* Fel y cawn fod dau o'r Apostolion yn dadgan eu bod yn henuriaid yn gystal ag yn apostolion, felly mae yr henuriaid yn ddiaconiaid hefyd, yn enwedig o ran hawl, er fod amgylchiadau yn dygwydd y byddai yn well gadael y gweinyddiad i'r diaconiaid. Blaenoriaid ydyw yr enw a roir i'r diaconiaid yn y *Cyffes Ffydd* yn ddïeithriad, a hyny ymhob argraffiad; ac yn yr argraffiad Seisonig, *Leaders* or *Elders* eu gelwir heb un eithriad. Mae hyn, o ran lle a sefyllfa, yn gyffelyb dybygwn i'r *henuriad llywodraethol* yn eglwys Bresbyteraidd Ysgotland. Er ys ychydig flynyddau yn ol, amlygwyd syniadau gan rywrai yn tueddu i wangaloni swyddogion, sef dywedyd nad oedd y blaenoriaid i ymdrin dim âg achosion ysbrydol yn yr eglwysi, namyn gwasanaethu byrddau, gofalu am wneyd y casgliadau, ac achosion allanol crefydd yn unig. Yr oedd hyn yn tueddu i wneyd y gwan yn wanach, ac y mae hefyd yn hollol groes i'r *Cyffes F,ydd* (rheol 33). Ac y mae y Rheolau a'r Gyffes wedi eu cydgorffori yn y Weithred Gyfansoddiadol, yr hon sydd yn dadgan yn bendant fel hyn:—"That the duties of Elders or Leaders of Societies shall consist in assisting their Ministers and Preachers (if any or either happen to be in such Society) in the spiritual concerns of their respective Churches" (p. 33, last edition). Hyderir fod hyn yn ddigon ar y pwnc hwn. Ni buasem yn cyfeirio ato o gwbl oni bae ein bod yn gwybod fod y camsyniad wedi bod yn niweidiol. Cofiwn mai mewn undeb y mae nerth, ac mai cydweithwyr Duw a ddylem fod; "yn caru fel brodyr." "Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'ch gilydd; yn rhoddi parch, yn blaenori eich gilydd." Mae yn llawen genyf allu dadgan fod y rhai goreu yn y ddwy swydd yn wir barchus o'u gilydd. Tra y pery yr ysbryd hwn yn ein mysg, sef bod y swyddogion yn unol i gydweithio yn nheyrnas ein Gwaredwr, fe bery Methodistiaeth yn allu bendithiol er lledanu gwir grefydd yn ein gwlad.

oddiyno yn lled ebrwydd, ac yr ofnid, os ymeflid yn feiddgar ynddo, y gyrai hyny ef yn gynddeiriogwyllt, ac y llwyr ddyrysid yr holl gyfarfod.

Wel, dyma'r creadur gwallgof yn edrych ymlaen ac oddiamgylch ar y gynnulleidfa fawr, lle yr oedd yn awr ddystawrwydd fel y bedd; ac yna gydag iaith ac oslef a dull oedd yn effeithio yn ddirfawr ar y dyrfa, efe a ddywedodd,

"Mae eich canu chwi heddyw yn ganu'r nefoedd. Mae'r adar oddiar ben y coedydd draw yn cario eich canu chwi yn eu caniadau hwy i glustiau ac at wefusau yr angylion, a hwythau a ddygant y canu fel arogldarth peraidd at orseddfainc yr Hollalluog Ddnw. Ti a bïau'r llawenydd, O Israel. Dyna chwi, bobl hapus, yn meddu ar enaid byw, sydd yn llawenychu yn ngoleuni rheswm, yn ymolchi yn nwfr cariad y Bibl, ac yn gobeithio yn ngogoniant anfarwoldeb. Ond dyma fi, och, och, â'm henaid wedi marw! Wedi fy magu yn blentyn o deulu Duw, mi a droais yn anffyddlawn iddo ef, Duw fy nhad a'm mam, y Duw a'm gwnaethai innau iddo ei hun, ac a werthais fy mywyd, fy nedwyddwch, a'm hanfarwoldeb, i dywysog y tywyllwch. Fel teithiwr yn troi o'r iawn lwybr, er mwyn cyrhaedd blodau teg ond gwenwynig oedd ar ddibyn serth, ac yn syrthio a chael ei ladd, felly minnau a grwydrais i'm lladdedigaeth fy hun! Yr oedd fy nhraed i ddechre ar y llwybr cul ac uniawn, a minnau wedi gwisgo sandalau crefydd arnynt, ac yr oedd ffon gwirionedd yn fy llaw; ond er y cwbl, O fy Nuw! crwydro a wnaethum nes i'm henaid gael ei ladd. Blodau teg yr olwg, ond dreiniog a gwenwynig, blodau annuwioldeb, a'm denasant o'r ffordd. Yr oedd yr un drwg yn ceisio fy nystryw, gan ddyweyd yn deg wrthyf, a minnau, er deall mai nid angel da oedd yn fy arwain, yn rhedeg ar ei ol. Gwyddwn, gwyddwn mai colledigaeth oedd o fy mlaen; ond â'm henaid wedi ei felldithio, yr oeddwn yn cau fy llygaid rhag edrych ymlaen tua diwedd y daith. Aethum cyn hir i geisio marwolaeth, a marwolaeth a ddaeth. Agorais fy llygaid, a gwelwn ar fy ffordd draw ddibyn ofnadwy. Yr oedd mellt y nefoedd yn fflachio o'm hamgylch, a tharanau yr Hollalluog yn crochleisio yn fy nghlustiau; a theimlwn fy hun yn cael fy nhynu ymlaen tua'r gagendor erchyll draw. Marw, marw tragywyddol oedd yn llygadrythu yn fy wyneb; ac ysgrechian yn alaethus yr oeddwn am help. Y noson arswydus hono, nis anghofiaf byth! Yn nhŷ'r gwpan feddwol yr oeddwn yn cael fy hun ddechre'r nos; ond pa fodd y daethum oddiyno at y dibyn dychrynllyd draw, nis gwn i ddim. Fy nghymdeithion mewn oferedd a gauent eu clustiau rhag clywed fy ngwaedd, a'r un drwg yr oeddwn wedi gwerthu fy enaid iddo oedd yn fy mocio mewn gwawd. Ymlaen, ymlaen, yr oeddwn yn tynu yn nês, nês, tua'r dibyn. Yn ffrochwyllt y cydiwn ymhob cangen oedd yn tyfu ar fy ffordd; ond tori yr oeddynt yn fy llaw; ymaflwn yn y cèryg mawrion a welwn wrth basio, ond malurio yn llwch yr oeddynt dan fy ngafael; a dyna fi felly wedi myned at ymyl dibyn marwolaeth ac uffern. O ddychryn a braw! Mi waeddais i'r nefoedd am drugaredd; ond, O Dduw mawr, yr oedd yn rhy ddiweddar. Y daran wrth ruo a ddywedai, Rhy ddiweddar! tywyniad y fellten a waeddai, Rhy ddiweddar! a gwaeth na'r cwbl, fy nghydwybod i fy hun o geudod fy enaid a oergrïai, Rhy ddiweddar! Mi deimlais fy hun yn llithro, yn llithro dros y dibyn. Ceisiais gydio mewn rhywbeth oedd o fewn cyrhaedd i mi; ond nid oedd dim a allasai fy achub. Crïais, gruddfanais, crochwaeddais, gweddïais, a melldithiais; do, mi a felldithiais y dafarn, melldithiais fy nghymdeithion, melldithiais fy hun! Ac felly i lawr, i lawr, i lawr i golledigaeth y syrthiodd fy enaid!"

Yma y creadur gorphwyllog a gymerodd seibiant. Yr oedd ei bortrëad bywiog o'i hynt bechadurus a thruenus wedi cynhyrfu a dychrynu yr holl gynnulleidfa; ac yr oedd yno amryw yn methu ymgadw rhag rhoddi oerlef frawychus pan yr oedd efe yn darlunio ei enaid yn myned i lawr i ddystryw. Ond ni safodd efe eithr am fynyd. Dyma efe yn llefaru drachefn, ond yn awr mewn dull araf, ac mewn llais îs nag o'r blaen:

"O bobl, dyma chwi yn fy ngweled i yn un sydd eto yn byw ar y ddaear heb yr un enaid ganddo! Gellwch chwi, bobl Dduw, ganu eich pennillion hyfryd, o herwydd perarogl yw eich cân oddiyma hyd y nefoedd. Ond chwychwi, bechaduriaid, rhaid i chwi edifarhâu heddyw, ïe, heddyw; ac onidê bydd eich eneidiau chwi yn llithro i lawr, ar ol fy enaid i, dros y dibyn dwfn, tywyll draw, i waelod colledigaeth. A edifarhewch chwi, neu a fynwch chwi ddyfod ar fy ol i dros y dibyn?"

Yr oedd yr effaith o'i eiriau hyn ar y bobl yn annhraethadwy; a gruddfanau ac ysgrechfeydd a ddeuent hyd yn nôd oddiwrth rai a welid yn nechre'r cyfarfod yn edrych yn dra diofal a gwamal. Yr oedd y gŵr ieuanc erbyn hyn yn ymddangos wedi llwyr ddiffygio; ac o hono ei hun, efe a ddisgynodd o'r esgynlawr, ac a gymerodd ei arwain ymaith yn ddiwrthwynebiad i'w drigfan.

Bobl ieuainc, gochelwch y gwpan

feddwol! Na fydded dim a wneloch â'r dïodydd syfrdanol, nac â neb sydd yn dal i fyny gyfeddach a diotta. Dinystrydd y corff, ïe, a dinystrydd yr enaid, yw y gwlybwr meddwol; gelyn a'ch ·yspeilia o'ch cysuron yn awr, ïe, ac o'ch iachawdwriaeth byth.

---

## CYMERIADAU YMHLITH EIN CYNNULLEIDFAOEDD.

### III.—MR. JONES Y *shop* A GEORGE RHODRIC.

MAE yn debyg fod rhyw wir yn y dywediad fod pawb yn fawr yn ei ffordd ei hun. Eglur yw nad yr hyn ydyw dyn ynddo ef ei hun sydd yn ei wneyd yn fawr, ond yr hyn ydyw o'i gymharu â phobl eraill yn yr un ardal âg ef. Mae a fyno lle gryn lawer â'r hyn sydd yn cyfansoddi mawredd mewn dyn. Ni byddai yr hwn a ystyrir yn fawr mewn un gymydogaeth ond bychan a disylw mewn cymydogaeth arall. Ar yr un pryd, ni byddai yn gyfiawn ynom geisio difeddiannu dyn o'i fawredd ar y dybiaeth na byddai yn fawr pe symudai i ardal arall. Annheg i'r eithaf a fyddai ceisio tynu un iod nac un tipyn oddiwrth fawredd John Jones, neu fel yr adwaenir ef gan ei gymydogion, Mr. Jones y *shop*. Gan y rhaid i ni, ynglŷn â Mr. Jones, gyffwrdd â rhai cymeriadau eraill, fe allai y caniatâ y darllenydd i ni ymdroi ychydig gyda rhai o brif ddygwyddiadau ei fywyd. Os na chafodd fanteision addysg yn more ei oes, nid ei fai ef oedd hyny. Pe cawsai hwynt, dilys y buasai wedi gwneyd defnydd da o honynt. Gan fod yr ardal lle y trigianna yn un boblogaidd, a llawer o weithfeydd ynddi, darfu iddo mewn amser cymhariaethol fyr, trwy ddiwydrwydd, gyrhaedd sefyllfa ag yr edrychid arno gan ei gymydogion fel "dyn pur dda arno." Dechreuodd gadw *shop* mewn tŷ lled fychan; ac am rai wythnosau meddyliodd mai ei chadw hi a fyddai raid iddo, ac na ddeuai y *shop* byth i'w gadw ef. Ond trwy brynu yn y farchnad oreu, a gwerthu am brisiau rhesymol, daeth yn fuan yn fasnachwr llwyddiannus. Wedi cyrhaedd sefyllfa gysurus, fel pob dyn call cymerodd ato gymhar bywyd. Merch ydoedd hi i amaethwr cefnog yn y gymydogaeth, yr hon, heblaw ei bod wedi cael addysg dda, oedd feinwen landeg a hardd. Os oedd llawer o fân fasnachwyr yn cenfigenu wrth Mr. Jones am ei lwyddiant blaenorol, yr oedd mwy o ddynion ieuainc yr ardal yn cenfigenu wrtho am ei lwyddiant diweddaf hwn; oblegid edrychid ar Miss Richards—canys dyna oedd ei henw morwynol—fel y ferch ieuanc fwyaf priodadwy yn y lle; ac nid oedd gan ei gelynion penaf ddim mwy o ddrwg i'w ddyweyd am dani na'i bod "braidd yn uchel ei ffordd," ac hwyrach fod rhyw gymaint o sail i'r cyhuddiad hwn.

Y cyntaf yn yr ardal i deimlo effeithiau priodas Mr. Jones ydoedd George Rhodric, y teiliwr; canys hyd yn hyn buasai Mr. Jones yn gwsmer rhagorol iddo; ac yr oedd y siopwr yn dyfod i fyny ymhob ystyr â drychfeddwl y dilledydd am gwsmer da, sef yn un oedd yn gwisgo llawer o ddillad, un hawdd ei ffitio, un hawdd ei foddio, ac un yn talu arian parod yn ddirwgnach. Pan ddaeth y si allan gyntaf am y briodas, nid oedd neb yn fwy zelog yn seinio clodydd doethineb dewisiad Mr. Jones na George Rhodric; ac yn ddystaw bach rhyngddo âg ef ei hun, dysgwyliai ysglyfaeth nid bychan ynglŷn â'r amgylchiad; ac er iddo, pan agosäodd yr amser, gael ei siomi yn y peth diweddaf, nid allai lai na chanmawl cynnildeb Mr. Jones, pan adgofiodd mai yn ddiweddar iawn y gwnaethai efe *suit* newydd iddo, ac fod hono yn un eithaf pwrpasol i'r amgylchiad hapus, er, ar yr un pryd, yr oedd yn gorfod cyfaddef wrth ei brentis na buasai neb yn beïo Mr. Jones am gael *suit* newydd gogyfer â'i briodas. Ond pa faint oedd ei brofedigaeth, pan ddeallodd, mewn ymddyddan â gwas i Mr. Jones y noson cyn y briodas, fod ei feistr wedi cael dillad newydd o'r dref fawr nesaf? Yr oedd naill ai yn rhy synwyrol, neu ynte yr oedd y brofedigaeth yn ormod iddo allu dyweyd llawer; ond aeth adref â'i ben yn ei blŷf. Yr oedd ganddo faner o ganfas wedi ei pharotoi, a'r geiriau "LLWYDDIANT I'R PAR IEUANC" wedi eu gwneyd o wlanen goch a'u gwnïo yn gywrain arni, yr hon a fwriadasai gwhwfanu o ffenestr y llofft ddydd y briodas; ond ar ol yr ymddyddan y cyfeiriwyd ato, lapiodd hi i fyny mewn papyr llwyd hyd ryw amgylchiad dyfodol. Yr oedd yn dda ganddo, erbyn hyn, nad oedd wedi rhoi enwau y pâr ieuanc ar y faner, fel y bwriadasai ar y cyntaf. Sylwyd, ddydd y briodas, gan y cymydogion, na ddaeth George Rhodric na'i brentis allan o'r tŷ; a'r rheswm a roddid am hyny oedd eu bod yn rhy brysur. Yr oedd hyn yn brofedigaeth fawr i'r prentis, gan y rhoddid tê a bara brith i blant yr Ysgol Sul gan gyfeillion Mr. a Mrs. Jones; ond gwnaed i fyny iddo am hyny, i raddau, trwy i'w feistr roddi iddo dair ceiniog am aros i mewn, ac addewid am *holiday* y dydd Llun canlynol. Er na ddaeth George Rhodric allan o'r tŷ ddydd y briodas, tystiai y prentis ddarfod iddo, pan oedd y priodfab a'i wraig yn pasio ei dŷ, edrych yn ddirgelaidd trwy y ffenestr; ond yr unig eiriau y clywodd y prentis ef yn

ddyweyd oeddynt, "Wel, fuasai raid iddo ddim myned i Gaer—— i gael y rhai yna."

Yr oedd gan Rhodric ychydig edmygwyr, y rhai a fynychent ei weithdŷ, i wrandaw ar ei ddoethineb, ac i gael "pibellaid." Nid allai y rhai hyn lai na nogio eu penau, i ddangos eu cymeradwyaeth, pan y byddai y dilledydd yn siarad yn awgrymiadol ac mewn hanner brawddegau. "Sôn yr oeddych," meddai, "am briodas Mr. Jones. Wel, dyma ydi fy meddwl i,—y dylai dyn *fod* yn ddyn, ac nid cael ei lywodraethu gan ei wraig. Mae arian yn burion yn eu lle; ond nid arian ydi pobpeth. 'Does gen i ddim i'w ddyweyd am Mr. Jones; ac am Mrs. Jones—wel, nid fy lle i ydi dyweyd dim." Nid yn yr awgrymiadau hyn a'r cyffelyb, yn unig, y canfyddid y cyfnewidiad yn syniadau George, mewn perthynas i'w barchedigaeth i Mr. Jones, ond gwnai ei ymddangosiad ar achlysuron cyhoeddus. Yn flaenorol, pan y gelwid ar Mr. Jones i "ddyweyd gair" ar unrhyw fater, byddai Rhodric fel pe buasai yn llyncu pob gair a ddeuai o'i enau, ac yn porthi y gwasanaeth yn y fath fodd fel ag y buasai dyn llai synwyrol na Mr. Jones yn ymfalchïo, ac yn myned i feddwl llawer o'i ddawn; ond ar ol yr amgylchiadau y cyfeiriwyd atynt, byddai George Rhodric naill ai yn ymddangos mewn myfyrdod dwfn neu ynte yn troi dalenau y llyfr hymnau.

Buasai yn beth i ryfeddu ato pe na buasai cysylltiad newydd Mr. Jones â theulu oedd yn dda arnynt, âg yntau ei hun eisoes mewn amgylchiadau cysurus, heb effeithio rhyw gymaint ar fanteision ac ymddangosiad ei fasnachdŷ. Nid hir y bu, pa fodd bynag, heb wneyd y tŷ yn llawer helaethach, a'r *shop* yn llawer mwy cyfleus a golygus. Ond yr hyn a synodd rai o'r cymydogion fwyaf oedd y cyfnewidiad yn y *sign* uwch ben y faelfa. Yr hyn a arferai fod ar yr hen *sign* oedd, "J. Jones, *Grocer. Licensed to sell Tobacco.*" Ond ar y *sign* newydd, yr hon oedd gymaint ddwywaith â'r un flaenorol, yr oedd, "J. R. Jones, *Provision Merchant.*" Cafodd rhai o'r ardalwyr diniwed eu twyllo yn hollol pan welsant y *sign* newydd. Tybiasant ar unwaith fod Mr. Jones yn bwriadu gadael y gymydogaeth, a myned i fyw ar ei arian, a'i fod yn parotoi y *shop* i ryw berthynas agos iddo, ac y byddai'r fasnach yn rhywbeth hollol wahanol i'r hyn oedd wedi arfer a bod, hyd nes yr aeth rhai o honynt at George Rhodric. "Wel, yr ydych yn rhai diniwed, bobl bach," ebe fe; "oni wyddoch beth ydyw y llythyren gyntaf yn enw teulu Mrs. Jones? ac oni wyddoch fod yr enw J. Jones yn enw *common* iawn—annheilwng o ddyn cyfoethog? 'Does dim eisieu i neb ddeyd wrtha *i* pwy sydd wedi bod wrth y gwaith yna. Mae Mr. Jones yn ddyn da; ond y mae llawer dyn da cyn hyn wedi cael ei andwyo gan ei wraig. Mi feder balchder wneyd ei ffordd i le gwledig fel hyn, yr un fath ag i Lunden. Dyna meddwl i."

Afreidiol yw dyweyd fod sylwadau ac awgrymiadau George Rhodric wedi taflu y fath oleuni ar y cyfnewidiadau y cyfeiriwyd atynt nes llwyr foddloni meddyliau ei edmygwyr ar sefyllfa pethau, ac fod ei dreiddgarwch a'i ddoethineb yn fwy yn eu golwg nag erioed; ac ni ddarfu un o honynt ddychymygu am foment fod un gair a ddywedodd yn tarddu oddiar genfigen.

Teg ydyw hysbysu y darllenydd mai nid trwy lygaid George Rhodric yr edrychai mwyafrif cymydogion Mr. Jones, ac yn enwedig pobl y capel, ar y cyfnewidiadau a gymerasent le yn ei amgylchiadau. Gan fod yr eglwys y perthynai Mr. Jones iddi yn cael ei gwneyd i fyny gan mwyaf o bobl lled dlodion, yr oedd efe, er ys amser bellach, yn gefn mawr iddi mewn ystyr arianol; ac yr oedd y parch a delid iddo yn gyffredinol gan yr eglwys yn tarddu, nid yn gymaint oddiar yr ystyriaeth ei fod yn uwch mewn ystyr fydol na'r cyffredin o honynt hwy, ond oddiar anwyldeb dwfn a gynnyrchwyd gan ei garedigrwydd, ei haelioni crefyddol, a'i gymeriad gloew. Credu yr ydym y buasai William Thomas, y pen blaenor, yn tori ei galon pe dygwyddasai i amgylchiadau gymeryd Mr. Jones o'r gymydogaeth, gan fel yr oedd yn ei garu fel y cyfaill goreu y cyfarfyddodd âg ef ar y ddaear. Gan i ni son am William Thomas, mae efe yn teilyngu i ni ei ddwyn i bennod arall.

L. N. M.

---

## Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

GENESIS iv. 15: "A'r Arglwydd a osododd nôd ar Cain, rhag i neb a'i caffai ei ladd ef."

Y MAE'R "nôd ar Cain" wedi achlysuro amrywiol dybiau, i geisio ei esbonio; ond ni ddychymygasid am y rhan fwyaf o honynt pe buasid yn ymgynghori â'r testun gwreiddiol yn yr Hebraeg. Meddwl y geiriau, fe welir, ydyw, i'r Jehofah *roddi arwydd i Cain* nad oedd efe i gael ei ladd gan un dyn neu neb dynion. Yr ydym yn cael ar ol hyn i Dduw roddi arwyddion i rai eraill, megys i Noah (Gen. ix. 13)—i Moses (Exod. iii. 2, 12)—i Elias

(1 Bren. xix. 11)—ac i Hezecïah (Esaiah xxxviii. 7, 8). A oedd yr arwydd hwnw a roddwyd i Cain yn ganfyddadwy iddo ef yn unig, ac wedi ei roddi iddo unwaith am byth, neu ynte a oedd eraill yn gallu ei ganfod, ac wedi ei amcanu er gocheliad neu rybudd iddynt,—y mae hyn neu hyny yn ansicr; ac o ba fath ansawdd yr oedd yr arwydd ei hun, sydd beth mwy ansicr.

---

ESAIAH lx. 17: "Gwnaf dy swyddogion yn heddychol, a'th drethwyr yn gyfiawn."

DARLLENIAD Delitzsch ydyw, "Gwnaf heddwch i ti yn benswyddogaeth, a chyfiawnder i ti yn geisbyliaid;" a'r meddwl ydyw, medd efe, y gwelid yn ninas Duw, yn nhymmor llwyddiant mawr y dyddiau diweddaf, heddwch a chyfiawnder yn llanw lle swyddwyr yr heddgeidwadaeth *(police force)*. Byddai ganddi ei swyddwyr, ond y rhai hyny yn dyner a chyfiawn, fel y gellid galw yr holl reolaeth yn heddwch a chyfiawnder. Hen ddarlleniad y Deg a Thriugain ydyw, "Gwnaf dy esgobion yn heddychol, a'th ddiaconiaid yn gyfiawn;" ac yr oedd Clement o Rufain yn cyfeirio at y geiriau yn ol y darlleniad hwnw, fel yn brophwydol am y ddau brif urdd yn eglwys y testament newydd; ac yn ddiau, medd rhywun yn ddiweddar, help mawr tuag at i'r esgobion fwynhâu a meithrin heddwch yw, i'r diaconiaid weinyddu y trethi mewn cyfiawnder.

---

2 THESSALONIAID iii 1: "Bellach, frodyr, gweddïwch drosom ni, ar fod i air yr Arglwydd redeg, a chael gogonedd, megys gyda chwithau."

WRTH ofyn i'r Thessaloniaid cristionogol weddïo drosto, nid oedd dim yn hunangar, ni a welwn, yn nghais yr Apostol Paul; nid oedd am iddynt ddeisyfu am esmwythâd neu gysur iddo ef ei hun, eithr am i'r efengyl a bregethid ganddo ef a'i frodyr fod yn effeithiol a llwyddiannus. Yma y mae efe yn cymharu gair yr Arglwydd i redegwr, un yn rhedeg gyrfa; a chymhariaeth a arferir yn fynych gan Paul yw hon. Yr oedd efe am i yrfa yr efengyl, gair yr iachawdwriaeth, fod yn fywiog, cyflym, rhydd oddiwrth rwystrau, myned i leoedd newyddion na bu yno o'r blaen, ac ennill gogonedd oddiwrth ei gwaith a'i ffrwythau; ac felly y mae yn erfyn am weddïau ei frodyr tuag at iddi gael rhwydd hynt yn ei rhedegfa bwysig. Mae llwyddiant yr efengyl yn dibynu yn offerynol ar weddïo gwresog yn gymaint âg ar bregethu ffyddlawn.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## CYFRIFIAD YN EI GYSYLLTIAD A CHRIST.

*Sylw ar ysgrif Levi, tu dalen 182.*

BARCHEDIG SYR,—Darllenais ysgrif neu draethawd Mr. Levi, o'r Cemmaes, Môn, yn rhifyn Ebrill o'r DRYSORFA, ar "Hynodion bywyd yr Arglwydd Iesu." A chan nad wyf yn medru ei ddeall yn dda, neu yn anghyttuno â'r syniad a ddygir ymlaen fel ei deallir genyf, tueddir fi i amlygu fy meddwl arno yn eich cylchgyhoeddiad clodwiw.

Dyma yr ymadroddion sydd yn ymddangos yn ddyeithriol i mi: y "baich 'cyfrifiad' pechodau a gwendidau naturiol y natur a gymerodd efe ato ei hun.—Perchenogodd y natur," sef dynoliaeth, "mewn ystâd berffaith, a chymerodd bechodau a gwendidau y natur hono trwy gyfrifiad yn unig; a chyn y gallasai ddwyn y baich hwn arno ei hun, yr oedd yn rhaid iddo feddu ar gorff heb bechod na gwendid yn bod ynddo." A cheir eraill ymadroddion cyffelyb ar hyd yr ysgrif.

Am gyfrifiad pechodau ar Grist, y meddwl ydyw, ni a wyddom, roddi ein pechodau ni yn erbyn Crist, i ddyoddef y gosb ddyledus am danynt, *fel pe buasai* efe yn bechadur; nid mai efe yn weithredol a'u cyflawnodd, yr hyn a fyddai yn gabledd i'w feddwl am y Sanct a'r Cyfiawn, ond eu bod wedi eu rhoddi yn ei erbyn ef fel y Machnïydd a'r Aberth drosom, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn; efe yn sefyll yn lle pechaduriaid, megys pe efe ei hun a fuasai y troseddwr; ac felly iddo ddwyn y gosbedigaeth ddyledus am ein pechodau. Yr un syniad sydd am gyfrif cyfiawnder Crist i gredinwyr; nid cyfrif mai hwy a roes iawn i ddeddf y nefoedd, ond wedi eu hûno trwy ffydd âg Efe yr Hwn yw yr Iawn, cyfrifir ei haeddiaut anfeidrol ef o'u tu hwy, a hwythau yn ufudd-dod iawnol Crist yn gyfiawn, fel pe buasent wedi cadw'r ddeddf yn eu personau eu hunain.

Ond pa fodd y gellir deall "cyfrifiad" fel hyn mewn cysylltiad â "gwendidau naturiol" dynoliaeth yr Arglwydd Iesu? Beth a olygir wrth y gwendidau naturiol? Onid gwendidau mabandod, a gwendidau un wedi tyfu i fyny, megys newyn, syched, blinder, cysgadrwydd, llewygfeydd, a'r cyffelyb? Wel, fe fu Iesu Grist yn faban bach gwirioneddol, ac nid cyfrifol, ac fel y cyfryw yr oedd yn cynnyddu "mewn doethineb a chorffolaeth." Yr oedd efe mewn gwirionedd yn diffygio gan ei deithiau; a gwyddai beth oedd chwant bwyd a diod; ac yr oedd ei natur flinedig yn methu ymarbed rhag cwsg, hyd yn nôd pan ar y môr mewn ystorm enbyd. Yn wyneb hyn, yr wyf fi yn methu gwneuthur unrhyw ystyr ddealladwy o'r ymadrodd gan Mr. Levi, fod ein Hiachawdwr yn cymeryd gwendidau y natur ddynol "trwy

gyfrifiad yn unig." Cael fy nysgu yr wyf fi gan y Bibl sanctaidd fod ein Iesu wedi ei wneyd "ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr" —yn "medru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni—wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud a ninnau;" a'r unig eithriad yn ei amgylchiad ef oedd, ei fod "heb bechod," gan nad oedd pechod ond yn gyfrifedig arno, ac nid yn gyflawnedig ynddo a chanddo. Hawdd i ni ddeall fel hyn am gyfrifiad pechod ar Grist, yn gystal ag am gyfrifiad cyfiawnder Crist i'w bobl; ond dywedyd am gyfrif gwendidau y ddynoliaeth ar Grist, pan yr oedd efe yn eu dwyn yn wirioneddol yr un ffunud a ninnau, sydd, yn fy ngolwg i, yn ddull o ymadroddi anghyson a disail.

Dywed y brawd Levi o Fôn am Grist fod "yn rhaid iddo feddu ar gorff heb wendidau naturiol cyn y gallasai ddwyn gwendidau eraill;" gwendidau *rhai* eraill a olyga, mae yn debyg. Ond ai nid methu esbonio y mae Mr. L. yma eto? Gwir y dywedir, "Efe a gymerth ein gwendid ni, ac a ddŷg ein doluriau;" ond y meddwl yna ydyw, ei waith yn dwyn ymaith yn wyrthiol wendidau a doluriau a ddyoddefid gan ddynion. Efe, medd Matthew, "a iachäodd yr holl gleifion, fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd, Efe a gymerodd ein gwendid ni, ac a ddŷg ein clefydau." Cywirach a chyflawnach, dybygwn i, a fuasai y dduwinyddiaeth o'r Cemmaes, pe dywedasid i Grist gymeryd corff gyda'i wendidau naturiol, fel y gallasai yn effeithiol gydymdeimlo â ni dan ein holl wendidau. Ymddengys fod Mr. L. yn rhoddi pwys ar y dywediad ysgrythyrol i Grist ddyfod "yn *nghyffelybiaeth* cnawd pechadurus." Ië, efe a ddaeth yn nghyffelybiaeth cnawd *pechadurus*, ond nid yn nghyffelybiaeth *cnawd*. Efe a ymddangosodd mewn gwir gnawd; ac nid "pechadurus" mewn un modd oedd y gwendidau naturiol.

Nid wyf yn gallu canfod pa beth y mae eich gohebydd Levi yn ei ennill wrth haeru fod y Cyfryngwr wedi myned dan gyfrifiad o'n gwendidau, yr un fath â than gyfrifiad o'n pechodau. Ond y mae arnaf ofn ei fod yn dechre crwydro i dir peryglus. Gwylied rhag dybenu yn heresi y Manichëaid, y rhai a haerent i Grist ymddangos yn unig mewn rhith neu gysgod corff materol, ac nid mewn un gwirioneddol. Pa fodd bynag, ysgrifenais y byr adolygiad hwn ar ei syniad rhyfedd am yr ymgnawdoliad mawr, er mwyn iddo egluro ei hun yn fanylach, ac amddiffyn ei hun yn llygad goleuni.—Ydwyf, barchedig syr, yr eiddoch, &c.

THADDEUS.

*Arafondir Clwyd.*

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA LLANRHAIADR-YN-MOCHNANT.

EBRILL 10, 11, a'r 12FED, 1878.

LLYWYDD,—Y Parch. EMRYS EVANS, Dinbych.

DYDD IAU, EBRILL 11EG.

*Cyfarfod y Pregethwyr.*

YMDDYDDANWYD â dau o'r brodyr oedd wedi eu dewis i'w hordeinio y flwyddyn hon, sef Mr. John Davies, Trefaldwyn, a Mr. Henry Jones, Llanwyddyn. Holwyd hwynt am ddull a moddion eu dychweliad at grefydd, am brofiadau eu bywyd crefyddol, ac am eu teimladau gyda golwg ar waith mawr y weinidogaeth; a chafwyd boddlonrwydd yn eu hatebion.

Yn yr ymdriniaeth, rhoddwyd annogaethau i ymroddi i lafur yn ngweinidogaeth y gair. Dywedwyd fod perygl mawr oddiwrth segurdod. Mae'r ffurf deithiol sydd ar bregethu yn ein plith ni yn rhoddi mantais i segurdod, os bydd tuedd at hyny —nad ydym dan *orfod* i barotoi cynifer o bregethau âg y mae pregethwyr enwadau eraill yn gorfod eu parotoi. Gall rhai yn ein plith ni fyned trwy flynyddoedd o lafur cyhoeddus mewn pregethu, gydag ond ychydig iawn o lafur meddwl ar gyfer hyny. Peth pwysig ydyw i ddyn pan yn ieuanc ymroddi i lafur. Dylid gochel ymfoddloni ar dynu cynlluniau o lafur, a'u taflu ymaith heb eu cyflawni; cynllunio a chynllunio i wneyd hyn, ac i lafurio yn y cyfeiriad hwn ac arall, ond byth yn cyflawni hyny. Ymrodder i ddarllen, i lafurio, er ymgyfaddasu at waith mawr y weinidogaeth. Y mae un fantais yn perthyn i'n dull ni fel cyfundeb gyda phregethu, fel y mae yn symudol a theithiol, nad ydyw yn perthyn i ddull cwbl sefydlog cyfundebau eraill: ein bod yn cael mwy o hamdden i feddwl ac i deimlo wrth barotoi ar gyfer y pulpud, fel ag i gael budd i'n hysbrydoedd ein hunain. Gall gormod brys a ffwdan gyda chyfansoddi y bregeth ein hamddifadu o hyn. Peth mawr ydyw cael hamdden i aros mewn myfyrdod ar y gwirionedd nes ei deimlo. Gŵyr rhai am deimladau dyfnach a grymusach yn y parotoad hwn nag a deimlant ond yn anfynych wrth draddodi yn y cyhoedd. Dylid cadw mewn cof fod gwahaniaeth rhwng pregeth a thraethawd. Traethawd da sydd yn bregeth salw lawer pryd. Camgymeriad mawr ydyw meddwl fod traethawd sych yn rhagori ar bregeth deimladol.

Naturiol ydyw i ni feddwl, wrth gael

pleser eu hunain, fod eraill yn cael lles; ac fel rheol, felly y mae; ond cafwyd esiamplau rai gweithiau o rai yn cael eu dychwelyd at Grist mewn adegau y tybiai y pregethwr ei bod yn galed arno gan ddideimladrwydd a thywyllwch. Nid ydym i syrthio i ormod digalondid, serch iddi weithiau fod yn dywyll a chaled arnom. Dywedwn y gwir *wrth* y bobl, ac nid ei ddyweyd yn eu clywedigaeth yn unig. Bydded ein gweinidogaeth yn gyfeiriol.

Peth o annhraethol bwys ydyw, i bregethwyr fod wedi eu meddiannu gan yr ystyriaeth o amcan pregethu; rhywbeth ynddynt am gael fod y gwirionedd yn cael ei wneyd. Dyben pregethu y gair ydyw cael dynion i'w wneuthur a gweithredu yn ei ol. Dyben dyweyd am bechod ydyw cael dynion i'w adael—am Grist ydyw cael dynion i'w dderbyn. Dywedid fod hyn yn hynod yn yr hen bregethwyr. Dylem fod â dyben genym bob tro yn ein golwg, a defnyddio y moddion cyfaddas i gyrhaedd y dyben hwnw; gwahardd pechodau, neu annog i ddyledswyddau, gan gymeryd i fyny y pethau mwyaf cyfaddas i beri fod y naill a'r llall yn cael eu gwneuthur.

Annogwyd i ddarllen, ac ar i'n darlleniad fod yn eang; darllen ysgrifenwyr diweddar yn gystal a'r hen ysgrifenwyr; nid yn unig darllen y Puritaniaid, ond hefyd y llyfrau a gyhoeddir yn bresennol. Mae i bob oes ei hysgrifenwyr yn gystal a'i phregethwyr.

Yn niwedd y cyfarfod hwn, oddiar deimlo y byddai yn fuddiol i'r Blaenoriaid yn gystal ag i'r Pregethwyr fod yn gwrando ar y Pregethwyr a ordeinir yn mynegu eu profiadau crefyddol, ac yn adrodd eu teimladau gyda golwg ar y gwaith pwysig o bregethu yr efengyl; cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, a chefnogwyd gan y Parch. T. Gray, a chyttunwyd,—Fod i'r ymddyddan hwn gymeryd lle yn un o gyfarfodydd dyddiau cyntaf y Gymdeithasfa, pan y bydd yr holl frawdoliaeth yn bresennol.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 2 o'r gloch.*

I. Hysbyswyd oddiwrth y diweddar Lywydd, y Parch. Hugh Jones, Liverpool, ei fod yn teimlo ei hun yn analluog i fod yn bresennol yn y Gymdeithasfa hon i draddodi yr anerchiad a ddysgwylid oddiwrtho, o herwydd y profedigaethau teuluaidd yr oedd wedi eu cyfarfod—marwolaeth ei anwyl blentyn, ac afiechyd peryglus un arall; ond dymunai gydnabod yn ddiolchgar bob hynawsedd a chynnorthwy a dderbyniodd oddiwrth ei frodyr yn ystod tymmor ei swydd.

Cynnygiwyd gan y Parch. D. Davies, Abermaw, a chefnogwyd gan y Parch. B. Jones, Bagillt, a phenderfynwyd, Fod diolchgarwch gwresocaf y Gymdeithasfa hon yn cael ei gyflwyno i'r Parch. H. Jones am ei wasanaeth gwerthfawr fel Llywydd am y flwyddyn a aeth heibio, a bod yn ofidus genym ei fod yn analluog i fod yn bresennol gyda ni, ynghyda bod llythyr o gydymdeimlad âg ef yn ei brofedigaeth yn cael ei anfon ato oddiwrth y Gymdeithasfa, gyda dymuniad ar iddo roddi yr anerchiad yn y Gymdeithasfa nesaf.

Yn absennoldeb y Parch. H. Jones, cyflwynodd y Parch. D. Davies i'r Gymdeithasfa y Llywydd dewisedig am y flwyddyn hon, sef y Parch. Emrys Evans, Dinbych. Wedi hyny cafwyd gair gan y Llywydd wrth gymeryd y gadair.

II. Ar gynnygiad y Parch. Dr. Hughes, a chefnogiad y Parch. Dr. Thomas, penderfynwyd, — Fod diolchgarwch mwyaf diffuant y Gymdeithasfa hon yn cael ei roddi i'r Parch. G. Parry, Aberystwyth, am ei wasanaeth ffyddlawn a medrus fel Ysgrifenydd yn ystod y tair blynedd y bu yn gwasanaethu y swydd, a'n bod yn dadgan ein gofid ei fod hefyd yn tori ei gysylltiad â Chymdeithasfa y Gogledd, am ei fod yn awr yn trigo o fewn cylch Cymdeithasfa y De, gyda dymuno llwyddiant iddo, a nodded y Nef drosto.

Cydnabyddodd y Parch. G. Parry y diolchgarwch, gan ddadgan ei ddiolch i'w frodyr am bob cefnogaeth a chynnorthwy ag oeddynt wedi eu rhoddi iddo yn y cyflawniad o'r gwaith; ac yn wyneb ei ymadawiad, mynegai y parch a'r ymlyniad a deimlai tuag at y Gymdeithasfa.

III. Hysbyswyd fod y Gymanfa Gyffredinol i fod yn Aberystwyth, Mai 28—31ain.

IV. Hysbyswyd y cynnelir y Gymdeithasfa nesaf yn Wrexham, Mawrth, Mercher, Iau, a Gwener, Mehefin 11, 12, 13, a'r 14eg.

V. Darllenwyd yr adroddiad canlynol oddiwrth Gyfeisteddfod y Blaenoriaid:—

CADEIRYDD,—MR. JOHN WILLIAMS, MOSS BANK, LIVERPOOL.

Pasiwyd ein bod yn cynnyg i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa y daflen ganlynol o'r symiau dyledus oddiwrth y gwahanol Gyfarfodydd Misol tuag at ddwyn treuliadau y Gymdeithasfa Chwarterol: — Arfon, £19; Lleyn ac Eifionydd, £10; Dwyrain Meirionydd, £7 10s.; Trefaldwyn Isaf, £3 5s.; Henaduriaeth Trefaldwyn, £2; Môn, £15; Fflint, £10; Liverpool, £8; Manchester, £3; Dinbych, £11; Gorllewin Meirionydd, £10; Trefaldwyn Uchaf, £4 5s.; Henaduriaeth Lancashire, £3.

Penderfynwyd yn unfrydol cynnyg y personau canlynol i gymeryd rhan yn ngwasan-

aeth yr Ordeinio nesaf yn Wrexham:—Y Parch. John Williams, Llandrillo, i draethu ar Natur Eglwys, a'r Parch. Edward Matthews, Caerdydd, i draddodi y Cynghor.

Cafwyd am y gweddill o'r cyfarfod ymddyddan helaeth ac adeiladol ar "Gysylltiad a Chydweithrediad yr Eglwys â'r Ysgol Sabbothol;" a phenderfynwyd cyflwyno y mater i sylw pellach y Gymdeithasfa, gyda dymuniad ar i'r pwnc gael ei anfon oddiyno i'r Cyfarfodydd Misol, a thrwyddynt hwy i'r eglwysi.

Penderfynwyd hefyd mai buddiol fyddai cael adroddiad yn Nghymdeithasfa Gwrecsam o'r hyn fydd wedi ei wneyd gyda'r mater hwn yn y Cyfarfodydd Misol a'r eglwysi, ac fod Mr. Roberts, Clothier, Bala, i agor y mater yn Nghyfeisteddfod y Blaenoriaid yn y Gymdeithasfa nesaf. — ROBERT ROWLAND, *Ysgrifenydd.*

Derbyniwyd a chymeradwywyd adroddiad Cyfarfod y Blaenoriaid, a chadarnhäwyd y cynllun tuag at ddwyn treuliadau y Gymdeithasfa, a'r penodiadau ynglŷn â'r ordeinio.

VI. Cadarnhäwyd cymeradwyaeth y Gymdeithasfa i'r brodyr a ddewiswyd i'w hordeinio, gan eu gwahanol Gyfarfodydd Misol, y flwyddyn hon.

VII. Cadarnhäwyd y caniatâd i werthu capel Maentwrog a chapel Corris.

VIII. Cadarnhäwyd y caniatâd i droi hen gapel Glanyrafon yn dai, ac i adeiladu ar y tir cysylltiol.

IX. Cadarnhäwyd y caniatâd i werthu hen gapel Penygloddfa.

X. Gyda golwg ar y penderfyniad o Gyfarfod y Pregethwyr, i gael cyfarfod o'r holl frawdoliaeth, yn flaenoriaid a phregethwyr, yn bresennol er gwrando y pregethwyr fyddont wedi eu dewis i'w hordeinio yn adrodd eu profiadau crefyddol a'u teimladau gyda golwg ar waith y weinidogaeth, cadarnhäwyd y penderfyniad ar fod i'r cyfryw gyfarfod gael ei drefnu.

XI. Cadarnhäwyd y penderfyniad o berthynas i Gynnygion y Cyfeisteddfod a gynnaliesid yn Machynlleth.

XII. Cadarnhäwyd y penderfyniad i anfon y llythyr canlynol at yr Eglwys Rydd, ar gynnygiad y Parch. Edward Parry, B.A., Oswestry, a chefnogiad Mr. Powell, Manchester:—

"The Calvinistic Methodists of North Wales, in Synod assembled, desire to send their fraternal greeting to their brethren of the Free Church of Scotland, and to express their deep sympathy with their sister Church in the great loss it has sustained by the lamented death of the late Reverend Alexander Duff, D.D., whose eminent services to the church of Christ, more especially on the Indian Mission field, are so well known to the entire Christian world, and may be regarded as having formed a new era in the history of Christian Missions.

"We recall with great interest the visit which Dr. Duff paid to the meeting of our Synod at Carnarvon, in the year 1851, and the spirited and eloquent addresses which he delivered on that occasion. We also feel under a special obligation to acknowledge with gratitude the great kindness which he uniformly shewed towards our Mission in India, and the friendly and valuable counsel which he was always ready to give to our Missionaries. Whilst mourning the loss of such gifted servants of the Cross, we rejoice to think that the great Head of the Church still liveth: and our prayer is that He may raise others possessed of the same spirit, devoted to the same high objects, and whose labours will be blessed with similar, and even greater, results."

XIII. Cadarnhäwyd anfon y Penderfyniad a ganlyn at Lywodraeth ei Mawrhydi:—

"Resolved,—That this Association of the Welsh Calvinistic Methodists of North Wales, representing 644 churches, and 56,652 adherents, assembled at Llanrhaiadr-yn-Mochnant, in the County of Denbigh, on the 10, 11, and 12th days of April, 1878, have observed with alarm that the Ministers of the Crown have advised Her Majesty that a case of great emergency has arisen out of the State of Affairs in the East of Europe, within the meaning of the Statutes referring to the calling out of the Reserve forces of this Kingdom.

"That we have failed to discover such a State of Emergency, and wish humbly to represent to Her Majesty's Ministers that the best protection for the maintenance of the interests of this Empire will be found in a Conference or Congress of the Representatives of the European Powers.

"That a Copy of this Resolution be sent to Her Majesty's Principal Secretary of State for Foreign Affairs."

XIV. O berthynas i un o faterion yr Arholiad Cymdeithasfäol, *Hanes Crefydd yn Nghymru*, penderfynwyd,—Ar fod i'r Ysgrifenydd ysgrifenu at y Parch. Joseph Thomas, Carno, er cael gwybod pa gyfnod yn Hanes Crefydd yn Nghymru a gymerir i fyny. Dywed Mr. Thomas—O ddechreu y 18fed ganrif, a chymaint ag sydd wedi myned heibio o'r 19eg ganrif.

XV. Cafwyd Adroddiad cryno a chynnwysfawr am sefyllfa yr Achos Crefyddol yn Sir Drefaldwyn (Rhan Isaf), gan y Parch. Edward Griffith, Meifod, yr hwn a gyhoeddir eto yn y DRYSORFA.

### DYDD GWENER, EBRILL Y 12FED.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 8 o'r gloch y bore.*

YMDRINIWYD â'r materion y penodasid arnynt mewn cyfarfod blaenorol i fod dan sylw, sef—y Sacramentau.

Sylwyd fod yn ddiau anghen mawr cael sylw ar y materion hyn. Mae syniadau lliaws sydd yn proffesu crefydd yn isel gyda golwg ar yr ordinhadau, ac yn neillduol yr ordinhâd o Fedydd. Y mae genym le i ddysgwyl daioni oddiwrth draethu fel hyn yn ein Cymanfäoedd ar athrawiaethau mawrion ein crefydd. Dysgwylir i'r ymdriniaeth yma heddyw godi ymchwiliad i natur a dyben yr ordinhadau hyn. Yn debyg fel y bydd dysgawdwyr mewn athrofäau yn traddodi darlithiau ar wahanol destynau: golygir i'r darlithiau hyny godi ymchwiliad pellach yn yr ysgoleigion, neu ynte nis ceir oddiwrthynt y fantais a fwriedir. Gwelir fod anghen galw sylw at y rhanau yma o'r gwirionedd, a hyny rhag i'n syniadau fod yn unig yn nacäol, yn gyferbyniol i rywbeth y byddo rhywrai eraill yn ei haeru o berthynas iddynt, ond heb fod genym syniadau pendant a chadarnhäol am eu natur a'u dyben. Gellir dyweyd ein bod oll yn credu nad yw bedydd yn ailenedigaeth, ac nad oes neb o honom yn meddwl fod rhoddi cymun i'r claf yn sicrhâu ei iachawdwriaeth. Ond, yr ochr arall, mae lle i ofni fod lliaws heb syniadau pendant a chadarnhäol ar yr ordinhadau hyn. Y mae gwahaniaeth rhwng y farn Brotestanaidd â'r farn Babyddol ar hyn. Cawn drachefn fod gwahaniaeth ymhlith y Protestaniaid eu hunain. Gwahaniaethai Calvin a Zuinglius. Gwahaniaethwn ninnau oddiwrth y Bedyddwyr a'r Annibynwyr.

Beth yw sacrament? Hawdd ydyw gofyn y cwestiwn, ond nid mor hawdd ei ateb. Pa beth yw y gwahaniaeth rhwng yr ordinhadau sacramentaidd â'r ordinhadau nad ydynt felly? Gwahaniaetha duwinyddion rhwng y sacramentau â'r ordinhadau eraill. Y maent oll yn Ddwyfol o ran eu gosodiad, a'r naill fel y llall yn foddion o ras i'r saint. Ond mae y sacramentau yn arwyddol, ac hefyd yn seliau. Y mae yr ordinhadau eraill yn dangos mwy o wirionedd, ond sacrament yn ei ddangos yn fwy effeithiol. Mae y sacrament yn ymwneyd mwy â'r dychymyg, ond y gair yn fwy â'r deall. Y mae mewn sacrament yr allanol a'r mewnol. Clywyd rhai yn collfarnu yr atebiad yn yr *Hyfforddwr*, a'r gofyniad, "Pa sawl rhan sydd mewn sacrament? Dwy; sef yr arwydd gweledig oddiallan, a'r gras ysbrydol oddimewn." Ceir rhai beirniaid yn haeru fod yr atebiad yn gyfeiliornus ac yn gwyro at Babyddiaeth. Ond yr hyn a olygai Mr. Charles oedd, nid fod gras ysbrydol fel rhinwedd yn y sacrament, ond fod mewn sacrament ddwy ran, sef y gweledig yn arwydd, a'r gwirionedd ysbrydol a arwyddoceir. Yr arwydd gweledig yn y bedydd ydyw tywallt dwfr ar y bedyddiedig. Y gwirionedd ysbrydol y mae hynyna yn ei ddangos ydyw golchiad yr adenedigaeth ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân.

Peth arall sydd mewn sacrament ydyw ei bod yn sêl yn gystal âg yn arwydd. Os nad ydyw bedydd ond arwydd, gellir bedyddio plant pawb. Fel arwydd, dengys aflendid a llygredigaeth natur dyn trwy bechod, a dengys drefn glanhâd ar gyfer hyny. Càn belled â hynyna, nid oes neb ar y ddaear nad yw yn briodol gweinyddu yr ordinhâd arno, oblegid y mae pawb yn llygredig ac mewn anghen am iachawdwriaeth. Ond yr ydym ni fel cyfundeb yn dal fod bedydd yn sêl yn gystal âg yn arwydd. Y mae yn sêl er sicrwydd o du Duw y bydd i holl addewidion ei gyfammod gael eu cyflawni, ac fel sêl yn arwydd o ymrwymiad o du y sawl sydd yn ymgymeryd âg ef. Os felly, nid ydyw yr ordinhâd o fedydd i'w gweinyddu ond ar y rhai hyny sydd yn rhoddi eu hunain i Dduw, ac i'w plant, fel rhai sydd yn cael eu cymeryd i mewn gyda'r rhieni i'w gyfammod ef.

Os oes rhai o'r Eglwyswyr yn tra-dyrchafu y sacramentau drwy eu gwneyd yn fwy, neu yn beth nad ydynt, gall ein bod ni fel Ymneillduwyr yn myned i'r eithaf arall o edrych arnynt yn îs nag ydynt. Y mae gwirioneddau mwyaf yr efengyl yn cael eu dal allan yn y ddwy ordinhâd dan arwydd *symbol* er cynnorthwy i'n ffydd; heb ffydd maent yn berygl o fod yn rhwystr i ni. Y sacramentau sydd hefyd nid yn ddrychau, ond yn dystion—yn dystiolaeth i wirionedd cristionogaeth. Gellir olrhain bedydd a swper yr Arglwydd yn ol ddeunaw cant o flynyddoedd, ond nid cyn hyny. Beth yw y sacramentau, ond ôl traed ein Gwaredwr bendigedig—*footprints* yn hanes ysbrydol ein byd ni fel tystiolaeth o Ddwyfoldeb Crist yr Arglwydd?

Yr ydym i gofio mai ordinhadau sanctaidd eglwys Dduw ydynt—arwydd cyfammod; ac y mae cyfammod yn cymeryd i mewn ein plant gyda ni. Sonir am yr eglwys fel dinas; a dinas bruddaidd a digalon iawn fuasai dinas heb blant ynddi. Soniwyd am seliau y cyfammod; ac y mae awdurdod Duw yn y seliau hyn. Bechan ydyw y sêl: felly am fedydd a swper yr Arglwydd. Ond beth ydyw y peth mawr sydd ynddynt? Enw yr Anfeidrol. Sonir am naddiad sêl; mae llythyrenau yn y sêl. Ond am y sêl yma, mae enw y Drindod yn hon. Y mae y plant i'w dwyn i'r eglwys i'w bedyddio, ac nid gwneyd hyny yn y tŷ gartref. Pwy all ddyweyd gwerth ochenaid eglwys Dduw? Adroddid am Gymdeithasfa yn yr Wyddgrug er ys blyn-

yddoedd lawer, pan y sonid am yr ordinhâd o fedydd fel moddion gras, ddarfod i'r diweddar Mr. Rees gyfodi a chyfeirio y cwestiwn at ei frodyr, A oedd yno neb o honynt a allasai gyfodi i fyny a dyweyd fod yr ordinhâd o fedydd wedi bod yn foddion gras iddynt hwy? Cyfodai y diweddar Mr. Mills i fyny gan ddyweyd ei fod wedi bod felly iddo ef—fod yr ystyriaeth iddo gael ei gyflwyno i Dduw yn y bedydd pan yn faban, wedi bod yn ddylanwad grymus ar ei feddwl wedi dyfod i oedran i ymgysegru i wasanaeth yr Arglwydd.

Yn niwedd y cyfarfod, cafwyd cyfarchiad grymus gan y Parch. Dr. Thomas ar bwysigrwydd yr amserau presennol yn eu helyntion a'u hamgylchiadau, ynghyda llywodraeth Duw ar y cwbl.

T. OWEN, *Ysgrifenydd.*

---

MODDION CYHOEDDUS Y GYMDEITHASFA.

Nos Fawrth, am 7, yn nghapel y Methodistiaid, pregethodd y Parchn. John Evans, Garston, a J. O. Jones, B.A., Rhyl. Nos Fercher am 6.30, yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. John Jones, Bryn'rodyn, ac Owen Thomas, D.D., Liverpool. Nos Iau, am 6, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. Griffith Williams, Talsarnau, a David Saunders, Abertawe; ac yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. Thomas Owen, Portmadoc, a John Hughes, D.D., Liverpool. Dydd Gwener, am 6 y bore, y Parch. Benjamin Jones, Bagillt. Am 10, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. J. O. Jones, B.A., a J. Hughes, D.D. Yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. Emrys Evans, Cotton Hall, ac O. Thomas, D.D. Am 2, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. J. R. Williams, Pentreuchaf, a D. Saunders. Yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. Griffith Parry, Aberystwyth, a David Davies, Abermaw. Am 6, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. Thomas Gray, Manchester, ac O. Thomas, D.D.; yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. Evan Jones, Caernarfon, a D. Saunders; ac yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. J. Evans, a D. Davies.

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

Nos Iau yr 2il o Fai, cyflwynwyd anrheg, sef pwrs yn cynnwys £16, gan y cyfeillion yn Mhontypŵl, i'r Parch. G. E. Watson, yr hwn sydd wedi symud i Lanofer, fel arwydd o'u serch ato. Bu Mr. Watson yn gwasanaethu yr achos yn Mhontypŵl am wyth mlynedd, gyda chymeradwyaeth mawr, a mesur nid bychan o lwyddiant.

Dyddiau Sul a Llun, yr 28 a'r 29ain o Ebrill, cynnaliwyd cyfarfod blynyddol capel Nantymoel, Morganwg. Y gweinidogion a weinyddent ar yr achlysur oeddynt y Parchn. T. James, M.A., Llanelli, D. James, Llaneurwg, a J. C. Jones, Caerdydd.

Y mae Mr. Evan Evans, pregethwr mewn cysylltiad âg eglwys y Tabernacl, Aberystwyth, ac aelod o Gyfarfod Misol Gogledd Ceredigion, wedi pasio yr arholiad terfynol er cymhwyso ei hun i fod yn gyfreithiwr. Y mae Mr. Evans eisoes wedi profi ei hun yn ddadleuydd medrus, ac ystyrir y bydd yn gaffaeliad gwerthfawr fel cyfreithiwr. Mae yn ŵr o'r cymeriad goreu, yn meddu synwyr cyffredin cryf, yn Fethodist trwyadl, ac yn barod wedi cael profiad helaeth.

Yr ydys wedi cyhoeddi adroddiad cryno ac eglur o'r cyfraniadau at a threuliau adeiladaeth y capel newydd hardd yn Nhŷddewi. Cyfanswm gwerth y capel ydoedd £3498 10s. 10c. Casglwyd a chodwyd mewn amryw ffyrdd, £1688 19s. 4c. Swm y ddyled ar ddechre y mis diweddaf, ar ol talu y llogau, ydoedd £1990; ond yr oedd gan y trysorydd weddill o £59 2s. 1½c. mewn llaw. Erbyn hyn y mae y cyfarfod blynyddol cyntaf wedi ei gynnal, a'r ddyled wedi ei thoddi i lawr ymhellach. Cynnaliwyd cyfarfod pregethu yno ar y 9 a'r 10fed o Fai, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. W. Powell, Penfro, David Phillips, Abertawe, a Dr. Harries Jones, Trefecca, ac y casglwyd y swm da o £89 2s. 5½c. Hefyd prydnawn dydd cyntaf y cwrdd blynyddol, cafwyd cyfarfod i dderbyn addewidion i'w talu i fyny o fewn y pum' mlynedd nesaf. Cyrhaeddodd yr addewidion y swm hardd o £705 10s.

Y mae eglwys capel Alpha, Llanfairmuallt, hefyd, yn gweithio yn egnïol i gyfarfod â'r draul y maent yn myned iddi yn adnewyddiad y lle addoliad hanesyddol yno—y cyntaf perthynol i'r cyfundeb. Y maent eisoes wedi casglu £400. Mae'r cymeriad i'w orphen erbyn diwedd Hydref, pryd yr agorir y capel, ac y gosodir y gareg goffadwriaethol yr un amser. Dysgwylir gweinidog blaenorol yr eglwys, y Parch. D. C. Davies, M.A., Llundain, ac eraill, i fod yn bresennol ar yr achlysur. Gallwn feddwl y byddai yn llawenydd gan filoedd o Fethodistiaid gyfranu, pe byddai ond gwerth un gareg at yr ymgymeriad dyddorol hwn; a bydd yn hyfrydwch gan y Parch. Moses Williams, y gweinidog, dderbyn pob swm a ddanfonir iddo.

Amddifadwyd yr eglwys yn Loudon Square, Caerdydd, o wasanaeth un o'i blaen-

oriaid ffyddlawn, sef Mr. Samuel James, yr hwn a fu farw bore dydd Mawrth, y 23ain o Ebrill, yn 64 mlwydd oed. Yr oedd Mr. James yn un o sylfaenwyr yr achos yn y Bute Docks; a bu yn dra gwasanaethgar iddo yn ei holl ranau—fel athraw ac arolygwr yr Ysgol Sul, fel llettywr y pregethwyr, ac fel diacon a thrysorydd yr eglwys. Yr oedd yn gymeriad tawel ac addfwyn, ac yn ŵr o brofiad ysbrydol dwfn. Teimlir colled dirfawr ar ei ol.

Gwneir gwelliadau, i gostio tua £200, yn nghapel Penfro, i'w orphen erbyn canol mis Awst. Mae capel newydd yn cael ei adeildu yn Hundleton yn lle ac yn fwy na'r un presennol. Bydd y draul tua £700.

Y Parch. Daniel Symmons sydd wedi ei benodi yn oruchwyliwr y casgliad neillduol at Drysorfa'r Gweinidogion yn Sir Benfro, a'r Parch. John Jones, Ceinewydd, yn Nehau Ceredigion, a'r Parchn. Daniel Morgan a Robert Salmon yn Sir Gaerfyrddin. Y mae'r gwahanol ddosbarthiadau yn Siroedd Brycheiniog a Maesyfed yn ymgymeryd yn galonog â gwneyd eu rhan yn yr achos. Mae genym hefyd i hysbysu fod eglwys Siloh, Aberystwyth, wedi pleidleisio y swm o £150, yr hyn gyda £100 Mrs. G. Thomas, a wna gyfraniad o £250 at y casgliad, sef o fewn y peth nesaf i ddim i ddeg swllt yr aelod ar gyfer yr eglwys fawr hon. Pe ceid gan bob eglwys wneyd hyn, byddai y gwaith ar ben yn y man, ac mewn modd anrhydeddus.

Cynnaliwyd cyfarfodydd pregethu yn ddiweddar fel y canlyn:—yn Heolfach, Cwmrhondda, ar yr 28 a'r 29ain o Ebrill: y Parchn. W. John, Penybont, D. Saunders, Abertawe, a D. Jones, Abercarn, yn gweinyddu; Bethania, Aberdâr, dydd Gwener y Groglith: y Parchn. J. Hughes, M.A., Dowlais, E. Jones, ac E. Williams, Caernarfon, yn y gwaith; Brynfferws, Sir Gaerfyrddin, lle y gwasanaethai y Parchn. W. Prytherch, Gopa, D. Thomas, Pontarddulais, ac Owen Edwards, B.A., Llanelli; Old Walls, Browyr, dydd Gwener y Groglith: y Parchn. John Pugh, Tredegar, W. W. Williams, Penclawdd, a S. Price, Burry Green, yn gweinyddu; Ffynnon Taf, y Pasc: y Parch. John Lewis, Caerfyrddin, ac eraill yn gwasanaethu.

Ar yr 2 a'r 3ydd o Fai, cynnaliwyd cyfarfod blynyddol Ysgolion Sabbothol Gogledd Ceredigion yn Llanafon, dan lywyddiaeth R. J. Davies, Ysw., Cwrtmawr. Derbyniwyd adroddiad y Parch. T. Levi o ffrwyth yr arholiadau yn llyfr Genesis, a rhanwyd y gwobrau. Penodwyd Efengyl Ioan yn faes llafur am y flwyddyn nesaf, y Parchn. Principal Edwards a W. Morgan yn arholwyr. Cafwyd anerchiadau pwrpasol gan y Parchn. T. Levi, E. W. James, Abraham Oliver, W. Evans, M.A., ac eraill. Yr oedd yr holi cyhoeddus hefyd yn fuddiol a blasus, yn yr hyn y cymerwyd rhan gan y blaenor hybarch Mr. John Davies, Erglodd. Enwyd Mr. D. Jones, Banc, yn llywydd am y tair blynedd nesaf.

Y mae capel Maesybar, Gorllewin Morganwg, wedi myned yn rhy fychan i'r gynnulleidfa, fel y mae yn rhaid ei helaethu, i'r hyn y rhoddwyd caniatâd y Cyfarfod Misol i'r eglwys yn y lle ar unwaith i'w ddwyn oddiamgylch.

Hyfryd iawn genym ydyw cael ar ddeall fod Dr. Harries Jones yn llwyddo yn rhagorol gyda'r casgliad i symud y ddyled ar y Capel Coffadwriaethol yn Nhrefecca. Os clywsom yn gywir, derbyniodd dros hanner can' punt yn ardal Bethesda, Arfon. A phan fu yn ddiweddar yn Mhonterwyd, Ceredigion, cafodd saith punt yno. Deallwn ei fod eisoes wedi derbyn dros £500. Nid oes ammheuaeth y bydd yr athraw dysgedig yn gallu hysbysu Pwyllgor yr Athrofa y flwyddyn nesaf, sef yn Mehefin 1879, "os yr Arglwydd a'i myn," ei fod wedi casglu yr oll.

Cawsom ar ddeall yn ddiweddar fod £300 mewn llaw tuag at gofgolofn Daniel Rowlands, Llangeitho. Ac y mae ysgrifenydd llafurus y Cyfeisteddfod sydd yn gofalu am yr achos hwn, wedi cael caniatâd i apelio at Ysgolion Sul Gogledd Ceredigion. Mae Llangeitho ei hun yn bwriadu codi hanner cant o bunnoedd.

Nos Wener y Groglith, traddodwyd darlith yn nghapel Middlesborough, Gogledd Lloegr, gan y Parch. W. Evans, M.A, Aberystwyth, a'r Sabboth canlynol yr oedd Mr. Evans a'r Parch. D. Evans, Lledrod, yn pregethu yn yr un lle. Daeth cynnulleidfa dda o Gymry ynghyd, a gwnaed casgliad da at yr achos—yr oll, yn cynnwys elw'r ddarlith, tua £35. Trwy lafur y Parch. D. Evans yn benaf, yr hwn sydd wedi treulio amryw fisoedd i wasanaethu y ddwy eglwys yn Stockton a Middlesborough, mae'r capel yn y lle diweddaf wedi ei wella yn fawr; ac y mae yr achos mawr yn gwisgo gwedd fwy dymunol ac addawol. Mae yno amryw o ddynion gwir dda, ac yn alluog i wneuthur llawer o ddaioni i liaws ein cydgenedl yn yr ardaloedd hyny, y rhai sydd yn rhifo amryw o filoedd. Yn y cysylltiad hwn, dymunir hysbysu nad yw yr adroddiad a wnaed yn rhai o bapyrau Gogledd Cymru am yr anerchiad a'r arian a roddwyd i

Mr. Llystyn Jones ar ei ymadawiad o Middlesborough yn gywir. Nid gan yr eglwysi y cyflwynwyd yr anerchiad; ac am yr arian, yr oedd yn agos i hanner can' punt o honynt yn ddyled i'r, ac a fadd-euwyd gan, y Parch. R. J. Roberts; a rhoddwyd £15 gan y Cyfarfod Misol (Gogledd Ceredigion) iddo ef a'i deulu yn yr amgylchiadau oedd ynddynt ar y pryd, a chasglwyd ychydig o bunnoedd i'w gyn-northwyo gan y Parch. D. Evans. Yr ydys yn gwneyd yr hysbysiad hwn er cywiro camargraff yr adroddiadau a ym-ddangosodd yn yr *Herald Cymraeg*, y *Faner*, a *Llais y Wlad.*

Y mae capel Bedlinog, gerllaw Merthyr Tydfil, wedi cael ei agor. Bu y Parch. Thomas Rees ac eraill yn gweinyddu yno ar yr achlysur. Ardal newydd ac achos newydd sydd yma.

Mae eglwys Treforis, gerllaw Abertawe, wedi ymranu, "eithr heb anghydfod:" y naill ran yn aros yn yr hen gapel (Philadelphia), a'r llall i fyned i'r capel newydd sydd yn cael ei godi yn y lle poblog hwnw.

Y mae Cyfarfod Misol Gorllewin Morganwg wedi pasio penderfyniad yn caniatâu i flaenoriaid gynnorthwyo y gweinidogion yn ngweinyddiad yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd, mewn lleoedd y mae'r eglwysi yn fawr, ac yr achosir anghyfleusdra trwy fod y gweinidog yn unig yn gwneyd y gwaith.

Dydd Llun y Pasc diweddaf, gosodwyd i lawr gareg sylfaen capel newydd Seisonig yn Nghricieth, gan Richard Davies, Ysw., yr aelod seneddol dros Fôn. Yn ei araeth ragorol ar yr achlysur, dywedai nas gall efe byth anghofio a gadael yr hen iaith Gymraeg, yr hon a gaffai weled ei gladdu ef, a chladdu llawer o rai ieuengach nag ef. A phan y bydd y Saeson wedi dyfod fel diluw dros ein gwlad, byddai, medd efe, ein hen iaith yn nofio fel arch Noah yn ddiangol ar wyneb y dyfroedd. Ar yr un pryd, wrth gael arwyddion amlwg fod y Saesoneg yn ennill tir yn Nghymru, dylem fod yn effro a diwyd i barotoi ar gyfer hyny; a mawr obeithiai efe y gwnai "yr Hen Gorff" ei wthio ei hun i bob man lle gallai fyned. Llywyddid gan Capten Williams o'r Parciau, Cricieth, a Liverpool, y prif ysgogydd gyda'r capel newydd; a chaed anerchiadau hefyd gan J. Roberts, Ysw., Ustus Heddwch, Bryngwenallt a Liverpool; y Parchn. T. Owen, Porthmadoc; a J. Owen, M.A., gweinidog Cricieth, a Mr. Watkins, Marian. Mae y capel i gostio oddeutu naw cant o bunnau, o ba rai y mae Capten Williams eisoes wedi casglu oddeutu saith cant; ac y mae efe yn benderfynol y myn gael agor y capel yn ddiddyled.

Y Parch. D. E. Davies, ar ol bod yn preswylio yn ardal Llithfaen er yn agos i ddeuddeng mlynedd, lle bu yn gweithio yn ddiflino ar ran crefydd, moesoldeb a dirwest, ac yn neillduol mewn cysylltiad â'r ieuenctyd yn y gymydogaeth, a symudodd yn ddiweddar i Bwllheli, er mwyn cyfleusdra gwell i gyflawni ei swydd fel ysgrifenydd Cymdeithas Adeiladu Lleyn ac Eifionydd, ac am y bydd yn llawer mwy manteisiol iddo fyned oddiyno i lanw ei gyhoeddiadau Sabbothol a dirwestol. Cynaliwyd cyfarfod ymadawol yn nghapel Llithfaen, pryd yr amlygodd amryw frodyr yno eu teimlad o herwydd y golled ddirfawr a gaent o herwydd ei ymadawiad.

Yn Nghyfarfodydd Misol Ebrill a Mai yn Arfon, ymdriniwyd i ddechre ar y pwnc o Fedydd, pryd yr agorwyd y mater y ddau dro mewn areithiau eglur a chedyrn gan Mr. Thomas Lewis, Bangor, a dymunwyd arno barotoi y sylwadau a draddodwyd ganddo i'w cyhoeddi yn y DRYSORFA.

Yn nghapel Netherfield Road, Liverpool, ar "seiat fawr nos Lun," fel ei gelwir, anrhegwyd y Parch. John Prichard, gynt yn y Rhosllanerchrugog, â phwrs yn cynnwys dros £68, fel arwydd o'r parch a deimlid tuag ato ef a'i deulu, ac o'r dymuniadau goreu ar ei ran yn ei ymadawiad i fugeilio yr eglwys yn Hockley Hill, Birmingham.

Mae eglwys Bodffari, perthynol i Gyfarfod Misol Sir Fflint, wedi rhoddi galwad unfrydol i'r Parch. Evan Jones, Nanglyn, i weinidogaethu yno; ac y mae yntau wedi cydsynio â'r alwad.

Yn Nghyfarfod Misol Sir Ddinbych, yn niwedd Ebrill, gwnaed sylwadau coffadwriaethol am y brodyr ymadawedig Mri. Thomas Symond, Rhuthyn; William Evans (*Trevor*), Clawddnewydd; a Mr. Thomas Jones, Cwm. Yr oedd Mr. Symond yn fab hynaf y diweddar Mr. J. Symond, Glàn Clwyd, Rhydycilgwyn, blaenor defnyddiol a pharchus, ac yn frawd i'r Parch. J. H. Symond, yn awr o Dowyn Meirionydd. Dewiswyd ef, tuag ugain mlynedd yn ol, yn flaenor yn eglwys Pentrecelyn, ar ol symudiad ei dad oddiyno, ac wedi hyny yn nghapel y Rhos, Rhuthyn, ar ol iddo symud i'r *Castle Park Farm*, gerllaw y dref hono. Yr oedd yn nodedig am ei ffyddlondeb a'i haelioni yn ngwasanaeth ei Arglwydd, ac yn aelod o ddau Fwrdd Ysgol, sef yr eiddo Rhuthyn a Llanfair. Ganwyd ei wythfed plentyn iddo tua'r adeg yr oedd efe yn marw; a

bedyddiwyd y baban bychan gan y Parch. Owen Evans, Rhuthyn, cyn cychwyn corff ei dad i gladdfa Rhydycilgwyn.

Anfonwyd llythyr o ddiolchgarwch oddiwrth Gyfarfod Misol Trefaldwyn Uchaf at Syr John Conroy, am ei garedigrwydd yn rhoddi benthyg yr ysgoldŷ i'r cyfeillion yn y Pennant tra yr oedd y capel yno yn cael ei ail adeiladu.

Y dydd cyntaf o Fai, gosodwyd i lawr gareg sylfaen capel newydd yn y Mwnglawdd, gerllaw Adwy'r clawdd, mewn undeb â Chyfarfod Misol Sir Fflint, gan y ddwy ferch ieuanc, Martha M. W. Griffiths, a Margaret E. Griffiths, wyresau E. Williams, Ysw., Elwy House, Gwrecsam, a Mr. J. Davies *(Neifion)*, Mwnglawdd. Rhoes y ddwy Miss Griffiths £20 yr un, a Mr. Davies £10, a Mr. Williams, Elwy House, £10, ar y gareg; ac yr oedd yr holl symiau a gafwyd ar y pryd yn cyrhaedd i £88 4s. 1c., yn chwanegol at y swm o £151 15s. 8c. a gasglwyd yn flaenorol, o ba rai yr oedd £5 oddiwrth glerigwr eglwysig, sef y Parch. R. O. Burton, Minera Hall. Llywyddid ar y sylfaeniad gan Enoch Lewis, Ysw., Mostyn Quay; ac efe, ynghyd a'r Parchn. W. Pierce, H. Barrow Williams, H. Hughes o'r Adwy, J. Pickering (Bedyddiwr), a R. Roberts, Wern (Annibynwr), a roisant anerchiadau priodol ar yr achlysur; a chafwyd tê mewn pabell gyfleus ar ol y cyfarfod yn y prydnawn, a chydgor yn nghapel Salem yn yr hwyr, dan lywyddiaeth Mr. Lester, Bryn Offa.

Gosodwyd ceryg coffadwriaethol capel Seisonig y Drefnewydd ar y 3ydd o Fai, gan yr Anrhydeddus F. Hanbury Tracy, A.S., a David Davies, Ysw., A.S., Llandinam, pryd y rhoes Mr. Davies *cheque* am £200 ar y gareg; ac erbyn yr hwyr, yr oedd holl gasgliad y dydd yn £438 9s. Llywyddid ar yr amgylchiad gan Richard Williams, Ysw., cyfreithiwr, ac un o ddiaconiaid yr eglwys. Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. E. Parry, B.A., Croesoswallt, yr hwn sydd wedi derbyn galwad i weinidogaethu i'r gynnulleidfa Seisonig yn y lle. Cafwyd areithiau tarawiadol gan y Parchn. Dr. O. Thomas, Liverpool, a T. J. Wheldon, B.A., gweinidogion blaenorol yr eglwys; a chan y ddau Seneddwr Tracy a Davies, gan Stuart Rendel, Ysw. (yr ymgeisydd rhyddfrydig dros y Sir yn yr etholiad nesaf), ac A. H. Humphreys Owen, Ysw., a gweddïwyd gan y Parch. Joseph Jones o Bont Menai. Pregethwyd yn yr hwyr gan Mr. Jones a Dr. Thomas. Dylid nodi hefyd ddarfod i Mr. Tracy gyflwyno i'r llywydd y weithred am y tir, yr hwn a roddwyd yn rhad gan Arglwydd Sudeley.

Capel newydd Dolgaregddu, Ffestiniog, a agorwyd ynglŷn â'r Cyfarfod Misol, yr hwn a gynnaliwyd ynddo, pryd y pregethodd y Parch. Dr. Hughes, Liverpool, ynghyda phregethwyr o'r Sir. Cynnwysa le i 450, a chostiodd oddeutu £2,500; at yr hyn y cafwyd o'r Tabernacl, £350; o'r Rhiwbryfdir, £150; ac o Bethesda, £35; a chasglwyd £570 yn yr ysgol, a thrwy docynau a rhoddion personol. Eglwys a chynnulleidfa o'r newydd sydd yma, neu yn chwanegol at y lleill; yn cynnwys 175 o aelodau eglwysig, a 225 yn yr Ysgol Sabbothol.

Careg goffadwriaethol capel newydd yr eglwys a'r gynnulleidfa yn Llundain, oedd yn addoli yn ddiweddar yn y Jewin Crescent, a osodwyd i lawr ar y 15fed o Fai gan D. Davies, Ysw., o Landinam, yr aelod seneddol dros Sir Aberteifi, yr hwn, yn ol ei haelioni anghymharol a pharhâus, a roes £200 at yr adeiladaeth. Mae y capel hwn yn cael ei godi yn Bridgewater-gardens, heb fod ymhell oddiwrth safle yr hen gapel. Yn y prydnawn, cafwyd tê cymdeithasol, yr hyn a ddilynid gan gyfarfod cyhoeddus yn nghapel cyfleus Falcon-square, lle y llywyddid gan y Parch. D. Charles Davies, M.A. Darllenwyd y cyfrifon arianol gan Stephen Evans, Ysw., yr hwn a ddangosai y cafwyd £3,000 gan y *Goldsmiths' Company* am roddi i fyny *lease* capel Jewin Cresent cyn yr amser a benodwyd i'w therfyniad. Costiodd tir y capel newydd £4,977, a chyfrifir y bydd traul ei adeiladu yn £6,000 ychwaneg. Mae eisoes dros £6,000 wedi eu rhoddi a'u haddaw gan Gymry Llundain, yr hyn, medd Mr. Evans, sydd dystiolaeth uchel i'w galluogrwydd ac i'w haelfrydigrwydd. Mr. David Davies, A.S.,* a longyfarchodd aelodau y gynnulleidfa am lwyddiant yr ysgogiad hyd yn hyn, yr hyn i fesur mawr oedd ddyledus i egni a medr eu gweinidog teilwng, ac i sugnddeniad yr iaith Gymraeg, yr hon i Gymro sydd lawer gwell am gynnyrchu teimlad crefyddol na'r Saesoneg. Wrth derfynu, Mr. Davies a addawodd roddi eto £200, os codid y cyfraniadau i £10,000 o fewn dwy flynedd ar ol agor y capel newydd. Mr. Henry Richard, A.S., a gyfeiriai yn deimladol at ei adgofion am yr hen gapel, ac a dystiolaethai am ragoriaethau neillduol y Gymraeg, ac i rym yr egwyddor wirfoddol mewn cysylltiad â chapelau y Dywysogaeth. Hyderai y

* A ydyw pob darllenydd yn deall mai *Aelod Seneddol* a olygir wrth y ddwy llythyren A.S.?—*Cysodydd.*

byddai i'w cyfeillion trwy Gymru helpio eu brodyr yn Llundain, gan fod darpar addoldŷ cymhwys i'r dynion ieuainc a ddeuai yno, yn beth o bwys a gwerth mawr. Cafwyd hefyd anerchiad priodol gan Richard Davies, Ysw., aelod Seneddol dros Sir Fôn; a rhoes yntau £100 at adeiladu'r capel. Mr. J. H. Puleston, A.S., a ddywedai, er mai Eglwyswr ydoedd, nas gallai anghofio yr amser y byddai gynt yn arfer myned i gapel Jewin Crescent. Gyda'r Methodistiaid Calfinaidd yr oedd ei fam, yr hon sydd yn y nefoedd, wedi cael crefydd a barai iddi fyw yn dduwiol a marw yn ddedwydd; ac yr oedd efe yn rhoi bri mawr ar ei liaws adgofion, er yn blentyn, am hen bregethwyr enwog y cyfundeb. Er nad oedd efe yn eistedd yn yr un ochr o Dŷ y Cyffredin â Mr. David Davies, gallai ddywedyd nad oedd un gŵr yn y Tŷ yn cael ei barchu yn fwy na Mr. Davies. Beth bynag a ddywedai efe yno, argyhoeddid y rhai oll a'i gwrandawai, ei fod yn siarad oddiar egwyddor gywir ac i amcan da. Llawenhâi am y dechreu da gyda'r cyfraniadau, yn yr hyn y byddai yn dda ganddo yntau gynnorthwyo; ac nid hir, credai efe, y byddent yn y capel newydd cyn llwyr dalu yr holl ddyled. Y Parch. Rowland Williamas (*Hwfa Môn*) a ddangosodd y pwys i'r eglwys roddi rhyw waith crefyddol i'r holl bobl ieuainc a ddeuent yno, yn ol eu gwahanol gymhwysderau, megys gyda'r canu, yr Ysgol Sabbothol, y cyfarfod gweddi, neu ymarferiadau eraill. Mr. Morgan Lloyd, A.S., a sylwai i adfywiad crefydd yn y ddeunawfed ganrif, ymha un yr oedd i'r Methodistiaid Calfinaidd gyfran bwysig, gymeryd lle mewn tymmor yr oedd anghrefydd ac anffyddiaeth yn uchel eu penau. Nid anghyffelyb oedd yr amser presennol; a gobeithiai efe y byddai i'r gynnulleidfa yn y capel newydd wneyd eu rhan i ddwyn ymlaen ddiwygiad crefyddol, oedd mor anghenrheidiol i dref a gwlad. Mr. Lloyd hefyd a ddadganodd dros yr Anrhydeddus Hanbury Tracy, A.S., fod yn ddrwg ganddo nad allasai ddyfod i'r cyfarfod hwn. Mr. Abel Simner a amlygodd ei deimlad brwdfrydig ar ran yr amcan canmoladwy oedd ganddynt. Terfynwyd ar ar ol pleidlais o ddiolch gwresog i'r cadeirydd parchedig.

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

## HOLIADAU AR YSBRYDOLIAETH Y BIBL.

*Wedi eu parotoi ar ddeisyfiad Dosbarth Cyfarfod Ysgolion Sabbothol Llanarmon yn Iâl.*

GAN OLYGYDD Y *DRYSORFA.*

### RHAN I.

1. PA beth a olygir wrth ysbrydoliaeth y Bibl?

2. A oes rhyw wahaniaeth yn y meddwl neu'r syniad am Ddadguddiad Dwyfol â'r un am ysbrydoliaeth Duw?

3. Onid oddiwrth ysbrydoliaeth Duw y mae pob peth sydd dda mewn dyn neu mewn llyfr, ac yn enwedig doniau ac athrylith neillduol? a pha le y mae'r gwahaniaeth gyda golwg ar ysbrydoliaeth y Bibl?

4. Dywedir am Bezaleel ei fod wedi ei lenwi âg Ysbryd Duw i ddychymygu cywreinrwydd, &c.; a pha ragoriaeth oedd i ysbrydoliaeth Moses fel ysgrifenydd ar yr eiddo Bezaleel fel celfyddydwr? Dywedir hefyd fod Ysbryd yr Arglwydd ar amserau yn cynhyrfu Samson yn ngwersyll Dan. Ai yr un oedd ansawdd y cynhyrfiad ysbrydoledig hwnw â'r cynhyrfiad gan yr Ysbryd Glân ar ysgrifenwyr y Bibl?

5. Ai yn unig mewn graddau, ai ynte mewn ansawdd a dull hefyd, y mae ysbrydoliaeth ysgrifenwyr yr Ysgrythyrau yn gwahaniaethu oddiwrth waith yr Ysbryd yn tywys a sancteiddio meddyliau'r saint yn gyffredinol?

6. A oedd ysbrydoliaeth yn dylanwadu ymhellach nag ar feddyliau a syniadau yr ysgrifenwyr cysegredig? a ydyw yr ymadroddion a'r geiriau hefyd yn ysbrydoledig? Rhoddwch resymau am yr atebiad i-hyn, yn gystal ag am yr holl atebion eraill.

7. Os oedd holl ysgrifenwyr y Bibl dan yr un a'r unrhyw ysbrydoliaeth, pa reswm a roddir am yr anghydffurfiaeth dullwedd yn eu hysgrifeniadau?

8. Pan y byddai yr ysgrifenwyr sanctaidd yn ysgrifenu y pethau yr oeddynt eisoes yn eu gwybod trwy foddion cyffredin, pa le neu pa fodd y pryd hwnw yr oedd dylanwad ysbrydoliaeth arnynt?

9. Pa fodd y cysonir ffaeledigrwydd personol yr ysgrifenwyr ysbrydoledig â'r athrawiaeth o anffaeledigrwydd eu hysgrifeniadau yn y Bibl?

10. Pa fodd yr eglurir yr hyn a ddywed Paul yn 1 Corinthiaid vii. 12, 25, yn gyson â'i ysbrydoliaeth?

11. A ydyw yr holl Ysgrythyrau yn ysbrydoledig—y rhanau hanesyddol fel y rhanau athrawiaethol?

12. Beth a ddywed yr ysgrifenwyr sanctaidd eu hunain am eu hysbrydoliaeth? A pha beth a ddywed rhai o'r ysgrifenwyr am ysbrydoliaeth ysgrifenwyr eraill?

13. Pa dystiolaeth a roes Crist i'r athrawiaeth am ysbrydoliaeth y gair?

14. Pa bethau yn yr argraffiadau o'r Bibl, fel y maent genym ni, sydd heb fod yn ysbrydoledig?

## YR EGLWYS WLADOL.

MAE yn hysbys i lawer, dybygem, er mai nid i bawb o'n darllenwyr, fod dadleuaeth new-

ydddiadurol (Seisonig) o gryn ddyddordeb wedi cymeryd lle yn ddiweddar rhwng y Parch. D. R. Thomas, ficer Meifod, â'n cyfaill, John Jones, Ysw., Llanfyllin, ynghylch y degwm a phethau eraill perthynol i'r Eglwys Sefydledig. Ceir Mr. Jones yn gwasgu yn drwm ar wynt y ficer, yr hwn nad ydyw mewn un modd, yn y ddadl hon, yn dangos fod ganddo helaethrwydd o bwyll ac amynedd. Dywed Mr. Jones yn ei ail lythyr,—

"1. Yr wyf wedi dal fod y degwm yn cael edrych arno ac ymddwyn ato gan y Goron, a'r Senedd, fel meddiant y genedl, ac wedi ei ganiatâu er mantais y bobl. Ar y pwnc hwn, nid yw Mr. Thomas yn dywedyd dim. 2. Fod gwahaniaeth amlwg yn ol y gyfraith rhwng meddiant corfforiaethol a meddiant yn nwylaw personau unigol. Mae hyn hefyd yn cael ei basio gan y ficer. Nid oes ganddo air i'w ddywedyd hyd yn nôd ar y cyfatebiaeth y cymerai arno ei weled rhwng yr *Ecclesiastical Commission* yn Lloegr â'r *Encumbered Estates Commission* yn yr Iwerddon. 3. Fod gan y gallu a roddodd awdurdod hefyd i gymeryd ymaith; fod gan y llywodraeth ddeddfroddol *(legislature)* yr hawl ddiammheuol i ddirymu trwy gyfraith yr hyn a grëwyd gan gyfraith, sef y meddiant corfforiaethol sydd yn bwnc ein dadl. Mae y ficer yn ateb, 'Mae eich ymresymiad yn seiliedig ar dwyllresymu. Ni chafodd y meddiant eglwysig ei roddi yn wreiddol mewn ffordd o waddoliad.' O'r goreu! mae hyn yn ein dwyn at y cwestiwn o wreiddyn y meddiant eglwysig. Yr wyf wedi herio y ficer i ddadl ar y pwnc hwn; ond ni fyn efe dderbyn yr hèr."

Y mae Mr. Thomas yn cyfeirio fwy nag unwaith at Mr. Jones fel heddynad, a'i "ddylanwad mawr" fel y cyfryw, ys dywed ef, ac, wrth hyny, yn rhoddi lle i ni gasglu mai nid rhy hyfryd gan ei ysbryd yw gweled boneddigion o Anghydffurfwyr yn eistedd ar y fainc heddynadol yn y Dywysogaeth. Mae yn dda i'r wlad mai nid yn llaw'r clerigwyr, ac yn enwedig un o naws ficer Meifod, y mae gwneuthur penodiadau i'r heddynadaeth. Nid oes genym ni ond dymuno a gobeithio am i benodiadau cyffelyb i'r rhai a wnaed yn ddiweddar yn Sir Drefaldwyn, gael eu gwneuthur eto, a hyny yn fuan, gyda golwg ar siroedd eraill yn Nghymru. Mae'r tywyllwch, a rhywbeth duach na hyny, a arddangoswyd ynglŷn â pharchedigion heddynadol yn Sir Fflint ychydig amser yn ol, yn galw yn uchel am waed ffres a phur yn yr ustusiaeth heddwch.

---

LLAWER YN FYR.

Y MAE gau-Grist wedi ymddangos yn Palestina. Mrs. Mentor Mott, y genadwraig, a ysgrifena o Beyrout: "Y mae un o arwyddion rhagddywededig yr amseroedd diweddaf wedi ymddangos yma yn ein canol. 'Cyfyd gau-Gristiau a gau-brophwydi.' Y mae gau-Grist wedi dyfod yma. Americaniad ydyw o enedigaeth, o wedd awdurdodol. Nid arosodd ond am fyr amser yma, gan ei fod yn awyddus i fyned i fyny i Jerusalem i fod yn wyddfodol ar yr ŵyl, ac y mae wedi addaw dychwelyd i Beyrout ar ol hyny. Cyn iddo ymadael, darfu i rywrai, oddiar awydd i brofi ei allu i wneuthur gwyrthiau, ddeisyfu arno iachâu gwraig a fuasai yn glaf er ys hir amser; ond efe a nacäodd mewn modd difrifol gan ddyweyd, 'Ni ddaeth fy awr i eto.' Mae efe wedi rhoddi allan gylchlythyr cableddus, 'Oddiwrth Ddafydd y Crist at holl genedloedd y byd,' ymha un y mae efe yn rhybuddio yr eneidiau sydd ar y ddaear mai yr unig ffordd iddynt gael gras a thrugaredd oddiwrth Dduw yw bod mewn cymundeb âg ef, gwrando ei gynghor, a rhodio yn gydffurfiol â hyny."

Mr. J. B. Gough, wrth derfynu un o'i ddarlithiau dirwestol yn Brooklyn, a ddywedai iddo ef, yn ystod y 34 mlynedd diweddaf, areithio 395 o weithiau yno ac yn New York, a'i fod, er y pryd y dechreuodd ar ei waith fel siaradwr cyhoeddus, wedi teithio 420,000 o filldiroedd, a thraddodi 7,680 o areithiau neu ddarlithoedd. Ar ol cyflawni ei gyhoeddiad byr yn Lloegr yr haf hwn, mae efe yn bwriadu myned i ryw wlad nas medr siarad ei hiaith, er mwyn gorphwys am enyd.

Mae perchenog un o'r mwngloddiau arian gwerthfawrocaf yn California, wedi cael sicrhâd ei fod yn cynnwys erw *(acre)* gyflawn o arian yn un cyfangorff, tri throedfedd o drwch, yr hyn yn y cyfanswm a gyfrifir yn werth pum' cant a deugain o filoedd o bunnoedd.

Adroddir fod Mr. Moody yn ddiweddar, yn un o'i anerchiadau yn Springfield, yn dywedyd fod yn ammhëus iawn ganddo ef a ydoedd y diaconiaid, ac eraill, yn Nyffryn Connecticut, oedd yn amaethu tobacco, yn gwneyd hyny er gogoniant i Dduw. Pa fodd bynag, mae yn ymddangos fod y tobacco a amaethir yn tlodi'r tir yn fawr, ac nad yw ei drin yn ddiweddar wedi talu mor dda â chodi ŷd; ac fe wna hyny, tybygid, berswadio, hyd yn nôd y mwyafrif o ddiaconiaid America, rhag codi tobacco, yn fwy effeithiol nag ymresymiad crefyddol yr efengylydd Moody.

Dywedir am henwr goludog yn New York, o'r enw Peter Cooper, yr hwn yn awr sydd yn bedwar ugain ac wyth mlwydd oed, ei fod yn werth dwy filiwn (dwy fil o filoedd) o bunnau. Cychwynodd fel prentis i wneuthurwr cerbydau; ond, wedi iddo ddyfeisio math o glud *(glue)* rhagorol, yr hwn y gwneid defnydd cyffredinol o hono, efe a ennillodd yn fuan gyfoeth dirfawr.

Dr. Kenealy, yn un o'i areithiau diweddar o flaen gwerinos Llundain, a haerai fod melldith Duw wedi syrthio ar y deyrnas hon byth er amser *trial* Tichborne. Yr oedd masnach wedi myned yn isel iawn, gweithwyr yn sefyll allan, y frech wèn a chlefydau eraill yn anrheithio'r tir, ac yn awr rhyfel dychrynllyd yn ein bwgwth—y cyfan, medd efe, wedi eu hachosi gan y ddedfryd yn erbyn y *claimant!* Yr oedd yn chwithig gweled cynnulliad lliosog o bobl yn gallu gwrando yn amyneddus ar y fath ffiloreg fragaldiol.

Y *Record*, papyr Protestanaidd yr Eglwyswyr, a ddywed, "Mae'r teimlad yn myned ar gynnydd fod drwg mor ddwfnwreiddiedig yn yr Eglwys, fel, os na cheir rhyw gyfnewidiad trwyadl, y bydd yn anmhosibl myned ymlaen lawer yn hŵy. Os yw Eglwys Loegr i fod yn ddynwarediad ynfyd o Eglwys Rhufain—os, fel y dywed-

odd Pabydd yn ddiweddar ar ol bod mewn eglwys nodedig yn y *West-end*, 'Mae'r gwasanaeth yn hollol fel yr eiddom ni oddigerth y Dwfr Sanctaidd,' yn ddiau bydd raid wrth ryw gyffyr meddygol tostach na chwareuaeth gyfreithiol ar fyrder."

Mae'r dreth newydd o 7s. 6c. am gadw ci yn dyfod i weithrediad y dydd cyntaf o Fehefin; ond bydd y trwyddedau a gymerwyd eleni cyn hyny yn aros mewn grym hyd ddiwedd y flwyddyn.

Mr. Lyman, *geologist* i lywodraeth Japan, a adrodda ei fod yn credu y cynnwysa ynys Yesso gymaint â 150,000,000,000 o dunnelli o lô nad oes neb eto wedi cyffwrdd â hwynt.

Esgob newydd Lichfield yw y Parch. W. D. Maclagan, ficer Kensington, Llundain. Y mae efe, meddir, yn tueddu at fod yn Uchel-Eglwyswr, ond yn gyfeillgar gyda christionogion o bob sect, ac yn bregethwr difrifol a phoblogaidd. Bu am beth amser yn gweinidogaethu yn yr India.

Gwnaed ymdrech egnïol yn Neddfwrfa New York, medd y *Cyfaill o'r Hen Wlad* am fis Mai, yn ystod yr eisteddiad presennol, i drethu addoldai fel rhyw adeiladau eraill; ond mae yn ymddangos nad oes obaith y llwyddir yn hyny yn fuan. Rhoddwyd gwelliant ar y mesur drwy gynnyg fod pob capel yn werth mwy na phum' mil o ddoleri i gael ei drethu; ond pleidleisiwyd yn erbyn hyny hefyd; ac yr oedd yn agos i dair rhan o bedair o'r seneddwyr yn gwrthwynebu'r mesur.

Mae Mark Hopkins, gŵr a ennillodd ei gyfoeth gan mwyaf ynglŷn â rheilffordd California, ac a elwid *the great California railway king*, wedi marw yn werth dros dair milfil o bunnoedd; a mawr yn awr yw'r benbleth ynghylch ei arian, gan y methir dyfod o hyd i'w ewyllys.

Mrs. Bright, gwraig y seneddwr enwog John Bright, a fu farw yn dra disymwth. Yr oedd Mr. Bright yn Llundain pan y dygwyddodd hyny, er mwyn cyflawni ei ddyledswyddau seneddol. Yr oedd y foneddiges drancedig yn ferch i Mr. Leatham, y *banker* o Wakefield, ac yn chwaer i Mr. Leatham, yr aelod seneddol dros Huddersfield. Darfu i'r Frenines anfon *telegram* at Mr. Bright, yn mynegu ei chydymdeimlad dwys â'r boneddwr gwir anrhydeddus yn ei brofedigaeth chwerw a'i golled fawr. Gwnaed ac anfonwyd penderfyniadau o gydymdeimlad âg ef, hefyd, oddiwrth amrywiol gymdeithasau a chyfarfodydd cyhoeddus, ac, ymysg eraill, oddiwrth y lliaws sydd yn gweithio yn ngweithfa wlan Mr. Bright.

Mae tir yn maesdrefi Lundain yn myned yn fwy o werth yn barhâus. Gwerthwyd darn o dir ar gyfer gorsaf rheilffordd Finsbury Park am bymtheng mil o bunnoedd yr erw.

Trychineb màwr trwy ddaeargryn a ddygwyddodd yn Venezuela, Deheudir America, yr hyn a fu yn angeuol i gymaint â chwe' chant o bersonau.

Y Parch. Dr. Aveling, yn nghylchwyl flynyddol y capel cynnulleidfäol yn Gravesend, a adroddai ddarfod i foneddwr unwaith anfon hysbysiad, i'w gyhoeddi yn yr *Evangelical Magazine*, yn cynnyg gwobr arianol i bwy bynag oedd wedi bod yn golledwr, o ran pwrs, trwy roddi arian at achos Crist. Yr oedd yr hysbysiad yn un hynod; ond y peth hynotaf ynglŷn â hyn ydyw, ebe y Doctor, na dderbyniodd y boneddwr gais oddiwrth neb am gyfryw wobr; ac yr oedd efe yn credu mai po fwyaf y rhoddid at achos Duw, mwyaf i'w roddi a fyddai gan y cyfranwyr.

Derbyniasom y *Wallaroo Times*, newyddiadur yn Australia, am Mawrth 20fed. Rhoddir ynddo hanes am gyfarfod blynyddol perthynol i'r Methodistiaid Cyntefig yn Mallala, lle y dywedir, "Ar y Sul, pregethodd y Parch. J. Lloyd, Wallaroo, y bore a'r hwyr, i gynnulleidfäoedd lliosog; y nos, yr oedd y lle wedi ei orlenwi. Yr oedd y bobl yn cael eu mawr foddhâu yn null effeithiol a chartrefol y Cymro a'r pregethwr mawr hwnw, ac argraffiadau wedi eu gwneyd nas anghofir byth."

---

### BASGED Y GWIREBAU.

*Y Bummed Fasgedaid.*

XLIX.

Pan y mae Duw yn myned i wneuthur creadur rhesymol yn ddedwydd, y mae yn gyntaf yn ei wneuthur yn blentyn ufudd-dod. Ymddarostwng i Dduw yw dyrchafiad penaf dyn.

L.

Geni i farw yw genedigaeth dyn i'r byd; ond geni i fyw, a hwnw yn fywyd tragywyddol, yw yr ailenedigaeth trwy yr Ysbryd.

LI.

Y mae yn syn, ond yn wir, mai po lwyraf y gwelo yr enaid hudoliaeth pechod, dyfnaf y bydd yn ei gasâu; a pho gryfaf y teimla efe ei nerth, mwyaf a fydd ei fuddugoliaeth arno. 'Rhywbeth neu bobpeth yn hytrach na phechod,' yw iaith yr hwn a anwyd o Dduw.

LII.

Duwinyddiaeth yn wybodaeth mewn pwnc, heb fod yn brofiad mewn calon, ac yn sancteiddrwydd mewn buchedd, yw y cynnud mwyaf hylosg i lygredigaeth a thrueni.

LIII.

Ymdeimlad neu ymwybyddiaeth o Dduw yw yr hyn sydd ar unwaith yn hanfod dedwyddwch nefoedd a thrueni uffern. Y gwahaniaeth ydyw, fod yr ymwybyddiaeth yn y nefoedd yn cynnyrchu cariad perffaith, ond yn uffern gasineb trwyadl.

LIV.

A fynech chwi weled marwolaeth fyw? edrychwch ar ddyn heb ei gyfnewid trwy ras. Mae yn fyw i'w esmwythder, ei anrhydedd, a'i fantais fydol, ond yn farw i Dduw a Christ, ac i bob daioni.

LV.

Nis gall y diafol wneuthur i ni ddim niwed heb iddo ddefnyddio yr hunan sydd ynom ni fel ei offeryn.

LVI.

**Y nesaf o ran hyfrydwch at y mwynhâd o dderbyn trugaredd gan Dduw, yw y mwynhâd o weinyddu trugaredd i gydgreadur.**

LVII.

**Nid oes neb yn anghenrheidiol a hanfodol gyfoethog ond y Duwdod holldigonol. Tlodion yn byw ar elusenau yw yr holl fodau eraill, yn angylion cygystal â dynion.**

LVIII.

**Gwerthfawr yw yr olwg ar ddyn yn arddangos ysbryd crefyddol dan ffrewyllau drygau'r byd; ond llawer gwerthfawrocach yw ei weled yn gallu byw yn wir grefyddol yn nghofleidiadau cysuron y byd. Mae pethau goreu'r byd presennol i'w hofni yn llawer mwy na'r pethau gwaethaf.**

LIX.

**Nid oedd neb ar y ddaear yn dlotach na Christ ar y groes, ac ar yr un amser, nid oedd neb yn y nefoedd yn gyfoethocach nag ef. Yr unig ddeongliad ar hyn yw,—Duw wedi dyfod i lawr yn gyffelyb i ni, er mwyn ein codi ni yn gyffelyb i Dduw.**

LX.

**Gwrthodedigaeth sydd weithred o drefniad a haeddiant dyn yn unig. Nid yw Duw yn gwrthod neb ond y rhai hyny sydd yn benderfynol wedi ei wrthod ef.**

---

# Amrywiaethau.

NEB YN RHY HEN I DDYSGU.

SOCRATES, pan mewn henaint mawr, a ddysgodd chware ar offer cerdd. Cato, yn bedwar ugain mlwydd oed, a ddysgodd astudio yr iaith Roeg. Plutarch, pan rhwng deg a thriugain a phedwar ugain, a ddechreuodd astudio Lladin. Syr Henry Spellman a esgeulusodd y gwyddorau *(sciences)* yn nyddiau ei ieuenctyd, ond a ddechreuodd eu dysgu o ddifrif pan rhwng hanner cant a thriugain oed. Ar ol hyny efe a ddaeth yn hynafiaethydd nodedig a chyfreithiwr enwog. Ogilby, cyfieithydd Homer o'r Groeg, a Virgil o'r Lladin, oedd heb fedru Groeg na Lladin nes bod dros ddeg a deugain mlwydd oed. Ni ddarfu Franklin lawn ddechre ar ei astudiaethau philosophyddol nes iddo gyrhaedd ei hanner canmlwydd. Dryden, yn ei 68ain mlynedd, a ddechreuodd ar ei gyfieithiad o'r Iliad, yr hwn waith sydd dra rhagorol. Gellid myned ymlaen i nodi ugeiniau a channoedd o esiamplau cyffelyb, sydd ddigon i argyhoeddi dyn nad all neb ond y claf neu'r diog byth ddyweyd ei fod yn rhy hen i ddysgu. Ac yn ddiau nid oes neb o'n pregethwyr yn rhy hen i gyfansoddi pregethau newyddion.

YR ATEBIAD YN OL YR EWYLLYS.

MEWN plwyf yn New England, yr oedd ymrafael hir a chwerw wedi tori allan rhwng y Diacon Smith a'r Diacon Jones, mewn canlyniad i'w hanghydwelediad o barth i ryw bwnc mewn dadl. Yr oedd diaconiaeth y rhai hyn, gwybydder, yn debycach i wardeniaeth yn Eglwys Loegr nag i ddiaconiaeth ein heglwysi Anghydffurfiol ni. Pa fodd bynag, ni fynai y naill ildio dim i'r llall; ac yr oedd yr anghyttundeb yn debyg o barhâu am hyd einioes y pleidiau. Ond un diwrnod, dyma'r Diacon Smith yn dyfod yn bersonol at y Diacon Jones, ac yn ei anerch yn hynod ddifrifol: "Frawd Jones, mae yn gywilydd i ni fod y cweryl rhyngom ni ill dau yn peri anghysur i'r eglwys, a chabl arni. Yr wyf fi wedi bod yn gweddïo yn ddifrifol am arweiniad yn yr achos anhyfryd hwn, ac yn awr yn teimlo fy mod wedi cael atebiad; ac felly y penderfyniad y daethum iddo tuag at i ni gyttuno â'n gilydd ydyw, fod yn rhaid i chwi roddi i mewn i mi, am fod yn anmhosibl i mi roddi i mewn i chwi."

RHIFYDDIAETH Y BIBL.

*Addition:* "Chwanegwch at eich ffydd rinwedd, ac at rinwedd wybodaeth, ac at wybodaeth gymedrolder, ac at gymedrolder amynedd, ac at amynedd dduwioldeb, ac at dduwioldeb garedigrwydd brawdol, ac at garedigrwydd brawdol gariad." (2 Pedr i. 5—7.) *Substraction:* "Wedi rhoi heibio gan hyny bob drygioni, a phob twyll, a rhagrith, a chenfigen, a phob gogan air." (1 Pedr ii. 1.) *Multiplication:* "A'r hwn sydd yn rhoddi had i'r hauwr, rhodded hefyd fara yn ymborth, ac amlhäed eich had, a chwaneged ffrwyth eich cyfiawnder. Gras i chwi a thangnefedd a amlhäer trwy adnabod Duw, a Iesu ein Harglwydd ni." (2 Cor. ix. 10; 2 Pedr i. 2.) *Division:* "Deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd, ac na chyffyrddwch â dim aflan." (2 Cor. vi. 17.) *Rule of Three:* "Yr awrhon y mae yn aros ffydd, gobaith, cariad, y tri hyn; a'r mwyaf o'r rhai hyn yw cariad."

EGLWYSYDDIAETH A LLANW Y MOR.

YR oedd clerigwr, yr hwn oedd yn un o gapleniaid y llynges, yn myned un diwrnod i weini gwasanaeth crefyddol ar fwrdd llestr na buasai efe ynddi o'r blaen. Yr oedd efe yn awyddus i wybod am y swyddogion a'r dwylaw oedd yn perthyn i'r llong, pa un ai tueddu at Ddefodaeth ai ynte at olygiadau ac ymarferiadau y blaid Efengylaidd yr oeddynt. Felly efe a ofynodd i'r Is-gadben, "Pa beth ydych chwi yma? ai Eglwys Uchel ynte Eglwys Isel?" "Wel, syr," oedd yr ateb, "nid oes bosibl i mi ddyweyd yn benderfynol; mae hyny yn dibynu yn hollol ar y modd y bydd y llanw; pa un ai uchel ai isel fydd hwnw ar y pryd y cynnelir yma wasanaeth."

Y DIOG A'R DEFNI.

YMDEITHYDD, wedi cael ei yru gan gawod drom o wlaw, i droi i mewn i fwthyn ar ochr y ffordd er mwyn cysgod, a gafodd fod yno ddefni breision yn disgyn ar ben y teulu, ac yn gwlychu'r llawr. Efe a ofynai i ŵr y tŷ, "Pa fodd yr ydych yn gadael eich lle yn agored i'r gwlaw fel hyn? Byddai yn hawdd i chwi gau y tyllau yna yn y tô." Hwnw, gan ymddangos yn boddloni i'r cyflwr yr oedd ynddo, a atebai, "Mewn tywydd gwlyb fel hyn, mae yn anmhosibl gweithio ar y tô; ac mewn tywydd sych, ni bydd eisieu i mi wneuthur dim iddo."

YR EPA O BREGETHWR.

YR oedd llefarwr poblogaidd wedi dyweyd unwaith mewn cymanfa fod yr Arglwydd Iesu wedi gwasgu angeu ar y groes nes yr oedd wedi myned yn *skeleton*. Dygwyddai i epa o bregethwr glywed am y meddylddrych, ac aeth yntau i wneyd defnydd o'r gymhariaeth; a gwaeddai nerth ei ben, "Y mae Iesu, y mhobl i, wedi gwasgu angeu ar y groes nes y mae wedi myned fel *skellet*." Llestr i ferwi ymborth yw *skellet!—O Gofiant Caledfryn.*

CERYDDON YSBRYDOL.

MAE yn ymddangos i mi, tra y mae agoriadau dysgyblaeth i geryddu am droseddau cyhoeddus ac allanol, wedi eu hymddiried i weinidogion a henuriaid yr eglwys, fod Pen mawr yr eglwys ei hun yn gweinyddu dysgyblaeth yn uniongyrchol, mewn ffordd o gau un allan, nid oddiwrth y mwynhâd allanol o ordinhadau yr efengyl, ond oddiwrth y gwir fwynhâd tufewnol ac ysbrydol; Efe mewn gwirionedd yn rhoddi am dymmor y teimlad dychrynllyd o esgymundod i'r rhai sydd wedi tynu arnynt yr euogrwydd sydd anweledig i eraill; yr euogrwydd o galedwch calon, grwgnachrwydd meddwl, a drygau ysbrydol eraill.—*Hewitson.*

HEB FOD BYTH AR FAI.

DYWEDIR fod gan Dr. Franklin wasanaethydd unwaith yr hwn nad addefai ei fod byth ar fai. O'r diwedd, yr oedd amynedd y doctor wedi llwyr flino, ac efe a ddywedodd wrth ei was, "Simon, rhaid i chwi a minnau ymadael â'n gilydd. Ni welais i erioed ddyn oedd yn gampus am wneyd esgusodion, yn gampus am unpeth arall."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU JAINTIA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. G. HUGHES, DYDDIEDIG JIWAI, MAWRTH 27AIN, 1878.

Y MAE yn ddrwg genyf i amgylchiadau fy attal i ysgrifenu yn gynt am gyfarfod yr Henaduriaeth yn Shella. Cawsom gyfarfodydd da, cysurus, a lliosog. Yr oedd y brodyr wedi gwneyd darpariadau helaeth ar ein cyfer, ac wedi codi pabell helaeth a hardd i bregethu ynddi, a honó wedi ei thoi â llïeiniau amrywliwiog, a lampau goreuredig yn crogi oddifewn, fel yr oedd yn edrych yn ardderchog, yn enwedig yn y nos. A mwy na'r cwbl yr oedd yn cael ei llenwi â gwrandäwyr astud y rhan fwyaf o'r cyfarfodydd. Yr oedd o leiaf 800 o bobl y bore a phrydnawn Sabboth. Daeth nifer dda o gynnrychiolwyr ynghyd, yn enwedig o Ddosbarth Shella; a da iawn oedd genym ddeall fod yr achos yn y Dosbarth ar gynnydd. Y mae yn wir nad oedd pob eglwys wedi gwneyd cynnydd, na bod eu sefyllfa yn bob peth a ellid ddymuno, eto yr oedd y Dosbarth wedi cynnyddu, a'r achos yn myned ymlaen. Yr oeddym yn 'gweled â'n llygaid fod Shella wedi cyfnewid yn fawr. Yr oedd yn syndod i mi weled y gwahaniaeth er pan fum yno o'r blaen; yr eglwys a'r gynnulleidfa wedi cynnyddu yn fawr, a'r pentref oll yn fwy ffafriol i Gristionogaeth. Prawf eglur o hyn yw y bywyd sydd yn yr ychydig Hindwaid sydd yn y pentref. Pan fyddwn i yn ymweled â'r pentref o Nongsawlia—er fod amryw o bobl Shella wedi cofleidio Hindwaeth—nid oedd yno ddim cynhwrf. Ond wedi sefydlu cenadwr yno, ac i adfywiad gymeryd lle yn y Cristionogion, a'r bobl yn gadael eu hofergoelion ac yn troi at Dduw byw, dyma gynhwrf yn y gwersyll; dechreuwyd canu caniadau paganaidd, a churo y *tomtom* (tabwrdd brodorol) bob nos o'r bron, er denu y bobl atynt; ond heb fawr lwyddiant, fel yr wyf yn deall. Yr oeddwn yn dychwelyd adref o Shella yn llawen fy nghalon, wedi gweled gras Duw yn Nosbarth Shella, ac yn hyderus am lwyddiant yr efengyl ar yr holl Fryniau.

Ar ol dychwelyd o Shella, aethum ar daith i Raliang a gwlad y Mikir. Daeth Dr. O'Brien gyda mi i Shangpung, er ceisio cael y pentref i ymostwng i fuchfrechiad (*vaccination*). Yr oedd yr holl bentref agos wedi bod o dan y frech wèn yn ystod y flwyddyn a basiodd. Gan fod y Cristionogion wedi eu buchfrechu, ac yn byw ar wahan, ni fu neb yn sal o dani. Wedi cyrhaedd yr ysgoldŷ, anfonwyd rhai o'r Cristionogion i alw ar benaethiaid y pentref; ac wedi iddynt ddyfod, penderfynwyd ar gael cyfarfod i'r holl bentref fore drannoeth. Aethum i lawr erbyn yr amser penodedig, a'r hen ŵr, U Don, gyda ni, a chawsom y *Dolloi*, a'r rhan fwyaf o ddynion y pentref gydag ef, yn eistedd yn y farchnadle yn ein dysgwyl. Eglurwyd natur a daioni buchfrechiad, ac amcan y Llywodraeth yn anfon buchfrechwyr atynt, sef eu gwaredu rhag yr haint; a chyfaddefai y *Dolloi* fod dros 200 wedi marw o'r haint y flwyddyn ddiweddaf. Nid oeddynt yn gweled y buddioldeb na'r fantais; ond o'r diwedd, dywedodd y *Dolloi* ac amryw o'r dynion penaf y rhoddent eu neïaint i'w buchfrechu y flwyddyn nesaf. * * * Felly bu raid i ni droi ymaith heb wneuthur dim; ac ar ol cymeryd lluniaeth yn yr ysgoldŷ, aethom ymaith—Dr. O'Brien yn ol i Jiwai, a minnau i Raliang. Y mae holl wlad Raliang yn dyoddef o dan y frech wèn, oddieithr pentref Jangkiat, y pentref Cristionogol. Tua hanner y ffordd o Shangpung i Jangkiat, gan ein bod yn lluddedig a newynog, troisom i dŷ mewn pentref o'r enw Laskein, er cael cysgod rhag yr haul tra yn bwyta a chael gorphwys ychydig. Ond pan aethom at y drws, rhedodd y wraig i'n cyfarfod â baban yn ei breichiau wedi ei orchuddio gan y frech wèn. Yr oedd hyn yn foddion effeithiol i'n cadw o'r tŷ, a throisom ymaith yn lled gyflym, gellwch benderfynu, a bwytasom ein bara a chig ar ochr y ffordd ychydig bellder o'r pentref, heb ddim i'n cysgodi rhag yr haul.

Cyrhaeddasom Jangkiat mewn amser da, a derbyniwyd ni yn llawen gan y frawdoliaeth. Cefais ymddyddan hyfryd â'r brodyr am sefyllfa yr achos a'i ragolygon, hyd yn lled hwyr y nos. Bore dranoeth, aethum gydag U Ram, athraw Umsaplit, tua'r pentref hwnw. Y mae hwn mewn gwlad isel a phoeth, yn llawn o fân fryniau, a elwir gwlad Pyngam. Codir llawer iawn o gotwm yn y wlad hon, a gwelais lawer o'r planigfeydd wrth fyned trwodd. Nid yw y goeden gotwm ond oddeutu hanner llath o uchder, ac y mae y cotwm yn tyfu mewn math o blisgyn ar flaen y cangenau. Wedi i ddau gnwd gael ei dyfu, rhaid symud i le arall, a'r tir cyntaf yn cael ei roddi i godi reis. Cyrhaeddwyd Umsaplit, neu yn hytrach Mawlyber, yn min yr hwyr, wedi cael gwlaw mawr ar y ffordd a gwlychu at y croen. Y mae y bryn ar ba un y saif y pentref, yn y canol rhwng tri o bentrefi bychain. Yn wir, bychain iawn yw yr holl bentrefi yn Pyngam, o bump i bymtheg o dai ymhob un, ond y maent yn aml iawn. A chymeryd y wlad oll, y mae yn fwy poblog na'r rhan fwyaf o'r Bryniau. Y mae yn y pentref hwn naw o dai. Rhai wedi symud o'r pentrefi amgylchynol ar ol derbyn Cristionogaeth, neu o'r hyn lleiaf adael heibio eu hen grefydd, yw y preswylwyr. Dyma arfer Jaintia agos oll. Wedi i nifer dd'od i gadw y Sabboth, a gadael eilunaddoliaeth, symudant o'r pentref i fryn cyfagos, er dianc oddiwrth demtasiynau y pentref. Wedi hyny bydd pawb o'r pentref a fydd yn tueddu at Gristionogaeth yn ymuno â hwynt, y naill flwyddyn ar ol y llall. Nid wyf yn gallu penderfynu pa un ai mantais neu anfantais i grefydd yn y pen draw yw hyn. Dyma y drefn a welais i, ac nid wyf yn gweled yn briodol ei newid yn awr, beth bynag. Y mae yn fantais fawr i ddwyn y plant i fyny yn rhydd oddiwrth arferion llygredig a phaganaidd y pentref; ac y mae yr anwybodus, a'r rhai sydd heb eu sefydlu yn y ffydd, yn cael gofalu am danynt a'u cadarnhâu. O'r ochr arall, y mae y pentref yn colli dylanwad bywyd sanctaidd y Cristionogion, a'u gweithgarwch hefyd i raddau yn cael ei golli. Ond gallaf ddyweyd hyn, fy mod yn credu na buasai Cristionogaeth wedi gwneyd cymaint o gynnydd yn Jaintia, pe buasai y Cristionogion heb fod yn byw wrthynt eu hunain. Ond nis gwn pa un a dry yn anfantais eto wedi i addysg ledaenu, a'r bobl ddyfod yn fwy gwybodus. Gwyddoch mai hyn oedd yr arfer ar y cyntaf gyda holl Genadaethau y Gwastadedd, ond eu bod yn awr yn anghefnogi hyn, ac yn cynghori eu dychweledigion i fyw gyda eu perthynasau ac yn eu pentrefi, os gallant. Yr oedd ysgol yn y lle hwn er's amser, a dau o Gristionogion o Jangkiat yn byw yno. Ymunodd tri â'r eglwys hon yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. Yn mis Rhagfyr ffurfiwyd hwy yn eglwys ar eu penau eu hunain, ac erbyn hyn y maent yn naw o nifer. Yr oeddynt yn llawen iawn o'm gweled, a threuliais amser hyfryd iawn gyda hwy. Cafwyd cyfarfod eglwysig y noswaith hono, ac yr oedd yn gysur mawr i mi eu gweled, a chlywed eu profiadau. Yr oeddynt yn deall crefydd yn bur dda, ac yn awyddus am gael eraill i'w chofleidio, ac addawsant fyned yn gyson fore Sabboth i'r pentrefi amgylchynol i gymhell rhai i dd'od i wrando, ac hefyd ymweled â hwy mor aml ag y gallent ddyddiau yr wythnos. Wedi hyny, daeth y bobl ieuainc i'r tŷ lle yr oeddwn yn aros, ac yno buont yn canu hyd yn hwyr iawn. Yn ffortunus i mi nas gall ganu, yr oedd y gwas oedd gyda mi yn ganwr lled dda, ac yr oedd ef yn dysgu iddynt dônau newyddion oeddynt yn arfer yn Jiwai. Bore dranoeth daeth oddeutu 30 ynghyd, a phregethais iddynt. Yr oedd y gwrando yn astud iawn. Yna wedi boreufwyd yr oedd yn bryd troi yn ol, a chyrhaeddasom Jangkiat cyn yr hwyr. Daeth rhai o'r brodyr i'n cyfarfod ran o'r ffordd. Yn yr hwyr cawsom gyfarfod eglwysig da ragorol. Yr oedd profiadau y frawdoliaeth yn dangos nid yn unig eu bod yn deall ond yn *profi* gwirioneddau yr efengyl. Cefais fy siomi yr ochr oreu yn yr eglwys hon. Y mae y Cristionogion cyntaf yn bur ddeallus, ac nid ydynt yn dodi eu goleuni dan lestr chwaith. Daeth tri theulu atynt o'r pentrefi amgylchynol yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, ac yr oedd un gŵr a'i wraig a phlentyn wedi dyfod atynt i fyw ychydig ddyddiau cyn i mi fod yno. Wrth edrych ar yr achos yma ac yn Umsaplit y mae yn gwisgo gwedd gysurus ac yn cynnyddu, a'r rhagolygon yn bur addawol. Bore dranoeth (y Sadwrn), cychwynasom am wlad y Mikir (Bhoi). Yr oedd y ffordd trwy wlad led goediog, yn disgyn yn raddol at yr afon Cwpli sydd yn terfynu Jaintia a Cachar, ac hefyd y Jaintiaid a'r Mikir. Y mae hon yn afon fawr iawn, ac oblegid hyny addolir hi gan y Jaintiaid a'r Mikir. Dywedai U Ram, oedd yn ein harwain, ei fod ef, pan yn offeiriad Jonglapyne, wedi bod yn agos i'r afon ac yn offrymu cymaint a *chant* o eifr er ennill ewyllys da y Cwpli. Offrymir iddi yn flynyddol gan y Jaintiaid a'r Mikir. Wrth yr afon yr oedd Sangbar yr athraw a nifer o'i gyfeillion yn dysgwyl i'n dwyn drosodd mewn ysgraff o'r fath fwyaf candryll, dim ond nifer o goed *bamboo* wedi eu clymu ynghyd. Yr oedd yn fy adgofio am yr amgylchiad pan oedd John Jones, Edeyrn, yn ofni myned i'r ysgraff

oedd yn croesi y Fenai yn Mhorthaethwy. Os oedd yr ysgraff hono yn debyg i'r ysgraff sydd yn croesi y Cwpli, nid yw yn rhyfedd i John Jones ddyweyd wrth y cychwr nad oedd ganddo ffydd yn ei hen gwch candryll ef. Yr oedd genym oddeutu tair milldir drachefn i gyrhaedd pentref Symlin. Gan fod llawer o'r bobl yn y dyffryn islaw yn y caeau reis, aethum tuag yno yn gyntaf er gweled rhai o bobl fluenaf y pentref, a theithio blin ydoedd hefyd. Yr oeddwn agos a methu cyrhaedd y pentref—yn enwedig gan fod cymaint o ddringo i fyny—gan flinder ac eisieu bwyd. Wedi cyrhaedd y pentref, yr hwn sydd ar ben bryn uchel, cefais fod y gwas wedi parotoi tê mewn tŷ cysylltiol â thŷ y penaeth—tad yr athraw, ac yn sicr i chwi yr oedd blas ar y bwyd. Yn yr hwyr daeth y penaeth a phrif ddynion y lle ataf i ymddyddan ynghylch yr ysgol. Y rheswm a roddent dros sefyllfa isel yr ysgol ydoedd yr hyn a ddygwyddasai i wraig yr athraw a gwrthwynebiad y Cachariaid. Yr oedd yr ysgoldŷ wedi ei adeiladu ar fryn gerllaw y pentref, a thŷ yr athraw ac un arall yn cynnwys o ddeg i bymtheg o bersonau yn ei ymyl. Yr oedd y rhai hyn yn cadw y Sabboth ac yn teimlo awydd i ddyfod yn Gristionogion. Cynnelid moddion yn rheolaidd yn yr ysgoldŷ ar y Sabboth, ac o ddeg i bymtheg yn dyfod ynghyd. Yn Mai diweddaf ymosodwyd ar wraig yr athraw gan deigr. Cariodd hi i'r goedwig a diangodd yn wyrthiol megys o'i grafangau. Ystyriai y pentrefwyr mai barn oedd hyn arni hi a'i gŵr am droi yn Gristionogion. Diangodd y bobl eraill i'r pentref, ac wedi hyny nis gallai yr athraw fyw wrtho ei hunan, a symudodd ei dŷ yn ol i'r pentref, ac ni chadwyd moddion ar y Sabboth mwy. Y mae y Cachariaid yn llwyth tebyg i'r Mikir, ac ar delerau hynod gyfeillgar â hwy. Pan glywsant fod yr athraw wedi troi yn Gristion, a bod y Cenadwr wedi bod yn aros yn nhŷ y penaeth (yr oedd Mr. Jerman Jones pan oedd yno yn rhoddi i fyny yn nhŷ y penaeth), anfonasant, gan eu bod yn myned i newid eu crefydd a derbyn Ewropead i dŷ, yr hyn oedd yn ddiraddiad mawr arnynt, na ddalient ddim cymundeb â'r Mikir mwy, ac na chaent dd'od i mewn i'w tai oni ymlidient y Bibl o'r ysgol ac addaw peidio derbyn y Cenadon mwy. Addawodd y penaeth adeiladu ysgoldŷ newydd ac anfon pawb oedd dan ei awdurdod ef iddo, ond nas gallai orfodi yr holl bentref i anfon eu plant; ond os gallem ni gael swyddogion y Llywodraeth i wahardd penaeth y Cachariaid i niweidio y Mikir, ond i ddal cymundeb â hwynt fel o'r blaen (y mae hyn yn orchwyl lled anhawdd), y deuai yr holl bentref i'r ysgol. Yr oeddynt yn ymddangos yn awyddus am addysg, ac heb fod yn anffafriol i Gristionogaeth, ond fod arnynt ofn gwrthwynebiad y Cachariaid. Bore Sabboth daeth deg ynghyd a cheisiais bregethu iddynt oddiar ddammeg yr hauwr, a'r athraw yn cyfieithu; ond nis gallaf ddyweyd i mi fod yn llwyddiannus iawn, oblegid aeth tri neu bedwar allan ar ganol y bregeth, ac eisteddasant o flaen y tŷ yr oeddym ynddo, a dechreuasant fwyta y *betel nut* yn bur hamddenol. Wedi hyny daeth y newydd fod tarw gwyllt wedi syrthio i dwll yn y goedwig er ys amryw ddyddiau, ac aeth agos bawb tuag yno er ei ddwyn i'r pentref neu ei dori i fyny er ei fwyta. Yn min yr hwyr dygwyd cryn lawer o'r gelain i dŷ y penaeth, yn arogli yn ddychrynllyd. Coginiwyd rhan o hono y nos hono, a chadwyd y gweddill hyd drannoeth, a gellwch farnu mai nid noswaith gysurus a gafwyd. Yr oedd yr arogl ar brydiau yn annyoddefol; ond yr oedd y bobl yn falch iawn o'r cig, a phawb yn gwledda arno y noswaith hono. Cadwyd dosbarth Biblaidd yn y prydnawn gyda phump oedd wedi aros yn y pentref, ac yn yr hwyr daeth lliaws mawr ynghyd i wrando y canu, a minnau yn esbonio ystyr y penillion, a'r athraw yn cyfieithu. Treuliais Sabboth pur anghysurus yno—pawb o'm hamgylch yn brysur gyda eu gwaith, a minnau heb allu siarad â neb oni byddai yr athraw yn bresennol. Ymddengys fod golwg addawol iawn ar y pentref hwn ar y cyntaf, ac yr oedd y cymhorth a roddodd y Genadaeth iddynt yn amser y newyn wedi rhoddi argraff ffafriol arnynt ar y pryd. Ond daeth ystorm erlidigaeth oddiwrth y Cachariaid, a'r anffawd i wraig yr athraw, pan nad oedd neb wedi ei sefydlu yn eu crediniaeth mewn Cristionogaeth, ac felly syrthiasant ymaith. Y peth sydd yn peri fod yn anhawdd penderfynu ynghylch yr ysgol yw, fod y Llywodraeth yn talu agos yr oll o gyflog yr athraw. Yr unig beth a wnaethum oedd peri iddynt adeiladu yr ysgoldŷ mewn lle cyfleus, ac i'r athraw gadw moddion rheolaidd ar y Sabboth yn ychwanegol at yr ysgol ddyddiol, gan obeithio yr ä y dymhestl heibio cyn hir, ac y ceir ysgol dda yno, ac y daw rhai i gredu yn Nghrist. Bore ddydd Llun cychwynwyd tuag adref; pan gyrhaeddais, gwelais fod ystorm fawr yr wythnos flaenorol wedi gwneyd dinystr mawr ar y tŷ, yr ysgoldŷ, a'r capel. Chwythwyd y rhan fwyaf o dô y tŷ ar un ochr, a chariwyd y *portico* oedd o flaen y tŷ yn ei grynswth dros ben y tŷ i waelod yr ardd, a drylliwyd llawer o wydr y ffenestri; cariwyd tô y capel a'r ysgoldŷ ymaith gan mwyaf, a chwythwyd un ffenestr i'r ysgoldŷ i mewn. Noswaith

ddychrynllyd ydoedd o fellt a tharanau, a dinystriwyd llawer iawn o dai yn y pentref. Yr oedd Mrs. Hughes yn y tŷ, heb neb ond rhai ieuainc oedd wedi dyfod i'r tŷ i gysgu gyda hi. Bu gorfod iddi ddianc o'r ystafell wely gan fod y tô wedi ei gario ymaith, a'r gwlaw yn tywallt i mewn. Dyna lle y bu hi mewn congl o'r unig ystafell ddiddos yn y tŷ, a cheryg y simdde yn syrthio i lawr, a'r tŷ yn crynu gan dwrf y taranau, ac yn oleu gan y mellt. Rywbryd cyn i'r wawr dori, a'r gwynt wedi dystewi ychydig, clywyd swn lladron yn ceisio tori i mewn i'r ystafell wely, ond pan glywsant y bechgyn yn myned allan, diangasant ymaith. Yr wyf yn deall i amryw dai gael eu hysbeilio y noswaith hono. Yr oedd Mrs. Hughes yn bur wael gan effaith y dychryn pan ddychwelais, ond y mae wedi gwella yn lled dda yn awr.

---

## SHELLA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. J. JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, MAWRTH 29AIN, 1878.

DAETHOM yma ein tri yr wythnos ddiweddaf, ac yr ydym yn teimlo yn llawer gwell o ran ein hiechyd. Bum yn dyoddef yn lled dost oddiwrth ddiffyg treuliad yn ystod y tri mis diweddaf, ond wedi d'od yma yr wyf yn teimlo lawer iawn yn well.

Llosgwyd 129 o dai yn Shella y 26ain o'r mis diweddaf, ac yn eu plith ein hysgoldŷ yn Jasir. Fe gostia yr adeilad £4, a'i wneyd o *bamboos* yn unig. Yr oedd yn olygfa ofnadwy iawn, ac yn fwy ofnadwy i ddeall fod un ferch druan wedi ei llosgi i farwolaeth yn nghanol y tân, ac nid oedd neb a allai ei gwaredu. Cafodd amryw o'r Cristionogion golled am eu tai, ond fe gadwyd eu personau yn ddiogel. Yn y rhan yma o'r pentref y mae ein prif ymdrech â'r Sudrus. Y maent hwy yn ymdrechu am gael y plant a'r bobl, ac yr ydym ninnau yr un modd; y maent wedi llwyddo gydag amryw, ond yr ydym ni, trwy fendith yr Arglwydd, wedi llwyddo gyda mwy o honynt; eto y mae yn gofyn llawer iawn o ofal ac ymdrech er eu cadw a'u sefydlu yn y gwirionedd, oblegid nid yw eu hamgyffrediad o bethau ysbrydol ond bychan iawn.

Cawsom yr hyfrydwch o dderbyn dau lled ieuainc i'r eglwys yn Shella y mis diweddaf, un bachgen ieuanc a geneth ieuanc. Rhoddodd y bachgen atebion lled dda i'r cwestiynau a ofynwyd iddo, ond nid oedd yr eneth yn dangos yr un parodrwydd i ateb; ond yr oeddym oll fel eglwys yn teimlo mai ein dyledswydd oedd ei derbyn atom, a rhoddi pob cynnorthwy iddi i wybod mwy am y Bibl.

Y Sabboth cyntaf o'r mis hwn aeth U Ksan, un o'r efengylwyr, a minnau i Dewsaw, i weled pa fodd yr oedd yr achos yno. Drwg genyf ddyweyd nad yw y bobl yn gwneyd un ymdrech i ddyfod i foddion gras: ä un i'w faes ac arall i'w fasnach, a deuant i'r moddion pan na bydd ganddynt ddim arall i'w wneyd, ond nid oes ynddynt deimlad o rwymedigaeth i gadw y Sabboth. Llwyddasom i gael cynnulliad o ddeg ar hugain i ddyfod i'r cyfarfod cyntaf, pryd y gofynais ychydig o gwestiynau iddynt yn hanes bywyd ein Gwaredwr, ac y pregethodd U Ksan. Synwyd fi gan atebion dau neu dri o honynt; yr oeddynt yn ateb yn dda, ac yn ymddangos fel pe byddent yn credu yr hyn oeddynt yn ei ddyweyd. Nis gallem beidio a diolch i'n Tad nefol am yr arwydd hwn fod crefydd ein Harglwydd Iesu Grist yn meddu rhyw gymaint o ddylanwad ar ychydig o ddynion yn Dewsaw, er fod yn amlwg fod y rhan fwyaf o'r rhai a ddaethant ynghyd heb ganddynt hyd yn nod barch iddi. Yr Arglwydd a dywallto ei Ysbryd yn helaeth ar y pentref caled hwn, i ddwyn y rhai sydd yn agos yn nês, a'r rhai pell yn agos, nes eu dwyn oll at y Ceidwad. Wedi i minnau bregethu yn yr ail gyfarfod i ryw ugain o bobl, ac i ni ein dau eu cymhell i ddyfod i'r moddion yn fwy ffyddlawn, a chadw y Sabboth, yr hyn a addawent ei wneyd, dychwelasom i Shella, gan alw yn Lyngkin a phregethu yno drachefn.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

DERBYNIODD y Trysorydd Cyffredinol y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf :—

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Gorllewin Morganwg | 18 | 15 | 10 |
| Sir Ddinbych, trwy law Mr. P. Roberts | 10 | 0 | 0 |
| Sir Frycheiniog, trwy law Mr. W. Edwards | 2 | 16 | 7 |
| "J. J." | 5 | 0 | 0 |
| Moriah, Llwydcoed, Aberdare | 1 | 12 | 0 |
| Bethany, Pontnewynydd | 1 | 0 | 0 |
| Hen Gyfaill i'r Gymdeithas | 0 | 5 | 0 |
| Siloh, Ebbw Vale, Casgliad y Plant | 4 | 8 | 9 |
| Penybont, Sir Frycheiniog | 0 | 12 | 1 |
| Runcorn (Saesoneg) | 5 | 7 | 4 |
| Cynnwys Blwch Cenadol Dosbarth Mary Roberts, Llanfair, Harlech | 0 | 15 | 0 |
| Brimaston Hall, Sir Benfro | 1 | 5 | 0 |
| Dinas y Mawddwy, Casgliad y Plant, trwy law Mr. E. D. Evans, Tanyfoel | 1 | 13 | 1 |
| Dwyrain Morganwg | 2 | 8 | 4 |
| Capel Park Field, Birkenhead | 21 | 15 | 3 |
| Capel Prince's Road, Liverpool | 76 | 8 | 11 |
| Capel Chatham Street, Liverpool | 61 | 13 | 2 |
| "Bachgen o'r Ysgoldŷ, Llanddeiniolen" | 0 | 10 | 0 |
| Mr. John. Jones, Llanfynydd, Sir Gaerfyrddin | 0 | 5 | 0 |

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 573.] GORPHENAF, 1878. [LLYFR XLVIII.

## DYSGEIDIAETH YR YSGOL SABBOTHOL, A'R CYMHWYSDER GOFYNOL YN Y DEILIAID I'W CHYRHAEDD.

PREGETH A DRADDODWYD MEWN CYFARFOD BLYNYDDOL YSGOLION SABBOTHOL GWAELOD SIR DREFALDWYN, YN Y FLWYDDYN 1875.

GAN Y PARCH. ROBERT DAVIES, AMWYTHIG.

IOAN vii. 16, 17: "A'r Iesu a atebodd iddynt, ac a ddywedodd, Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i. Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru."

(*Parhâd o tu dal.* 209.)

SYLWIR oddiwrth y geiriau yn yr ail le, ar

II. Y CYMHWYSDER GOFYNOL YN NEILIAID YR YSGOL SABBOTHOL I GYRHAEDD Y DDYSGEIDIAETH HON. "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth," &c.

Gan fod dysgeidiaeth Crist, yr hon hefyd sydd yn ffurfio dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol, yn Ddwyfol ac nid dynol o ran ei tharddiad a'i sylwedd, gallesid dysgwyl y buasai y cymhwysder gofynol i'w chyrhaedd yn meddu cyfaddasder neu gyfatebiaeth i'w natur ei hunan. Nid oedd Crist yn ysgolaig yn ol ystyr yr Iuddewon, neu ystyr y byd hwn; ac ni buasai y cymhwysder y mae hyny yn ei olygu yn un fantais iddo ychwaith i fynegu cenadwri oddiwrth Dduw. Yr un modd, gellir dyweyd, o drugaredd, mai nid meithriniad mewn ysgolion dynol sydd yn ofynol i ddirnadaeth greddiniol o ddysgeidiaeth Crist; nid am fod dysgeidiaeth ddynol o anghenrheidrwydd yn groes i ddysgeidiaeth Ddwyfol, ond am nad ydynt o gwbl yn gorwedd yn yr un cylch o fodolaeth, ac o ganlyniad nad ydynt i'w cymharu â'u gilydd. Y maent yn sefyll yn wrthgyferbyniol, ac nid ydynt yn dyfod i gyffyrddiad â'u gilydd; fel y gellir dyweyd, nid yn unig nad yw y meithriniad a geir mewn ysgolion dynol yn un fantais i ddirnadaeth o'r ddysgeidiaeth hon, ond hefyd nid ydyw diffyg o'r meithriniad hwnw yn fantais ychwaith, oddigerth fod rhywbeth yn y meithriniad hwnw o natur foesol, ac yn rhedeg yn groes i'r ddysgeidiaeth hon. Ac o herwydd mai nid yr un cymhwysder sydd yn ofynol i gyrhaedd y ddysgeidiaeth hon ag sydd yn ofynol i gyrhaedd dysgeidiaeth ddynol, y mae genym lawer o ymadroddion yn y Bibl sydd yn ein taro fel yn groes i ymddangosiad cyffredin pethau, megys fod tystiolaeth yr Arglwydd yn gwneuthur y *gwirion* yn ddoeth. Y mae y rhai ffol yn dyfod yn ddoethion, a'r rhai doethion yn fynych yn cael eu gwaradwyddo.

Y mae pob dysgeidiaeth yn rhagdybied rhyw allu neu gynneddf banodol mewn dyn, trwy yr hyn y mae yn abl i wneyd y ddysgeidiaeth hono yn eiddo iddo ei hun. Y mae rhifyddiaeth a changenau o'r fath yn rhagdybied deall a rheswm cryf, tra y mae barddoniaeth, arluniaeth, a'r cyffelyb, yn

rhagdybied dychymyg bywiog, neu yr hyn a elwir yn ddarfelydd, ynghyda chwaeth briodol at y pethau hyn. Gall un fod yn rhifyddwr mawr heb fod dim o'r bardd ynddo, neu fe all fod yn fardd gwych heb ragori mewn rhifyddiaeth. Y mae pob cangen o wybodaeth yn galw am gymhwysder priodol yn yr efrydydd i'w chyrhaedd. Yr un modd hefyd y mae dysgeidiaeth uchel yr Ysgol Sabbothol yn galw am ansawdd priodol yn ysbryd ei deiliaid mewn trefn i'w chyrhaedd. Y cymhwysder gofynol i hyny yw, ymddarostyngiad y galon a'r ewyllys i ewyllys Duw: "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth."

Y mae yn wir fod dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol, o ran ei chorff allanol, yn rhoddi llawer o le i weithrediad ac ymarferiad y deall a'r dychymyg a holl gynneddfau yr enaid. Y mae ynddi bob amrywiaeth mewn ffaith a dychymyg i gyfateb i'r amrywiaeth meddyliol sydd ymysg dynion. Y mae ynddi hanesiaeth syml a barddoniaeth uchel, ffeithiau noethion a gweledigaethau rhamantus, diarebion byrion a llithoedd meithion; cawn ynddi alegori a dammegion, athrawiaethau a gorchymynion ac addewidion. Ond y mae i'r ddysgeidiaeth hon ei hysbryd yn gystal a'i chorff; ac nid trwy ymarferiad o'i alluoedd deallgar y mae dyn yn dyfod i ddirnadaeth o'i hysbryd, ond trwy ansawdd cyfatebol yn ei ysbryd ei hunan.

Y mae cyfatebiaeth yn bod yn yr ystyr yma rhwng natur a'r Bibl. Y mae i natur ei chorff allanol a'i bywyd mewnol. Y mae corff allanol natur yn rhoddi digon o le i ymchwiliadau eithaf y galluoedd deallgar, ond y mae yn rhaid cael *calon* i ddirnad enaid neu ysbryd anian. Y mae'r daearyddwr yn meddu gwybodaeth am wynebddysg neu *physiognomy* y ddaear; y mae y daearegwr yn ymwneyd â'i hesgyrn ac yn deall *anatomy* y ddaear; ond nid yw y naill na'r llall yn myned ymhellach na chorff allanol anian. Ond y mae y bardd yn myned tu hwnt i'r rhai hyn. Mae efe yn ymwneyd, nid â chorff anian yn unig, ond â'i hysbryd. Y mae cymdeithas yn bod rhyngddo â'i henaid. Y mae ganddo lygad i weled anian, calon i deimlo anian, a gwroldeb a faidd gydfyned âg anian.

Yn gyffelyb y gellir dyweyd am ddysgeidiaeth y Bibl. Gall un gael hyfrydwch wrth astudio iaith a dullwedd ymadroddion allanol y ddysgeidiaeth hon, a gall y llall ymhyfrydu mewn olrhain ei hanesiaeth, ac un arall gael pleser mewn treiddio i mewn i'w hathrawiaethau, ac eto heb fod y naill na'r llall yn myned ymhellach na'i chorff. Ond cyn y gallwn dreiddio i mewn i'w hysbryd, y mae yn rhaid i ni wrth ansawdd ar y galon cyfatebol i'w hysbryd ei hunan. "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru."

Enaid dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol yw ei Dwyfoldeb; a dyfod i wybod y ddysgeidiaeth hon yw dyfod i ddirnadaeth briodol o honi fel cenadwri oddiwrth Dduw. Y mae yr oll o ymarweddiad dyn yn troi ar hyn. Nid ydym wedi cyrhaedd ei dysgeidiaeth uchel os nad ydym wedi dyfod i hynyma, pa mor hyddysg bynag y dichon i ni fod yn ngwahanol gangenau ei ffurf allanol. Ond unwaith y mae hyn wedi ei gyrhaedd, y mae'r gwaith mawr ar ben. Credu hyn yw sylfaen y dyn newydd. Nid oes ond goruwchadeiladu yn ofynol mwyach. Y mae ein cydymffurfiad âg egwyddorion yr efengyl yn dibynu ar wybod hyn, a dyfod i wybod hyn yn ddyfnach ac yn helaethach yn barhâus. Ond gellir gofyn, Pa nifer o ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol sydd yn wirioneddol wedi dyfod i wybod am y ddysgeidiaeth hon, sef ei bod hi o Dduw? A'r rhai sydd wedi dyfod i wybod hyn i ryw raddau, A ydynt yn dyfod yn fwyfwy argyhoeddedig yn barhâus o'i Dwyfoldeb, ac o'r canlyniadau ofnadwy y mae hyny yn ei gynnwys?

Y ffordd o ddyfod i feddiant o'r ddysgeidiaeth hon yw trwy ymddarostyngiad yr ewyllys i ewyllys Duw, neu mewn geiriau eraill, trwy barodrwydd yr ewyllys i roddi mewn ymarferiad bobpeth y mae dyn yn dyfod i wybod am dano fel ei ddyledswydd ac fel ewyllys Duw tuag ato. Y mae "ei ewyllys Ef" yma i'w ddeall mewn ystyr eang, heb gyfyngiad iddo. Nis gall olygu y dadguddiad neillduol o'i ewyllys fel ag y mae wedi roddi yn Nghrist; oblegid y dadguddiad hwnw a olygir wrth y ddysgeidiaeth yn y testun ag y mae gwybodaeth o honi yn cael ei

roddi i ddibynu ar ewyllysio gwneuthur ei ewyllys Ef. Ond wrth ei ewyllys Ef yr ydym i olygu, ei ewyllys mor bell ag y mae dyn eisoes yn gwybod am dano, gan gynnwys yr hyn a ddysgir gan reswm a goleuni natur, a'r hyn a wnaed yn hysbys iddo trwy ddadguddiad Dwyfol; ei ewyllys Ef mor bell ag yr oedd y Phariseaid yn eu sefyllfa hwy yn gwybod am dano; ei ewyllys Ef mor bell ag y mae y Pagan yn ei sefyllfa yntau yn gwybod am dano; a'i ewyllys Ef mor bell ag yr ydym ninnau drachefn o dan yr efengyl yn gwybod am dano.

Yn awr, os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff wybod am y wir ddysgeidiaeth. Yr oedd yr Arglwydd Iesu eisoes wedi dangos i'r Iuddewon mai dysgeidiaeth ei Dad oedd ei ddysgeidiaeth ef; ac y mae yn awr yn ymresymu mai y ffordd gan hyny i ddyfod i wybod am ei ddysgeidiaeth ef, sef ei bod hi o Dduw, yw trwy ewyllysio cyfaddasu ein hymarweddiad i'w ewyllys ef. Ewyllys dyn i wneuthur ewyllys Duw yw y ddolen ynddo yn yr hon y mae gwybodaeth o'r ddysgeidiaeth Ddwyfol yn cydio. Y mae yna ryw bwynt penodol yn bod, yn yr hwn y mae y dynol a'r Dwyfol yn dyfod i gyffyrddiad â'u gilydd, a dyna yw y pwynt hwnw, sef tueddiad yr ewyllys ddynol i gydymffurfio â'r ewyllys Ddwyfol. Os bydd rhagfarn yn y meddwl yn erbyn y gwirionedd, ac yn erbyn ymagweddu yn ol ewyllys Duw, y mae gwybod am y ddysgeidiaeth hon yn anmhosibl. Ond os bydd tueddiad yr ewyllys at gyflawni ewyllys Duw, mor bell ag y gellir gwybod ei ewyllys ef, dyma yw y ffordd sicr i wybodaeth o'r ddysgeidiaeth Ddwyfol. Oblegid fel y mae yr ewyllys ddynol yn ymestyn at yr ewyllys Ddwyfol, felly y mae dyn yn dyfod i sicrwydd o'r ddysgeidiaeth Ddwyfol yn y cadarnhâd a rydd y ddysgeidiaeth hono o'i Dwyfoldeb i'r cyfryw feddwl pur a didwyll, trwy rinwedd y cyfaddasrwydd sydd yn ei natur i'w natur ei hunan.

Y mae dyfod i feddiant o'r ddysgeidiaeth hon gan hyny yn dibynu ar gydgordiad ewyllys dyn ac ewyllys Duw â'u gilydd. Nid hyny a ddywedir yma. Os bydd i neb *wneuthur* ewyllys Duw efe a gaiff wybod, &c., ond, Os *ewyllysia* neb wneuthur, &c. Nid ar gyflawni ewyllys Duw y rhoddir y ddysgeidiaeth hon i ddibynu, ond ar ewyllysio ei gyflawni. Y mae y cymhwysder a ofynir genym i'w chyrhaedd yn llawer dyfnach na'r cyflawniad allanol, gan ei fod yn fewnol yn yr ysbryd. Ar yr un pryd y mae y cymhwysder a ofynir yn llawer mwy rhesymol a thrugarog i ni. Ychydig yw ein gallu i wneuthur ewyllys Duw, ond y mae *ewyllysio* gwneuthur ei ewyllys ef yn gymhwysder y gellir dysgwyl i'r lleiaf ei allu ei feddu. Ac yn mhwy bynag y mae y parodrwydd ewyllys hwn, efe a gaiff wybodaeth am y ddysgeidiaeth hon, pa un ai o Dduw y mae hi ai ynte o ddyfais dynol. Yr hyn a gaiff wybod yw caracter y ddysgeidiaeth. Nid, efe a gaiff wybod rhyw gangenau neu athrawiaethau neillduol o'r ddysgeidiaeth hon; nid, efe a gaiff wybod y pynciau dyrys hyny sydd ynddi y rhai sydd leiaf anghenrheidiol i'w gwybod ac yn cyffwrdd leiaf â hanfod crefydd, ond ar yr un pryd sydd yn hoff byncian dadleuon ymysg dynion. Nid boddio cywreinrwydd o'r fath yma sydd yn cael ei addaw yn ngeiriau y testun, ond yr ydym yn cael ein cyfeirio i dir o lafur a gwybodaeth llawer uwch. Diammheu fod camolwg pwysig yn cael ei gymeryd mewn lliaws o ddosbarthiadau ar waith priodol yr Ysgol Sabbothol, fel mai da fyddai i ni ddal sylw ar y cyfeiriad a roddir i ni yn ngeiriau Crist. Gellid meddwl mai chwilio am anhawsderau—os nad gwneuthur rhai lle na byddont, a cheisio eu hesbonio, casglu anghysonderau ac ymdrechu eu cysoni, gwneuthur clymau dyrys a chydymgystadlu i'w dattod—gellid meddwl lawer pryd mai dyma yw prif ddyben a gorchwyl yr Ysgol Sabbothol mewn llawer man. Ond yn briodol y gellir gofyn gyda golwg ar y cyfryw ymdrechion y naill Sabboth ar ol y llall, "Paham y gweriwch arian am yr hyn nid yw fara, a'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni?" Dylai ein hymdrechion penaf yn yr Ysgol Sabbothol gael eu dwyn i'r un cyfeiriad âg y mae yr addewid yn ein dwyn i edrych am wobr ein gwaith. Nid cael gwybod dyrys byncian i foddlonrwydd sydd yn cael ei addaw i ni fel gwobr am ein gwaith, ond "efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth pa un ai o Dduw y mae hi"—caiff deimlo a phrofi ynddo ei hun yr awdurdod a'r dylanwad Dwyfol sydd yn rhedeg drwyddi oll.

Fel y mae dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol yn un neillduol ac ar wahân oddiwrth bob dysgeidiaeth arall, felly hefyd gweddus yw i ni gofio fod neillduolrwydd yn y ffordd y mae i ni ddyfod i wybodaeth o honi, sef, nid trwy alluoedd cyffredin y meddwl, ond trwy yr ewyllys a'r galon. Nid yn y llwybr hwn y deuir i wybodaeth o'r gwyddoriaethau a'r celfyddydau. Buasai yn ymddangos yn ynfydrwydd i gyfeirio at egwyddorion y galon mewn trefn i gymhell dynion i dderbyn unrhyw gangen o wyddoriaeth. Ac fe ddywedir wrthym hefyd mai at y deall a'r rheswm yr oedd athronwyr y byd Paganaidd yn gwneyd eu hapeliadau wrth hyd yn nôd ddysgu moesoldeb. Ceisient berswadio dynion i fyw yn rhinweddol trwy weithio ar eu deall a'u rheswm. Dadleuent â hwynt gyda golwg ar resymoldeb neu afresymoldeb eu dull o fyw. Yr oeddynt yn colli golwg ar y gwirionedd nad yw rheswm yn cario unrhyw oruchafiaeth ar ddynion ar wahân oddiwrth dueddiadau eu calonau. Nid oeddynt wedi dyfod i weled nad oes y fath yn bod â meddwl pur ar wahân oddiwrth yr ewyllys, nac unrhyw ymchwiliad yn bosibl yn annibynol ar dueddiadau y galon. Ac o ganlyniad yr oedd yr hyn a ddysgent, er ei fod yn wir ac yn dda mewn llawer amgylchiad, yn aneffeithiol i beri diwygiad yn mywydau dynion; oblegid nid hawdd gan ddynion dderbyn dedfryd y rheswm yn unig mewn pethau sydd yn dwyn perthynas â moesau a chrefydd.

Nid ydym i olygu mai heb weithrediad galluoedd y deall y mae dyn i ddyfod i wybodaeth o'r ddysgeidiaeth sydd yn ngair Duw, ond yn hytrach gyda'r galluoedd hyny; eithr nid gyda'r galluoedd hyny yn unig, ond gyda hwynt fel y maent yn ddibynol ar dueddiad yr ewyllys, ac ar ymddarostyngiad yr ewyllys hono i ewyllys Duw. Y mae y deall yn parhâu i weithredu, a'r deall sydd yn canfod gwirioneddau Dwyfol; ond nid yw y deall yn edrych ond trwy awyrgylch y galon. Nid yw y deall yn gweled pethau ond yn ol fel y byddo yr awyrgylch y mae yn edrych drwyddo. Os bydd yr awyrgylch hwn yn dew a chymysglyd trwy lygredd a rhagfarn y galon, yna y mae y meddwl yn cael ei attal i gyrhaedd dirnadaeth briodol o bethau Dwyfol. Y peth pwysicaf gan hyny, mewn trefn i roddi derbyniad i'r ddysgeidiaeth sydd yn ngair Duw, yw cael awyrgylch y galon yn glir. Nid yw yn anhawdd i'r meddwl ganfod ei rhagoriaeth fel un Ddwyfol os bydd yna ymroddiad yn ewyllys y dyn i ewyllys Duw.

Y mae agwedd rhagbarotöol ar galon dyn yn anghenrheidiol i gyrhaedd y ddysgeidiaeth Ddwyfol hon. Trwy y ddysgeidiaeth hon y dychwelir pechaduriaid, ac eto y mae agwedd rhagbarotöol ar galon pechadur yn anghenrheidiol er iddi fod yn effeithiol tuag at hyny. Gwelir y gwirionedd hwn yn amlwg yn nammeg yr hauwr. Hauwyd yr hâd mewn pedwar math o dir, ond ni chafwyd derbyniad priodol iddo ond mewn un math, sef y "tir da," yr hwn mewn dyn sydd yn cyfateb i'r "galon hawddgar a da." Un o'r cwestiynau cyntaf yr ydym yn cofio iddynt gael eu gofyn oddiar y ddammeg hon yw, Pa fodd y mae i ni olygu calon neb yn hawddgar a da yn flaenorol i orchwyliaeth gair Duw arno? Y mae yn wir ar un llaw mai gair Duw a all wneyd calon dyn yn dda, ac y mae yn wir ar y llaw arall mai'r galon hawddgar a da yn unig a all roddi derbyniad i air Duw. Ac y mae lliaws o Ysgrythyrau eraill sydd yn gosod allan yr un gwirionedd, megys, "Yr hwn sydd o Dduw sydd yn gwrando geiriau Duw, &c." Er teimlo anfedrusrwydd i gysoni gwirioneddau gwrthgyferbyniol fel hyn â'u gilydd, eto nis gallwn lai na'u credu. Cyfaddefwn yn rhwydd nad oes neb cyfiawn wrth natur, nad oes neb yn gwneuthur daioni; ac eto credwn fod rhyw agwedd ar galon dyn diadgenedledig ag sydd yn fwy manteisiol i'r gwirionedd nag agwedd arall. Gallai nad oes yn yr agwedd hwnw unrhyw ddaioni sylweddol a chadarnhäol, eto y mae yna ryw gyfaddasder ynddo i dderbyn y gwirionedd. Nid oes unrhyw ddaioni cadarnhäol mewn syched neu newyn, ac eto y mae yn y teimladau hyn ddaioni mor bell ag y maent yn gwneyd dyn yn agored i gael ei ddiwallu. Y mae yna ddefnydd yn y teimladau hyn i dderbyn yr hyn ag y mae y Creawdwr mawr wedi eu cyfaddasu iddynt. Mae'r gwlybwr sydd yn y greadigaeth yn edrych am y sychedig, ac y mae yr ymborth sydd yn y greadigaeth yn dysgwyl wrth y ne-

wynog. Gellir dyweyd fod yna ryw gydberthynas rhwng y sychedig â'r gwlybwr, a rhwng y newynog â'r ymborth sydd yn y greadigaeth. Y maent yn chwilio megys am eu gilydd. Mae'r sychedig yn edrych am y dwfr, ac y mae'r dwfr yn edrych am y sychedig; y mae yr ymborth yn chwilio am y newynog, a'r newynog yn chwilio am yr ymborth. Y maent o'r un amcan â'u gilydd. Felly y gellir dyweyd mai y "galon hawddgar a da" sydd yn derbyn y gair, ac mai yr hwn sydd o Dduw sydd yn gwrando geiriau Duw.

Dyma'r cymhwysder gan hyny sydd yn ofynol yn neiliaid yr Ysgol Sabbothol i yfed y ddysgeidiaeth sydd yn cael ei rhoddi ynddi trwy air Duw, sef *syched* am dani. "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth," &c. Y sychedig sydd yn cael ei ddiwallu, ac i'r sychedig y mae addewid: "Tywalltaf ddyfroedd ar y sychedig, a ffrydiau ar y sychdir." O na byddai mwy o syched ar ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol am y wir ddysgeidiaeth! Byddai llai o groesddadleu a sych feirniadaeth pe byddai mwy o hyn i'w gael. Syched i wneuthur ei ewyllys ef yw y ffordd i'r wir ddysgeidiaeth. Nid yr un cymhwysder sydd yn ofynol i gyrhaedd hon âg i gyrhaedd dysgeidiaeth gyffredin. Ac oblegid hyn dywedir fod y Tad yn cuddio y ddysgeidiaeth hon rhag y doethion a'r rhai deallus, y rhai sydd yn ceisio ymwthio i mewn iddi yn ngrym eu deall yn unig, ac yn ei dadguddio i rai bychain, y rhai sydd fel Mair yn eistedd yn ewyllysgar a gostyngedig wrth draed yr Iesu i ddysgu ganddo; oblegid nid yn anfynych y ceir mai y gwirioneddau egluraf yw y rhai y mae dynion yn tramgwyddo wrthynt.

Gan fod y llwybr i gyrhaedd y ddysgeidiaeth hon yn gorwedd drwy y galon, y mae yn naturiol i ni gasglu mai yr adeg fwyaf ffafriol a phriodol i'w chyrhaedd yw adeg ieuenctyd, pan y mae y meddwl yn ddiddichell a'r galon yn dyner. Oblegid, er caniatâu nad oes yn y meddwl ieuanc unrhyw barodrwydd cadarnhäol i dderbyn y ddysgeidiaeth, y mae hyny i'w ddyweyd o leiaf, nad oes yn y meddwl ieuanc unrhyw ragfarn neu dueddiadau penodol croes iddi, ond y mae ynddo absennoldeb o'r hyn sydd yn "attal y gwirionedd," fel y gall fod yn yr hwn sydd wedi sefydlu ei gymeriad. Yr adeg i hau hâd y gwirionedd yw, pan y mae y galon yn naturiol yn "hawddgar a da." Dylid cofio hyn yn arbenig ynglŷn â gwaith yr Ysgol Sabbothol, nid er mwyn y rhai hyny sydd wedi gadael tymmor ieuenctyd, yr hwn nis gellir ei alw yn ol, pa fodd bynag y treuliwyd ef, ond er mwyn yr ieuenctyd eu hunain y rhai y mae eu hiachawdwriaeth, fe allai, yn dibynu ar ein gofal neu ein hesgeulusdra ni o honynt. A phan y daw yr athraw i ystyried yn ddifrifol fod iachawdwriaeth y rhai ieuainc sydd o dan ei ofal yn dibynu cymaint ar ei ymdrechion ef, gall yn briodol ddyweyd gyda golwg ar hyn fel y dywedodd Job gyda golwg ar beth arall, "Minnau pan gofiwyf a ofnaf, a dychryn a ymeifl yn fy nghnawd." Ac fe ddaw yr athraw sydd yn teimlo pwysigrwydd ei waith i weled, mai nid mewn mesur ei waith wrth y nifer o wersi sychion a gyfrana i'r rhai sydd o dan ei ofal, mai nid wrth nifer y pennodau o gatecismau a phethau o'r fath ag y mae yn eu dysgu iddynt, y mae yn cyflawni ei waith oreu. Gall wneyd hyn oll heb fod ond y deall yn well drwy hyny. Ond nid yn y llwybr hwn y dygir y deiliaid i afael â gwir ddysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol. Y cwestiwn yw, I ba raddau y mae yn llwyddo i ddwyn y rhai sydd o dan ei ofal i gyfateb i'r ddysgeidiaeth Ddwyfol y mae yr Ysgol Sabbothol yn ei golygu—i ba raddau y mae yn eu gwneyd yn ufudd, yn addfwyn, yn ostyngedig, yn hunanymwadol, ac yn eu dwyn i ofni ac i garu Duw? Y mae y pethau hyn yn bethau ag y mae yr ieuanc yn gallu eu dirnad a'u credu yn gynnarach nag y mae neb yn ei feddwl. A dengys hyn ffolineb yr hyn a ddywedir gan rai pobl, sef ei fod yn llawn bryd dysgu crefydd i blant pan y deuant i allu amgyffred a barnu drostynt eu hunain. Gallai rhyw gymaint o wirionedd fod yn hyn càn belled âg y mae crefydd yn golygu cyfundrefn o athrawiaethau i ymarferiad y meddwl arnynt. Ond nid mewn pynciau duwinyddol—er nad hebddynt, fe allai—y mae dysgeidiaeth uchel yr Ysgol Sabbothol yn gynnwysedig. Ac fe ellir gofyn, Onid yw llafur yr Ysgol Sabbothol yn yr amser a aeth heibio wedi rhedeg yn ormodol i'r eithafion hyn, sef i ymwneyd â phynciau ffurfiol heb gadw mewn golwg yn

ddigonol y rhinweddau mewnol ac ysbrydol ag y mae athrawiaethau yr efengyl yn eu cynnwys? "Eithr y ddoethineb sydd oddiuchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd a diragrith." Onid yw yn wir fod llawer o ysgolion dyddiol o radd uchel yn gwneyd mwy i feithrin y rhinweddau hyn a'u cyffelyb nag a wneir yn yr Ysgol Sabbothol mewn llawer man? Ac onid yw yn gŵyn mynych fod iaith ac arferion ac ymarweddiad hollol anweddus ac anghyson â'r rhinweddau a nodwyd ymysg deiliaid yr Ysgol Sabbothol? Beth yw yr anghydfod, yr ymryson, a'r teimladau afrywiog sydd yn fynych yn dyfod i'r amlwg ymysg deiliaid yr Ysgol Sabbothol ynglŷn â chario ymlaen achos crefydd yn y byd? Onid yw y pethau hyn yn lled arwyddo fod rhyw ddiffyg wedi bod yn ein haddysg? Onid ydym wedi cyfyngu ein hunain yn ormodol at y materion hyny ag sydd yn galw yn benaf am ymarferiad y deall, gan esgeuluso y rhan bwysig o addysg ag sydd yn golygu meithriniad y galon? Y mae y ffordd i wir ddysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol yn gorwedd drwy y galon.

Ac fel ag y mae yn wir, ar y naill law, mai ewyllys i wneuthur ewyllys Duw yw y cymhwysder i gyrhaedd y ddysgeidiaeth Ddwyfol sydd yn ngair Duw, felly y mae yn rhaid ei fod yn wir, ar y llaw arall, fod anwybodaeth, neu esgeulusdra, neu ddibrisdod, neu wadiad o honi, yn tarddu oddiar lygredigaeth y galon ac annhueddrwydd yr ewyllys i ufuddhâu i Dduw. Nid yw y prawf i ni ein hunain o wirionedd a Dwyfoldeb dysgeidiaeth Crist yn dibynu ar allu y deall i ganfod nerth a chysondeb gweledig yn ei ffeithiau a'i gwirioneddau. Gall y cyfryw nerth a chysondeb yn ei ffeithiau a'i gwirioneddau fod ar y naill law yn eithaf eglur i'r deall, neu ar y llaw arall uwchlaw i'n dirnadaeth. Modd bynag, nid ar ganfyddiad o hyn y mae ein derbyniad neu ein gwrthodiad o ddysgeidiaeth Crist yn gorphwys, ond ar dueddiad y galon a'r ewyllys. Mewn moesau a chrefydd y mae tueddiadau llygredig y galon yn tywyllu y deall fel ag i beidio gweled nerth a chysondeb profion allanol. "Paham nad ydych yn deall fy lleferydd i?" medd Crist, "am nad ellwch wrando fy ymadrodd i." Yr oedd yna anallu yn y deall o herwydd annhueddrwydd yn yr ewyllys. Y mae Paul hefyd yn priodoli dallineb meddyliol y genedl Iuddewig i ystâd eu calonau llygredig. "Eithr hyd y dydd heddyw pan ddarllenir Moses, y mae y gorchudd ar eu calon hwynt." Ac fe ddywedir ynglŷn â hyn mewn ffordd o addewid, "Pan ymchwelo" y genedl oddiwrth ei llygredigaeth "at yr Arglwydd, tynir ymaith y gorchudd." Pan gyfnewidir eu calon, ni bydd dim anhawsder deallol drachefn ar eu ffordd i dderbyn y Messïah. Y mae yn rhyfedd meddwl fod y fath wrthwynebiad i Grist wedi cael ei ddangos gan yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, yr archoffeiriaid a henuriaid y bobl, gwaith parhâus y rhai oedd astudio y gyfraith a'r prophwydi! Gallesid dysgwyl mai hwy fuasent y rhai cyntaf i'w groesawu. Ond er hyny ei wrthod a'i ddirmygu a wnaethant. Yr oeddynt yn edrych arno trwy y tawch o elyniaeth a llygredigaeth ag oedd yn codi o'u calonau drygionus, fel nad oeddynt yn teimlo nerth y profion o'i Fessïaeth ag oedd yn tarddu oddiar yr arwyddion a'r rhyfeddodau a wnaeth.

Yr un modd hefyd ceir engreifftiau o rai wedi eu magu yn yr Ysgol Sabbothol, ac wedi eu haddysgu o'u mebyd yn hanes ac athrawiaethau crefydd, ac eto wedi troi allan yn hollol galed ac anystyriol, gan ddibrisio a gwadu crefydd yn hollol. Ni ddaethant erioed i deimlo nerth Dwyfol y ddysgeidiaeth sydd yn y gair yr addysgwyd hwynt ynddo, a hyny o herwydd cyndynrwydd eu hewyllys, a gelyniaeth eu calonau tuag at bethau crefydd. Ac fel ag yr oedd rhyfyg a chaledwch yr Iuddewon yn fawr yn ol mawredd eu rhagorfreintiau, felly nid oes dim rhyfyg a chaledwch mwy yn cael ei arddangos gan neb na chan ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol fyddo yn dibrisio ac yn gwadu ei dysgeidiaeth uchel. Y mae annuwiaeth ymarferol ac anffyddiaeth proffesedig ymhob oes yn codi oddiar yr un achos mawr. Y mae i'w briodoli i annhueddrwydd y galon at bethau ysbrydol crefydd. Fel ag y mae y llwybr i adnabyddiaeth wirioneddol o Dduw yn gorwedd drwy y galon, felly y galon yw cartrefle annuwiaeth. Dywedodd yr ynfyd yn ei *galon*, "Nid oes un

Duw." Y mae yr achos o anffyddiaeth ymhob oes yn *fossol* ac nid yn *ddeallol*. Nid ydym yn sicr nad yw ambell i fachgen sydd wedi ei fagu yn yr Ysgol Sabbothol yn cipio i fyny ryw syniad anffyddol weithiau, fel pe byddai wedi cael rhyw gaffaeliad mawr; a phrin y mae yn gallu celu ei ymffrost wrth ddadgan ei ammheuaeth gyda golwg ar ryw wirionedd tragywyddol, fel pe buasai yr ammheuaeth hwnw yn arwydd o ragoriaeth deallol. Ond ni raid i neb ymffrostio yn ei anffyddiaeth, oblegid nid yw yn codi o'i ddeall o gwbl, heb sôn ei fod yn arwydd o ragoriaeth deallol, ond tarddu y mae o'i galon ddrwg ac oddiar lygredigaeth moesol.

Ond cyn gadael y mater hwn, dymunwn ddyweyd, gan fod y cymhwysder i gyrhaedd dysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol, a'r achos o ymwrthod â hi, yn gorwedd yn y galon, fod hyn yn ein cyfeirio at ein hanghen am yr Ysbryd Glân i wneyd ei dysgeidiaeth yn effeithiol tuag at y deiliaid. Efe yn unig, Ysbryd y gwirionedd, a all agor llygaid ein meddwl, tynu y gorchudd oddiar ein calonau, a'n tywys i'r gwirionedd. Y mae ei wasanaeth Ef, yr Athraw mawr, yn anghenrheidiol i wneyd addysg yr Ysgol Sabbothol yn effeithiol, a dylem alw arno ef yn amlach ac yn daerach i ddyfod at ei waith. Yr oedd yn arferiad rai blynyddau yn ol i droi yr Ysgol Sabbothol yn awr ac eilwaith yn gyfarfod gweddïo. Nis gwyddom i ba raddau y mae hyn yn bod yn bresennol. Ond credwn, pe gwnelid hyn yn amlach, y gwnelai y ffaith les ynddi ei hunan, gan gario dylanwad ar y deiliaid fel cydnabyddiaeth gyhoeddus o'n dibyniad am lwyddiant gwaith yr Ysgol Sabbothol ar yr Ysbryd Tragywyddol. Ond pa faint mwy a allem ei ddysgwyl mewn atebiad i'n gweddïau?

Wel, cofiwn fel aelodau o'r Ysgol Sabbothol nas gallwn byth gyrhaedd ei dysgeidiaeth uchel heb y cymhwysderau cyfatebol i'r ddysgeidiaeth ei hunan, ac mai yr Ysbryd Glân yn unig a all weithio y cymhwysderau hyny ynom. *Ewyllys* Duw tuag atom yw y ddysgeidiaeth hon, ac nis gallwn ei chyrhaedd ond trwy i'n hewyllysiau ein hunain ymdoddi i'w ewyllys Ef. *Hanes* yn benaf yw y ddysgeidiaeth hon, ac nid cyfundrefn o athrawiaethau—nid cynnyrch deall Dwyfol yn gymaint â ffrwyth cariad Dwyfol. Ei swm yw, "Canys felly y carodd Duw y byd," &c. Ac fel y cyfryw y mae hi wedi ei bwriadu i gyrhaedd y galon yn fwy na'r deall. Y mae yr Efengylau sydd yn cynnwys yr hanes rhyfedd hwn i'w dirnad â'r galon. Er bod llawer o geisiadau wedi eu gwneyd i'w cysoni, y mae digon o anghysonderau yn parhâu ynddynt i'r deall; ond nid oes anghysonderau ynddynt i'r galon. Y mae yr ystori am y groes ynddynt oll, ac y mae yn anmhosibl ei darllen heb iddi gyffwrdd â'r galon. *Hanes Person*—y Person rhyfeddaf a fu erioed—yw y ddysgeidiaeth hon; ac nid dim a ddywedodd nac a wnaeth yn unig, ond Efe ei hunan yn yr oll. Nis gellir cyrhaedd y ddysgeidiaeth hon ond trwy *ffydd* yn y Person hwn; ac nid addefiad y deall yn unig yw ffydd, ond cydsyniad y galon a'r ewyllys hefyd. Nid gweithred o eiddo y deall yn unig yw y ffydd â'r hon y gwneir derbyniad o'r cyfiawnder a weithiwyd allan trwy lafur enaid a chalon Mab Duw, ond gweithred gyfatebol enaid a chalon y pechadur. *Ffaith* yw y ddysgeidiaeth hon, ac nid damcaniaeth. Nid dyfod i'r byd i gyhoeddi dysgeidiaeth a wnaeth, ond i beri ffaith fawr. Y mae yn wir iddo ddysgu egwyddorion mawrion i'r byd, ond nid fel dysgawdwyr yn gyffredin, trwy wneyd gosodiadau, ymresymu, a thynu casgliadau, ond trwy weithio allan yr egwyddorion hyny yn ei fywyd ei hun. Nid oedd ganddo ddysgeidiaeth o'i eiddo ei hun, ond efe ei hun oedd dysgeidiaeth y Tad. Gwers y Tad i'r byd ydoedd ef ei hun. Y mae Cristionogaeth yn ddysgeidiaeth cystal â rhyw ddysgeidiaeth arall, ond nid fel dysgeidiaeth arall. Effaith neu ganlyniad o'i fywyd ef yw y ddysgeidiaeth hon, tra y mae bywydau dynion yn gyffredin yn effaith neu ganlyniad o'u dysgeidiaeth. Wel, gan mai ffaith yw y ddysgeidiaeth hon, y ffordd i'w chyrhaedd sydd trwy edrych arni, trwy ymorphwys arni, a thrwy ymagweddu yn gyfatebol iddi. Ffaith yw yr Iawn mawr, canolbwynt y ddysgeidiaeth hon. Y mae deall dynion wedi creu llawer o ddyryswch ac anhawsderau o amgylch yr Iawn, ond nid oes unrhyw anhawsder yn yr Iawn i'r galon. Edrych ar y ffaith hon sydd yn troi pechadur. "Hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant; galarant hefyd am dano," &c.

Ewyllys Duw gyda golwg ar fywyd ac ymarferiad dyn yn benaf yw y ddysgeidiaeth hon, ac o ganlyniad nis gellir ei chyrhaedd ond trwy brofiad o honi. Dysgeidiaeth profiad yw y wir ddysgeidiaeth. Ni buasai neb o honom yn anturio ein bywyd dros y cefnfor gyda morwr heb erioed fod ar lestr ei hunan, ond wedi astudio morwriaeth yn unig mewn llyfrau. Na, rhodder i ni yn hytrach y morwr profiadol, pe heb weled llyfr erioed. Yr un modd hefyd, gormod o anturiaeth yn neiliaid yr Ysgol Sabbothol fydd wynebu y byd tragywyddol yn ngrym eu deall am ei ddysgeidiaeth, heb brofiad o honi. Nid oes neb wedi ei chyrhaedd os nad oes ganddynt brofiad o honi—os nad ydynt eisoes yn gwybod am gael eu symbylu ganddi i garu Duw ac i garu eu cymydog, ac am gael eu harfogi ganddi yn wyneb temtasiynau, a'u cynnorthwyo a'u dyddanu ganddi mewn profedigaethau, a'u nerthu ganddi yn eu holl ymdrechion yn erbyn y byd, y cnawd, a'r diafol. Rhodder i ni oll yn y byd hwn y wybodaeth brofiadol hon o ddysgeidiaeth yr Ysgol Sabbothol, cyn i ni anturio i fyd mwy. Amen.

---

## NEILLDUOLION YR EFENGYL.

*Gan y Parch.* J. PUGH, B.A., *Treffynnon.*

### RHAN IV.

Y SYLW diweddaf a wnawn ar y mater hwn ydyw, *Fod perygl yn bod pan fyddo cristionogion yn llacio eu gafael yn y gwirioneddau sydd yn cyfansoddi neillduolion yr efengyl.*

Tybir fod amryw bethau sydd yn rhoddi achos i ofni fod hyn yn cymeryd lle ymhlith dosbarth lled fawr yn yr oes bresennol. Gwir y dylem gadw ein golwg ar bob arwydd o gynnydd a gwelliant mewn amryw ystyriaethau, a dylem fod yn dra diolchgar am y pethau hyny; eto dylem geisio bod yn llygadgraff fel âg i ganfod ein peryglon, a gwylied yn eu herbyn. Nid yw ysgrifenydd hyn o sylwadau yn cymeryd arno benderfynu i ba raddau y dichon fod y perygl hwn yn bodoli; er hyny nid anhawdd yw ei weled a'i adnabod pan welir rhai arwyddion.

Mae y perygl yn bod pan fyddo nifer lled fawr o gristionogion proffesedig yn amlygu difaterwch o wirioneddau mawrion yr efengyl, ac yn ymfoddloni ar wybodaeth arwynebol mewn perthynas iddynt. Prawf fod dynion yn gafaelu yn gryf mewn rhyw bethau ydyw, eu bod yn rhoddi lle mawr iddynt yn eu meddwl a'u serchiadau. Mae hyn yn peri eu bod yn teimlo dyddordeb mawr ynddynt, gan ymgais am bob gwybodaeth mewn perthynas iddynt ag sydd yn gyrhaeddadwy. Er ys talm yn ol, yr oedd yr ysgrifenydd yn gydnabyddus â gŵr ieuanc, yr hwn oedd wedi troi grym ei feddwl ar lwyddiant mewn gwlad bellenig. A thros rai blynyddoedd dyna oedd prif destun ei ymddyddanion. Achubai hefyd bob cyfleusdra tuag at ddyfod yn gydnabyddus â'r wlad hono; darllenai lyfrau oedd yn rhoddi ei hanes, gwrandawai ddarlithiau ag oedd yn ei desgrifio, ceisiai gael golwg ar lythyrau oddiyno at wahanol gyfeillion, a sylwai ar bob crybwylliad a welai mewn perthynas iddi yn y newyddiaduron. Yr oedd y pethau hyn oll yn brawf o'r afael gadarn oedd gan ei feddwl ar y pethau oedd ganddo mewn golwg. Mewn modd cyffelyb, pan mae ymlyniad cryf mewn dynion wrth wirioneddau neillduol yr efengyl, maent yn eu hastudio yn ddyfal, ac yn gwneyd defnydd o bob moddion cyfleus tuag at ddyfod i gydnabyddiaeth â hwynt. Yr oedd hyn yn nodweddiad neillduol perthynol i'r oes sydd wedi myned heibio. Gwir fod llawer o anmhuredd y pryd hwnw ynglŷn â'r dadleuon poethlyd ar wahanol byncian duwinyddol, eto yr oeddynt yn brawf o'r dyddordeb mawr yr oedd llawer yn gymeryd yn ngwirioneddau yr efengyl. Ac os awn yn ôl i'r oes Buritanaidd, ni a gawn gyfrolau mawrion, yn cynnwys traethodau dyfnion, wedi eu cyfansoddi gan y meddyliau galluocaf ar athrawiaethau mawrion trefn yr iachawdwriaeth. Ac yr oedd y cyfryw draethodau yn brawf fod nifer mawr o ddarllenwyr i'w cael y pryd hwnw, y rhai, o ran eu calonau, oeddynt yn glynu wrth yr un pethau.

Ond beth am yr oes bresennol gyda golwg ar, y dyddordeb a gymerir yn mhrif bethau yr efengyl? Nid oes ammheuaeth fod eto liaws mawr i'w cael sydd yn gystal cristionogion yn yr ystyr hwn âg a fu mewn un oes o'r byd, y rhai y mae eu calonau yn glynu wrth wirioneddau yr efengyl, am eu bod yn eu teimlo yn eiriau "y bywyd tragywyddol." Ond rhaid addef, o'r ochr arall, y cyfarfyddir â llawer sydd yn amlygu anwybodaeth o gyfundrefn yr efengyl ag sydd yn annheilwng o honynt eu hunain; ac fe geir eraill, y rhai y mae eu gwybodaeth yn gwbl anghyfartal i'w manteision; ac fe geir eraill sydd yn ddigon boddlawn i'r wybodaeth arwynebol sydd ganddynt, heb wneyd unrhyw ymchwiliad i wirionedd y pethau, yn gyffelyb i ddyn yn derbyn traddodiad

fod mŵn aur yn y mynydd gerllaw, er nad yw yn cymeryd unrhyw drafferth i brofi a oes ynddo y fath gyfoeth ai peidio. Ac fe geir rhai yn gyffelyb i'r Galio hwnw heb "ofalu am y pethau hyn," er, o ran eu cysylltiadau a'u manteision, y gellid dysgwyl gwell pethau oddiwrthynt. Rhai o achlysuron yr ansawdd yma ar galonau dynion ydyw berw masnachol yr oes—chwaeth at lenyddiaeth ysgafn, ffugiol, ac arwynebol—ac awydd angerddol am arddangosiadau a chyflawniadau o duedd gynhyrfus a symbyliadol. Nid oes ammheuaeth fod llawer yn llwyr golli chwaeth at wirioneddau syml yr efengyl ar y Sabboth, am eu bod, y dyddiau blaenorol, wedi ymddifyru cymaint gyda ffugchwedlau denladol, yn gyffelyb fel y byddai i un golli ei chwaeth at ymborth iachus trwy borthi ei flys â melysion plentynaidd. Ac y mae unrhyw beth a fyddo yn taflu y meddwl i ansawdd gyffrous, pa un bynag ai masnach, neu ddifyrwch, yn dyeithrio dynion oddiwrth y mwynhâd sylweddol ond urddasol sydd i'w gael oddiwrth wirioneddau mawreddog yr efengyl. Yr oedd traddodiad ymhlith yr hynafiaid am fwynhâd uchel ag oedd rhai yn ei gael, sef clywed yr hyn a alwent "*The music of the spheres.*" Ond addefent mai ychydig oedd yn ei gael, am mai ychydig oedd yn ymneillduo digon oddiwrth y twrf daearol, ac yn esgyn yn ddigon uchel o ran eu meddwl at dawelwch yr wybren.

Y mae yn arwydd arall o'r perygl dan sylw os bydd y gwirioneddau hyn heb gael eu lle priodol yn y weinidogaeth gyhoeddus. Wrth wneyd y sylw hwn, nid yw yr ysgrifenydd yn cyfeirio at neb o fewn cylch ei adnabyddiaeth bersonol. Ond wrth ddarllen hanes llawer o bulpudau, ac yn enwedig wrth graffu ar lawer o'r cyfansoddiadau sydd yn dyfod allan o'r wasg, y mae yn amlwg fod athrawiaethau neillduol yr efengyl yn cael eu gosod o'r neilldu gan lawer. Gwelir tuedd gref i'w hesgeuluso, neu ynte i'w gosod allan mewn gwedd dra gwahanol i'r hyn ydynt mewn gwirionedd. Felly mae yr efengyl fel y mae yn cael ei gosod allan gan Paul, Pedr, Ioan, ac eraill o'r un ysbryd, yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth yr efengyl fel y mae yn cael ei gosod allan gan rai sydd yn deilwng o barch o ran eu hathrylith a'u talentau yn yr oes bresennol. Mae pregethau a thraethodau o'r nodwedd yma yn achlysuro perygl i lawer, yn enwedig os bydd pethau mawrion yr efengyl heb gael lle dwfn yn eu calonau. Dichon i'r fath gyfansoddiadau fod yn achlysur i ddyeithrio meddwl y cyfryw rai oddiwrth y pethau hyn, ac yn raddol i feithrin ammheuaeth am eu gwirionedd. Ac am hyny pan, yn ol dyledswyddau eu swydd, y maent yn eu traddodi, mae hyny yn cael ei wneyd mewn modd ag sydd yn dangos nad ydynt yn teimlo dyddordeb o gwbl ynddynt, ac mewn dull ag sydd yn tueddu i adael argraff anffafriol ar feddyliau eu gwrandäwyr. Dywedir fod math o barlys sydd yn effeithio ymlaenaf ar y galon, er na byddo dros dymmor unrhyw gyfnewidiad i'w weled yn y wedd neu yr ymddangosiad allanol. Mewn modd cyffelyb, dichon i'r dylanwadau peryglus hyn gynnyrchu parlys o natur arall yn nghalon llawer un, er i'r cyflawniadau allanol barhâu dros yspaid yr un fath.

Y mae yn arwydd pellach o'r perygl hwn os bydd llawer yn cael eu tueddu at rwysg a defod yn yr addoliad, yn hytrach nag at y symledd sydd yn briodol i'r efengyl. Pan y mae cristionogion yn glir eu syniadau am bethau mawrion yr efengyl, a phan fyddo eu calonau wedi eu gwresogi dan ei dylanwadau, hynod mor syml a dirodres ydyw dull eu haddoliad y pryd hwnw. Ond pan fyddo dynion yn pellâu oddiwrth y pethau hyn o ran eu meddwl a'u serchiadau, y maent yn cynnyddu yn eu hoffder o'r hyn sydd fawreddog a rhwysgfawr, yn gyffelyb fel y mae cynffon y gomed yn mwyhâu i'r graddau y byddo yn pellâu oddiwrth yr haul. Yr ydym yn darllen am Ahaz brenin Judah, ddarfod iddo symud yr hen allor bres yr hon oedd ger bron yr Arglwydd, gan ei gosod o du y gogledd, tebygol mewn rhyw gŵr dinôd yno. Yna efe a osododd yn ei lle allor yn ol ei feddwl ei hun, ac yn ol cynllun rhyw allor orwych, fawreddog, yr oedd efe wedi weled yn Damascus. Eto digio Duw yr oedd trwy yr holl gyfnewidiadau mympwyol hyn. Mae rhai yn yr oes hon yn gwneyd rhywbeth cyffelyb. Maent yn ceisio symud yr hen allor, sef addoliad syml yr efengyl, gan ddwyn i mewn allor rwysgfawr defodaeth, yn ol cynllun rhywbeth y maent wedi weled yn Rhufain, yr hon sydd yn waeth ei chymeriad na Damascus baganaidd.

Bellach, digon priodol yw gofyn, Paham y mae yn beth peryglus fod dynion yn llac eu gafael ar wirioneddau neillduol yr efengyl? Gellir ateb mai un rheswm ydyw, fod y fath gysylltiad rhyngddynt â'u gilydd fel os gollyngir gafael ar un o honynt, mai y tebygrwydd yw y bydd i bwy bynag a wnelo hyny, yn raddol eu rhoddi oll i fyny. Cyfundrefn ogoneddus yw yr efengyl; a phwy bynag a wnelo i ffwrdd â'i chyfanrwydd, bydd yn myned yn ddrylliau yn ei feddwl ei hun. Y mae yn gyffelyb i beiriant ardderchog, yr hwn y mae ei nerth yn ymddibynu ar fod pob rhan o hono mewn undeb disigl â'u gilydd; ac os unwaith y dechreuir tynu ymaith rai o'r

prif ysgriwiau, nid oes dim ymddiried bellach am ei gadernid, nac hyd yn nôd am ei barhâd. Gwyddys yn dda mai un o ystrywiau yr hen wrthwynebwr ydyw ymosod ar y gwirioneddau hyn mewn amrywiol ddulliau, a thrwy wahanol offerynau. Y mae yn rhy gyfrwys i ymosod ar amryw o honynt ar unwaith; ond dechreua trwy godi ammheuaeth mewn perthynas i ryw un o honynt; a gwna hyny trwy ddefnyddio rhywrai ag y mae rhywbeth seinfawr ynglŷn â'u henwau, fel yr offerynau tebycaf er cyrhaedd yr amcan. Y mae yn ymddwyn yn gyffelyb fel y gwnaeth y brenin estronol hwnw at Ahab brenin Israel. Danfonodd genadau ato, gan ddyweyd, "Dy arian a'th aur sydd eiddof fi, dy wragedd hefyd a'th feibion ydynt eiddof fi." A bu yntau yn ddigon gwrachïaidd i ateb gan ddyweyd, "Yn ol dy air, arglwydd frenin, myfi a'r hyn oll sydd genyf ydym eiddot ti." Gallesid meddwl y buasai hyn yn boddloni y gormesdeyrn trahâus; ond yn lle hyny y mae yn anfon drachefn, gan ddyweyd, "Dy holl bethau dymunol a gymerant yn eu dwylaw, ac a'u dygant ymaith." Felly hefyd pan mae y gelyn mawr yn ymosod ar rai o athrawiaethau yr efengyl, nid un peth a'i boddlona, ond ei amcan ydyw cymeryd ymaith "yr holl bethau dymunol."

Tebygol fod y rhai mwyaf ysbrydol eu meddwl yn teimlo anhawsder mawr, weithiau, i goleddu y gwirionedd a ddysgir mewn perthynas i dragywyddol gosbedigaeth. A buasai yn ddigon cydnaws â'n teimladau naturiol pe gallesid profi mai camsyniad yw yr hyn a ddysgir gyda golwg arno gan y rhai a gydnabyddir yn uniongred. Ond er y cwbl, nis gellir ymwrthod â'r gwirionedd heb wadu neu ŵyrdroi gair yr Arglwydd. Mae dull y cyfeiriadau, ac ystyr yr ymadroddion, yn arwyddo fod rhywbeth ofnadwy, tu hwnt i ddesgrifiad, yn aros yr annuwiol a'r anedifeiriol. A thra y mae braw a phrudd-der yn ein meddiannu uwch ben y fath wirionedd, teimlwn yr anghen am Waredwr mawr i'n hachub rhag y fath drueni; tueddir ni i gydnabod gwerth yr Aberth sydd yn iawn digonol dros y pechodau a haeddodd y fath ddamnedigaeth, ac i weddïo yn daer am i ni ac eraill gael bod yn gyfranog o'r iachawdwriaeth dragywyddol. Ond prin y mae anghen crybwyll fod ymosodiad arbenig yn cael ei wneyd ar y gwirionedd hwn. Ac y mae yn eglur, o herwydd ei gysylltiad â gwirioneddau mawrion eraill, fod tuedd yn yr ymosodiad i ddymchwelyd holl gyfundrefn yr efengyl. Dywedai un gŵr galluog, er ys llawer o flynyddoedd yn ol, "Pwynt yr ymrafael rhwng y byd a Christionogaeth ydyw hwn, sef tragywyddol gosbedigaeth. Ac y mae fod rhyw un yn cilio oddiwrth yr athrawiaeth o herwydd diffyg ysbrydolrwydd meddwl, ac anfedrusrwydd i ddefnyddio y rhesymau dros y gwirionedd, yn achos o fod tywyllwch a chymysgedd anffyddiaeth fel diluw yn gorchuddio ei enaid."

Peth arall sydd yn dangos y perygl i ddynion ddechreu gollwng eu gafael ar y gwirioneddau hyn ydyw, fod hyny yn effeithio er adfeiliad crefydd ysbrydol a dirywiad yn yr ymarferiadau. Prin y mae yn angenrheidiol dyweyd fod yn anmhosibl i wir grefydd flaguro yn y galon os bydd dynion yn myned yn ddyeithr o ran eu meddwl i Berson a gwaith yr Arglwydd Iesu. "Onid erys un ynof fi," medd efe, "efe a daflwyd allan megys cangen, ac a wywodd." I'r graddau y mae dynion yn colli dylanwad y pethau hyn ar eu calonau, maent yn gwywo mewn proffesiadau ysbrydol, mewn ysbryd gweddi, ac o ran ansawdd ysbryd addas at unrhyw ran o waith yr Arglwydd; ac nid peth anghyffredin yw i ddynion wywo hyd yn nôd o ran talentau naturiol. Ac nid rhyfedd ydyw hyn wrth ystyried, yn un peth, fod tuedd yn yr athrawiaethau hyn i feithrin yr holl rasau ag sydd yn addurno cymeriad gwir gristion. Dywedir fod tri pheth yn anhebgorol angenrheidiol er peri i hadau egino ar ol eu hau yn y ddaear: awyr, gwres, a gwlybwr. Mewn modd cyffelyb, y mae rhyw ddylanwad yn perthyn i'r gwirioneddau hyn ag sydd yn anhebgorol angenrheidiol i ddynion ei deimlo tuag at iddynt fod yn ffrwythlawn mewn pob gras a rhinwedd. Beth all fod yn fwy cyfaddas i feithrin gostyngeiddrwydd a hunanymwadiad na'r gwirioneddau am waeledd, gwendid, a thrueni dyn yn ei sefyllfa ddirywiedig, ac am ras a phenarglwyddiaeth Duw yn ei adferiad? Beth all fod yn fwy effeithiol i gynnyddu amynedd, addfwynder, cariad, tosturi, a chymwynasgarwch, na'r gwirionedd mawr ein bod yn ddyledus am yr oll sydd genym mewn gobaith i gymwynasgarwch Iesu Grist yn rhoddi ei hun drosom ni? A pha beth all fod yn fwy effeithiol er peri i ni ymddwyn mewn "ofn dros amser ein hymdeithiad yn y byd" na'r gwirioneddau mawreddog am y pethau sydd o'n blaen mewn sefyllfa ddyfodol? Pa beth bynag, gan hyny, a fyddo yn achlysur o attal dylanwad y pethau hyn ar feddyliau dynion, pa un bynag ai esgeulusdod, anghrediniaeth, neu unrhyw beth arall, mae hyny yn effeithio ar eu calonau a'u hymarferiadau yn gyffelyb i rwymiad gwythïen fawr mewn rhyw ran o'r corff, trwy yr hyn y byddai i'r aelodau hyny gael eu parlysu, sef y rhai yr attaliwyd y gwaed rhag rhedeg iddynt.

Mae derbyniad yr Ysbryd hefyd, a'i

breswyliad yn ein calonau, yn rhywfodd yn gysylltiedig âg ymlyniad diysgog wrth yr athrawiaethau hyn; ac y mae hyn yn rheswm arall paham y mae dynion yn gwaelu mewn ystyr foesol ac ysbrydol pan y maent yn ymddyeithrio oddiwrthynt. Yn rhywfodd, mewn cydffurfiad calon â holl drefn Duw fel y mae yn cael ei gosod allan yn y gwirioneddau hyn, y mae presennoldeb a gweithrediadau yr Ysbryd yn cael eu mwynhâu. Tebygol mai yn yr ystyr yma y dywedir fod yr Ysbryd yn cael ei roddi i'r "rhai sydd yn ufuddhâu iddo ef." Ffrwythau yr Ysbryd, gan hyny, ydyw yr holl rinweddau sydd yn perthyn i fywyd duwiol. Ond am y rhai sydd yn "eu didoli eu hunain yn anianol" oddiwrth bethau yr efengyl, dywedir eu bod heb "yr Ysbryd ganddynt;" ac ynglŷn â hyn dywedir eu bod "yn cerdded yn ol eu chwantau annuwiol eu hunain."

Ond y mae yn amlwg, er i'r athrawiaethau hyn gael eu cydnabod mewn modd cyffredinol yn wirioneddau, eto y dichon i'r adfeiliad dan sylw gymeryd lle, os na bydd y pethau yn cael eu lle priodol yn y galon. Mewn geiriau eraill, dichon i ddynion arwain bywyd hollol groes i egwyddorion Cristionogaeth, er iddynt roddi cydsyniad â'i hathrawiaethau mawrion; a dichon iddynt ymwrthod yn llwyr â'i gwirioneddau neillduol, er iddynt unwaith wneyd proffes o honynt. Pan na byddo y gwirioneddau hyn, trwy adnewyddiad grasol, yn bethau byw yn nghalonau dynion, dichon iddynt gael eu harwain i eithafion pell iawn o ran eu syniadau, ac o ran eu hymarweddiad. Nid peth anghyffredin, gan hyny, ydyw gweled siamplau o'r pechodau mwyaf gwarthus yn cael eu cyflawni, hyd yn nôd o dan gochl o broffes gristionogol; ac nid peth rhyfedd ydyw i ddynion, er meddu gwybodaeth gyffredinol o gyfundrefn yr efengyl, droi allan yn Ddefodwyr, Pabyddion, Sosiniaid, Deistiaid, neu Atheistiaid. "Maent yn eu casglu hwynt," meddai ein Harglwydd Iesu am y cangenau yn yr ystyr o fod yn broffeswyr allanol yn unig, "ac yn eu bwrw yn tân, a hwy a losgir." Os bydd dynion "heb gariad y gwirionedd," dichon iddynt gael "eu casglu" gan unrhyw gymdeithas o gyfeiliornwyr a ddichon fod mewn bri yn eu hoes a'u gwlad.

Po fwyaf dynol y byddo unrhyw ffurf o grefydd, mwyaf o gyfaddasrwydd sydd yn ei hegwyddorion, ei ffurfiau, a'i gosodiadau, i foddhâu calonau anianol. O'r ochr arall, gan fod neillduolion yr efengyl mewn modd arbenig yn ysbrydol a Dwyfol, mae tuedd mewn dynion i gilio oddiwrthynt, hyd nes y byddo i'w calonau gael eu gwneyd yn gydnaws â'r gwirioneddau. O herwydd hyn, sylwa Dr. Owen ei fod yn ddigon posibl i'r rhai sydd wedi cofleidio crefydd gyfeiliornus amlygu mwy o zêl, ymlyniad, a hunanymwadiad, mewn adeg o brofedigaeth, nag a wna cristionogion mewn enw yn unig gyda golwg ar grefydd yr efengyl. Ac fel yr awgrymwyd eisoes, wedi i ddynion unwaith ymddyeithrio oddiwrth bethau hanfodol Cristionogaeth, nid oes neb a ŵyr pa le y bydd pen draw yr enciliad. Ac y mae rhai wedi sylwi pan fyddo pobl sydd wedi cael yr efengyl yn cilio yn ol oddiwrth ei hathrawiaethau mawrion, eu bod hefyd yn dechre cilio yn ol oddiwrth y pethau ag oedd yn flaenorol yn cyfansoddi eu rhagoriaethau penaf. Ac y mae hanesiaeth yn cadarnhâu mewn perthynas i'r gwledydd a elwid yn gristionogol, fod y cyfnodau hyny ymha rai y byddai y gwirioneddau hyn wedi eu colli o feddwl a chalon y bobl, yn rhai hynod mewn tywyllwch, anwaredd, a marweidd-dra, hyd yn nôd gyda golwg ar yr holl wyddonau. Gan hyny, tra y mae Undodiaid, Rhesymolwyr, ac Anffyddwyr, yn cymeryd arnynt ddyrchafu dyn, tuedd uniongyrchol eu haddysg ydyw darostwng, diraddio, a phaganeiddio dynion. Ac y mae genym sail gref i gredu fod diogelwch ac anrhydedd gwlad gristionogol yn ymddibynu i raddau helaeth ar ei pharhâd mewn ymlyniad ffyddlawn wrth y pethau sydd yn fawrion yn ngolwg Duw ei hunan. Pan fyddai Israel yn cael eu darostwng a'u hanrheithio, nid eu gwendid hwy a chryfder eu gelynion oedd yr achos, ond eu hymadawiad oddiwrth Dduw a'i osodiadau.

Yr oedd yn perthyn i hen ddinas Caerdroia yr hyn a elwid y *Palladium.* Ac yr oedd yn draddodiad ymhlith y trigolion, tra y gallent gadw hwnw eu bod yn ddiogel, ond wedi unwaith ei golli nad oedd dim amddiffyniad i'w ddysgwyl. Gallwn ninnau ddysgwyl amddiffyniad drosom tra fyddo athrawiaethau gogoneddus yr efengyl yn cael parch priodol yn ein plith; a hyderwn na roddir achos byth i'r ffafr hono gael ei chymeryd ymaith oddiwrthym. Yr ydym yn yr ysgrif hon wedi cymeryd yr hyfdra o gyfeirio at y perygl sydd ynglŷn â rhyw arwyddon o ymadawiad oddiwrthynt. Ond yr ydym yn credu fod llu mawr yn ein gwlad sydd yn barod i ddyweyd o ddyfnder eu calon, "Gan fod i ni y fath Archoffeiriad, glynwn yn ein proffes." Adroddir am Xerxes, brenin Persia, pan ddaeth ef i ymosod ar wlad Groeg, ddarfod iddo anfon cenadwri at lwyth o'r trigolion, gan geisio ganddynt roddi i fyny eu harfau. Ond dyna yr ateb cwta a gafodd ef o enau Leonidas, "Tyred a chymer hwynt" *(Molôn labe).* Yr oedd yr ateb hwn yn arwyddo eu bod yn barod i golli y dyferyn diweddaf o'u gwaed.

yn hytrach na rhoddi i fyny eu harfau. Credwn fod lliaws mawr o gristionogion yn ein gwlad a fyddai yn barod i amlygu y cyffelyb benderfyniad yn wyneb unrhyw ymgais i gymeryd ymaith rai o'r athrawiaethau sydd mor anwyl gan eu calonau. Bu y gwirioneddau hyn yn fywyd i ysgrifenydd hyn o sylwadau. Y mae yn ymwybodol y buasai yn y bedd er ys llawer o flynyddoedd, wedi ei lethu gan deimladau o brudd-der ac anobaith, oni buasai ei fod wedi cael golwg ar drefn sydd yn rhoddi defnydd gobaith i bechadur pan mewn dyfnder mawr, ac yn nghanol tywyllwch du. A'i ddymuniad ydyw cael cymhorth i fyw dan eu dylanwad, a marw gan bwyso arnynt.

---

## GOGONIANT DUW.

Y MAE yn amlwg yn yr Ysgrythyr fod amcan uchaf holl weithrediadau y Duwdod yn gynnwysedig yn nhestun hyn o ysgrif. Er ei fwyn ei hun y gwna Duw bobpeth, ïe, y mae yn gweithredu trugaredd er mwyn ei ogoniant ei hun. Yr ydym yn gweled fod yr Arglwydd Iesu Grist, "yr hwn a'i hysbysodd ef," yn ceisio gogoniant yr Hwn a'i hanfonodd. Y mae amcan Duw yr un peth yn syniadau yr Arglwydd Iesu ag ydyw yn nysgeidiaeth yr Ysgrythyrau. Ar gyfer hyna y mae bywyd hunanymwadol yr Arglwydd Iesu, a'r lle y mae hunanymwadiad, fel rhinwedd, yn ei gael yn ei ddysgeidiaeth, yn ymddangos i rai meddyliau fel yn anghyson. Gofynir, Os ydyw hunangais yn amcan annheilwng i ddyn, pa fodd y mae hunan-ogoniant yn weddus iddo Ef? Rhaid addef fod hwn yn fater llednais, un ag y dylid bod yn wylaidd wrth son am dano; ond y fath ydyw gofal llednais Duw yn nhrefn yr iachawdwriaeth am deimladau a gofyniadau cyfreithlawn y meddwl dynol, fel yr ydym yn tybio ei fod wedi rhoi lle i ni weled nad oes yma ddim anghysondeb. O leiaf, y mae un neu ddwy o ystyriaethau ag ydynt yn peri i'r meddwl ddygymmod â hyn, ïe mwy, i ryfeddu ac addoli wrth ganfod y ddoethineb Ddwyfol yn dadguddio mai gogoniant Duw ydyw amcan gweithrediadau Duw.

Ein profedigaeth ni bob amser ydyw ymsynied am Dduw gyda mesurau dynol. Y mae yr hyn a wyddom am ddyn yn rhwystr yn gystal a help i ni ymsynied am Ddnw. Gweled pob canmoliaeth a mawrygiad ar ddyn yn ymgladdu ynddo y byddwn, heb fod yn y dynion mwyaf ddigon o gorff o oleuni i daflu yn ol lewyrchiadau canmoliaeth yn waith newydd a mwy canmoladwy. Y mae dyn, fel y mae yn llygredig, pa fodd bynag, yn cymeryd i mewn faint a fynoch o ganmoliaeth a mawrygiad; ond nid pawb sydd yn troi yr arian yn ol gyda llôg mewn gweithredoedd rhagorach a mwy moliannus. Byddwn yn arferol o ddiolch ar weddi fod yr Arglwydd wedi cysylltu ei ogoniant ei hun wrth iachawdwriaeth pechadur; a hawdd y gallwn, gan mai ein mantais ni yw hyny. Os ydyw y gogoniant i Dduw, nid yw yn aros yno heb ddychwelyd mewn adlewyrchiad llawer cryfach o ddedwyddwch i'w greaduriaid. Ac fel yna y mae'r llewyrchiad a'r adlewyrchiad i barhâu—gogoniant yn troi yn ddedwyddwch, a dedwyddwch yn troi yn ogoniant—rhyw gyd-gyfnewidiad o ogoneddu a dedwyddu am dragywyddoldeb.

Ar sail yr ystyriaeth yna o'r hyn ydyw gogoniant i Dduw, neu yn fwy cywir, càn belled ag y gallwn ni ddeall y fath bwnc arddunol, gan fod gogoniant Duw yn sicr o adlewyrchu yn ddedwyddwch, gallwn fyned ymlaen i ddyweyd mai y ffordd unionaf at ddedwyddwch dyn ydyw fod gogoniant Duw yn amcan ei holl weithredoedd. Gallwn anturio dywedyd nas gwyddai Duw am ffordd ferach a sicrach at ddedwyddu creadur sanctaidd na'r un a osodwyd, sef ei ogoniant ei hun. Digon ar hyn yw dywedyd nas teimlai creadur sanctaidd byth yn ddedwydd heb ei fod yn sicr fod Duw yn cael y gogoniant uchaf oddiwrtho; ac ni buasai gogoniant Duw byth yn berffaith oni buasai fod Duw ei hun wedi ei wneyd yn amcan. Gallwn fod yn dawel i dderbyn dedwyddwch gan Dduw, gan fod gogoniant Duw i fod yn flaenaf a phenaf.

Ac os ystyriwn eto pa amcan arall a roddem yn lle hwn fel dyben eithaf y gweithrediadau Dwyfol, ni a deimlwn ein bod wedi ein cydgâu i hwn fel yr unig amcan posibl. Os dywedwn fod dedwyddwch ei greaduriaid yn unig a syml yn deilwng amcan i Dduw, beth yw hyny ond gogoneddu y creadur yn fwy na'r Creawdwr; ac fel y sylwodd un yn darawiadol, Ymha le y ceir neb na dim yn ddigonol amcan i weithredoedd yr Anfeidrol ond Efe ei hunan? Byddai i bob peth arall suddo i ddiddymdra, neu gyfnewid i'r gwrthuni perffeithiaf, pe gosodid hwy fel amcan eithaf gweithrediadau Dwyfol. Rhyfeddwn gan hyny y cariad a'r ddoethineb a ddadguddiwyd i ni fod y Duw mawr yn gwneyd pobpeth er ei fwyn ei hun.

K.

*Llangollen.*

---

## ANERCHIAD I FLAENORIAID EGLWYSIG.

Crynodeb o ba un a draddodwyd yn Nghyfarfod Misol Gwyddelwern, Dwyrain Meirionydd, Rhagfyr 11, 1877,

*Gan Mr.* Cadwalader Lloyd, *Llanfihangel.*

(*Parhâd o tu dal.* 219.)

Mae rhai ymadroddion eto yn y cymhwysderau gofynol i fod mewn diaconiaid, y byddai yn fuddiol talu sylw iddynt: "Canys y rhai a wasanaethant swydd diaconiaid yn dda, ydynt yn ennill iddynt eu hunain radd dda, a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu." Mae eisieu gwasanaethu y swydd *yn dda;* nid rywsut, ond yn dda. Cofiwn fod perygl i ni foddloni ar yr enw, a dywedyd ynom ein hunain, "O yr wyf finnau yn flaenor, yn gystal â'r brodyr sydd yn eistedd mewn barn yn llysoedd uchaf y Cyfundeb." Mae tybio fel hyn yn fwy o rwystr nag o help i wasanaethu y swydd yn dda. Mae pob peth sydd yn werth ei wneuthur, yn werth ei wneuthur yn dda.

*Gradd dda*—gris, neu *step* uwch nag o'r blaen, dyrchafiad i gylch eangach o ddefnyddioldeb ac anrhydedd.

Ond nid ydyw y radd dda hon i'w chael heb ei *hennill*—ei hennill trwy lafur a ffyddlondeb. Rhaid bod yn ffyddlawn ar ychydig cyn cael ein gosod ar lawer.

*A hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu.* Wel, dyma ni wedi dyfod o'r diwedd at y pwnc sydd yn cynhyrfu y Gymdeithasfa a'r Cyfarfodydd Misol y dyddiau hyn. Onid oedd y diaconiaid y cawn eu hanes yn y Bibl yn pregethu? Oeddynt. Cawn hanes dau o honynt, sef Stephan a Phylip, yn pregethu yn rhagorol iawn, a llwyddiant mawr ar eu gweinidogaeth. Yr oedd pregeth Stephan yn ysgrythyrol iawn, yn dangos ei fod yn hyddysg yn yr holl Fibl; ac yr oedd Phylip yn pregethu yr Iesu mor effeithiol fel y bu yn foddion i achub yr eunuch. Ond, sylwer, nid am eu bod yn ddiaconiaid yr oeddynt yn pregethu, eithr yr oeddynt hwy naill ai yn efengylwyr yn flaenorol i'w neillduad yn ddiaconiaid, neu ynte helaethwyd cylch eu llafur i fod yn efengylwyr llwyddiannus. Y cyntaf yw y mwyaf tebygol gyda golwg arnynt hwy. Ond, onid ydyw yr amgylchiad olaf, sef bod y diacon yn dyfod yn bregethwr, wedi cymeryd lle yn fynych yn ein Cyfundeb ninnau? Ië, bu rhai o bregethwyr goreu y Cyfundeb yn gwasanaethu swydd diaconiaid cyn myned i bregethu. Gallem enwi y Parchn. D. Charles, Caerfyrddin, un o dduwinyddion penaf Cymru — y meddyliwr gwych, John Owen, Tŷ'nllwyn—a'r Proffeswr a'r efengylydd anwyl, Dr. Parry, Bala. Bu y rhai hyn, a llawer eraill y gallesid eu henwi, yn gwasanaethu fel diaconiaid cyn iddynt fyned yn bregethwyr; ac y mae yn ddiau iddynt wasanaethu y swydd "yn dda," ac felly, "ennill iddynt eu hunain *radd dda* a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu." Ond fe aethant hwy yn rheolaidd i bregethu yn ol trefn y Cyfundeb.

Mae galw a chodi dyn i bregethu yr efengyl yn un o'r gorchwylion pwysicaf sydd yn perthyn i eglwys Crist. Dylai y swyddogion fod yn llygadog i ganfod cymhwysderau, ac i annog gwŷr ieuainc llafurus am wybodaeth ac o gymeriad crefyddol i weithio yn ngwinllan yr Arglwydd. Mae dau berygl neu eithafoedd i'w gochelyd: un eithaf ydyw, bod yn gaethiwus, ac hyd yn nôd gwahardd pobl ieuainc i weithio nemawr i ddim gyda chrefydd. Cawn fod yr ysbryd hwn yn ei ddangos ei hun mewn pobl dda. Yr oedd ar Josua eisieu i Moses wahardd i Eldad a Medad brophwydo yn y gwersyll; ond ni wnai Moses y fath beth, eithr dadganai ei ddymuniad, "O na byddai holl bobl yr Arglwydd yn brophwydi!" Cawn hefyd fod Ioan, y dysgybl anwyl, yn dyfod at yr Iesu, ac yn dywedyd, "Arglwydd, ni a welsom rywun yn bwrw allan gythreuliaid yn dy enw di, ac ni a waharddasom iddo, am nad oedd yn ein canlyn ni." Ond cafodd gerydd tirion gan yr Athraw mawr: "Na waherddwch iddo; canys y neb nid yw i'n herbyn, drosom ni y mae." Mae rhai o'r ysbrydion drwg yn waeth na'u gilydd, o ran dyma ddyn, a ystyrid gan y dysgyblion yn israddol iddynt hwy, yn gallu bwrw allan ryw fath o gythreuliaid, pan yr oedd y dysgyblion, gyda'u gilydd, yn methu bwrw allan ryw fath arall o ysbrydion drwg; ond gresyn oedd fod y goreu o'r dysgyblion yn gwahardd i ddyn wneyd daioni. Yn hytrach, byddwn yn annogaethol i bawb yn yr eglwysi wneuthur hyny allant o ddaioni; ond hyd y gellir, gosoder yr "iawn ddyn yn yr iawn le." Mae genym lawer o athrawon teilwng yr Ysgol Sabbothol yn ymarfer llawer â'r gair sanctaidd, a rhyw nifer wedi cyrhaedd deall da yn y gwirionedd. Gellid meddwl na byddai o un niwed, ond yn hytrach yn lles, annog rhai fel hyn, sydd o gymeriad gwir grefyddol, i wneyd sylwadau byrion ar y gyfran a ddarllenont o'r Bibl mewn cyfarfodydd gweddïau; ac os bydd dawn, ynglŷn â gwybodaeth, gallai anerchiad cynhes gan frawd crefyddol fod yn dderbyniol a buddiol, pan ddygwyddo Sabbath heb bregethwr. Mae y sylwadau hyn yn golygu brodyr nad ydynt hwy eu hunain, nac, fe allai, neb arall yn meddwl iddynt fyned yn bregethwyr cyhoeddus. Ond

gyda golwg ar wŷr ieuainc crefyddol, sydd yn teimlo cymhelliadau i bregethu, dylai y blaenoriaid roi cyfleusdra i'r cyfryw rai arfer eu dawn, yn yr eglwys, yr ysgol, a'r cyfarfodydd gweddïau, a hyny cyn iddynt gael yr enw o bregethwyr. Yn y cyfwng hwn, ni byddai yn unrhyw sarhâd ar ŵr ieuanc beidio â myned ymlaen; ond wedi iddo gael yr enw o bregethwr, teimlai yn sarhâd cael ei attal, er fe ddichon mai hyny a fyddai oreu iddo ef ac i'r achos.

Am godi un i'r swydd urddasol o fod yn bregethwr yr efengyl, dylai hyny fod mewn trefn. Trwy arholiad y ceir derbyniad i swyddau gwladol y dyddiau hyn; ac allan o reswm fyddai caniatâu i bwy bynag a glywo ar ei galon fyned i'r swydd fwyaf cysegredig dan y nef heb unrhyw fath o brawf. Yr oedd math o brawf mor foreu â dyddiau yr apostolion: "Y prawf o hono ef, chwi a'i gwyddoch." Er yr annogaeth ddyfal i wneuthur daioni, "Y bore hau dy hâd, a'r prydnawn nac attal dy law," eto y mae yn hollol resymol i gyfundeb y byddo unrhyw ŵr ieuanc yn meddwl llafurio ynddo, gael gwybod pa fath hâd sydd ganddo yn ei lestr. Er mor rhagorol oedd Timotheus fel gŵr ieuanc, ac er iddo gael ei ddewis gan apostol i gydymdaith âg ef yn ngwasanaeth yr efengyl, a'i fendithio gan arddodiad dwylaw yr apostol, eto ar ol hyn cawn iddo dderbyn arddodiad dwylaw yr henuriaeth. "Gwneler pob peth yn weddaidd ac mewn trefn." Er mwyn cadw i fyny urddas y pulpud a'r weinidogaeth, mae yn ofynol arfer pwyll a gwyliadwriaeth. Yr wyf yn cofio sylwadau yr hybarch Evan Harries, Merthyr, pan yn pregethu ar y geiriau, "Bydded genyt ffurf yr ymadroddion iachus." Yn ei sylwadau arweiniol, dywedai fod Paul yn bregethwr o'r *right stamp*. Er ei roi yn y carchar, ni pheidiai â phregethu. Cawn ef yn y carchar eilwaith am yr un cyhuddiad. Ac meddai, "Peth digon *serious* oedd gweled pregethwr goreu yr oes yn y *jail* am bregethu y gwir. Iё, yr oedd hyn dipyn yn *serious;* ond mwy *serious* o lawer yw gweled dyn drwg yn y pulpud." Ynglŷn â'r mater hwn, gofaled y blaenoriaid am ddyrchafu gweinidogaeth yr efengyl yn yr eglwys, ac yn eu hymddyddanion cyffredin ymhob man, bob amser; a bydded iddynt wylio yn ofalus rhag coegfeirniadaeth ar bregethu a phregethwyr. Mae tuedd niweidiol iawn yn yr arferiad drygionus hwn. Ni chaiff y neb a wnelo hyn ddim bendith iddo ei hun; ac y mae yn effeithio er attal bendith i eraill hefyd. Pregethiad ffyddlawn yr efengyl yw y gosodiad pwysicaf yn y byd. Dyma y commisiwn mawr: "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur." A dyma brif foddion Duw i gadw pechaduriaid: "Fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu." Dywediad awgrymiadol gŵr mawr a chall ydoedd y buasai yn dymuno gweled tri pheth: Solomon ar ei orsedd, Rhufain yn ei gogoniant, a Phaul yn ei bulpud; a gallwn feddwl mai yr olaf oedd y *climax*. Er na welsom ac na chlywsom Paul yn pregethu, yr ydym yn tybied ein bod wedi gweled rhai pur debyg iddo. Gwelsom ddynion cyffredin, o ran sefyllfa a dygiad i fyny, wedi eu gwisgo â nerth o'r uchelder, a'u gwneyd yn feistriaid y gynnulleidfa, o ba nifer ac ansawdd bynag y byddai. Gweddïwn ar i Dduw gadw gweinidogaeth yr efengyl yn ei gogoniant yn Nghymru ddyddiau'r ddaear.

Mae un cymhwysder eto heb ei enwi yr hoffwn ddyweyd gair yn fyr am dano: "Yn dala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur" (1 Tim. iii. 9). Yn nghanol y cymhwysderau anghenrheidiol i fod mewn diaconiaid y ceir y geiriau rhyfedd hyn. Mae rhai wedi siarad fel pe buasent heb weled yr adnod hon, gan awgrymu nad oes eisieu i ddiaconiaid fod yn dduwinyddion, am mai gwasanaethu byrddau, a phethau allanol crefydd, yn unig ydyw priodol waith diacon, gan gyfeirio, mae yn debyg, at y "seithwyr da eu gair" (Act. vi.) Ond nid dyna ddysgeidiaeth yr apostol: "Yn dala dirgelwch y ffydd." Nid ydyw y seithwyr hyny yn cael eu galw yn ddiaconiaid yn y Bibl; ond yma cyfeiria yr apostol yn benodol at ddiaconiaid fel swyddwyr yn eglwys Crist. Nid yw yr adnod ond bêr, eto y mae yn llawn o feddwl. "Dirgelwch y ffydd," sef "yr athrawiaethau sydd i'w credu, y rhai ydynt ysbrydol, gogoneddus, a dyfnion iawn." Dyna sylw-nod ar y geiriau yn y *Cyffes Ffydd*. Mae gwirioneddau yr efengyl yn debyg i'r tabernacl a'r deml. Po bellaf yr elid i mewn iddynt—i'r dirgelwch, yno yn arbenig yr oedd y gogoniant yn cartrefu. Mae athrawiaethau mawrion y Dadguddiad Dwyfol mor oruchel a gogoneddus, fel nas gall synwyr na rheswm eu deall; ac am hyny yn briodol eu gelwir yn "ddirgelwch y ffydd." Pen y ffordd i ddeall y Bibl ydyw ei gredu. Dylem ei gredu pan yn methu ei ddeall. A ydym i gredu peth heb ei ddeall? Ydym; yr ydym i gredu Duw, yr hwn sydd yn deall pob peth yn berffaith. Gair hynod ar hyn yw hwnw o eiddo y gŵr mawr y mae ei glod yn holl eglwysi Crêd, sef Awstin, esgob Hippo: "Crêd fel y gelli ddeall." Ac y mae'r gair a ddywedodd Iesu Grist wrth Martha, "Oni ddywedais i ti, pes credit, y cait ti weled gogoniant Duw?" yn dangos mai y ffordd i weled gogoniant pethau Dwyfol ydyw eu credu. Mae eisieu i ddiaconiaid *ddala*

athrawiaethau mawrion crefydd: eu dala mewn crêd, proffes, a buchedd.

Anwyl frodyr, ymgryfhewch, nac ofnwch, ac na laesed eich dwylaw, canys mae gwobr i'ch gwaith. Mae gwobr ac anrhydedd yn perthyn i gyflawniad ffyddlawn swyddau pwysig mewn ystyr wladol; ac y mae Duw yn sicr o wobrwyo ac anrhydeddu ei holl weision ffyddlawn ef. "Os gwasanaetha neb fi, dilyned fi, a lle yr wyf fi yno y bydd fy ngweinidog," neu, fy niacon "hefyd; ac os gwasanaetha neb fi, y Tad a'i hanrhydedda ef." Pan y mae cadfridog yn anrhydeddu milwr cyffredin, mae hyny yn effeithio ar yr holl fyddin; felly bydd gwaith y Tad yn anrhydeddu ei weision yn synu angylion. Byddwn yn filwyr ffyddlawn i'r Brenin Iesu. Na feddyliwn yn îs am dano, ond yn anwylach, oblegid y preseb a'r groes. Mae wedi ei gyhoeddi yn Frenin trwy ddeddf ddigyfnewid: "Minnau a osodais fy Mrenin ar Sïon." Brenin oedd Iesu Grist a gyhoeddwyd felly yn ei ddarostyngiad mwyaf, ar y groes. Yr oedd ar yr Iuddewon eisieu newid y teitl; ond nid oedd yn bosibl. Nid allai Pilat ei newid. Fe allodd ef roi'r Iesu i farwolaeth i foddio yr Iuddewon; ond nis gallai newid yr ysgrifen. Paham? Am mai Brenin oedd, yw, ac a fydd Iesu Grist; ac felly fe'i cyhoeddwyd ar y groes, er gwaethaf pyrth uffern, yn Frenin Iuddewon a Chenedloedd, a hyny yn ieithoedd mawrion y byd, Hebraeg, Groeg, a Lladin. Bydded i'n hanwyl frodyr ieuainc sydd yn astudio yr ieithoedd dysgedig hyn, gyflwyno y cyfan yn goronbleth o amgylch y Pen a goronwyd â drain.

"Nid yw hi eto ond dechre gwawrio;
Fe gwyd yr haul yn uwch i'r làn:
Teyrnas Satan gaiff ei dryllio,
Iesu 'n Frenin ymhob man."

## Hanesynau ac Adroddiadau.

### CYMERIADAU YMHLITH EIN CYNNULLEIDFAOEDD.

IV.—MR. JONES Y *shop* A WILLIAM THOMAS.

TUA'R adeg yr ydym yn ysgrifenu yn ei gylch, nid oedd ar yr eglwys y perthynai Mr. Jones iddi ond dau flaenor yn unig, ac edrychid ar William Thomas fel y pen blaenor. Ennillodd y swydd, a'r uchafiaeth yn y swydd, yn gwbl yn rhinwedd purdeb ei gymeriad ac ysbrydolrwydd ei grefydd. Gweithiwr mewn ffermdŷ a fuasai ei dad o'i flaen, a gweithiwr yn yr un man ydoedd yntau. Nid ennillasai erioed fwy na deunaw swllt yn yr wythnos. Magasai loned tŷ o blant, ac o anghenrheidrwydd ni chododd yn ei fywyd uwchlaw prinder. Ond er hyn, yr oedd efe, yn ddiau, y cyfoethocaf tuag at Dduw yn yr holl gymydogaeth; ac ni theimlodd bangfa anghen erioed ond fel yr oedd yn anfantais ynglŷn â chrefydd. Yn y wedd hon teimlodd i'r byw, a llawer tro y llifodd y dagrau dros ei ruddiau am na fedrai roddi llettŷ i bregethwr, na chyfranu fel y dymunai at ryw achos y byddai ei galon yn llosgi am ei lwyddiant. Er cymaint oedd y gwahaniaeth yn eu sefyllfa fydol, llawer tro y teimlasai Mr. Jones yn y cyfarfodydd eglwysig y buasai yn barod i roddi ei *shop* a'i holl eiddo am grefydd ac ysbrydolrwydd William Thomas.

Rhwng fod Mr. Jones wedi bod mor gaeth i'w fasnach, a William Thomas yn byw bellder o ddwy filldir mewn dideithwch yn y wlad, ni buasai y blaenaf erioed yn nhŷ y diweddaf, er iddo addaw iddo ei hun y pleser hwnw ugeiniau o weithiau. Ond un prydnawngwaith yn mis Mehefin, cyfeiriodd Mr. Jones ei gamrau tuag yno; ac wedi dyfod o hyd i babell yr hen bererin, safodd am enyd mewn syndod yn edrych arno. Er ei fod yn weddol gydnabyddus âg amgylchiadau W. Thomas, ni feddyliodd erioed ei fod yn preswylio mewn annedd mor ddiaddurn; ac nid allai lai, yn yr olwg arno, na gofyn iddo ei hun, wrth adgofio y gwleddoedd a fwynhasai yn nghymdeithas ei breswylydd, ai onid oedd iselder sefyllfa a chyfyngder amgylchiadau yn fanteisiol i adgynnyrchu ysbryd yr Hwn nad oedd ganddo le i roddi ei ben i lawr. "Tŷ a siamber," fel y dywedir, oedd yr annedd, a thô gwellt arno. Yr oedd gwàl isel o'i flaen, a llidiart bychan gyferbyn â drŵs y tŷ. Yr oedd yn hawdd gweled oddiwrth y llestri a'r celfi oeddynt ar hyd y wàl, eu bod yno am nad oedd ystafell briodol i dderbyn y cyfryw oddimewn. Ar y naill ochr i'r tŷ, yr oedd gardd fechan a thaclus; ar yr ochr arall yr oedd pobtŷ, o wneuthuriad diammheuol y preswylydd, neu ynte un o'i hynafiaid. Ar ben simdde yr adeilad, yr oedd padell bridd heb yr un gwaelod iddi, ac wedi ei throi â'i gwyneb yn isaf. Ychydig y naill du yr oedd adeilad bychan arall, lle y porthid un o hiliogaeth creaduriaid rhochlyd gwlad y Gadareniaid. Yr oedd yr adeilad hwn yn ddiweddarach o ran arddull na'r tŷ annedd, gan fod iddo lofft â mynediad i mewn iddi o'r tu allan, lle y cysgai rhyw arall o greaduriaid, ac o ba le hefyd y clywid, yn

oriau cyntaf y boreu—gan nad pa mor dderbyniol a fyddai hyny i'r chwyrnwr a gysgai yn y gwellt odditano—lais uchel a chlir y rhybuddiwr a weithredodd mor effeithiol ar Simon Pedr gynt. Tra yr oedd Mr. Jones yn edrych o'i gwmpas, daeth bachgen bychan bywiog ar ei redeg i ddrws y tŷ; ond càn gynted ag y gwelodd y gŵr dyeithr, rhedodd yn ei ol, gan waeddi ar ei fam fod "dyn yr adnod" wrth y llidiart. Gelwid Mr. Jones yn "ddyn yr adnod" gan blant William Thomas am mai efe yn gyffredin a fyddai yn gwrandaw y plant yn dyweyd eu hadnodau yn y cyfarfodydd eglwysig.

Daeth y fam, yr hon oedd gryn lawer yn ieuengach na'r gŵr, i gyfarfod Mr. Jones; a gwahoddodd ef i ddyfod i mewn, "os gallai," gan gyfeirio yn ddiammheu at fychander y drws. Yr oedd William Thomas erbyn hyn wedi sylweddoli ei ddyfodiad, ac wedi tynu ei yspectol, â'i wyneb yn dysgleirio gan lawenydd. Canfyddodd Mr. Jones nad oedd gwedd dufewnol y tŷ yn rhagori llawer ar yr allanol. Yr oedd hyny o ddodrefn oedd yno yn hynafol, ac yn ymddangos eu bod wedi gwasanaethu llawer cenedlaeth. Ar un ochr i'r tân yr oedd hen *settle* dderw, lle y gallai tri neu bedwar eistedd; yr ochr arall yr oedd cadair ddwyfraich, i'r hon yr arweiniwyd Mr. Jones. Yr oedd y cyfleusderau eraill i eistedd yn gynnwysedig mewn ystolion, y rhai oeddynt yn amrywio mewn maint a llun; a rhwng y rhai hyny a'r plant yr oedd cryn gyfatebiaeth. Nid oedd yr hyn a alwent yn fwrdd mewn gwirionedd ond ystôl megys wedi gordyfu; a gallai yr anghyfarwydd dybied mai hi ydoedd mam yr holl ystolion eraill. Yr oedd muriau yr annedd yn llwydion, ac yn hollol ddiaddurn, oddigerth gan un neu ddau o ddarluniau a gymerasid o "gyhoeddiad y corff," ac a ddodasid mewn hen fframiau, un o ba rai oedd darlun o'r diweddar Barch. Henry Rees. Yr oedd y darlun yn ymddangos yn lled newydd, ond yr oedd y ffrâm yn dangos yn rhy eglur ei bod wedi gwasanaethu darlun neu ddarluniau eraill, y rhai oeddynt oll wedi gorfod rhoddi lle i'w gwell. Y dodrefnyn gwerthfawrocaf yn y tŷ oedd hen awrlais â gwyneb pres iddo, yr hwn, yn ol pob golwg, oedd wedi disgyn o dad i fab am genedlaethau, ac wedi duo cymaint gan henaint fel nad ellid dyweyd pa faint ydoedd ar y gloch arno heb fyned yn glòs i'w ymyl. Ac nid ar allanolion yr hen gloc yn unig yr oedd amser wedi effeithio, canys yr oedd profion rhy amlwg fod ei *lungs* yn ddrwg; oblegid pan fyddai ar ben taro, byddai yn gwneyd sŵn anhyfryd, fel dyn â brest gaeth, ac yn ymddangos fel ar ddarfod am dano; ond wedi i'r bangfa fyned trosodd, byddai yn dyfod ato ei hun, ac yn adfeddiannu ei iechyd am awr. Nid oedd llawer o ddibyniad ychwaith i'w roddi ar gywirdeb yr hen greadur; ac o herwydd hyny byddai W. Thomas, er mwyn i'r wraig wybod pa bryd i'w ddysgwyl gartref, yn gadael ei oriawr ar hoel uwchben y lle tân, wrth yr hon yr oedd yn grogedig gadwen o fetal, sêl, a dwy gragen fechan. Yr oedd y plant oeddynt yn dygwydd bod yn y tŷ pan ddaeth Mr. Jones i mewn wedi hel yn dŵr i un gongl, ac yn edrych yn yswil iawn; un yn cnoi ei frat, y llall â'i fys yn ei safn, a'r trydydd yn amlwg yn sugno ei gof, oddiar ofn i Mr. Jones ofyn iddo am adnod.

Wedi cyfarch gwell, a dadgan eu llawenydd o weled eu gilydd, gwelid yr hen batrïarch yn dwyn ymlaen yr unig groesaw y gallai ei gynnyg i ŵr o safle Mr. Jones, yr hwn groesaw a gedwid yn mhoced ei wasgod, ac oedd yn gynnwysedig mewn blwch corn hirgrwn, a'r ddwy lythyren, W. T., wedi eu tori ar ei gauad. Ië, hwn ydoedd yr unig foeth daearol a dianghenrhaid y bu William Thomas yn euog o ymbleseru ynddo; a phwy, pa mor wrthsmocyddol bynag, a fuasai yn ei warafun iddo?

"Wel, William Thomas, yr wyf wedi dyfod yma i ofyn ffafr genych." "Ffafr gen' i, Mr. Jones bach?" ebe fe. "Ië, ffafr genych chwi, W. Thomas. Yr wyf yn deall fod teulu y Fron Hên yn ymadael â'r gymydogaeth; a chwi a wyddoch nad oedd neb ond hwy yn arfer derbyn pregethwyr yma; ac nid wyf wedi clywed fod un lle arall yn agor i'w derbyn; ac y mae Mrs. Jones a minnau wedi bod yn siarad â'n gilydd am ofyn i chwi a gawn *ni* eu croesawu. Yrwan, ar ol i ni *altro* y tŷ acw, yr wyf yn meddwl y gallwn eu gwneyd yn lled gysurus. A dyweyd y gwir i chwi, William Thomas, dyna oedd un amcan mawr mewn golwg genyf wrth wneyd y lle acw gymaint yn fwy: bod dipyn yn fwy defnyddiol gyda'r achos, os byddwch mor garedig a chaniatâu ein cais."

Ar hyn daeth rhywbeth i wddf W. Thomas, fel nad allai ateb mewn mynyd. O'r diwedd dywedodd ei fod yn ofni ei fod wedi cael anwyd, gan fod rhyw grugni yn ei wddf, ac yn wir ei fod yn teimlo ei lygaid yn weiniaid. Nid oedd yr anwyd hwn, pa fodd bynag, ond o fyr barhâd, canys ennillodd W. Thomas ei lais clir arferol yn fuan. "Wel, bendith arnoch, Mr. Jones! yr ydych yn garedig dros ben, ac wedi cymeryd baich mawr oddiar fy meddwl i, sydd wedi peri i mi fethu cysgu yn iawn er pan glywais fod fy nghydswyddog a'i deulu o'r Fron Hên yn myn'd i'n gadael. Yr oeddwn i yn dirgel gredu

o hyd yr agorai yr Arglwydd ddrws o ymwared i ni rhag i'w weision orfod ysgwyd y llwch oddiwrth eu traed yn yr ardal yma. Chwi wyddoch, Mr. Jones, fod yma eraill yn meddu ar y cyfleusderau, ond y mae gen' i ofn nad ydi'r galon ddim ganddynt. Mi gewch fendith, Mr. Jones: fe dâl y pregethwr am ei le i chwi. 'Nac anghofiwch lettŷgarwch, canys wrth hyny y llettŷodd rhai angylion yn ddiarwybod.' Un hynod o lettŷgar oedd yr hen batriarch. Pan ddaeth y bobl ddyeithr hyny heibio ei dŷ, ni wyddai fo yn y byd mawr pwy oeddan' nhw, ond ei fod yn *guessio* eu bod yn weision yr Arglwydd; 'ac efe a fu daer arnynt,' ac a roes y croeso gore iddynt; a chyn y bore yr oeddynt wedi troi allan yn angylion, ac fe'i cadwyd yntau rhag i un dafn o'r gawod frwmstan syrthio ar ei goryn. Yr oedd George Rhodric yn sôn wrtha' i am i ni dalu hyn a hyn y Sabbath am le y pregethwr; ond er na fedra i roi llettŷ i bregethwr fy hunan, yr ydw' i yn hollol yn erbyn y drefn yna. Pe buaswn i yn bregethwr, fuaswn i ddim yn gallu mwynhâu pryd o fwyd yr oeddwn i yn gwybod fod rhywun arall yn talu am dano. Mi fuaswn yn myned i feddwl faint, tybed, oedda'n nhw yn dalu, ac a oeddwn i wedi bwyta tua'r marc, neu a oeddwn yn peidio myn'd dros ben y marc; er, byd a'i gŵyr o, y mae y rhei'ny welais i o honynt yn bwyta digon ychydig, ac yn enwedig y bechgyn â'r gwynebau llwydion o'r Bala yna. Ha! mi fuasai yn o arw gan Mair a Martha gymeryd tâl am le yr Athraw, goelia' i, Mr. Jones. Ar yr un pryd, yr wyf yn credu mai diffyg ystyriaeth sydd wedi rhoi cychwyniad i'r drefn mewn llawer man. Mae pobl yn eu hanystyriaeth yn cymysgu rhinweddau crefyddol, ac yn tybied os cyflawnant un gorchymyn yn lled dda fod hyny yn gwneyd i fyny am orchymyn arall tebyg iddo. Mae ambell ddyn da yn meddwl os bydd o yn cyfranu yn haelionus at y weinidogaeth, fod hyny yn gwneyd i fyny am lettŷgarwch, er ei fod, hwyrach, yn meddu tŷ da a chysurus, a digon o eiddo. Ond y mae hyny yn gamgymeriad, yr ydw' i yn meddwl; yr hen drefn sydd iawn. Diolch yn fawr i chwi, Mr. Jones; mi gewch fendith yn siwr i chwi."

"Yr ydych yn hollol yn eich lle gyda golwg ar lettŷgarwch, William Thomas," ebe Mr. Jones; "a chan fy mod wedi cael fy neges, rhaid i mi ddyweyd nos dawch i chwi i gyd, a hwylio at yr hen lyfrau acw." Ond cyn ymadael galwodd ato bob un o'r plant, a rhoddodd ddarn gwŷn yn llaw pob un; ac os rhaid dyweyd y gwir, yr oedd yn well gan y crefyddolion bychain gael y darn gwŷn na chael dyweyd adnod.

Fel yr oedd Mr. Jones yn agosâu at y drws, yr oedd llaw ddehau William Thomas yn dyrchafu yn raddol i uchder ei ben; ac fel yr oedd Mr. Jones yn yr act o gau y drws ar ei ol, daeth y llaw i lawr gyda nerth i gyfiyrddiad â phen ei lin. "Mary," ebe efe, "*rhaid* i ni gael gwneyd Mr. Jones yn flaenor!"

L. N. M.

---

### Y TRI CHYMRO YN NEW ZEALAND.

Mae yn dda genyf ddeall fod hanes y tri Chymro ar eu taith i New Zealand, yn fy adroddiad a gyhoeddwyd yn y Drysorfa am fis Chwefror diweddaf (tu dal. 54), wedi cael ei ddarllen gan lawer gyda gradd o ddyddordeb. A hyderaf na bydd ychydig o'u hanes ymhellach, wedi cyrhaedd yno, yn anuyddorol a difudd.

Ymhen ychydig ddiwrnodiau wedi yr enbydrwydd ar y môr, fel y desgrifiwyd, y tri Chymro a laniasant yn Dunneding, New Zealand. Tref yw Dunneding gymedrol o faintioli, ac wedi ei hadeiladu ar fin y môr, gyda bryn lled uchel yn esgyn o'r tu cefn iddi. Dyddorol dros ben i'r edrychydd yw syllu yn y nos ar y goleuni sydd yn y tai, a adeiladwyd ar lechwedd y bryn, ac sydd fel yn grogedig uwchben y dref. Er mwyn rhyw bethau oedd yn angenrheidiol i'w taith, bu raid i'r Cymry aros yn y dref am oddeutu pedwar diwrnod. Cawsant llettŷ mewn *inn* fawr, yn yr hon yr oedd oddeutu cant, a'r rhai hyny o wahanol genedl, a lliw, a llun o'r bron, yn llettŷa. Fel y gallesid dysgwyl, ysywaeth, yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn ddynion hollol anystyriol ac annuwiol. Yr oedd llinynau y tri Chymro y waith hon eto wedi syrthio mewn lle anhyfryd ac anghydnaws â'u teimladau. Pan yn cydfwyta, byddai crechwen ddi-Dduw y lliaws yn aunyoddefol; ond byddai y Cymry hyn megys tair delw heb ddywedyd gair. Ceisiwyd fwy nag unwaith hudo'r tri i gydyfed â'r lleill; ond ofer a fu'r cais; ac yna wele'r temtwyr yn troi i'w gwawdio a'u sarhâu yn ddirfawr. Teg yw dywedyd fod gŵr y tŷ yn anfoddlawn iawn i'r fath sarhâd gael ei daflu ar y tri Chymro; a mynych y ceryddai yr anwariaid diras am eu hymddygiadau annynol. Pan ddaeth yn amser gorphwys, aeth y Cymry at y gwesttŷwr i ofyn a oedd yn bosibl iddynt gael ystafell iddynt eu hunain. "Mae yn wir ddrwg genyf nas gallaf ganiatâu eich cais," ebe yntau, "o herwydd fod pob ystafell â mwy neu lai i gysgu ynddynt; ond dilynwch fi i fyny y grisiau." Efe a aeth â'r tri i ystafell ag yr oedd ynddi ddau wely; ac mewn un

gwely yr oedd dau eisoes. Erbyn iddynt edrych yn gynnil tua'r gwely hwnw, deallasant eu bod yn yr un ystafell a'r ddau ddyhiryn gwaethaf oedd yn y gwesttŷ ar y pryd, er fod hyn, dybygid, yn anwybyddus i ŵr y tŷ. Can gynted ag y gwybu'r ddau mai'r Cymry oedd wedi dyfod i'r ystafell atynt, torasant i chwerthin yn wawdus am gryn amser. Taflodd hyn y tri Chymro i ddyryswch, a meddyliasant am fyned allan o'r ystafell; eithr yr oedd hyny weithian yn anmhosibl, gan fod y drws wedi ei gau a'i folltio gan ŵr y tŷ; ac nid oedd dim i'w wneuthur ond ymfoddloni oreu y gallent yn yr amgylchiad anghysurus. Eu hen arferiad hwy, fel y gellid meddwl, oedd ymostwng ar eu gliniau cyn myned i orphwys, i gydnabod yn ddiolchgar ofal daionus eu Duw am danynt trwy'r dydd, ac i roddi eu hunain i'w nawdd diogel eto'r nos. Ond yr oedd meddwl am y ddau greadur gwatworllyd ac anghrefyddol oedd yn eu hymyl y noswaith hon, yn creu cryn betrusder yn eu bryd ynghylch eu dyledswydd arferedig. Eithr, ar ol peth ystyriaeth, cydbenderfynasant i benlinio mewn gweddi fel cynt. Bu dystawrwydd am ychydig eiliadau wedi iddynt fyned ar eu gliniau; ond yn ebrwydd torwyd ar y dystawrwydd gan swn a thwrf, a dilynwyd hyny gan chwerthiniad sarhäol. Eto cafodd y tri chyfaill ddigon o nerth i barhâu mewn gweddi, yn ol eu harfer bob amser.

Wedi i dri neu bedwar diwrnod fyned heibio, yr oeddynt wedi cael pob peth angenrheidiol i'w cludo i fyny i'r *diggings*, taith oddeutu cant a hanner o filldiroedd. Pan aethant i dalu am eu llettŷ i ŵr y tŷ, efe, o herwydd rhyw resymau boddlonol iddo ei hun, a ofynodd lai o dâl ganddynt hwy na'r hyn a arferai ei godi oddiwrth eraill, am yr hyn y diolchasant yn wresog. Yr oeddynt wedi sicrhâu trol a dau anifail i'w cludo hwy a'u beichiau; a chychwynasant i fyny'r bryn crybwylledig. Wedi teithio tuag ugain milldir, yr oedd y nos yn eu dal, a bu raid iddynt yno wersyllu hyd y bore, gan gysgu yn yr awyr agored, heb un gorchudd uwch eu penau. Pan ddihunasant, yr oedd y gwrthban y gorweddent dano wedi ei orchuddio â gwlith y nefoedd. Mae rhai rhanau o New Zealand, ïe, rhai ugeiniau o filldiroedd, heb gymaint a choeden o braffder bŷs yn tyfu yno; felly yr oedd yn anmhosibl iddynt godi *tent* i fyny; a dyna y rheswm am eu bod yn cysgu yn yr awyr agored, yr hyn sydd beth cyffredin wrth deithio yn New Zealand.

Anghyfleusdra arall yr oeddynt yn ei deimlo oedd diffyg tanwydd. Nid oedd ar eu ffordd ond ychydig o rywbeth tebyg i wellt crin ar benau'r mynyddoedd i'w cael, y rhai a gesglid bob yn welltyn i gynneu tân i ferwi dwfr i gael ychydig dê. Yr oedd ganddynt lestr priodol a ddaliai swm lled dda o ddwfr, ar wyneb pa un y rhoddid dyrnaid helaeth o'r *tea*. Wedi cael y tân i gynneu, daliai un y llestr wrth ei ben, a'r ddau arall a fyddent yn prysur gasglu gwelltyn ar ol gwelltyn, er mwyn cadw'r tân yn fyw; ac yn fynych byddai peth tebyg i gystadleuaeth yn myned ymlaen rhwng y dŵr a'r tân, sef pa un ai berwi a wnai'r dŵr ai ynte ai diffodd a wnai'r tân. Ac er ein holl ymdrech i beri i'r dwfr ferwi, y tân yn gyffredin a ennillai i fyned allan; ac am nad oedd ychwaneg o danwydd i'w gael, gorfyddai i ni helpio ein hunain gyda thê oddiar ddŵr claiar. Ac, yn y fath amgylchiad, yr oedd y *tea*, fel y gallesid dysgwyl, yn lle gorwedd yn ngwaelod y llestr, yn nofio ar ei wyneb; a'r peth cyntaf a ddeuai i mewn i'r genau, ond odid, oedd swp o ddail *tea*. Yn y cyfryw amgylchiad, priodol a fuasai troi yr ymadrodd o yfed *tea* yn fwyta *tea*. Rhaid aros y tro hwn ar hynyna.

W. JONES.

*Rhosllanerchrugog.*

---

GWASANAETHGARWCH CREFYDDOL COES BREN.

RYW amser yn ol, yr oedd gŵr gwir grefyddol yn ceisio gwneuthur casgliad ymhlith ei gymydogion at y Fibl-Gymdeithas. Nid gwaith hawdd oedd iddo ef fyned oddiamgylch, o herwydd yr oedd efe, trwy ddamwain, wedi colli un goes, ac am hyny wedi gorfod gwisgo coes bren. Ond y Bibl a ddywed, "Da yw dwyn mawr serch mewn peth da yn wastadol," ac felly yr oedd yntau yn gwneuthur. Gan *stympio* yma ac acw, efe a adawai draethodau ac a ofynai am gyfraniadau; ac yr oedd efe, dybygid, yn ennill mwy o dir yn yr achos da hwn na llaweroedd oedd yn meddu ar ddwy goes heinyf.

Yn ystod un o'i ymweliadau, dygwyddodd iddo fyned i dŷ un dyn oedd yn anffyddiwr. Efe a gurodd, a'r drws a agorwyd. Càn gynted ag y gwybu gŵr y tŷ ei neges, efe a chwyrnluchiodd y drws yn ei wyneb i'w gau rhagddo; ond pa les yw coes bren os na ddefnyddiwch hi? Gan weled y dyn yn cau'r drws arno, dyna efe ar amrantiad yn anfon i mewn flaen y goes bren, fel nas gellid llwyr gau'r drws. Tra yr ydoedd yn gilagored fel hyn, yr oedd gŵr y goes bren yn cymeryd y cyfle i lefaru, trwy yr agorfa, am gariad Duw ac am werthfawr waed Crist sydd yn glanhâu oddiwrth bob

pechod; ac mewn chwipyn o amser efe a ddywedodd gymaint ag a allai er mwyn toddi calon galed y dyn oedd oddimewn.

Aeth dyddiau heibio; ac yr oedd ein cyfaill yn gwadnu ei gylch unwaith eto; ac yr oedd efe yn pasio'r tŷ lle y gwnaed y gwasanaeth tua'r ddôr gyda'r goes bren, gan feddwl nad oedd o un defnydd iddo alw yno drachefn, pan, er ei syndod, y gwahoddwyd ef i mewn, ac yr adroddodd gŵr y tŷ fod ei ymadrodd wedi bod iddo yn air yn ei bryd; bendithiwyd iddo yr hyn a ddywedid trwy"r drws cilagored; yr oedd y cyfarchiad yn glynu ynddo, ac nid oedd yn cael gwared o hono na dydd na nos. A dyma ei gyfraniad at achos y Fibl-Gymdeitdas, a wasgwyd arno mewn dull mor ddyeithr, yn bum' punt!

Ai nid oes yma ddrych o'r dull y gweithir ac yr effeithir yn fynych yn Fiblaidd ac yn genadol? Onid yw ein goruchwylwyr ynddynt eu hunain yn dra egwan a digymhorth i ymdrech yn erbyn Satan a'i luoedd? Ond ai nid yw Duw wedi eu harwain lawer gwaith i leoedd a ymddangosent yn anobeithiol? Os bydd rhyw agorfa, pa mor fychan bynag, i ddyweyd am Grist a'r iachawdwriaeth, onid doeth yw gwneuthur defnydd o honi cyn i'r drws gael ei gau? Mor werthfawr y gall fod y cyfryw gyfleusderau? Hynod fel y gall Duw fendithio mynegiad eiddil, anghysylltiol, o boethder calon gariadlawn, a'i effeithioli er tröedigaeth enaid! Gobeithiwn yn "yr hwn sydd ganddo agoriad Dafydd, yr hwn sydd yn agoryd ac nid yw neb yn cau, ac yn cau ac nid yw neb yn agoryd."—Wedi ei gymeryd o'r *Bible Society Gleanings for the Young* am Mai, 1878.

# Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

MARC i. 40, 41: "A daeth ato ef un gwahanglwyfus, gan ymbil âg ef, a gostwng ar ei liniau iddo, a dywedyd wrtho, Os myni, ti a elli fy nglanhâu. A'r Iesu, gan dosturio, a estynodd ei law, ac a gyffyrddodd âg ef, ac a ddywedodd wrtho, Mynaf, bydd lân."

YR oedd y gwahangleifion yn Israel, fe dybygid, wedi clywed am Grist, ac wedi ei weled o hirbell, ac wedi bod yn siarad â'u gilydd, yn eu cyflwr neillduedig, am ei weithredoedd mawrion ef; ac wrth adrodd y rhyfeddodau o drugaredd a gyflawnasai efe, fe ddichon eu bod yn ysgwyd eu penau mewn prudd-der, ac yn sylwi y naill wrth y llall nad oedd efe eto wedi iachâu yr un gwahanglwyfus, ac yn gofyn, Pwy a glywodd am gymaint âg un gwahanglwyfus wedi ei iachâu er dyddiau Eliseus? Ond yr oedd yn eu mysg un creadur tlawd wedi gadael i wreichionen o obaith ddyfod i'w galon; ac wele efe yn chwythu y wreichionen hono nes iddi fyned yn ffydd o'i fewn. Po fwyaf a feddyliai am y gwyrthiau iachäol y clywai am danynt, cryfaf y credai am allu digymhar y prophwyd o Galilea, ac mai anghyson a fuasai tybied fod iachâu o'r gwahanglwyf yn beth allan o'i gyrhaedd. Ië, medd efe ynddo ei hun, efe *a fedr* fy iachâu i; ond *a wna* efe hyny? A fydd yn wiw ganddo edrych ar wrthddrych mor ffiaidd? Oni wnai efe yn hytrach, fel y gwnaethai y lliaws o athrawon enwog a doctoriaid dysgedig, rybuddio'r gwahanglwyfus i encilio fel un halogedig oddiar ei ffordd ef? Gellir yn hawdd faddeu i'r gwahanglwyfus truan am goleddu yr ammheuaeth hwn; o herwydd nid oedd ei gystudd neillduol ef yn caniatâu iddo fyned i mewn i'r dinasoedd ymha rai yr oedd yr Iesu yn llefaru ac yn dysgu, nac i ymgymysgu â'r tyrfäoedd oedd yn cael gweled ei wyrthiau. Nis gallodd efe gan hyny fod yn llygad-dyst o'r tosturi gwahoddiadol oedd yn pelydru yn llygaid yr Iachawdwr, na chlywed tirionedd tynerwch acenau ei leferydd wrth y tlawd a'r rheidus. Wel, yr oedd yn benderfynol ganddo y gallasai yr Iesu ei iachâu; ond yr oedd heb ddeall a oedd efe i hyny yn ewyllysgar a pharod. Gallai, pa fodd bynag, wneuthur prawf o hyn. Os gwrthodid ef, ni chollai efe ddim; ïe, dim ond ei obaith, ysywaeth; ond os derbynid ef, ennillai lawer. Yr oedd yr anhawsder i allu myned at yr Iesu eto yn aros. Nis gallai fyned i mewn i un dref i'w geisio, na myned i fysg y bobl oedd yn ei amgylchynu yn gyhoeddus. Nid oedd ganddo ond un peth i'w wneuthur, a hyny ydoedd, dysgwyl ar y ffordd oedd yn arwain o Galilea i Capernaum, pan y dysgwylid am ddychweliad yr Iesu, a llefain yn erfyniol arno pryd yr elai heibio gyda'i ddysgyblion. Efe a aeth; efe a arosodd; efe a ddysgwyliodd; ac yr oedd ei galon wahanglwyfus yn dychlamu pan o'r diwedd y canfu ddynesiad Un heb ei fath, un a allai ei ryddhâu o'r caethiwed arswydlawn y gorweddasai ynddo mor hir. Cyfeiriodd ei gamrau i gyfarfod â'n Harglwydd fel yr oedd yn agosâu, ac ar ei wyneb ar lawr, a'i enau yn y llwch, efe a lefodd, O Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhâu! Pwy a all ddesgrifio petrusder ingol ei ysbryd ar ol iddo wneuthur ei appeliad at Grist? Ond nid hir y parhäodd ei ing meddwl. Dyma atebiad yr Iesu yn myned i'w galon, ac yn ei llanw â gorfoledd. "Mynaf, bydd lân!" Yr Iachawdwr tosturiol a estynodd ei law, ac a

gyffyrddodd âg ef, â'r hwn na chyffyrddasai llaw iach er ys maith flynyddoedd; a chyda'r gair, "Bydd lân," efe a deimlodd waed newydd yn rhedeg drwy ei wythienau, a bywyd iachusol yn treiddio trwyddo oll; gwybu fod ei hen wahanglwyf aflan wedi ei adael; ac wele efe yn sefyll i fyny yn ŵr glân, yn rhydd o'i ddygn gaethiwed, ac yn ddedwydd yn cael ei adferu i'w deulu a'i gyfeillion, ac i holl fendithion bywyd cymdeithasol.—*Dr. Kitto.*

---

LUC xvii. 6: "A'r Arglwydd a ddywedodd, Pe byddai genych ffydd gymaint â gronyn o hâd mwstard, chwi a ellych ddywedyd wrth y sycamorwydden hon, Ymddadwreiddia, a phlaner di yn y môr; a hi a ufuddhâi i chwi."

Y MAE'R sycamorwydden yn bren sydd yn tyfu yn fuan, ac yn myned yn fawr iawn. Oddiar hyny, y mae o anghenrheidrwydd yn taflu ei wreiddiau yn ddwfn a llydan yn y ddaear; ac onidê nis gallai sefyll yn wyneb gwyntoedd gerwin y gauaf. Dywedir fod gwreiddiau y sycamorwydden yn myned i lawr i'r ddaear gymaint o bellder âg y mae ei brig yn codi uwchlaw yr arwyneb. Ond pa fodd bynag am hyny, y mae sefydlogrwydd y pren hwn yn ddiarebol yn y Dwyrain; a chyfrifid yno yn anghredadwy iddi gael ei dadwreiddio trwy foddion dynol. Mor ddyeithr, ynte, a fyddai meddwl iddi gael ei dadwreiddio yn unig trwy air! Bernid hyny ar unwaith yn hollol anmhosiblrwydd. Ond dengys Crist fod ffydd ddisigl yn Nuw, pa mor fechan bynag y byddo, yn ddigonol i gyflawni cymaint gorchest â hyny. "Y pethau sydd anmhosibl gyda dynion, sydd bosibl gyda Duw;" ac y mae hollalluogrwydd Duw wrth alwad gweddi'r ffydd. Mae'r sycamorwydd eto i'w cael yn aml yn y Dwyrain, megys yr oeddynt yn amser Solomon (1 Bren. x. 27). Ond nid yw y ffigys a ddygir ganddynt ond bychain a diflas, ac yn fwytadwy yn unig gan y dosbarth tlotaf. "Namyn bugail oeddwn i," medd Amos, "a chasglydd ffigys gwylltion;" *a gatherer of sycamore fruit*, yw y darlleniad Seisonig.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## MARWOLAETH MR. P. M. EVANS.

Y MAE ein holl ddarllenyddion, a'n cyfeillion yn gyffredinol, wedi clywed ymhell cyn hyn am farwolaeth bruddaidd a disyfyd Mr. P. MAELOR EVANS, cyhoeddwr clodwiw y DRYSORFA, a THRYSORFA Y PLANT, y TRAETHODYDD, &c., yr hyn a gymerodd le gerllaw Aberystwyth, pan yr oedd wedi myned i'r Gymanfa Gyffredinol yno. Darparasom ysgrif i'w chyhoeddi yn y rhifyn hwn, yn cynnwys crynodeb o'i hanes, teithi ei gymeriad, a nodiadau eraill am ein hoff gyfaill ymadawedig; ond yr ydym yn gweled y rhaid oedi ei chyhoeddi hyd ein rhifyn nesaf; ac yr ydym yn barnu yn awr y gall yr addoediad fod yn fantais i ni ac i'n darllenwyr. Mae adeg a dull ei ymadawiad yn peri i ni synu a thewi!

"Rhagluniaeth fawr y nef,
Mor ryfedd yw!"

Nid anmhriodol yw coffa yr hen sylw, "Pe gallem weled y cwbl fel y mae Duw yn gweled, nis medrem fod yn anfoddlawn iddo ef wneuthur fel y mae yn gwneuthur."

---

## GAIR AT THADDEUS.

SYR,—Yn fy atebion i'ch sylwadau yn y DRYSORFA, tu dal. 224, rhaid i mi fod yn fyr, gan fod genyf ysgrif arall eisoes yn y swyddfa, y carwn ei gweled yn ymddangos yn y rhifyn nesaf.

Gwelaf oddiwrth eich sylwadau mai yr hyn sydd yn ymddangos yn ddyeithr i chwi ydyw y wedd yr ydym yn edrych ar wendidau naturiol y ddynoliaeth yn eu perthynas â natur ddynol yr Arglwydd Iesu. Gyda golwg ar hyn, credu yr wyf mai trwy gyfrifiad yn unig (neu oddefiad) y gellir eu priodoli iddo ef, sef y gwendidau hyny, megys newyn, syched, blinder, &c.; gan ei fod, y foment yr ymgnawdolodd, yn gogoneddu ac yn dyrchafu y ddynoliaeth a gwympodd yn Adda cyntaf, fel yr oedd efe yn Ail Adda, ac yn Arglwydd o'r nef, uwchlaw bod yn ddarostyngedig i bob peth yr ydoedd hi wedi ei darostwng iddynt fel yr oedd yn tarddu o'r Adda cyntaf. Achos o bob darostyngiad yn hanes plant dynion ydyw pechod, a dechreuad hwnw ydoedd anufudd-dod ein rhieni cyntaf. Er ein bod yn gallu edrych ar y gwendidau uchod fel rhai dibechod, ac y gallai eu bod yn yr Adda cyntaf yn ei sefyllfa o ddiniweidrwydd, gwelwn pa faint mwy gogoneddus a pherffaith ydyw hi pan ei dyrchafwyd yn Mherson Adda yr Ail, y foment y dadguddiodd efe hi yn ei gogoniant llawn ar y lân, yr ochr draw i'r darostyngiad a'r cyfrifiad, fore yr adgyfodiad? O ganlyniad, nid fel y cawn y ddynoliaeth yn yr Adda cyntaf (yn unig yn ddibechod) y gwelwn ei bod yn Mherson yr Arglwydd Iesu, ond hefyd yr un ddynoliaeth wedi ei pherffeithio a'i gogoneddu, a'i dyrchafu uwchlaw bod yn ddarostyngedig i'r dynged a'r anffodion y darostyngwyd hi iddynt yn y fuchedd hon. Ond gan iddo ymgymeryd yn wirfoddol âg achos y rhai hyny oeddynt wedi eu llwyr ddarostwng, wele efe yn ymwerthu yn hollol, gan fyned dan y ddeddf fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf. Pa ddeddf? Pob deddf y darostyngwyd pechadur

i'w llywodraeth a'i chollfarn. Y ddynoliaeth berffaith a gogoneddus, sydd ganddo ef, a welwyd yn gwisgo agwedd gwas—agwedd bechadurus a chynnefin â dolur;—wele y ddynoliaeth hono, tra mewn ystâd o ddarostyngiad, yn y pair, yn y ffwrnes, ond nid felly oblegid yr un anghenrheidrwydd i'w dysgyblu neu ei glânburo. Yr ydoedd, fel yr unwyd hi â'i Berson Dwyfol ef, yn gymhwys i'r gogoniant y foment yr ymgnawdolodd, o ran pob perffeithrwydd a nerth. Ond i ateb holl ddybenion ei ymgnawdoliad, fe ddadblygwyd y natur hono yn weledig mewn ystâd o ddarostyngiad, trwy gwrs o ddyoddefiadau, a bywyd perffaith, a hunanymwadiad, fel y gwelwyd hi o dan y ddeddf foesol yn dyoddef pob peth megys pechadur. Ac fel dyn yn gyfansoddedig o gorff materol, wele efe ymhob peth yn gaeth i ddeddf natur, nid o anghenrheidrwydd, ond oblegid ei ddarostyngiad (cyfrifedig) yn unig, gan fod y mater hwnw wedi ei ogoneddu a'i ddyrchafu yn ei Berson ef i ystâd berffeithiach, sef bywyd ysbrydol, yr hwn oedd uwchlaw pob gwendid, i'w ystâd gyntefig a materol yn yr Adda cyntaf. Ac nid oedd hyd yn nôd marwolaeth i fod yn ei hanes ond yn unig fel y darostyngodd efe ei hun; oblegid hyn yn unig y dywedodd, "Nid oes neb yn dwyn fy einioes oddiarnaf, ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr, fel y cymerwyf hi drachefn."

Wrth ddyweyd mai trwy oddefiad neu gyfrifiad yr ydym i edrych ar wendidau naturiol natur ddynol yr Arglwydd Iesu, nid ydym wrth hyny yn gwneyd y dyoddefaint o honynt yn llai gwirioneddol, eithr yn hollol yr un peth, ond fod y gallu yn anffaeledig i'w dwyn heb brofi yn angeuol oblegid yr un o honynt, yn y mesur mwyaf iddo ef. Gwelwyd yr Iesu yn eistedd ar ffynnon Jacob, yn dyoddef yn wirioneddol (nid yn ymddangos felly) oddiwrth ddau wendid ar unwaith—yn sychedig ac yn flinedig gan y daith. Er nad ydym yn cael ar ddeall yn yr hanes iddo gael ei ddisychedu, yr oedd efe yn ddigon mawr i hunanymwadu—i ddwyn y dyoddefaint; ac ymgolli yn y gwaith mawr y daethai i'r byd o'i herwydd. Wrth ddyoddef syched y corff, llamai ei gydymdeimlad ar draws hwnw, wrth ystyried mawr anghen y wraig am y dwfr bywiol. Ni pharhäodd ei wendidau naturiol ond cyhyd ag y parhäodd efe yn ei ystâd o ddarostyngiad, a'r cyfrifiad o ganlyniad. Rhaid mai yr amgylchiadau hyny oedd yn rhoddi bôd iddynt ynddo ef, a bu yn ddigon hunanymwadol i'w dwyn. Nid oedd gan angeu hawl ar ei einioes i'w dwyn ymaith trwy unrhyw wendidau corfforol. Fel yr ydym ni wrth naturiaeth yn agored iddynt, yr ydym yn agored i farw trwy wendid, o newyn, neu syched; ond yr oedd efe, er yn ddarostyngedig iddynt, yn gadarn i'w dwyn. Ni bu ac nis gallai efe farw ond trwy farwolaeth iawnol; ac hyd yn nôd am y farwolaeth hono, nid ydym yn canfod iddo ef gael ei orchfygu, ond mai cyflwyno ei hun yn wirfoddol i farwolaeth a wnaeth. Gan fod y corff hwn ynom ni wrth naturiaeth yn dwyn ynddo ei hun elfenau llygredigaeth o herwydd pechod, bu raid iddo ef ddwyn cyfrifiad o'r pechod hwnw arno ei hun, a dyoddef o'i herwydd cyn y gallasai ryddhâu ei bobl o afael llygredigaeth, mewn trefn i adgyfodi mewn anllygredigaeth. Felly yr un modd bu raid iddo ddwyn cyfrifiad o wendidau naturiol ei bobl, a dyoddef yn ei gorff o'u herwydd, cyn y gallasai roddi hawl iddynt i adgyfodi hebddynt, ac mewn nerth. Ond nid oedd anghen iddo ef wrth hyn, oblegid dyn perffaith ydoedd, yn gyfaddas ymhob peth i fywyd ysbrydol. Nid bywyd wedi colli hawl ar fywyd pellach oedd ei fywyd ef, ond yn hytrach bywyd fyw yn dragywyddol; nid yn unig fel yr ydoedd efe yn Dduw, ond fel yr oedd yn ddyn hefyd. Ond mewn trefn i ennill y bywyd hwn i'r sawl a gredant ynddo, fe roddes ei einioes i lawr, ond yr hawl iddi drachefn yn aros yr un, oblegid mai ei eiddo ei hun ydoedd. Nid ar gyfrif ei ufudd-dod i'r ddeddf yn ei fywyd a'i angeu (yn unig), y galluogwyd ef i adgyfodi y trydydd dydd, ac ymddangos yn gorff ysbrydol a gogoneddus; ond ar gyfrif hyny yn *hollol* y cyfreithlonwyd ef i roddi yr un corff gogoneddus, a goruchafiaeth ar y bedd, i'w saint oeddynt o dan gollfarn marwolaeth, ac wedi colli pob hawl ar fywyd pellach. Nid dim byd newydd, neu wedi ei ennill yn ei hanes ef ei hun, ydoedd ei sefyllfa ar ol adgyfodi o'r bedd, pryd y mae yn amlygu ei hun yn fwy gogoneddus nag o'r blaen, ac heb ddwyn yn ei gorff y gwendidau blaenorol "*sydd yn awr mewn cwestiwn.*" Pe amgen, rhaid mai yr amgylchiadau hyny yn hanes ei fywyd rhwng ei enedigaeth a'i adgyfodiad a roddodd hawl iddo i'r sefyllfa a'r gogoniant hwnw. Ond llawer iawn gwell genyf goleddu y syniad mai yn ddiammodol yr oedd y perffeithrwydd hwn ynddo ef o'i enedigaeth, ond yn ammodol yn unig i bawb a gredant ynddo.

Nid ydoedd ei arosiad yn y bedd dridiau a theirnos yn gwneyd ei gorff ef yn fwy ysbrydol nag o'r blaen, ond ymddadblygai ei fywyd, blyg ar ol plyg, yn ol amgylchiadau, a'r anghenrheidrwydd gorfodol tu allan iddo ef ei hun. Rhywbeth yn hanes yr eglwys a'r arfaeth dragywyddol oedd yn galw am iddo ymddarostwng o'i urddas hyd yn llwch y byd, ac adgyfodi eilwaith, gan ddadguddio ei fywyd yn ei wir ogoniant, fel y byddai efe yn flaenffrwyth y rhai a hunasant. Yn wir, i hyn y daeth i'r byd, ac yr ymgnawdolodd mewn natur yn dwyn urddas a gogoniant mawr, yn ddibechod, yn ddiniwed, glân, dilychwin, heb arni na brycheuyn na chrychni na dim o'r cyfryw. Ond fe welwyd y natur fendigedig yma yn dwyn gwendidau a phechodau ei bobl yn llwyr ac yn hollol, fel y perffeithid hwy trwyddo ef, ac y caent ymddangos fel yntau, heb bechod na gwendid o un natur, yn eglwys ddifai i Dduw.

Hyderaf fod hyn o eglurhâd yn ddigon i dynu pob cwmwl ymddangosiadol oddiar y sylwadau y ceisiwch ymosod arnynt. Os dewiswch barhâu mewn dadl, bydd yn llawen genyf eich cyfarfod yn yr ysbryd goreu.—Yr eiddoch yn ddiffuant,

LEVI.

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## CYMDEITHASFA WHITLAND, SIR GAERFYRDDIN,

MAI 7, 8, A'R 9FED, 1878.

LLYWYDD,—Y Parch. JOHN JONES, Ceinewydd.

### DYDD MAWRTH, MAI Y 7FED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa, am 4 o'r gloch.*

I. Cafwyd fod brodyr yn bresennol o'r amrywiol Gyfarfodydd Misol, ac o'r Henaduriaeth.

II. Dygwyd i mewn y cenadwriaethau canlynol:—*Gorllewin Morganwg,*—Yn gofyn am ganiatâd i gyfnewid â'r *Swansea Tramway Company* ddarn o dir perthynol i gapel y Crug-glas, Abertawy. Rhoddwyd caniatâd.

*Penfro,*—Ein bod yn barnu fod yr amser wedi dyfod i wneyd y cyfryw drefniad ar Gronfa Athrofa Trefecca, fel ag i ganiatâu ychwaneg tuag at gynnaliaeth yr efrydwyr.

*Llundain,*—Yn Nghyfarfod Misol Llundain, a gynnaliwyd yn Nghapel Nassau Street, Ebrill yr 17eg,—Llywydd, y Parch. R. Roberts,—rhoddwyd ystyriaeth i gais y Parch. John Jones, diweddar o gapel Claremont, a ddygwyd ger bron y cyfarfod blaenorol, am gael ei dderbyn i fod yn weinidog yn ein plith. Ar sail y tystiolaethau uchel a gafwyd i'w gymeriad a'i ddefnyddioldeb, ac yn ngwyneb yr eglurhâd a roddwyd ganddo ef ei hun, ei fod wedi dyfod i'r penderfyniad o gymeryd y cam hwn oddiar argyhoeddiad o ragoroldeb ein cyfansoddiad fel Cyfundeb, a'i fod yn hollol gydsynio â'r Cyffes Fydd ac â'n Rheolau Dysgyblaethol, penderfynwyd ein bod yn rhoddi derbyniad cynhes iddo i'n mysg, a'n bod yn cyflwyno ei achos i Gymdeithasfa nesaf y Deheudir er cael ei chymeradwyaeth.

III. Derbyniwyd llythyr yn apelio yn erbyn penderfyniad Cyfarfod Misol Gogledd Aberteifi mewn achos neillduol.

Penodwyd Cyfeisteddfod, cynnwysedig o weinidog a diacon o'r amrywiol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaeth, i edrych i mewn i seiliau yr apêl, ac i ddwyn eu hadroddiad i gyfarfod y Gymdeithasfa bore dydd Iau.

IV. Trefnwyd gwaith y cyfarfodydd dilynol.

V. Dadganiad yn erbyn rhyfel:—Penderfynwyd fod ein dadganiad ar y cwestiwn hwn yn cynnwys, (1.) Cofeb at yr Ysgrifenydd Tramor, i'w chyflwyno gan Mri. D. Davies, Llandinam, a R. Davies, Treborth. (2.) Penderfyniad o ymddiried yn Mr. Gladstone. (3.) Cenadwri gyda'r pellebyr at Gynnadledd Heddwch oedd i gyfarfod yn Nghaerdydd ddydd Mercher.

VI. Penderfynwyd anfon deiseb i Dŷ y Cyffredin o blaid pasio mesur yn gwahardd gwerthiad diodydd meddwol ar yr oll o ddydd yr Arglwydd.

VII. Enwyd brodyr i gynnyg Cyfeisteddfod Dirwestol sefydlog mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa, yn unol â'r cais a ddaethai oddiwrth Uwch Deml Cymru i Gymdeithasfa Llangeitho.

VIII. Mewn perthynas i'r genadwri o Gyfarfod Misol Llundain, ar ol cael hanes gan yr Ysgrifenydd gyda golwg ar gais y Parch. J. Jones, a chael amrywiol dystiolaethau uchel i'w gymeriad personol a chyhoeddus, penderfynwyd ein bod yn rhoddi derbyniad iddo yn nghyfarfod y Gymdeithasfa am 1 o'r gloch dydd Mercher.

IX. Gwnaethwyd yr etholiadau canlynol:—(1.) Y Parch. Evan Phillips, Castellnewydd, i fod yn Arholydd Cymdeithasfaol am dair blynedd, yn lle y Parch. Dr. Harries Jones, yr hwn oedd yn myned allan o'r swydd. (2.) Y Parch. Thomas Job, Cynwyl, i draethu ar Natur Eglwys yn ngwasanaeth yr Ordeinio yn Nghymdeithasfa Awst nesaf. (3.) Y Parch. Thomas James, M.A., Llanelli, i roddi y Cynghor i'r brodyr fydd yn cael eu hordeinio.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa* (parhâd) *am 7 o'r gloch.*

I. Cymerwyd i ystyriaeth y mater canlynol, yr hwn a dderbyniasid yn genadwri o'r Henaduriaeth, ac a gyflwynwyd i ystyriaeth y Cyfarfodydd Misol gan y Gymdeithasfa flaenorol:—

"That the Association be asked to permit the Churches to encourage qualified lay brethren, who are not prepared to devote themselves to the full work of the ministry, to engage, with the sanction of the Monthly Meeting or Presbytery, in pulpit ministrations."

Wedi ymholi i deimlad yr amrywiol Siroedd ar hyn, penderfynwyd,—Nad ydym yn gweled fod anghen am unrhyw drefniad newydd er cyfarfod â'r cais uchod, gan fod ein Rheolau eisoes yn caniatâu pob rhyddid anghenrheidiol yn y wedd hon, ond ein bod yn cynghori yr eglwysi, lle y teimlir anghen am y cyfryw gyn-

gynorthwy, i wneyd defnydd o'r rhyddid hwn, ac annog brodyr cymhwys i gymeryd rhan yn y gwaith.

II. Cyflwynwyd cynnygiadau y Gynnadledd a gynnaliwyd yn Machynlleth, Mawrth 27 a'r 28ain, i ystyried Cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol; a phenderfynwyd eu bod i gael sylw yn y Gymdeithasfa hon, ac yna eu cyflwyno i ystyriaeth y Cyfarfodydd Misol.

DYDD MERCHER, YR 8FED.

*Cyfeisteddfod yr Athrofa a'r Genadaeth Gartrefol, am* 8.30.

I. Darllenwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad canlynol :—

At a Meeting of the College Committee, held at Trevecca, December 20th, 1877, the Rev. E. Matthews in the Chair,—1. The Midsummer Accounts were audited and found correct. 2. The Treasurer was authorized to pay bills to the amount of £14 18s. 8½d.

II. Cymerwyd y genadwri o Sir Benfro i ystyriaeth; ac ar ol cael eglurhâd gan Mr. Matthews o ystâd bresennol y Gronfa, ac y bwriedir ei dwyn i derfyniad erbyn cyfarfod nesaf y Cyfeisteddfod, neu o bellaf erbyn Cymdeithasfa Awst, penderfynwyd cyflwyno y genadwri i sylw y Cyfeisteddfod, gan hyderu y gellir gwneyd gwell darpariaeth tuag at gynnaliaeth yr efrydwyr.

III. Cafwyd nad oedd y brodyr oeddynt wedi eu penodi i ymweled â'r Gorsafoedd Cenadol wedi gorphen eu gwaith, fel ag i allu rhoddi eu hadroddiad yn y Gymdeithasfa hon. Dymunwyd ar iddynt orphen mor fuan ag y byddo modd, fel y galler cael yr holl adroddiadau gyda'u gilydd yn Nghymdeithasfa Awst.—Penodwyd y Parch. W. Evans, M.A., i ymweled â'r gorsafoedd yn Sir Fynwy; a'r Parch. Joseph Evans i ymweled â'r gorsafoedd yn Sir Benfro.

*Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahan, am* 10.30.

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr, ymddyddanwyd â'r Parchn. T. Job, Abel Thomas, a D. Lewis, gyda golwg ar eu teimladau crefyddol, a'u profiad gyda gwaith y weinidogaeth. Cafwyd hyfrydwch mawr wrth glywed y brodyr yn adrodd; a gwnaethpwyd sylwadau rhagorol mewn atebiad.

*Cyfarfod y Gymdeithasfa, am* 1 *o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn Bethesda, Penfro, Mehefin 3, 4, 5. Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa i gyfarfod am 6 o'r gloch prydnawn dydd Llun, y 3ydd.

II. Hysbyswyd y bydd Cymdeithasfa Awst yn Llansamlet, ger Abertawe, Awst 6, 7, 8. Yr eisteddiad cyntaf am 3 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, y 6ed. Dysgwylir yr un pryd i ryw frawd o'r lleoedd ddyfod i ofyn am dani.

III. Crybwyllwyd am y Gymanfa Gyffredinol oedd i fod yn Aberystwyth, Mai 28—31.

IV. Penderfynwyd ar y dadganiad yn erbyn rhyfel: 1. At yr Ysgrifenydd Tramor. 2. At Mr. Gladstone. 3. At y Gynnadledd Heddwch yn Nghaerdydd.

V. Cymeradwywyd y ddeiseb yn erbyn Gwerthu Diodydd Meddwol ar y Sabbath.

VI. Darllenwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid :—

Cyfarfod y Blaenoriaid, am 10 o'r gloch: Cadeirydd, Mr. Lewis Griffiths, Aberdâr.

1. Cymeradwywyd y brodyr canlynol i'w hordeinio. *Gogledd Sir Aberteifi*—D. J. Davies, Trisant. *Sir Benfro*—Thomas Lamb, Abergwaen; Richard Rowlands, Trefin. *Sir Gaerfyrddin*—W. D. Jenkins, Pembre. *Gorllewin Morganwg*—Thomas Howells, Mynyddcynffig; Morris D. Jones, Casllwchwr. *Sir Frycheiniog*—Morgan Evans, Defynog; B. Phillips, Pontfaen. 2. Cafwyd sylwadau buddiol ar bwysigrwydd amgylchiadau y byd yn yr adeg bresennol, ynghyda llywodraeth Duw ar bob peth; ac er galw sylw at hyny, nodwyd y Parchn. Morris Morgan, Hwlffordd; a W. Williams, Abertawy, i weddïo yn nechreu y cyfarfod cyhoeddus am 3 o'r gloch ar y maes.

Dymuna y cyfarfod hwn ar y Gymdeithasfa i nodi y drydedd wythnos o'r mis hwn (sef o'r 19eg), ac i bob eglwys nodi diwrnod cyfleus iddynt o fewn yr wythnos hono, i gynnal cyfarfodydd o ymostyngiad ger bron Duw.—WILLIAM GRIFFITHS, *Ysgrifenydd.*

VII. Cyflwynwyd y Parch. John Jones, gynt o gapel Claremont, Llundain, i'r Gymdeithasfa. Cafwyd anerchiad eglur a chynhes ganddo, yn gosod allan y rhesymau paham y dymunai ddyfod atom oddiwrth yr Annibynwyr Seisonig. Yn ngwyneb y boddlonrwydd oeddid yn gael yn eglurhâd Mr. Jones ei hun o'i syniadau a'i deimladau mewn perthynas i byncïau athrawiaethol a llywodraeth eglwysig, ynghyda thystiolaeth eraill am dano, ar gynnygiad y Parch. W. Williams, Abertawy, eiliad y Parch. Dr. Harries Jones, a chefnogiad y Parch. Morris Morgan, penderfynwyd yn unfrydol ein bod yn rhoddi derbyniad gwresog iddo i fod yn weinidog yn ein cyfundeb, gan hyderu y bydd i'r Arglwydd fendithio ei lafur yn ein mysg hyd eithaf ei ddymuniadau.

Hysbyswyd fod Mr. Jones wedi dyfod i fyw i Aberhonddu, ac y bydd ei lafur yn

benaf ymysg yr Eglwysi Seisonig, ond ei fod hefyd yn awyddus i bregethu yn Gymraeg mor fuan ag y byddo wedi gallu dyfod yn ddigon cyfarwydd yn yr iaith.

VIII. Cyflwynwyd yr adroddiad canlynol gan y Parch. W. Evans, M.A., Ysgrifenydd Trysorfa y Gweinidogion:—

ADRODDIAD TRYSORFA Y GWEINIDOGION. Derbyniadau 1877. Taliadau y Gweinidogion, £380 2s. 0c.; Casgliadau, £209 10s. 0½c. (yn cynnwys £6 ddaeth i law wedi cau y cyfrif); Llogau, £170 0s. 11c.; a Rhoddion, £76 10s. 0c.: Cyfanswm, £835 13s. 11½c. Talwyd allan i 11 o Weinidogion methedig, 39 o Weddwon, 2 o Amddifaid, at amrywiol achosion o gystudd, a threuliau un claddedigaeth, ynghyd a'r treuliau cyffredinol (£23 4s. 6c.), £776 16s. 2c. Gwerth presennol y Gronfa, £4122. Treuliau tebygol y flwyddyn 1878, tua £800.—WILLIAM EVANS, *Ysgrifenydd.*

Ar gynnygiad Mr. D. Evans, Bodringallt, a chefnogiad Mr. W. Lloyd, Meidrym, penderfynwyd,—

1. Fod y Gymdeithasfa yn dadgan ei diolchgarwch cynhesaf i Swyddogion Cyffredinol a Sirol a Chyfeisteddfod Gweithiol y Drysorfa, am eu ffyddlondeb yn gofalu mor llafurus dros yr achos hwn am y flwyddyn a aeth heibio. 2. Fod y brodyr canlynol yn cael eu dewis yn Bwyllgor Gweithiol am y flwyddyn ddyfodol:—Parchn. E. W. James, G. Parry, T. Levi, Principal Edwards, T. J. Morgan, a John Bowen; Mri. D. Jones, D. Jacob Davies, R. J. Davies, U.H., James James, J. W. Evans, Thomas James, a James Evans, oll o Aberystwyth a'r gymydogaeth. 3. Fod y Trysorydd Cyffredinol (Mr. David Jenkin Davies) yn cael ei ail ddewis, a'r un modd yr Ysgrifenydd Cyffredinol. 4. Fod y Gymdeithasfa yn dymuno argraffu ar y Cyfarfodydd Misol a'r eglwysi yr anghenrheidrwydd am wneyd ymdrech egniol eleni gyda'r casgliad i gyfarfod â chynnygiad haelionus Mr. David Davies, A.S., Llandinam, ac y dylid amcanu codi mwy na'r chwarter cyntaf o'r swm gofynol, yr hyn a fyddai yn symbyliad nerthol tuag at orpheniad llwyddiannus yr ymdrech bwysig hon o fewn yr amser penodedig.

IX. Cafwyd hanes dyddorol am agwedd yr achos yn y Sîr, gan y Parchn. R. Salmon, Llansadwrn, a T. James, M.A., Llanelli, yn dangos fod llawer o weithgarwch a ffrwythlondeb yn parhâu yn yr eglwysi yn ngwahanol ranau y Sîr, ac fod hyny i'w briodoli yn arbenig i'r gofal bugeiliol sydd yn parhâu i fyned ar gynnydd.

DYDD IAU, Y 9FED.

*Cyfarfod y Gymdeithasfa, am 8 o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

II. Ynglŷn â hyn rhoddwyd adroddiad o'r Arholiad Cymdeithasfäol a gymerodd le Rhagfyr diweddaf, gan y Parch. W. James, Aberdâr; a chyflwynwyd diolch cynhes i'r Parch. Dr. Harries Jones am ei wasanaeth gwerthfawr fel Arholydd yn ystod y tair blynedd a aethant heibio.

III. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod yr Athrofa a'r Genadaeth Gartrefol.

Mewn cysylltiad âg adroddiad yr Athrofa, galwodd y Parch. E. Matthews sylw y Siroedd sydd heb orphen talu eu haddewidion at y Gronfa at y pwysigrwydd o wneyd hyny yn ddioed, fel y galler cwblhâu yn hollol erbyn amser y Cyfeisteddfod nesaf, neu o bellaf cyn Cymdeithasfa Awst.

IV. Derbyniwyd adroddiad y Cyfeisteddfod yn yr achos o apêl, a phenderfynwyd:—"Nad ydym, ar sail y llythyr anfonedig, yn derbyn yr apêl, ond fod rhyddid i'r apelydd ddyfod i roddi ei achos yn bersonol yn Nghymdeithasfa Awst, fel y galler gweled a oes seiliau digonol i apelio."

V. Gyda golwg ar gael Pwyllgor Sefydlog ar Anghymedroldeb mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa, cynnygiwyd,—

1. Fod Pwyllgor ar Anghymedroldeb i'w ethol bob blwyddyn yn Nghymdeithasfa Mawrth, yn cynnwys un swyddog o bob Cyfarfod Misol a'r Henaduriaeth. 2. Fod y cyfryw Bwyllgor i gyfarfod yn rheolaidd yn Nghymdeithasfa Mawrth, ac i wneyd adroddiad yn yr un Gymdeithasfa, ac mewn unrhyw Gymdeithasfa ddilynol y tybir yn briodol. 3. Fod y personau canlynol i ffurfio y Pwyllgor am y flwyddyn nesaf:—*Gogledd Aberteifi*—Y Parch. W. Evans, M.A. *Dehau Aberteifi*—Y Parch. John Evans, Abermeurig. *Penfro*—Y Parch. Daniel Symmons. *Caerfyrddin*—Y Parch. John Lewis. *Dwyrain Morganwg*—Mr. John Jones, Cardiff Street, Aberdâr. *Gorllewin Morganwg*—Y Parch. David Phillips, Abertawy. *Mynwy*—Y Parch. David Edwards, Casnewydd. *Brycheiniog*—Y Parch. John Watkins, Gorwydd. *Henaduriaeth Morganwg*—Y Parch. D. W. Davies, Casnewydd.

Penderfynwyd fod y Parch. D. Phillips, Abertawy, i fod yn gynnullydd y pwyllgor uchod, a'i fod i gyfarfod mewn cysylltiad â Chymdeithasfa Awst, i wneuthur trefniadau i'w cynnyg.

VI. Hysbyswyd y bwriedid i Gyfeisteddfod Gweithredoedd y Capelau gyfarfod mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa hon, ond mai ychydig o'r aelodau oedd yn bresennol, er fod amryw eraill wedi anfon adroddiadau o'r gweithredoedd perthynol i'w Cyfarfodydd Misol. Mewn trefn i gychwyn gyda'r Cyfeisteddfod hwn, penodwyd y Parch. D. Edwards, Casnewydd, yn gyn-

nullydd, a phenderfynwyd i'r Cyfeisteddfod gyfarfod mewn cysylltiad â Chymdeithasfa Awst nesaf.

VII. Darllenwyd yr adroddiad oddiwrth y Gynnadledd a gynnaliwyd yn Machynlleth, Mawrth 27 a'r 28ain, 1878, i ystyried Cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol, a chyflwynwyd y materion cynnygiedig i ystyriaeth y Cyfarfodydd Misol, fel ag i ddwyn eu hadroddiad arnynt i Gymdeithasfa y Gwanwyn nesaf.

VIII. Gwnaethpwyd cyfeiriad parchus at farwolaeth y Parch. D. Davies, Tanygroes, ac at farwolaeth dau bregethwr ieuanc perthynol i'r un Cyfarfod Misol, sef Mri. Stephen Griffiths, Blaenpenal, a Morgan Rowland, Llangeitho.

IX. Galwyd sylw gan y Parch. W. Williams, at lyfr rhagorol Dr. Blaikie ar "*The Work of the Ministry;*" a chan y Parch. Morris Morgan at Gofiant dyddorol y Parch. J. Jones, Blaenanerch, gan y Parch. J. Davies. Cyhoeddir y naill gan Daldy, Isbister, & Co., 55, Ludgate Hill, London; a'r llall gan Hughes, Wrexham. Annogwyd i brynu a lledaenu y llyfrau gwerthfawr hyn. Gyda golwg ar lyfr Dr. Blaikie, gan ei fod yn ymdrin â gwaith y weinidogaeth yn ei wahanol ranau mewn modd tra galluog ac ymarferol, awgrymwyd y byddai yn dda iawn pe gwnai rhyw frawd neu frodyr haelionus anrhegu y pregethwyr âg ef, neu yn nifyg hyny, pe byddai y Cyfarfodydd Misol yn gwneyd.

Treuliwyd y gweddill o'r Cyfarfod mewn ymdrin ar "Lywodraeth Duw ar y byd," gyda chyfeiriad arbenig at Ewrop, yn enwedig y Deyrnas hon, yn y dyddiau presennol.

G. Davies, *Ysgrifenydd.*

## ARHOLIAD CYMDEITHASFAOL Y DEHEUDIR, 1878.

Testynau yr Arholiad fydd y rhai canlynol:

1. Yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid, o ddechreu yr unfed bennod ar ddeg i ddiwedd yr Epistol. Arholwr:—Y Parch. T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth.

2. Duwinyddiaeth y Diwygwyr Protestanaidd. Arholwr:—Y Parch. T. C. Edwards.

3. Arweiniad i'r Efengylau. Arholwr:—Y Parch. W. James, Aberdâr.

4. Rhyddid yr Ewyllys. Arholwr:—Y Parch. W. James.

5. Gwybodaeth Gyffredinol o'r Ysgrythyrau. Arholwr:—Y Parch. E. Phillips, Castellnewydd.

Pregethwyd gan y brodyr canlynol. Prydnawn dydd Mercher, am 3, ar y maes, y Parchn. Joseph Jenkins, Llanfairmuallt, a Thomas Edwards, Rhymney. Nos Fercher, yn y capel, y Parchn. Jenkin Jones, Llanon, a J. Jones, Ceinewydd. Boreu dydd Iau, am 6, yn y capel, y Parchn. J. Mostyn Jones, Gerlan, a M. Jones, Fflint. Am 10, ar y maes, y Parchn. Dr. Harries Jones ac E. Matthews. Yn y capel (yn Saesoneg), y Parchn. W. Evans, M.A., a J. Cynddylan Jones. Am 2, ar y maes, y Parchn. W. James, Aberdâr, a W. Williams. Yn y capel (yn Saesoneg), y Parchn. G. Davies, a W. D. Davies, Newport. Am 6, ar y maes, y Parchn. E. Edmunds, Abertawy, ac E. Matthews.

---

## CYMDEITHASFA BETHESDA, SIR BENFRO,

Mehefin 3, 4, a'r 5ed, 1878.

---

Llywydd,—y Parch. John Jones, Ceinewydd.

---

Dydd Llun, y 3ydd.

Am 5 o'r gloch, cynnaliwyd cyfarfod i weddïo am heddwch a llwyddiant ein gwlad, ac am adfywiad ar grefydd ysbrydol yn ein plith.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 6 o'r gloch.*

Ar ol sicrhâu fod brodyr yn bresennol o'r amrywiol Gyfarfodydd Misol ac o'r Henaduriaeth,—

I. Trefnwyd gwaith gwahanol Gyfarfodydd y Gymdeithasfa.

II. Darllenwyd y llythyr canlynol yn cydnabod derbyniad y Gofeb a anfonwyd o'r Gymdeithasfa o'r blaen at yr Ysgrifenydd Tramor yn erbyn rhyfel:—

"Foreign Office,
"May 23, 1878.

"Sir,—I am directed by the Marquis of Salisbury to acknowledge the receipt of your Letter of the 20th instant, inclosing a Copy of a Memorial from the Presbyterians of South Wales, relative to the Eastern Question.—I am, Sir, your most obedient humble Servant,

"Julian Pauncefote.

"R. Davies, Esq., M.P.,
"House of Commons."

III. Rhoddwyd caniatâd i ddwyn cynnygiad i mewn tuag at ddarparu moddion crefyddol i gyrhaedd y lliaws sydd mewn rhai parthau o'n gwlad, yn enwedig yn y gweithfäoedd a'r trefydd mawrion, yn esgeuluso y moddion cyffredin.

IV. Penderfynwyd hefyd anfon llythyr at Mrs. Evans, Treffynnon, i amlygu ein

cydymdeimlad dwfn â hi, ac â'i theulu, yn awr eu profedigaeth.

### Dydd Mawrth, y 4ydd.

*Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahan, am* 10 *o'r gloch.*

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr, adroddodd y brodyr canlynol eu profiadau: y Parchn. W. Powell, Penfro; S. Jenkins, Hwlffordd; a J. Harries, Casgwys. Yr oedd yn amlwg fod teimladau ein brodyr wrth eu hadrodd yn rhoddi tôn hapus i'r cyfarfod, a bod y sylwadau a wnaethpwyd mewn canlyniad yn nodedig o fuddiol tuag at feithrin ysbryd y gwaith, gyda phregethu yr efengyl yn gyffredinol, ac mewn gofal priodol am yr eglwysi, ac hefyd mewn myned at y bobl i gynnal cyfarfodydd yn eu tai, a moddion eraill allan o'r llwybr cyffredin.

*Cyfarfod y Gymdeithasfa, am* 1 *o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn nghapel y Cwm, Llansamlet, gerllaw Abertawy, Awst 6, 7, a'r 8fed. Yr Eisteddiad cyntaf i fod am 3 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, y 6ed.

II. Coffäwyd fod y Gymanfa Gyffredinol yr wythnos o'r blaen wedi penderfynu fod y ddau frawd ieuanc sydd yn myned allan yn Genadwyr i Cassia, sef Mri. Griffith Griffiths a Robert Evans, i gael eu hordeinio yn Nghymdeithasfa Awst, ac y dysgwylir, gan hyny, i'r brodyr sydd i draethu ar Natur Eglwys ac i roddi y Cynghor, gadw golwg yn eu hanerchiadau ar y Gwaith Cenadol.

III. Y Genadaeth Gartrefol. Cynnelir cyfarfod o Gyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth Gartrefol o flaen Cymdeithasfa Llansamlet; a dymunir ar i bob cais am gynnorthwyon o'r newydd, yn gystal ag am barhâd o'r cynnorthwyon sydd i'w lleihâu a'r rhai sydd ar derfynu, gael eu hanfon i un o'r Ysgrifenyddion, y Parchn. W. Williams a D. Evans, Abertawe, cyn y 1af o Awst, fel y gallo y Cyfeisteddfod gael cyfleusdra i'w hystyried, a dwyn eu hadroddiad arnynt i'r Gymdeithasfa.

IV. Darllenwyd a chymeradwywyd yr annogaeth ganlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid:—

"Ein bod yn annog ar i fwy o ymdrech gael ei wneyd tuag at gynnyddu ein Hysgolion Sabbothol, ac i fwy o sylw gael ei roddi i addysgiaeth y plant a'r ieuenctyd yn y *Rhodd Mam, Rhodd Tad*, a'r *Hyfforddwr*. Yr ydym hefyd o galon yn cefnogi penderfyniadau y Gymdeithasfa ddiweddaf ar y cwestiwn Dirwestol.—Phillip John, *Cadeirydd;* T. Jones, *Ysgrifenydd.*"

V. Rhoddwyd hanes yr achos yn y Sir gan Mr. Watts Williams, Tyddewi, a'r Parchn. George Morgan, Trefdraeth, a J. Rhys Owen, Penfro. Dangosai yr adroddiad fod yr eglwysi yn Sir Benfro, o gymharu yr ystadegau am y flwyddyn '67 ac am y flwyddyn '77, wedi cynnyddu llawer yn eu haelodau a'u casgliadau. Rhoddwyd ar ddeall hefyd fod y cynnydd yn y casgliadau cenadol wedi cymeryd lle yn y rhanau hyny o'r wlad lle y cynnelir cyfarfodydd cenadol yn flynyddol.

VI. Cymeradwywyd y cynnygiadau canlynol:—

1. Yn ngwyneb agwedd ddigrefydd llawer iawn o'n cydwladwyr, fod y Gymdeithasfa hon yn ystyried fod yn angenrheidiol i foddion crefyddol allan o'r dull cyffredin, megys cynnal cyfarfodydd neillduol er efengyleiddiad y wlad, pregethu yn yr awyr agored, gwasgaru traethodau crefyddol, &c., gael eu defnyddio, er mwyn cyrhaedd y lliaws sydd yn arfer esgeuluso y moddion cyffredin.—2. Fod y brodyr canlynol yn cael eu penodi yn Gyfeisteddfod, i drefnu gyda gweinidogion cymhwys ac ewyllysgar i ymgymeryd â'r gwaith hwn, i fyned allan yn ddau a dau ar deithiau byrion fel efengylwyr, yn ystod misoedd Mehefin, Gorphenaf, Awst, a Medi, ac i'w cynnorthwyo a'u calonogi yn eu gwaith, sef y Parchn. William Williams, Abertawe; Joseph Evans, Caerfyrddin; T. James, M.A., ac O. Edwards, B.A., Llanelli; ynghyda Mri. D. Williams, y Box; D. Richards, a Capt. Jones, Llanelli. Y brodyr hyn i gyfarfod â'u gilydd yn Llanelli fel lle canolog.—3. Fod cais i gael ei wneuthur at Gyfeisteddfod Cenadaeth Gartrefol y Deheudir am arian i gyfarfod â threuliau y brodyr fyddo yn ymgymeryd â'r gwaith hwn.

Rhoddwyd ar ddeall y byddai yn fanteisiol, tuag at gychwyn yn ddioed gyda'r gwaith hwn, i aelodau y Cyfeisteddfod fod yn agos i'w gilydd, er mwyn bod yn gyfleus i gyfarfod, ac y bydd yn ddymunol i un o bob Cyfarfod Misol, ac o'r Henaduriaeth, gael ei ddewis ar y Cyfeisteddfod hwn yn Nghymdeithasfa Awst nesaf.

VII. Cymeradwywyd y llythyr a ddarllenwyd i'w anfon at weddw y diweddar Mr. P. M. Evans, Treffynnon.

VIII. Coffäwyd am farwolaeth y brawd Thomas Rowlands, Rhydargaeau, yr hwn a fu farw ar ddydd olaf Cymdeithasfa Whitland, wedi bod yn pregethu am lawer o flynyddoedd. Gwnaethpwyd sylwadau difyr a buddiol ar hynodion ei gymeriad, ac yn enwedig ei hynodrwydd fel gŵr hyddysg a chadarn yn yr Ysgrythyrau.

### Dydd Mercher, y 5ed.

Am 9 o'r gloch, gweinyddwyd ordinhâd

Swper yr Arglwydd. Yr oedd aelodau eglwysig yn gyffredinol wedi eu gwahodd i gyfranogi. Gweinyddwyd yn y cyfarfod hwn gan y Llywydd, a'r Ysgrifenydd, a'r brodyr W. Powell, Penfro, W. Williams, Abertawe, R. Lumley, Liverpool, a Moses Williams, Llanfairmuallt.

G. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

Pregethwyd gan y brodyr canlynol. Dydd Mawrth am 3, yn y capel, y Parchn. W. Evans, M.A., a Moses Williams. Am 6, yn y capel, y Parchn. O. Edwards, B.A., a R. Lumley. Dydd Iau, am 7 y bore, yn y capel, y Parch. G. W. Owen, Abergavenny. Am 10, ar y maes, y Parchn. W. Williams a R. Lumley. Yn y capel (yn Gymraeg), y Parchn. G. Davies, Llundain, a J. Jones, Ceinewydd. Am 2, ar y maes, y Parchn. T. Evans, Merthyr, a Joseph Evans. Yn y capel (yn Gymraeg), y Parchn. H. Harries, Trefforest, a J. Jones, Tregaron. Am 6, ar y maes, y Parchn. J. Pugh, Tredegar, a J. Jones, Aberhonddu. Yr oedd yr holl oedfäon, oddigerth y ddwy a nodwyd yn y capel, yn y Saesoneg.

## GWEITHREDIADAU Y GYMANFA GYFFREDINOL,

### A GYNNALIWYD YN ABERYSTWYTH, MAI 28—31, 1878.

LLYWYDD :—Parch. J. THOMAS, Carno.
YSGRIFENYDDION :—
Parch. O. JONES, B.A., Liverpool.
" J. LEWIS, Caerfyrddin.

### CYNNRYCHIOLWYR Y SIROEDD.

*Aberteifi—Gogledd—*
Parch. T. C. Edwards, M.A.
— T. J. Morgan, Penygarn.
Mr. D. Jones, Aberystwyth.
— Abraham James, Dolybont.
*Aberteifi—Dehau—*
Parch. T. Evans, Aberarth.
— J. Jones, Ceinewydd.
— Abraham Oliver, Llanddewibrefi.
Mr. S. Morris, Twrgwyn.
*Penfro—*
Parch. M. Morgan, Hwlffordd.
— J. D. Symmons, Abergwaun.
Mr. D. Williams, Drim.
— H. Llwyd Harries, Abergwaun.
*Caerfyrddin—*
Parch. J. Evans, Llanelli.
— R. Salmon, Llansadwrn.
Mr. J. Havard, Meidrym.
— D. Richards, Llanelli.
*Morganwg—Gorllewin—*
Parch. D. Antony, Abertawe.
— M. Thomas, Resolven.
Mr. Alderman Phillips, Abertawe.
— T. Harries, Abertawe.
*Morganwg—Dwyrain—*
Parch. T. Rees, Merthyr.
— W. J. Williams, Hirwaun.
*Mr. D. Evans, Caerdydd.
— M. Edwards, Aberaman.
*Brycheiniog a Maesyfed—*
Parch. D. Jones, Rhaiadr.
— D. Williams, Trecastell.
*Mr. W. Lewis, Talyllyn.
— Daniel Morgan, Gorwydd.
*Mynwy—*
Parch. D. Edwards, Casnewydd.
— W. Jones, Cendl.
— J. Jones, Gilwern.
Mr. W. Griffiths, Rock.
*Henaduriaeth Mynwy, &c.—*
Parch. J. Thomas, Brynmawr.
Mr. John Thomas, Brynmawr.
*Môn—*
Parch. D. Roberts, Gwalchmai.
— J. Williams, Llanerchymedd.
Mr. J. Hughes, Llyslew.
*— S. Hughes, Bethel.
*Arfon—*
Parch. R. Jones, Felinheli.
— J. Jones, Brynyrodyn.
*Mr. O. Jones, Talsarn.
— W. Jones, Clynnog.
*Lleyn ac Eifionydd—*
Parch. R. Hughes, Uwchlaw'r ffynnon.
*— J. R. Williams, Pentre uchaf.
Mr. R. Rowland, Portmadoc.
Capt. W. Thomas, Morfa Nefyn.
*Meirionydd—Gorllewin—*
Parch. T. J. Wheldon, B.A., Ffestiniog.
— D. Roberts, Rhiw.
Mr. T. Williams, Croesor.
— Robert Jones, Ffestiniog.
*Meirionydd—Dwyrain—*
Parch. J. H. Hughes, Yspytty.
— E. Davies, Llanarmon.
Mr. Ellis Jones, Llandrillo.
— R. Roberts, Bala.
*Dinbych—*
Parch. Owen Evans, Ruthin.
— Lewis Ellis, Rhuddlan.
Mr. P. Roberts, Llanelwy.
*— R. Hughes, Llanrwst.
*Fflint—*
Parch. W. Pierce, Rhosesmor.
— E. J. Evans.
Mr. P. M. Evans, Treffynnon.
— O. Williams, Bodffari.
*Trefaldwyn Uchaf—*
Parch. N. C. Jones, Llanidloes.
— Elias Jones, Trefeglwys.
Mr. E. Cleaton, Llanidloes.
— R. Humphreys, Llanbrynmair.
*Trefaldwyn Isaf—*
Parch. R. Davies, Amwythig.
— E. Griffiths, Meifod.
Mr. J. Jones, Llanfyllin.
— J. Evans, Abbey Forgate.
*Liverpool—*
Parch. R. Lumley, Egremont.
Mr. J. Williams, Moss Bank.
*Manchester—*
Parch. W. James, B.A., Manchester.
Mr. J. Edwards, Salford.
*Henaduriaeth Lancashire—*
Parch. J. Thomas, B.A., Liverpool.
Mr. C. Hughes, Wrexham.
*Henaduriaeth Trefaldwyn—*
Parch. J. H. Parry, Trallwm.
Mr. W. Thomas, Abermule.
*Llundain—*
Parch. G. Davies, Llundain.
Mr. T. Richards, Llundain.

### AELODAU ERAILL Y GYMANFA.

*Cyn-Lywyddion—*
Parch. L. Edwards, D.D., Bala.
*— O. Thomas, D.D., Liverpool.
*— D. Charles, D.D., Aberdyfi.

* Dynoda y rhai oeddynt yn absennol.

- Parch. E. Matthews, Bonvilston.
  — R. Edwards, Wyddgrug.
  — D. C. Davies, M.A., Llundain.
  — R. Lumley, Liverpool.
  *— W. Williams, Abertawe.
  — D. Saunders, Abertawe.

*Trysorydd y Gymanfa—*
Mr. R. J. Davies, Cwrtmawr.

*Cyn-Ysgrifenydd—*
Parch. W. James, Aberdar.

*Yr Ysgrifenydd Cenadol—*
Parch. J. Thomas, M.A.

*Dros Gyfeisteddfod y Genadaeth Dramor—*
*Parch. O. Thomas, D.D., Liverpool.
Mr. T. Lloyd, Liverpool.

*Trysorydd y Cyllid at Gynnorthwyo Cenadon Methedig—*
*Mr. D. Roberts, Liverpool.

*Trysorydd y Genadaeth—*
Mr. P. Williams, Liverpool.

*Llywydd Cymdeithasfa y Dehau—*
Parch. J. Jones, Ceinewydd.

*Llywydd Cymdeithasfa y Gogledd—*
Parch. Emrys Evans, Dinbych.

*Ysgrifenydd Cymdeithasfa y Gogledd—*
*Parch. T. Owen, Portmadoc.

*Ysgrifenydd Cymdeithasfa y Dehau—*
Parch. G. Davies, Llundain.

*Ystadegwyr—*
Parch. J. Evans, Caerfyrddin.
— T. J. Wheldon, B.A., Ffestiniog.

PWYLLGOR Y LLYFRAU.

Parchn. Dr. Edwards; D. Saunders; T. Rees; Mri. T. Lewis; T. Phillips; R. Rowlands; T. Harris; Golygwyr y Misolion; Trysorydd y Gymanfa; a'r Parch. O. Jones, B.A., Ysgrifenydd y Pwyllgor.

EISTEDDIAD CYNTAF Y GYMANFA.

NOS FAWRTH YR 28AIN, AM 6 O'R GLOCH.

DECHREUWYD y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. W. Pierce, Wyddgrug.

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr, ac aelodau eraill y Gymanfa.

II. Penodwyd y Pwyllgorau canlynol:—

1. Pwyllgor y Cenadwriaethau oddiwrth Bersonau Unigol:—Y Llywydd, y Llywyddion blaenorol, y ddau Ysgrifenydd; y Parchn. D. Anthony; E. Davies, Llanarmon; R. Salmon, Llansadwrn; Mri. J. Hughes, Llyslew; Robert Jones, Ffestiniog; P. M. Evans, Treffynnon; E. Cleaton, Llanidloes; D. Richards, Llanelli; D. Evans, Caerdydd; John Thomas, Brynmawr; C. Hughes, Wrexham; a J. Havard, Meidrym.—2. Pwyllgor o Gyfarwyddwyr Sirol y Genadaeth Dramor i ddewis y Cyfeisteddfod Gweithiol am y flwyddyn ddyfodol, &c.—3. Pwyllgor Arianol:—Mri. T. Lewis, Bangor; R. Rowland, Portmadoc; J. Jones, Llanfyllin; J. Williams, Liverpool; W. Jones, Clynnog; T. Williams, Croesor; Alderman Phillips, Abertawe; H. Ll. Harries, Abergwaun; S. Morris, Twrgwyn; D. Jones, Aberystwyth; W. Lewis, Llanfihangel; a R. J. Davies, Trysorydd y Gymanfa.—4. Pwyllgor i drefnu derbyniad ac anfoniad Dirprwyaethau:—Y Parchn. R. Lumley, Liverpool; D. Roberts, Gwalchmai; Rees Jones, Felinheli; N. C. Jones, Llanidloes; D. Edwards, Casnewydd; T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth; M. Morgan, Hwlffordd; W. J. Williams, Hirwaen; Mri. P. Williams, Liverpool; P. Roberts, Llanelwy; M. Edwards, Aberaman; a W. Griffiths, Rock.—5. Pwyllgor i drefnu y Cyfarfod Cenadol cyhoeddus;—Swyddogion y lle ynghyda Aelodau y Cyfeisteddfod Gweithiol oedd yn bresennol yn y Gymanfa.

III. Etholwyd y Parch. J. Lewis, Caerfyrddin, yn Ysgrifenydd am y ddwy flynedd ddyfodol.

IV. Yr oedd y gweddill o'r cyfarfod hwn yn agored i aelodau eglwysig, pryd y traddododd y Parch. D. Saunders, y Llywydd am y flwyddyn ddiweddaf, ei Anerchiad wrth ymadael â'r Gadair, yn yr hwn yr olrheiniodd gynnydd a llwyddiant yr achos yn ein plith fel Cyfundeb, ac y dangosodd mai yr hyn a sicrhâi lwyddiant mwy eto yn y dyfodol a fyddai, nid yn gymaint lliosogi trefniadau, ond cael yr hyn a wnai ein trefniadau presennol yn fwy effeithiol, gan nodi yn arbenig y ddwy elfen,—Ffydd yn yr efengyl, a hunanymwadiad personol llwyr yn ei gwasanaeth,—mewn cysylltiad â'r weinidogaeth, a lle a gwaith swyddogion ac aelodau eglwysig, yn yr Ysgol Sabbothol, a chyda phob symudiad sydd â'i amcan er llwyddiant yr achos, megys y Genadaeth, y Fugeiliaeth, Cronfa Gynnorthwyol, a'r cyffelyb. Cyflwynodd y gadair i'w olynydd, y Parch. Joseph Thomas. Gwnaed sylwadau pellach ar yr anerchiad, a chynnygiwyd gan y Parch. Dr. Edwards, a chefnogwyd gan y Parch. Roger Edwards, fod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei roddi i'r Parch. D. Saunders am lywyddu y flwyddyn ddiweddaf, ac am ei anerchiad ymadawol; yr hyn a gymeradwywyd yn unfrydol.

V. Cynnygiwyd gan y Parch. R. Lumley, cefnogwyd gan y Parch. D. C. Davies, M.A., a phenderfynwyd yn unfrydol, fod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei roddi i'r Parch. W. James am ei wasanaeth fel Ysgrifenydd y ddwy flynedd ddiweddaf.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Parch. T. Evans, Aberarth.

*Cyfarfyddodd y gwahanol Bwyllgorau am 9 o'r gloch bore dydd Mercher.*

AIL EISTEDDIAD Y GYMANFA.

DYDD MERCHER, AM 10 O'R GLOCH.

Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A. Dar-

llenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

VI. Etholwyd y Parch. W. Powell, Penfro, yn Llywydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol.

VII. Cyflwynwyd Adroddiad Cyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth Dramor am y flwyddyn ddiweddaf gan yr Ysgrifenydd, y Parch. J. Thomas, M.A. Wedi i amryw wneyd sylwadau ar yr Adroddiad, cynnygiwyd gan y Parch. Rees Jones, a chefnogwyd gan Mr. J. Havard, a phenderfynwyd, fod yr Adroddiad a Chyfrif y Trysorydd yn cael eu derbyn a'u cymeradwyo.

A ganlyn ydyw Ystadegau y Genadaeth am y flwyddyn :—

LLYDAW.

Yn QUIMPER, lle y mae y Parch. H. Roberts yn awr wedi ymsefydlu fel cenadwr,—mae nifer y cymunwyr a'r gwrandäwyr tua'r un fath a'r flwyddyn o'r blaen.

LORIENT. Cenadwr, y Parch. A. C. Racine-Braud, B.A. Mae nifer y Protestaniaid proffesedig yn Lorient a'r cymydogaethau yn 90. Canolrif y gwrandäwyr yw 50; nifer y cymunwyr, 33; plant, 34; plant yn yr Ysgol Sabbothol, 16. Derbyniwyd un i'r eglwys, a ddychwelasid oddiwrth Babyddiaeth. Casglwyd i'r tlodion, ac at achosion eraill, £17 18s. 4c.

BRYNIAU CASSIA A JAINTIA.

DOSBARTH CHERRA. Cenadwr, y Parch. John Roberts. Un eglwys, 4 o leoedd pregethu, 3 o efengylwyr; nifer y cymunwyr yw 34; nifer yn yr eglwys fel ymgeiswyr, 86; plant, 60; y cyfan sydd mewn cysylltiad eglwysig, 182; derbyniwyd 34 i'r eglwys fel ymgeiswyr; bedyddiwyd 13 o rai mewn oed ac 8 o blant; diarddelwyd, 11; bu farw, 4. Nifer yn yr Ysgol Sabbothol, 314; rhifedi y gwrandäwyr, 382; y nifer sydd dan addysg ddyddiol, 322. Casgliadau, £30 10s.

DOSBARTH SHILLONG. Cenadwr, y Parch. T. Jerman Jones. Nifer yr eglwysi, 5; 1 pregethwr brodorol. Cynnelir Ysgolion Sabbothol, a phregethir mewn pedwar o bentrefi eraill. Nifer y cymunwyr, 67; ymgeiswyr, 66; plant, 108; bedyddiwyd 15 mewn oed a 24 o blant; gwrthgiliodd, 2; diarddelwyd, 3; bu farw, 3. Yr oll sydd mewn cysylltiad eglwysig, 240. Nifer yn yr Ysgol Sabbothol, 422; nifer y gwrandäwyr, 466. Cyfanswm y casgliadau, £27 19s. 9c.

DOSBARTH SHELLA. Cenadwr, y Parch. John Jones. Nifer yr eglwysi, 8; 15 o leoedd pregethu; 3 o efengylwyr; 7 o flaenoriaid; 53 o gymunwyr; 133 o ymgeiswyr; 110 o blant; derbyniwyd 46 i'r eglwys ar brawf y flwyddyn ddiweddaf; derbyniwyd 6 i gymundeb; bu farw, 6; diarddelwyd, 7; y cyfan sydd yn yr eglwysi, 296; yn yr Ysgolion Sabbothol, 620; gwrandäwyr, 663; dan addysg ddyddiol, 614; casgliadau, £14 13s. 6½c.

DOSBARTH JAINTIA. Y Parch. Griffith Hughes, Jiwai. Nifer yr eglwysi, 7; 2 bregethwr brodorol; 3 o flaenoriaid; cymunwyr, 93; ymgeiswyr, 102; plant, 172; diarddelwyd, 5; bu farw, 7; derbyniwyd fel ymgeiswyr, 52; derbyniwyd i gymundeb, 23; y cyfan sydd yn yr eglwysi, 367; yn yr Ysgolion Sabbothol, 549; gwrandäwyr, 650; yn yr Ysgolion Dyddiol, 381; casgliadau, £38 12s. 3c.

CYFANSWM CYFRIFON Y PEDWAR DOSBARTH.—Nifer yr eglwysi, 21; nifer y lleoedd y cynnelir Ysgol Sabbothol ac y pregethir, 39; y pregethwyr brodorol, 9; blaenoriaid, 12; cymunwyr, 249; ymgeiswyr am aelodaeth eglwysig, 386; plant, 450; bu farw, 20; gwrthgiliodd, 2; diarddelwyd, 26; yr oll sydd mewn cysylltiad eglwysig yw 1805; cynnydd o 216 ar y flwyddyn flaenorol; nifer yn yr Ysgolion Sabbothol, 1905; cynnydd o 432; nifer y gwrandäwyr, 2161; ychwanegiad o 526. Cyfanswm y casgliadau, £113 15s. 6½c. Nifer y rhai sydd dan addysg yn yr Ysgolion Dyddiol, 2111.

VIII. Cyflwynwyd y materion canlynol gan Bwyllgor Cyfarwyddwyr Sirol y Genadaeth Dramor :—

1. Fod i Mr. W. Williams o Sir Fôn gael ei dderbyn fel ymgeisydd cenadol.

2. Fod ordeiniad Mri. G. Griffiths a R. Evans i gymeryd lle ynglŷn â Chymdeithasfa y De a gynnelir yn Llansamlet, yn mis Awst.

3. Fod y Cyfeisteddfod Gweithiol am y flwyddyn ddyfodol i fod yn gyfansoddedig o'r un personau ag o'r blaen, a bod y Parch. J. Evans, Garston, a Mr. Thomas Jones, Five Elms, i gael eu hychwanegu atynt.

Ar gynnygiad Alderman Phillips, a chefnogiad Mr. R. Rowland, cadarnhäwyd hyn gan y Gymanfa.

4. O'r un Pwyllgor, cynnygiwyd gan Alderman Phillips, y Cadeirydd, a chefnogwyd gan y Parch. Dr. Edwards, a phenderfynwyd, fod cyflog y Parch. J. Thomas, M.A., Ysgrifenydd y Genadaeth, i fod o hyn allan yn £220 yn flynyddol.

IX. Cyflwynwyd Mr. W. Williams, yr ymgeisydd cenadol, i'r cyfarfod, a chafwyd anerchiad byr ganddo; a dadganai amryw eu llawenydd ei fod wedi ei dueddu at hyn, a'u dymuniad am ei lwyddiant.

X. Gwnaed yn hysbys drefn y Cyfarfod Cenadol cyhoeddus, gan y Pwyllgor a benodwyd i hyny.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Parch. M. Morgan.

*(I barhâu.)*

---

CENADAETH DREFOL METHODISTIAID CALFINAIDD CYMREIG LIVERPOOL.

III.

Y RHAN o faes y genadaeth y mae a fynom ni âg ef ydyw y pen deheuol i'r dref, yr

hwn a elwir Toxteth Park. Y mae yr ystafell genadol yn bresennol yn Heol Beaufort, sef yr hen Bedford Street, yr hon y mae yr hen gapel, Ebenezer, ynddi, —coffadwriaeth pa un sydd yn fendigedig yn meddwl llawer un yn Nghymru, yn gystal âg yn Liverpool. Ystyrid y rhan hon fel y rhan fwyaf pendefigaidd o'r dref; ac ychydig flynyddau yn ol yr oedd Heol Bedford yn un o'r heolydd mwyaf parchus yn y rhan barchus hon o'r dref. Y mae Heol Bedford (yn awr Beaufort) yn lled agos i'r afon Mersey, ac yn rhedeg yn unionsyth yn yr un cyfeiriad â'r afon; ac y mae yn fil tri chant a thri ar ddeg o latheni o hŷd, ac ynddi ddau gant a phedwar ugain o dai mawrion, heblaw adeiladau eraill. Yr amser a aeth heibio yr oedd rhai o Gymry mwyaf parchus y dref yn byw yn y gymydogaeth hon; ond erbyn hyn y maent braidd i gyd wedi symud yn uwch i fyny, i gymydogaeth Prince's Road. Yr ydym yn meddwl fod llawer yn camsynied o berthynas i'r capelau newyddion sydd yn cael eu hadeiladu yn y dref. Pan y mae cynnulleidfa yn myned i gael capel newydd, y maent yn y cyffredin yn ei adeiladu yn uwch i fyny yn y dref, mewn lle mwy parchus; ac y mae rhai yn tybied fod y capelau felly yn cael eu dwyn oddiar y werin, a'u cyfleu mewn lle cyfleus i'r bobl fawr, ac iddynt hwy yn unig. Ond yr ydym yn cwbl gredu nad oes sail i'r dybiaeth hon, o leiaf i'r graddau y mae rhai yn ofni; oblegid y mae rhanau o'r dref oedd flynyddau yn ol yn cael eu cyfrif yn barchus, erbyn hyn wedi myned yn nythle i bob aderyn aflan, ac felly y mae y Cymry tlodion o gymeriad da, yn gystal a Chymry cyfoethog, yn dringo i fyny o honynt; ac fel hyn y mae corff y bobl yn eu symudiadau yn dilyn y capelau, neu fe allai y gellir dyweyd yn fwy priodol, mai y capelau sydd yn dilyn y bobl. Nid ydym yn haeru nad oes rhai yn cael eu gadael o gyrhaedd y capelau; ond y mae y rhai hyny yn y cyffredin yn ddosbarth na wnant ddefnydd o'r capelau; ac felly y mae hwn yn fwy priodol yn faes i'r "Genadaeth Drefol" nag i'r capelau. Nid capelau sydd yn eisieu yn y maes hwn, ond ystafelloedd cenadol, a chenadon i fyned ar ol y dosbarth o Gymry sydd ynddo.

Er fod Heol Beaufort wedi dirywio yn fawr i'r hyn y bu, eto y mae yn barchus mewn cymhariaeth i amryw o heolydd sydd o'i hamgylch. Y mae yr heolydd hyn gan mwyaf yn gulion a budron, gyda *courts* yn rhedeg allan o honynt, pa rai sydd hynod niweidiol i iechyd a moesoldeb y rhanau iselaf o'r dref; ac y mae yn resyn meddwl fod cynifer o Gymry yn byw yn y fath leoedd,—lleoedd nas gallant ar y goreu ond bod yn feithrinfäoedd i bob afiechyd, corff a meddwl. Yn wir, yr ydym yn credu y byddai yn rhaid cael gwyrth mewn natur a gras i beri iddi fod yn wahanol. Yr ydym yn sôn llawer am baganiaid India ac Affrica, ac nid heb achos; ond pe deuai ambell i Gymro o'r wlad gyda ni ar nos Sadwrn, neu ddydd Sul, trwy rai o'r heolydd hyn, yr ydym yn credu y byddai yr olwg ar lawer Cymro a Chymraes, a chlywed eu hiaith anweddus, yn ddigon i beri iddo anghofio pob peth arall am dymmor maith. Y mae y rhan fwyaf o'r tai yn yr heolydd hyn, a'r oll yn y *courts*, yn *three-story high*, ac yn "*straight up and down*," fel eu gelwir, gyda seleri o danynt. Ac yn aml fe fydd tri theulu yn byw yn yr un tŷ,—cymerwyr y tŷ yn gosod y seler i un teulu, a'r *garret* i deulu arall. Mewn *courts* bychain yn rhai o'r heolydd hyn, y mae deg neu ddeuddeg o dai, sef pump neu chwech o bob tu gyferbyn â'u gilydd, a dau neu dri o deuluoedd lliosog ymhob tŷ. Meddylier am *court* bychan gyda deg o dai ynddo, a thri theulu yn cynnwys gŵr a gwraig a thri o blant ymhob teulu; y mae felly gant a hanner o fodau dynol yn ceisio byw yn yr un cwrt—ar ychydig iawn o latheni ysgwâr o dir—llai o dir nag sydd o dan un tŷ a gardd fechan yn Nghymru! Nid ydynt cydrhyngddynt oll yn cael cymaint o awyr iach ag sydd yn ddigonol i gadw gradd o iechyd mewn un dyn. A dyma i ti, ddarllenydd, fantais i ffurfio dychymyg egwan o natur y lleoedd y mae genym i ymweled â hwynt; ac ni a fyddwn yn fynych yn cael golygfeydd o dlodi a thrueni nas gallwn eu desgrifio. Y mae llawer o dlodi yn bresennol yn cael ei achosi gan farweidddra masnach. Ond allan o bob cant o'r amgylchiadau pruddaidd y byddwn yn dyfod o hyd iddynt, gellir priodoli namyn un pum' ugain o honynt i feddwdod rhyw aelod neu aelodau yn y teulu. Weithiau ceir gwraig weddw oedranus mewn trueni mawr oblegid meddwdod ei hunig fab. Bryd arall, ceir gwraig a phump neu chwech o blant ar newynu oblegid gŵr a thad meddw; ac ambell dro, ïe, ysywaeth, yn lled aml, ceir gŵr a phlant mewn helbul flin oblegid gwraig a mam feddw!

Un o'r dyddiau cyntaf i ni fod yn y rhan yma o faes y genadaeth, yr oeddym yn myned trwy un o'r heolydd a nodwyd; a throisom i un o'r *courts*, pryd y cawsom olygfa nas gallwn ei hanghofio yn fuan. Ni wnawn ymgais i ddesgrifio y tŷ hwn, am y byddai hyny yn rhwym o fod yn fethiant hollol. Digon yw dyweyd fod yr olwg arno yn hynod o dlawd a budr, heb ond ychydig iawn o ddarnau hen ddodrefn o'i fewn. Y mae y teulu yn cael ei wneyd

i fyny o ŵr a gwraig, a phedwar o blant; y gŵr yn Wyddel, ac yn Babydd, a'r wraig yn Gymraes o G——i, a'r plant felly yn gymysgryw, *mongrels*, ys dywed y Sais. Wrth agosâu at y tŷ, yr ydym yn clywed sŵn ffraeo mawr; ac wedi myned i mewn, yr ydym yn cael y gŵr yn eistedd ar ddarn o hen ystôl wrth y lle tân (ond heb dân ynddo), a'r holl blant gyda'u gilydd ar lawr mewn congl, a'r wraig yn sefyll ar ganol y llawr yn pregethu i'r gŵr, ac yntau yn awr ac eilwaith trwy lw yn bygwth ei lladd os na byddai iddi ddal ei thafod. Yr ydym yn gofyn beth ydyw y mater, ac yn dymuno arnynt beidio ag ymrafaelio â'u gilydd; ac y mae Pat, chwareu teg iddo, yn tewi yn lled fuan. Ond y mae'r Gymraes yn myned ymlaen yn fwy hyawdl nag o'r blaen, gan deimlo bellach yn fwy diogel, mae yn debyg. Dywedai fod ei gŵr yn ei "llwgu" hi a'i phlant—nad oedd efe wedi gweithio braidd ddim er ys pedair wythnos ar ddeg. Mewn trefn i adferu heddwch, ceisiem ninnau ei pherswadio i gredu fod gwaith yn brin, ac yn anhawdd ei gael. Dywedai hithau nad oedd o yn treio am waith, a phan y caffai ddiwrnod, ei fod yn gwario y cwbl am ddiod. Yr ydoedd yn awr tua chanol dydd, a dywedai nad oedd y plant na hithau wedi cael yr un tamaid i dori eu heisieu er boreu y diwrnod cynt! Ac nid oes genym sail dros ei hammheu yn hyn, oblegid gwyddom fod llawer yn Lerpwl ar y pryd mewn sefyllfa gyffelyb. Yr oedd ein calon yn llosgi ynom, yn enwedig yn achos y plant bychain a diniwed. Nis gallem yn yr amgylchiad hwn lai na theimlo gwirionedd y ddysgeidiaeth fod cysylltiad anwahanol rhwng pechod a chosb, ynghyda gwirionedd athrawiaeth y cyfrifiad. Y fath gymysgfa ydyw y byd hwn! Deifes a Lazarus yn ymyl eu gilydd! Y fath amrywiaeth mewn sefyllfäoedd sydd yn Llynlleifiad! Mewn un heol, y mae pobl yn nghanol llawnder o bob danteithion a moethau, tra yn yr heol nesaf ati y mae ugeiniau yn nghanol tlodi a phob trueni, ar ddarfod am danynt o eisieu tamaid o fara!

Yr ydym yn synu na buasai gan y Cymry yn Liverpool ryw gymdeithas gristionogol i gynnorthwyo eu cydgenedl mewn caledi. Y mae gan y Saeson eu *Ladies' Charity Society*, a'u *Central Relief*, a lliaws mawr eraill, y rhai sydd yn gwneyd daioni dirfawr. Ond nid oes gan y Cymry, hyd y gwyddom ni, unrhyw gymdeithas na sefydliad, gyda'r eithriad o'r "Cartref Cymreig" *(Welsh Home)* i ferched Cymreig yn Duke Street, o dan arolygiaeth Mrs. Eleazer Pugh, a boneddigesau eraill, yr hwn sydd eisoes wedi gwneuthur daioni mawr. Y mae yn wir fod y Cymry fel eraill yn cael cymhorth o gymdeithasau elusengar y Saeson; ond buasai yn fanteisiol iawn cael un i'r Cymry yn benodol, ac o dan arolygiaeth Cymry yn unig. Diau y buasai y cyfryw sefydliad yn fanteisiol iawn i foesoldeb a chrefydd y Cymry yn y dref. Y mae gan genedloedd eraill yn Liverpool, er eu bod yn llai eu rhif o lawer na'r Cymry, megys yr Iuddewon, gymdeithasau o'r fath. Ai nis gellid cael rhyw sefydliad i'r amcan mewn cysylltiad â'r Genadaeth Drefol Gymreig? Ai ni ellid cael dau *Gartref Cymreig*—un yn y pen gogleddol, a'r llall yn y pen deheuol i'r dref, lle y derbynid plant amddifaid i mewn am dipyn, ac i blant wedi eu hesgeuluso yn hollol gan eu rhieni? Ai ni ellid, heb lawer o anhawsder, godi cronfa i amcan mor deilwng â hwn? Pan y gellir cael boneddwr Seisonig yn ddigon haelfrydig i gyfranu ugain mil o bunnoedd tuag at godi *Art Gallery*, ai tybed nad ellir cael boneddwyr Cymreig hefyd yn ddigon haelionus i gyfranu yn helaeth at gyfryw achos â hwn? Byddai y cyfryw sefydliad, neu ei effeithiau daionus, yn parhâu wedi i'r *Art Gallery* fyned ar dân, a phob coffa am dani wedi darfod. Ac oni byddai cyfranu at amcan o'r fath yn gyfleusdra ardderchog i ddynion anfarwoli eu henwau? Yn ddilys, fe fyddai eu coffadwriaeth yn fendigedig, nid yn unig tra bydd y ddaear mewn bod, ond yn y wlad well am dragywyddoldeb.

Ond er nad oes gan y Gymdeithas Drefol yr un ddarpariaeth neillduol eto tuag at gynnorthwyo y tlodion mewn cyfyngder, yr ydym trwy gymhorth boneddigesau crefyddol ac haelionus yn gallu gwneuthur cryn lawer yn y cyfeiriad hwn. Os oes gan y Pabyddion eu *Sisters of Mercy*, y mae genym ninnau chwïorydd sydd yn cyflawni gorchestion, ac y mae eu henwau yn haeddu cael eu cadw i'r oes a ddêl.

Cyn terfynu y waith hon, carem i ferched ieuainc Cymreig Liverpool gymeryd hyn o rybudd oddiwrth hanes a sefyllfa y Gymraes a nodwyd, sef, Rhoddwch eich hunain yn ei lle: Cymraes wedi ei dwyn i fyny yn yr Ysgol Sabbothol, ac yn eglwys Dduw yn Môn, mam Cymru. Yn awr, er nad ydyw eto ond pymtheg ar hugain oed, gallech dybied ei bod yn driugain mlwydd oed! Y mae ei thrueni yn fawr arni mewn gwirionedd, ac y mae erbyn hyn yn hollol baganaidd; oblegid nid ydyw wedi bod mewn unrhyw le o addoliad er ys blynyddoedd lawer, a'r cyfan wedi dyfod iddi fel canlyniad anocheladwy ieuo yn anghymharus. Os bu ieuo anghymharus erioed, y mae hwn yn un, feddyliem ni—Gwyddel a Chymraes, yn Babydd a Phrotestantes. Wrth chwilio a dyfod o hyd i Gymry yn esgeuluso moddion gras, yr ydym yn cael

fod nifer mawr o honynt yn rhai sydd wedi ymgysylltu trwy briodas â chenedloedd eraill. Am bob Cymro neu Gymraes sydd wedi priodi estron-genedl yn dal i fyned i foddion gras gyda y Cymry neu y Saeson, y mae dwsin i'w cael yn esgeuluso pob moddion o ras yn hollol. Ac y mae yn hawdd rhoddi cyfrif am hyn. Buom yn ddiweddar yn ymddyddan â gwragedd Cymreig oedd wedi priodi Saeson, y rhai oedd er ys blynyddau wedi esgeuluso moddion gras yn hollol; ac wrth eu holi am y modd yr aethant felly, dywedent—"Pan briodais i gyntaf, nid oedd y gŵr yn foddlawn i mi fyned i'r capel Cymreig —yr oedd yn rhaid i mi fyn'd gydag ef i'r capel Seisonig, pan y byddai yn myned; a chan nad oeddwn innau yn cael dim pleser yno, mi aethum rywsut yn esgeulus, nes o'r diwedd i mi beidio myned o gwbl."

R. C. Owen..

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

Ar y 5 a'r 6ed o Fai cynnaliwyd cyfarfod pregethu yn Trefforest, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. T. Thomas, Llanddyfri; Ebenezer Pugh, Treorci; a J. C. Jones, Caerdydd, ac y gwnaed casgliadau da.

Y mae'r Parch. Edward Edmunds yn dal ati i draddodi ei ddarlith ar "Evan Harries." Gwnaeth y gwasanaeth hwn ddiweddaf yn Abercynffig, Morganwg, ar y 13eg o Fai. Mae y ddarlith hon wedi bod yn foddion i gasglu amryw filoedd tuag at ddiddyledu capelau.

Un o'r sefydliadau sydd wedi ei godi i fri mewn cysylltiad â bugeiliaeth eglwysig yw y dosbarth Biblaidd; ac un o'r manau lle y mae y sefydliad da hwn yn fwyaf blodeuog yw Capel Newydd, Llanelli. Ar yr 21ain o Fai cynnelid cyfarfod neillduol ar ddiwedd tymmor y gauaf sydd wedi myned heibio, pryd y rhoddwyd tê i holl aelodau y dosbarth gan y gweinidog a'i briod (y Parch. T. a Mrs. James), ac y traddodwyd anerchiadau pwrpasol, yn annogaethol i ddiwydrwydd yn yr haf i gasglu gwybodaeth fel ag i ymgymhwyso ar gyfer gwaith y gauaf nesaf. Terfynwyd tymmor y dosbarthiadau Biblaidd yn nghapel y Tabernacl, Aberystwyth, eleni fel y llynedd, trwy gynnal cyfarfod cystadleuol mawr yn y Neuadd Ddirwestol, dan lywyddiaeth y Parch. Thomas Levi.

Sabbath y 19eg o Fai, a'r nos Lun ganlynol, cynnaliwyd cyfarfod blynyddol capel Seisonig Llanelli. Y Parch. J. Cynddylan Jones, Caerdydd, oedd y pregethwr. Casglwyd £120. Ar yr un dyddiau cynnelid cyfarfod pregethu yn Tŷnewydd, Cwmogwy: y Parchn. E. Matthews; E. Jones, Castellnedd; W. Prytherch, Goppa, a W. Morgan, Trefecca, yn y gwaith.

Y mae eglwys Aberfan, gerllaw Merthyr Tydfil, wedi galw y Parch. T. James, Graig, gynt o'r Blaenau, Mynwy, i'w gwasanaethu fel gweinidog; ac eglwys Penarth, gerllaw Caerdydd, wedi dewis Mr. Phillip Norman, o Athrofa Trefecca, i'w bugeilio.

Yr ydys wedi cychwyn achos newydd yn Gwaelod-y-garth, gerllaw Ffynnon Tâf, Morganwg.

Fel prawf pellach fod yr achos yn Mro Morganwg wedi cymeryd tro, a'i fod yn awr yn ennill nerth ac yn myned ymlaen, mae yr eglwys yn Cadoxton juxta Barry yn helaethu eu capel.

O'r diwedd y mae capel Walton, swydd Benfro, wedi ei adeiladu a'i agor. Pentref bychan yw Walton, tua milldir a hanner o Woodstock, lle y cynnelid Ysgol Sabbothol am flynyddoedd lawer. Agorwyd y capel mewn cysylltiad â Chyfarfod Misol Woodstock, yr wythnos olaf yn Mai, pryd y gweinyddwyd gan amryw o frodyr y Sir, ac hefyd y Parchn. T. Thomas, Llanddyfri; E. Edmunds, Abertawe; ac A. Jenkins, Meidrim.

Nos Iau, y 6ed o Mehefin, traddododd y Parch. John Lewis, Caerfyrddin, ei ddarlith ar y Prawfion o Sefyllfa Ddyfodol, yn Waenifor, Sir Aberteifi, i gynnulleidfa lïosog. Yr oedd y ddarlith y peth i'r dim i'r rhan hon o'r wlad.

Bu y Parch. *Principal* Edwards, M.A., yn traddodi y pregethau blynyddol yn nghapel y Watton, Aberhonddu, ar y 26ain o Fai; a'r Parch. Joseph Jones, Pont Menai, yn cyflawni yr un gwasanaeth ar yr un dydd yn Pembroke Dock; hefyd cynnaliwyd cyfarfodydd blynyddol yn ddiweddar yn y lleoedd canlynol: ar y 19eg o Fai, yn Cwmafon, y Parchn. John Lewis, E. Matthews, a Robert Jones, Treherbert, yn y gwaith: ar yr 2il a'r 3ydd o Mehefin yn Rock, Mynwy, y Parchn. D. Lewis, Llanstephan; D. C. Davies, M.A., ac eraill, yn gweinyddu: Sul a Llun y Sulgwyn, yn Mynydd Cynffig, y Parchn. John Jones, Rhos; Thomas Lloyd, Pontfaen; a Thomas Davies, Roath, Caerdydd, yn pregethu: ar yr 2il a'r 3ydd o Mehefin, yn Glandŵr, gerllaw Abertawe, y Parchn. W. John, Penybont; M. D. Jones, Caallwchwr; a D. Saunders yn

gwasanaethu: hefyd yn Maesybar, gerllaw Abertawe, ar y 9 a'r 10fed o Mehefin, y Parch. S. Price, Gower, ac eraill, yn y gwaith: ac ynglŷn â'r Gymanfa Gyffredinol, cafwyd cyfarfod pregethu hynod lwyddiannus yn Pontrhydfendigaid, Sir Aberteifi, pryd y traddodwyd pregethau nerthol gan y Parchn. D. Saunders, N. Cynhafal Jones, J. F. Jones, B.A., ac Owen Evans, Rhuthyn.

Yr ydys yn ddiweddar wedi cynnal amryw o gymanfäoedd canu cynnulleidfäol, megys yn Lledrod, Caerdydd, Merthyr, ac Aberhonddu, gydag amryw o fanau eraill yn yr amrywiol Siroedd. Gwnaed elw o £21 trwy'r cyfarfod yn Aberhonddu tuag at Ysgoloriaeth Ieuan Gwyllt.

Yn nghyfarfod blynyddol Athrofa y Bala, Mehefin 7, 1878, cyflwynwyd tysteb i Mr. Evan Owen, Llyfrgellydd yr Athrofa. Dygwyd yr achos ger bron gan y Parch. L. Edwards, D.D., a chyfeiriodd at wasanaeth ffyddlawn Mr. Evan Owen i eglwys y Methodistiaid yn y Bala, yn gystal ag fel Llyfrgellydd i'r Athrofa, am lawer o flynyddoedd. Yr oedd y dysteb yn amlygiad o deimladau da ei gyfeillion a'r myfyrwyr yn y Bala, ac o'r pris a roddent ar ei ymdrechion. Ar alwad y Cadeirydd, D. Roberts, Ysw., Liverpool, daeth Mrs. Doctor Edwards ymlaen i gyflwyno y dysteb, sef £21 10s. mewn pwrs hardd, gydag anerchiad âg enwau y Tanysgrifwyr wedi eu hysgrifenu yn brydferth mewn llyfr addurniedig gan Mr. T. J. Jones. Mae yr anerchiad fel y canlyn,—"Anwyl frawd, Er ys dros ugain mlynedd, yr ydych wedi llenwi y swydd o gasglydd cyfraniadau eglwys y Methodistiaid yn y Bala. Nid yw hon yn swydd ddedwydd; ond er pob anhawsder a thrafferth sydd ynglŷn â hi, yr ydych wedi parhâu yn ffyddlawn i'w chyflawni hyd heddyw, gan wneuthur eich dyledswydd yn ddiffael a didderbyn wyneb. Yr ydym hefyd yn dymuno cydnabod eich gofal a'ch dyfalwch fel Llyfrgellydd yr Athrofa am gymaint o flynyddoedd. Credwn mai zel dros yr achos mawr yw gwreiddyn eich gwasanaeth; ac ni a fynem adgoffa i chwi diriondeb Arglwydd y winllan, yr hwn sydd yn grasol wobrwyo am waith sydd yn wobr ynddo ei hun; ond fel prawf fod eich gwasanaeth dibaid yn cael ei brisio genym ninnau eich chwïorydd a'ch brodyr, yr ydym yn dymuno ar i chwi dderbyn y dysteb fechan hon. Gan obeithio y rhoddir i chwi hir oes i wasanaethu eich Harglwydd. Ydym. (Yma dilyn y rhestr o'r enwau)." Diolchodd yr henadur hybarch a heinyf yn gynhes i bawb a fu yn trafferthu gyda, ac yn cyfranu at, y dysteb a'r anerchiad, y rhai a fawr werthfawrogai, gan addaw gwneyd ei oreu yn y dyfodol. Wedi ysgwyd llaw â'r Cadeirydd, dychwelodd i'w eisteddle yn nghanol mawr gymeradwyaeth.

Yn nghyfarfod pregethu blynyddol Rhiwbryfdir a Than y grisiau, pregethid gan y Parchn. Edward Matthews, Joseph Thomas, David Phillips, David Lloyd Jones, a David Charles Evans.

Capelau newyddion Penycaerau, Brynmawr, a'r Nant, yn Lleyn, a agorwyd yn ffurfiol ar yr ail wythnos o'r mis diweddaf. Pregethwyd yn y naill a'r llall o'r cyfarfodydd gan y Parchn. Joseph Thomas, Dr. Harries Jones, W. Dickens Lewis, M.A., J. Hughes, Carneddau, a David Roberts o Fôn. Cynnaliwyd hefyd gyfarfod pregethu yn Nefyn; y Parchn. Joseph Thomas, D. Saunders, a H. Jones o Lerpwl, yn gweinidogaethu.

Capel newydd Glanyrafon (Seisonig) gerllaw Gwrecsam a agorwyd yn niwedd Mai, pryd y pregethodd y Parchn. E. Williams, Runcorn; T. Francis, ac E. Jerman, Gwrecsam; J. Foulkes, Liverpool; W. Foulkes, Rhos; T. Jones, Llangollen; R. L. Roose; F. B. Caldwell, M.A., ac Isaac Jones. Hyd yn hyn, y mae dyled drom yn aros ar yr adeilad, yr hwn a gostiodd oddeutu £1000, a'r tir yn £200. Mae yn gapel helaeth a hardd.

Cyfarfod Misol Sir Fflint a gynnaliwyd yn Bodffari ar y 3ydd a'r 4ydd o Fehefin. Yr oedd marwolaeth annysgwyliadwy Mr. D. Jones Morris, un o flaenoriaid Bodffari, ar ol ychydig ddiwrnodau o anhwyldeb, ac yn neillduol marwolaeth ddisyfyd Mr. P. M. Evans, Treffynnon, wedi effeithio yn ddwys ar yr holl frawdoliaeth oedd yn bresennol; a choffäwyd am danynt gyda'r teimladau dwysaf; a gwnaed hefyd nodiadau am danynt mewn pregeth gan y Parch. R. Edwards o'r Wyddgrug. Cyfeiriwyd hefyd at y blaenoriaid ymadawedig, Mri. Thomas Evans, Rhuallt; Edward Phillips, Babell; a William Hughes, Bryneglwys.

Cymanfa'r Sulgwyn yn Bethesda, Arfon, a gynnaliwyd eleni fel arferol yn nghapelau Jerusalem, Carneddi, Brynteg, Gerlan, a Tŷ'nymaes, pan y gweinyddodd y Parchn. Edward Matthews, David Phillips, David James, J. Morgan Jones, a T. C. Phillips, o'r Deheudir, a Joseph Thomas, John Davies (Bontddu), D. Lloyd Jones, M.A., a Griffith Ellis, B.A., o'r Gogledd.

Yn nghyfarfodydd pregethu'r Sulgwyn yn Llanrug a'r Cysegr (Arfon), yr oedd y

Parchn. W. Evans, M.A., James Donne, N. Cynhafal Jones, J. Lewis o Gaerfyrddin, a J. Williams o Hermon yn gweinidogaethu.

Yn Nghyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd fis Mehefin, coffäwyd mewn modd teimladol am farwolaeth tri o hen flaenoriaid ffyddlawn, Mri. Thomas Williams, Tregeiriog, Thomas Lloyd, Cynfal, a John Davies, Trewyn, Corwen.

Yn Nghyfarfod Misol Llansantffraid, Sir Ddinbych, yn Mehefin, coffäwyd am brofedigaeth chwerw y Parch. Dr. Llugwy Owen yn colli ei anwyl briod, ar enedigaeth un bychan; a dymunwyd ar y Parch. Owen Jones, Llandudno, ysgrifenu llythyr cydymdeimladol ato, a myned i ymweled âg ef dros y frawdoliaeth.

Dydd Llun yr 17eg o'r mis diweddaf, ymgasglodd tyrfa lïosog i weled gosod i lawr faen coffadwriaethol capel newydd (Cymreig) y Methodistiaid yn Buckley, gerllaw'r Wyddgrug. Y capel cyntaf yno a agorwyd tua 60 mlynedd yn ol; a'r ail yn 1835, yr hwn oedd wedi myned yn cer a llaith, a'r olwg arno oddifewn ac oddiallan heb fod yn anrhydedd i'r cyfundeb. Llywyddid gan y Parch. Richard Lloyd, gweinidog Methodistiaid Seisonig a Chymreig Buckley; a chymerwyd rhan yn ngwasanaeth y cynnulliad gan y Parchn. Roger Edwards, Mr. Peters o Gaerlleon, y Parchn. H. Barrow Williams, Mr. Crampton, Buckley, J. P. Davies, M.A., a J. Williams, Caerlleon, ond yn benaf gan Thomas Peters, Ysw., Celyn, yr hwn a osododd y maen yn ei le, gan offrymu ei rodd o £100. Dyma'r pedwerydd can' punt a roes efe fel hyn o fewn corff dwyflynedd, heblaw dau hanner can' punt, a lliaws o symiau llai. Estynwyd *trowel* addurniedig i Mr. Peters gan Mrs. Margaret Peters, un o aelodau hynaf yr eglwys; a Mr. Edward Edwards, y diacon hynaf, a gyflwynodd i Mrs. Peters, Celyn, *cruet stand* arian fel dangosiad o barch iddi oddiwrth yr eglwys yno. Daeth llïaws ymlaen i ddodi eu rhoddion ar y maen; ac y mae dros £500 erbyn hyn wedi dyfod i law.

---

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### Y CYDGYNGHORFA YN BERLIN.

Mae cydgynghorfa prif alluoedd Ewrop, i ystyried a phenderfynu ynghylch achosion y Dwyrain, wedi ei hagor yn Berlin, prifddinas Germany, dan lywyddiaeth y Tywysog Bismark. Iarll Beaconsfield, prifweinidog y deyrnas hon, ac Ardalydd Salisbury, yr Ysgrifenydd Tramor, yw cynnrychiolwyr ein llywodraeth ni yno. Cedwir y dirgeledigaeth mwyaf ynghylch gweithrediadau y Cynghor; ond meithrinir hyder cyffredinol y bydd heddwch yn cael ei sicrhâu; a chan fod llywodraeth ymherodraeth y Twrc wedi methu, a hithau ei hun yn diflanu, dysgwylir y bydd y Gynghorfa yn gwneyd ymdrech i sicrhâu rheolaeth uniawn a sicr ar y cenedloedd a gamdrinid o'r blaen gan y Tyrciaid.

### RHAGOROLDEB AC NID CYDRADDOLDEB.

Yr oedd un foneddiges ac awdures yn Llundain yn y ganrif ddiweddaf yn dadleu yn zelog dros gydraddoldeb gwladol a dinesig. Mynasai hi ddiddymu y bendefigaeth a Thŷ yr Arglwyddi, ac i bawb gael eu hystyried yn gydradd a chyffredin. Un diwrnod yr oedd Dr. Johnson, y tywysog llenorol, wedi ei wahodd i giniawa gyda hi; a chydag iddo eistedd wrth y bwrdd, efe a ddywedodd wrth un o'r gweision oedd yno yn gweinyddu, "Hwdiwch, James; cymerwch gadair, ac eisteddwch yn ymyl eich meistres, i giniawa gyda ni." Yn ebrwydd, gwraig y tŷ a ddywedai yn ffrochwyllt, "Pa beth, Dr. Johnson! ai amcanu yr ydych fy sarhâu a'm hiselu? chwi a wyddoch yn dda mai nid gweddaidd a fyddai i'm gwasanaethwr eistedd i fwyta gyda mi." "Ho, ho, *madam*," ebe yr hen athronydd gonest, "mi welaf mai egwyddor eich athrawiaeth am gydraddoldeb yw, darostwng y rhai sydd uwchlaw i chwi i lawr hyd atoch, ac nid codi y rhai sydd islaw i fyny atoch chwi." Byddwn weithiau yn cyfarfod â rhai dynsodion mewn cylchoedd crefyddol yn achwyn yn dost am fod rhyw bersonau yn cael mwy o le nag eraill o'u brodyr; a mynent, dybygid, ddwyn pawb i'r un lefel. Ond ni chwynant ddim os byddant hwy eu hunain yn cael eu dewis i swyddau a lleoedd o flaen ac uwchlaw eraill. Fel y foneddiges hono, maent hwythau am ddarostwng y rhai sydd yn ymddangos uwchlaw iddynt, ac nid am ddyrchafu y rhai a adewir yn îs na hwynt-hwy eu hunain.

Nid oes un math o fywyd yn dangos cydraddoldeb. Yr oedd gan foneddwr o'n cydnabyddiaeth blanigfa o goed ieuainc, y rhai a blanesid ar yr un amser. Efe a aeth i'w gweled ar ryw adeg, pan y cafodd rai o'r coed wedi tyfu yn llawer uwch na'r lleill. "Wel," medd efe ynddo ei hun, "dyma chwi oll o'r un rhywogaeth, ac wedi eich planu ar yr un pryd; a phaham y rhaid i rai o honoch ymgodi o flaen y lleill?" a chan ddefnyddio ei gyllell-logell, efe a dorodd ymaith frigau y rhai talaf, ac a'u gadawodd i gyd yn yr un maint. Daeth yno eilwaith ymhen amser; ac erbyn hyny, yr oedd eraill, ddwy neu dair coeden ieuanc, wedi ymddyrchafu yn uwch o gryn dipyn na'u cymdeithion. "O," ebe'r boneddwr, "mi welaf mai ofer i mi feddwl

eich cael chwi bob un o'r un faint a'ch gilydd; ac fel chwychwi, felly y teulu dynol: mae yn annichonadwy mewn un gymdeithas cael pawb yn gydwastad."

Ymhob Cyfarfod Misol a Chymdeithasfa, ceir bob amser ryw nifer yn rhagori ac yn blaenori ar lïaws y frawdoliaeth fyddo yn bresennol. Dyna barchedigaeth oedran yn gysylltiedig â chymeriad anrhydeddus, neu synwyr a doethineb diammheuol, neu ddawn a medr, neu wroldeb a chryfder meddwl, a'r cyffelyb,—mae y rhai sydd yn eu meddu yn sicr o fod ar y blaen yn y cynnulliadau cynnadleddol, er heb wneuthur un ymgais am hyny. Y mae, ni a wyddom, ryddid i bob un o'r brodyr gwyddfodol ddyweyd ei feddwl yn hyf ar bob mater; y maent oll o ran hawliau yn gydradd; ond, yn gyffelyb i'r blanigfa o goed, mae rhai o naturiaeth yn fwy na'r lleill; ac y maent felly wedi eu trefnu i fod yn fwy gwasanaethgar a defnyddiol. Rai blynyddau yn ol, yr oedd gweinidog, yr hwn oedd yn ddyn da, ond nid wedi cyrhaedd safle uchel iawn yn y pulpud, neu gylchoedd eraill, yn cyd-deithio âg ysgrifenydd un o'r ddwy Gymdeithasfa, pryd y dywedai, "Rhaid i chwi, ryw ychydig sydd ar y blaen yn y gymanfa, edrych pa fodd y byddwch yn gweithredu yno rhagllaw. Y mae teimlad cryf yn ymledu mai rhyw nifer fach o bersonau, a'r rhai hyny yr un rhai o hyd, sydd yn siarad ac yn gwneyd y cwbl yno; ac nid yn hir bellach y goddefir y cyfryw dra-uchafiaeth." Nid oedd wiw i'r ysgrifenydd ymresymu â'r brawd, a dyweyd fod yn rhydd iddo ef, a phob un o'r pregethwyr neu y blaenoriaid, pan mewn Cymdeithasfa, draethu ei syniad yn ddiwarafun ar yr achosion a ddygid ger bron; na, yr oedd gwaith y gymanfa wedi ei gyfyngu i ychydig ddwylaw, ac os na welid diwygiad, yna trychineb, os nad dinystr, oedd i ddygwydd. Mewn Cymdeithasfa ddilynol, yr oedd y gweinidog cwynfanus neu feirniadol, yn nghyfarfod y pregethwyr, yn eistedd mewn sedd yn ymyl y sedd fawr, fel ei gelwir; a'r llywydd, wedi cael awgrym gan yr ysgrifenydd, a alwodd arno i gymeryd rhan yn yr ymddyddan ar y pryd. Ond i hyny yr oedd efe yn anmharod neu yn annhueddol; ac er ei gymhell unwaith ac eilwaith, ni wnaeth ond ysgwyd ei ben heb yngan gair. Yn nghyfarfod y pregethwyr a'r blaenoriaid yn y prydnawn, yr oedd efe wedi cymeryd ei eisteddle o fewn pump neu chwech o seddau i'r sêdd fawr; ac oddiyno galwyd ef eto i lefaru ar yr ymdriniaeth hon ac arall; ond dystawrwydd a geid oddiwrtho yn y prydnawn hefyd. A phan ddaeth cyfarfod y bore drannoeth, yr oedd efe wedi ymwthio i'r *seat* bellaf dan yr oriel, nes yr oedd agos ymysg yr anweledigion, ac yn ddiogel oddiwrth y perygl o gael ei alw mwyach gan y llywydd. A fu efe ar ol hyny yn gwneuthur cyffelyb achwyniad â chynt, ni chlywsom; ond bu yn ofalus rhag traethu felly wrth neb o swyddogion y Gymdeithasfa. Yr oedd efe yn gawr pan yn un o ddau yn ngherbyd y rheilffordd, ond yn ymdeimlo ac ymddwyn fel un wedi bychanigo yn ddirfawr yn nghanol cynnadleddau y gymanfa.

Nis gwyddom ai arwydd er daioni yw drefn o osod cylch olynol, o'r cyntaf i'r ail, ac o'r ail i'r trydydd, ac felly ymlaen, tuag at lanw swyddau a gorchwylion. "Yr wyf wedi clywed," medd y diweddar Barch. Henry Rees, "fod rhai Ysgolion Sabbothol yn penodi yr holl athrawon i holwyddori yn eu cylch. Wel, os rhaid bod yn gydradd gyda hyny, gweithiwch allan yr un egwyddor ymhob peth. Rhodder yr holl frodyr sydd yn yr eglwys i ddechre canu yn eu tro bob yn ail Sabboth, ac edrychwch a all hyny weithio yn dda." Dylai pob pregethwr, medd rhywrai, gael pregethu yn ei dro mewn Cyfarfod Misol, a phob blaenor gael ei anfon ar gylch i'r Gymdeithasfa; a dylai pob Cyfarfod Dosbarth *in rotation*, medd rhywrai eraill, benodi eu pobl i swyddogaethau neillduol. Ond ai tybed, meddai y Parch. William Roberts, Amlwch, unwaith, mai *longitude and latitude* lle y byddo dyn yn trigiannu ydyw safon ei ddefnyddioldeb mewn cyfundeb? Ai nid wrth y peth ydyw dyn ei hunan, ac nid ymha le y mae ei drigfod, yr ydym i farnu ei deilyngdod i gynnrychioli ei frodyr yn llysoedd pwysicaf yr enwad? Nac ymestyner, ynte, am gydraddoldeb, ond ymdrecher tuag at ragoroldeb; o herwydd dyna sydd yn ennill sylw a pharch cyfreithlawn a gwirioneddol.

---

### LLAWER YN FYR.

MAE yr Arddangosiad yn Paris, a agorwyd gan Dywysog Cymru, a Llywydd Ffrainc, yn myned bob wythnos yn fwy llwyddiannus o ran ymwelwyr. Un dydd o'r ail wythnos o Fehefin, yr oedd cymaint â 132,000 o bersonau wedi ymweled â'r *exhibition*. Prif adeilad yr Arddangosfa a wnaed o haiarn a gwydr. Yn nesaf i Ffrainc, gan Prydain y mae mwyaf o le ynddi.

Iarll Russell a fu farw ar yr 28ain o Fai, yn yr oedran teg o 86 mlwydd Fel Arglwydd John Russell, daeth yn aelod o Dŷ y Cyffredin mor fore â'r flwyddyn 1813. Bu yn ceisio am Ddiwygiad Seneddol i ddechre yn 1819; ac iddo ef y mae yr Anghydffurfwyr yn ddyledus am ddilëad y *Test and Corporation Acts* yn 1828; ac efe a ddŷg ymlaen y *Reform Bill* yn llwyddiannus yn 1832. Bu yn ysgrifenydd Trefedigaethol, ac yn Ysgrifenydd Tramor i'r Llywodraeth, a dwywaith yn Brifweinidog. Yn 1861, dyrchafwyd ef i'r bendefigaeth dan y teitl o Iarll Russell. Cafwyd ef yn wastad yn rhyddfrydig, ac yn gwir garu ei wlad a'i genedl, gan wneuthur a allai i lesâu dynoliaeth yn gyffredinol. Yr oedd y Llywodraeth am roddi parch cenedlaethol i'w goffadwriaeth trwy ei gladdu mewn rhwysg yn Mynachlog Westminster; ond yr oedd efe yn ei ewyllys wedi gorchymyn dodi ei gorff yn meddrod ei dadau yn Chenies, gerllaw Rickmansworth.

Bu farw Duces Argyle bore'r Sadwrn olaf yn mis Mai, wedi ei tharo gan y parlys mud yr hwyr blaenorol. Gadawodd bump o feibion, a saith o ferched. Ei mab hynaf yw Ardalydd Lorne, yr hwn a briododd y Dywysoges Louisa, merch i'r Frenines.

Bu Arglwyddes Llanofer yn ddiweddar dan driniaeth lawfeddygol yn Llundain, er mwyn cael symud pilen *(cataract)* oedd wedi dyfod ar ei llygad. Yr oedd y Frenines o Balmoral yn anfon cenadwri bellebrol i ymofyn pa fodd yr oedd yr Arglwyddes yn dyfod ymlaen, ac felly hefyd Tywysog a Thywysoges Cymru yn ymofyn yn ddyddiol yn ei chylch. Dywedir fod y driniaeth hyd yn hyn yn effeithio yn hynod foddhäol, a bod gobaith cryf am lwyr adferiad gwelediad y llygad.

Yr holl weinidogion Efengylaidd yn Philadelphia, America, a gyttunasant yn unfryd ar y penderfyniad o'u bod yn gwneyd yn hysbys fod yr hen athrawiaeth uniongred am dragywyddol gosb y rhai oll sy'n marw yn anedifeiriol yn cael ei dal yn ddiysgog gan yr holl eglwysi efengylaidd o fewn eu terfynau. Y mae cant o eglwysi Philadelphia yn perthyn, meddir, i'r Methodistiaid Esgobyddol, neu'r Wesleyaid Americanaidd.

Dywed Esgob Llundain iddo dderbyn hysbysiad gyda'r pellebyr am yr ysgogiad crefyddol arbenig yn Tinnevelly, India'r Dwyrain, yn mynegu nad oes dim llai na deunaw mil o'r brodorion yn ymofyn addysg gyda golwg ar fedydd cristionogol. Cadwyd dydd Llun y Sulgwyn drwy holl esgobaeth Madras fel dydd o ddiolchgarwch am y fath gynhyrfiad daionus ac ëang.

Mewn argraffiad o Weddi yr Arglwydd a ddygir allan gan gyhoeddydd yn Paris, ceir y weddi mewn mwy na deuddeg cant o ieithoedd a changen-ieithoedd.

Pan ofynwyd i'r Duc de Morny am ei ddynodiad o ddyn moesgar, ei ateb ef ydoedd, "Dyn yn gallu gwrando yn astud am bethau y gŵyr efe ei hun yn dda am danynt, pan eu mynegir gan ddyn nas gŵyr ddim yn eu cylch."

Y Gwir Anrhydeddus Russell Gurney, Aelod o'r Senedd, a *Recorder* dinas Llundain, a fu farw ar y dydd olaf o Fai, yn 74 mlwydd oed. Mab ydoedd efe i'r Barwn Gurney, barnydd enwog, a'r hwn a ysgrifenodd amryw o bregethau Robert Hall wrth eu gwrando, a brawd i'r Parch. J. Hampden Gurney, clerigwr efengylaidd tra derbyniol. Bu Mr. Russell Gurney ddwywaith yn yr America, fel dirprwywr dros y Llywodraeth Brydeinig. Adnabyddid ef fel cristion cywir a gweithgar, un a ymdrechodd lawer dros achos y wir efengyl; ac efe a fu farw gan orphwys ar Graig yr Oesoedd.

Y mae'r Parch. A. H. Mackonochie, ficer eglwys St. Alban, Holborn, Llundain, un o'r rhai blaenaf ac enwocaf ymysg y Defodwyr, ar ol iddo hir a thrahâus anufuddhâu i'r gyfraith mewn cysylltiad â'r dull o gynnal addoliad cyhoeddus yn Eglwys Loegr, wedi cael, ar y dydd cyntaf o Fehefin, ei attal rhag gweini ei ddyledswyddau, na derbyn ei daliadau, fel ficer ei blwyf am dair blynedd. Yr oedd y ddedfryd, yr hon a weinyddwyd gan Arglwydd Penzance, yn ei gondemnio hefyd i dalu holl gostau yr erlyniad. Er gwaethaf y ddedfryd, yr oedd Mr. Mackonochie yn pregethu yn ei eglwys y Sabboth canlynol, a'r holl wasanaeth uchel-ddefodol yno fel cynt. Appelio y mae efe yn erbyn y ddedfryd; ond ni fydd yn rhyfedd os clywir cyn hir ei fod yn ngharchar am wrthryfela yn erbyn yr awdurdodau.

Anghenrheidiol yw cael tri chant o bunnoedd bob wythnos tuag at gynnal y *Stockwell Orphanages*, a'r sefydliadau eraill, a ddygir ymlaen gan Mr. Spurgeon; ac hyd yn hyn y mae efe yn llwyddo i dderbyn y mawrswm gofynol.

Y mae y gyfraith newydd, gefnogaethol i wragedd Prydain, wedi dyfod i weithrediad. Os ceir gŵr yn euog o greulondeb at ei wraig, gan ei churo yn gorfforol, gall y llys neu yr heddynadaeth, o flaen pa un y dygir yr achos, drefnu na bydd y wraig rhagllaw yn rhwym i fyw gyda'i gŵr, ond fod *judicial separation* yn cymeryd lle o herwydd creulondeb, tra y bydd y gŵr dan orfod i ddarpar at ei chynnaliaeth. Gellir gorchymyn hefyd ar i'r plant dan ddengmlwydd oed fod dan ofal y wraig.

Ymddengys fod y *Sisters of Charity* sydd yn bresennol yn gweini ar y cleifion yn ysbyttai Paris yn debyg o fyned dan orfod i roddi eu lleoedd i fyny i *nurses* cyffredin. Yn ol y drefn hyd yn hyn, y "chwïorydd" hyny sydd ar waith yn holl *hospitals* gwladol Ffrainc, ac yn y rhan fwyaf o'r trefydd, yn edrych ar ol y cleifion, ac yn llywodraethu pob peth perthynol iddynt. Ond caed allan eu bod yn cymeryd mantais o'u swyddogaeth i broselytio i'r ffydd Babaidd rai nad oeddynt yn flaenorol yn Babyddion, a'u bod hyd yn nôd yn arfer erlidigaeth lle y gwelont eu hymdrechiadau yn aflwyddiannus.

William Campbell, yr hwn a elwid y Cawr Ysgotig, a fu farw yn ddiweddar yn Newcastle yn ddwy flwydd ar hugain oed. Ei daldra oedd chwe' troedfedd a phedair modfedd; ac yr oedd yn mesur wyth troedfedd o gylch ei ysgwyddau, saith troedfedd a deng modfedd o gylch ei wregys, a thair troedfedd o gylch croth ei goes; a thybid mai efe oedd y dyn mwyaf o faint yn y byd adnabyddus. Yr oedd yn byw yn gymedrol. Bu farw o ennyniad yr ysgyfaint, wedi ei achlysuro gan anwyd a gafodd ar ymweliad â Llundain.

Cadwyd cyfarfod jubili gweinidogaeth y Parch. Hugh Morgans, Sammah, Cemmaes, Sir Drefaldwyn, yr hwn a urddwyd fel gweinidog yn eglwys yr Annibynwyr yn Sammah, Mehefin 5, 1828. Ychydig o flynyddoedd yn ol, wrth deimlo ei nerth yn gwanhâu, mynegodd y byddai raid iddo naill ai rhoddi i fyny ei weinidogaeth, neu ynte gael cydweinidog. Llwyddwyd gydag ef i barhâu ei swydd, a chafodd y Parch. R. O. Evans, Glânhafren, i gydlafurio âg ef. Bydd yn bedwar ugain mlwydd oed ymhen llai na blwyddyn eto. Nid oes yno yn bresennol ond dau oedd yn aelodau eglwysig y pryd yr ordeiniwyd ef. Yn yr anerchiad iddo oddiwrth Gyfundeb Sirol Trefaldwyn, dywedir, "Yr ydym yn cydnabod yn barchus eich caredigrwydd dirodres, cywirdeb eich amcanion, dyfalwch a ffyddlondeb hunanymwadol eich llafur, doethineb eich cynghor, gonestrwydd brawdol eich cerydd, symledd a difrifwch eich gweddïau, nodwedd cyfeiriadol ac efengylaidd eich pregethau, glöewder eich ffraethineb, ynghyda phurdeb dilychwin eich cymeriad."

**Tua dechreu y mis diweddaf, cymerodd damwain ofidus iawn le trwy i bwll glo gymeryd tân yn Haydock, yn Lancashire. Collodd dros 230 eu bywydau, ac anafwyd amryw. Amlygir cydymdeimlad â'r teulu-oedd a amddifadwyd trwy y ddamwain, a gwneir ymdrech i leddfu eu profedigaeth trwy gymhorth arianol mewn amryw barthau o'r deyrnas.**

**Gwnaed ail gais am fywyd Ymherawdwr Germany y mis diweddaf. Pan yn myned yn ei gerbyd trwy un o'r heolydd, gollyngwyd dwy ergyd ato o lofft yn yr heol, a chlwyfwyd ef yn drwm, ond nid yn angeuol. Enw y llofrudd yw Carl Nobiling, yr hwn oedd wedi ei raddio yn ddoctor *philosophy*, ac wedi ysgrifenu llawer ar amaethyddiaeth, ac sydd yn un o'r *Socialists*. Ceisiodd ei saethu ei hun ar ol saethu yr ymherawdwr William; ac hyd yn hyn mae ei adferiad yn ansicr. Ond sicrheir fod yr ymherawdwr yn gwella yn feunyddiol. Mae yr ymgais lofruddiol wedi effeithio yn ddwys ar holl Germany, a dangosir yr adgasrwydd mwyaf tuag at y cynlluniau bradwrus yn erbyn y llywodraeth, o ba rai yr oedd gweithred waedlyd Nobiling yn ffrwyth.**

---

## BASGED Y GWIREBAU.

*Y Chweched Fasgedaid.*

LXI.

NID oes un dyn heb ei fai neu ei anmherffeithrwydd. Pwy bynag sydd yn edrych am gyfaill heb wendidau yn perthyn iddo, sydd yn ymgynnyg ar hynt aflwyddiannus. Yr ydym yn ein caru ein hunain gyda ein holl ffaeleddau; ac oni ddylem garu ein cyfeillion yr un modd?

LXII.

Mewn pethau bychain, ac nid mewn gweithredoedd mawrion, y mae dyn yn dangos gwir ansawdd ei feddwl a'i nodweddiad yn fwyaf amlwg.

LXIII.

Gall y creadur bychan gwanaf, trwy grynhoi ei alluoedd ar ryw un gwrthddrych, gyflawni rhywbeth; ac fe ellir gweled y cryfaf, trwy wasgaru ei alluoedd ar lawer o bethau, yn methu gwneuthur unpeth. Mae'r dyferyn, yn ei syrthiad parhâus, yn tyllu ei ffordd trwy y graig galetaf; ond nid yw y ffrydlif gwyllt, sydd yn rhuthro drosti gyda dadwrdd echrys, yn gadael ond ychydig, os dim, o'i ôl arni.

LXIV.

Dwy neu dair awr wedi eu colli trwy segurdod yn more diwrnod byr, sydd golled ddirfawr. Tebyg i hyny yw colli tymmor ieuenctyd, trwy orphwys heb gyrhaedd daioni ac heb wneuthur daioni.

LXV.

Nis gall unrhyw ymdrech o eiddo dyn fyddo yn rhodio ar y gwastadedd mewn niwl, lwyddo i ymlid y niwl hwnw ymaith; ond trwy ddringo i'r bryn gerllaw, dyna efe yn sefyll yn deg uwchlaw'r niwl, ac felly allan o hono. Yn gyffelyb, dyn ar wastadedd natur ddiadgenedledig, a ymdrecha yn ofer yn erbyn pechod; ond wedi iddo ddringo fry i ffordd y bywyd, yno, yn awyrgylch uchel gwir grefydd, ni bydd pechod yn arglwyddiaethu arno.

LXVI.

Hen foneddwr synwyrgall a ddywedai wrth ei ferch, "Cymer ofal, fy anwylyd, rhag priodi dyn tlawd; ond cofia hefyd mai'r dyn tlotaf yn y byd yw yr hwn sydd yn meddu arian heb ganddo ddim rhagoriaeth arall."

LXVII.

Mae eofnder, neu wroldeb, yn gyffredin yn gibddall, ac felly yn salw mewn cynghor, ond yn rhagorol mewn cyflawniad. Wrth gynllunio, da yw gweled peryglon; ond wrth gyflawni, gwell peidio sylwi arnynt oddigerth eu bod yn aruthr bwysig.

LXVIII.

Y grefydd sydd yn ddiffygiol i *lywodraethu* dyn, ceir hono hefyd yn ddiffygiol i *achub* dyn. Os nad yw crefydd un yn effeithiol i'w neillduo oddiwrth bechaduriaid ar y ddaear, bydd yr unrhyw grefydd yn aneffeithiol eto i'w neillduo oddiwrth bechaduriaid yn uffern.

LXIX.

Llawer o bobl sydd yn meddu profiad fel goleuni yn y pen ôl i'r llong, yn dangos y llwybr y mae hi wedi ei basio eisoes, ond heb feddu doethineb fel llusern yn y llaw i'w cyfarwyddo yn y llwybr sydd o'u blaen.

LXX.

Mae yn anhawdd dywedyd pa un yw y diffyg mwyaf mewn rhieni wrth fagu eu plant: ai manylrwydd a phenderfyniad heb deimlad a serchogrwydd, neu ynte teimlad a serchogrwydd heb fanylrwydd a phenderfyniad. Gyda'r naill, mae plentyn yn debyg o fyned yn ysglyfaeth i ysbryd caethiwus neu ragrithiol, a chyda'r llall yn dueddol o gael ei feithrin yn orthrymwr neu yn wrthryfelwr. Y mae gwir gariad yn wastad yn benderfynol; ac y mae gwir ddiysgogrwydd yn wastad yn gariadlawn.

LXXI.

Ceir rhai pobl dda yn dangos llawer o wendid ac ynfydrwydd trwy ildio i dymher naturiol anfoddog a grwgnachlyd, yn lle ymdrechu i'w marweiddio neu ei hiawn lywio, ac o herwydd yr hyn y maent yn rhwym o golli cysur crefydd.

LXXII.

Trwy attal neu orchfygu digofaint yr awr hon, gall dyn ragflaenu a rhwystro gofidiau dyddiau lawer.

# Amrywiaethau.

### CADW'R SABBATH.

Gwniadyddes, oedd wedi anghofio nos Sadwrn anfon adref ryw waith a wnaethai, a ddywedai wrth nith fechan oedd gyda hi am gymeryd y bwndel dan ei mantell, a myned âg ef i dŷ'r foneddiges oedd yn berchenoges arno. "Ni bydd neb yn ei weled felly," meddai hi. "Ië," ond atebai'r eneth fach, "ai nid ydyw yn ddydd Sul dan fy mantell, 'modryb?"

### TRAFFERTH Y MUDO.

Cristion da ar ei wely angeu a ddywedai wrth gyfaill a ofynai iddo pa fodd yr oedd, "Mae fy meddwl yn bur dawel, ond mae fy nghorff yn dra phoenus. Mi wn i ba le yr wyf yn myned, a'r lle goreu i gyd yw hwnw; ond yr wyf yn cael mai trafferthus a phoenus yw'r mudo oddiyma yno."

### CASAU Y GOLEUNI.

Llawforwyn fudrog, pan yr achwynid wrthi am aflerwch yr ystafelloedd, a ymesgusodai trwy ddyweyd, "Yr wyf yn sicr y ceid yr ystafelloedd yn ddigon glân oni byddai am yr haul diffaeth yna sydd yn dangos y cornelau budron." Felly mae y rhai sydd yn caru pechod yn casâu gair y gwirionedd, am fod ei oleuni yn dwyn i'r amlwg gonglau aflan eu calonau a'u bucheddau.

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## SHILLONG.

Llythyr oddiwrth y Parch. T. Jerman Jones, dyddiedig Mawrth 22ain, 1878.

Y mis o'r blaen, torodd tân allan mewn rhan o'r orsaf, a gwnaeth ddinystr mawr iawn ar dai a meddiannau: llosgodd yr holl *Bazaar*, oddigerth dwy neu dair o siopau, a diangfa gyfyng a gafodd y rhai hyny; gwnaeth tuag ugain o siopau yn ulw; llosgodd yn un o honynt werth tua Rs.50,000 o eiddo. Ni losgwyd llai na thua chant o dai ysgrifenyddion a chynnorthwywyr eraill yn swyddfäau y Llywodraeth, y rhai oeddent yn byw gerllaw; a chydag anhawsdra mawr y diffoddwyd ef cyn iddo gyrhaedd y rhan lle y mae yr Ewropëaid yn byw. Dechreuodd y tân tua thri y prydnawn, ar y Sabboth. Y noswaith hono torodd tân allan drachefn mewn tri lle yn y pentref yn ystod y nos, a bu agos iawn i'r capel gymeryd tân. Yr oedd y gwreichion a'r fflamau yn myned heibio o fewn rhyw ychydig latheni i'w dalcen; a chrynem gan ofn ei weled yn olwyth o fflamau; ond trugarhäodd y Brenin mawr, ac ni a lwyddasom i gadw y tân draw.

Yr wythnos ddiweddaf ymwelwyd â ni gan ystorm o wynt cryf a dinystriol iawn. Yr oedd cenllysg mawrion a pheth gwlaw wedi disgyn yn ystod y dydd, ond tua deg y nos daeth yn wynt—yn drowynt a chorwynt aruthrol o gryf, yn siglo, yn plygu, ac ysgytio pob peth y ffordd y cerddai, a gwlaw trwm yn disgyn yr un pryd. Gwnaeth ddinystr mawr i dai Ewropëaid a brodorion. Daeth heibio i'n capel ninnau yn ei rym, ac ysgubodd ran fawr o'r to, y *beams*, a'r cyfan, a chariodd hwynt oll dipyn o bellder; ysgydwodd a chraciodd hefyd y mur yn un pen iddo, a hyny mor ddrwg fel y bydd raid tynu i lawr yr holl fur yn y rhan hono, a'r conglau hefyd hyd y sylfaen, a'u hadeiladu oll o'r newydd. Ac wedi cael cydymgynghoriad am noswaith neu ddwy gyda'r cyfeillion, penderfynwyd dechreu ar unwaith. Y peth yr oeddem yn teimlo yr anhawsder mwyaf gyda golwg arno oedd, o ba le y ceid arian i gwblhâu y gwaith, gan y byddai iddo gostio, fel yr oeddem yn cyfrif, o £40 i £50. A dechreuwyd gofyn am addewidion a chasglu yn y fan. Ni a obeithiwn allu llwyddo i gael hanner y swm yma ymhlith Ewropëaid a brodorion, a rhagor os gellir. Daeth hwn ar ein gwarthaf yn hollol ddisymwth. Pan oeddem yn hwylio casglu i orphen gwneyd i fyny y swm angenrheidiol i'w doi â haiarn, dyna ni yn cael ein taflu at ein hanner i drallod arall. A beth a wnawn? Mae yr haiarn i'w doi wedi cyrhaedd Mawphlang—mewn 14 milldir i Shillong. Darfu i Capt. Willans, mab yn nghyfraith y *Chief Commissioner*, yn garedig anfon am dano o Loegr, a daeth allan yn un o longau y Llywodraeth, fel os gellid felly ei gael rywbeth yn rhatach; ond er hyn fe gyst swm mawr, a buasem ar ein goreu glas yn dyfod â hyn o gwmpas ac i orpheniad; ond yr oeddem wedi penderfynu ymdrechu ein goreu i ddyfod trwy hyn heb ddyfod at neb tu allan i ni yma, gan fod y cyfeillion caredig iawn gartref wedi cyfrannu mor helaeth yn barod. Ond dyma y baich newydd hwn ar ein cefn yn hollol annysgwyliadwy, a baich trwm yw hefyd. A beth sydd i'w wneyd? i ba le y trown am ymwared a help? ni ddaw gwaredigaeth o'r mynyddoedd. Nid yn ofer yr appeliwyd atoch erioed o'r blaen, ac yr wyf yn gobeithio ac yn credu fod yna rai eto, ïe llawer, yn barod i roddi help i ni i ddyfod i fyny gyda hyn, oblegid byd helpu ein gilydd yw hwn. Gyfeillion caredig, tosturiwch wrth dŷ y Brenin mawr, sydd wedi myned yn noeth a drylliedig ei furiau yn y lle hwn. Ac i bawb a rydd dipyn, diolchwn lawer iddynt am wneyd hyny yn fuan, er

i ni, os gellir, ei orphen cyn dechreu y tymmor gwlyb. Peidiwch a dychrynu hefyd; nid oes genym eisieu llawer, ond ychydig o help yn y cyfwng hwn, a hyny yn fuan ac yn siriol. Pe bae yna bedwar neu bump a roddai £5 yr un, neu ddeg neu ddeuddeg a roddai £2 yr un, y fath help a chalondid fyddai hyny; neu ugain gŵr neu wraig a roddai un gini yr un, neu fachgen neu eneth a gasglai ddeg swllt at hyn, gallant fod yn sicr eu bod yn gwneyd gwaith da a chymeradwy; bydd pob ceiniog, a chwech, a swllt, yn help ac yn garedigrwydd âg achos yr Iesu. Un hwb eto, gyfeillion serchog, ac yr wyf yn credu y bydd y cerbyd i fyny y clip hwn eto, ac wedi cyrhaedd pen y bryn; bydd y mur drylliedig wedi ei adeiladu, ei ben wedi ei orchuddio â haiarn yn lle â gwellt; yna ni a gawn gysgu yn dawel a dibryder. Cewch chwithau ran yn y gwaith da hwn; ac wedi ei gwblhâu, bydd i ni yma ddiolch i chwi o'r galon, a chawn lawenhâu ynghyd yn noniau a gras yr un Gwaredwr: "Canys chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi drwy ei dlodi ef."

Wedi derbyn y llythyr uchod, penderfynodd y Cyfeisteddfod Gweithiol, dan yr amgylchiadau neillduol y cyfeirir atynt, roddi y £25 anghenrheidiol o gyllidau y Gymdeithas. Mewn llythyr diweddarach, dywed Mr. Jones:—

"Daeth eich llythyr i law, ac yr oeddwn wedi meddwl ysgrifenu gair neu ddau atoch heddyw; ond yr wyf wedi bod mor brysur gyda'r capel, yn ymdrechu ei orphen erbyn yfory, fel y methais a chael dim hamdden; ond cewch air yr wythnos nesaf. Byddwn yn cynnal gwasanaeth yn y capel ar ol ei adgyweirio y Sabboth nesaf. Ni a fuom tua dau fis gyda'r gorchwyl, a bydd y gost o hyny yn unig tua £70 o leiaf, yn ychwanegol at y gost o roddi to haiarn arno, yr hwn a orphenwyd ei roddi i fyny yr wythnos hon, ac y mae yn edrych yn dda iawn."

---

## CHERRA.

RHAN O LYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN ROBERTS, DYDDIEDIG MAI 11EG, 1878.

BYDD yn dda genych glywed fod y gwaith mawr yn dal i fyned rhagddo ryw gymaint o hyd. Wythnos i'r cyfarfod eglwysig diweddaf, yr oeddym yn derbyn tri o'r newydd i'r eglwys. Un ydoedd fachgen ieuanc sydd yn yr ysgol yma o Shella; yr oeddwn i yn ei adwaen yn dda yn Shella, byddai yn dilyn y moddion yn gyson ar y Sabboth. Cynnygiodd ei hun yma tua chwe' mis yn ol, ond dywedwyd wrtho y byddai yn well iddo aros am ryw gymaint, ac fe arosodd yn bur ddiddig hyd yn ddiweddar. Tystiai y rhai sydd yn cydlettŷa ag ef ei fod wedi gwella llawer iawn ymhob ystyr er ys tua blwyddyn. Un arall ydyw hen wraig o'r enw Ka Kymi Ka Sunamon. Y mae ei merch yn yr eglwys er ys amser maith, a geneth dda iawn ydyw hyd yn hyn. Hen wraig wedi gweled llawer o'r byd ydyw hon; y mae wedi bod yn Lloegr unwaith, beth bynag, yn glanio meddai hi yn Sytampton (Southampton). Yr oedd yn Cawnpore yn amser y *mutiny.* Torwyd pen ei meistres a saethwyd ei meistr o flaen ei gwyneb yno, a chipiwyd y baban o'i breichiau a rhoddwyd ef ar flaen y bidog mewn mynyd. Rhedodd am dri diwrnod heb damaid o fwyd hyd nes y cyrhaeddodd yn ddamweiniol i le o ddiogelwch; a hi oedd y gyntaf i roddi *warning* yn y lle hwnw. Y mae wedi bod ar ei meddwl er ys amser maith i dd'od i roddi ei hunan i'r Arglwydd Iesu. Pan yn gofyn iddi yn y cyfarfod eglwysig beth a dueddodd ei meddwl i droi fel hyn at Iesu Grist, dywedai, "Yr wyf yn meddwl mai gweled mor ddiddym ydyw pob peth y byd yma;—yr wyf wedi gweled llawer o hono," meddai, "ond ni welais fawr ynddo heblaw gwagder." Yr oedd yn dyweyd yn syml iawn, ac yn deall digon i fod yn gadwedig. Gobeithio y caiff nerth i ddal ei ffordd bellach, ac i fod yn addurn i grefydd Mab Duw. Y trydydd, oedd dyn canol oed neu well, o'r enw U Babon, o bentref Mawbehlakar. Ymddengys y bu ef yn aros yn Nongsawlia tua deng mlynedd ar hugain yn ol gyda Mr. a Mrs. Lewis. Ymddengys hefyd iddo ymbellhâu yn raddol, a chadw draw a wnaeth am yr holl flynyddoedd. Dywedai iddo gael aml i rybudd gan ei Dad Nefol yn ystod yr amser hwn, yn enwedig yn y blynyddoedd diweddaf. Byddai yn cael breuddwydion enbyd iawn. Ymddangosai Iesu Grist iddo yn ei rybuddio i droi yn ol, ac yntau yn addaw, bob tro, y byddai iddo wneyd. Bu afiechyd hefyd yn ei rybuddio. Ond ychydig fisoedd yn ol bu yn sal iawn dan y *jungle fever*, a gwnaeth ei feddwl i fyny, os byddai yr Arglwydd mor dirion a'i wella, y byddai iddo roddi ei hunan iddo am byth. Mor fuan ag y gwellâodd ddigon, daeth ar unwaith i'r capel, ac y mae wedi dyfod yn gyson byth er hyny. Yr oedd yn dda iawn gan bawb yma ei weled, a rhoddwyd croesaw y tŷ i'r hen afradlawn. Ddoe daeth â'i wraig a'i blentyn yma er iddynt gael dysgu darllen Gair Duw. Rhodded Duw nerth iddo i ddal ei ffordd ac ychwanegu cryfder.

## JAINTIA.

Llythyr oddiwrth y Parch. Griffith Hughes, dyddiedig Jiwai, Mai 11eg, 1878.

Er pan ysgrifenais atoch o'r blaen bum ar daith yn Sohkha. Yr wyf wedi trefnu math o gyfarfod ysgolion rhwng y lle hwnw a Nongtalang. (Dyma yr unig leoedd ag y gellir eu hûno fel hyn, gan fod yr eglwysi eraill mor bell oddiwrth eu gilydd.) Sefydlwyd y cyfarfod hwn ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf, ac yn Ionawr cynnaliwyd cyfarfod yn Nongtalang, pryd y daeth holl bobl Sohkha drosodd. Yn y bore holwyd hwy yn y bennod gyntaf yn yr *Hyfforddwr*, a dammeg y deng morwyn, y ddwy ysgol yn ateb bob yn ddau. Yn y prydnawn holwyd y plant yn y *Catecism Cyntaf*. Cafwyd cyfarfod da iawn. Nid yn unig yr oedd y ddwy ysgol wedi dysgu allan y rhanau penodedig yn dda, ond yr oeddynt yn eu deall hefyd, a chafwyd atebion rhagorol, a hyny yn lled gyffredinol hefyd. Yr ydys wedi trefnu i'r cyfarfod hwn gael ei gynnal bob chwarter, mor bell g y gellir. Yr anhawsdra mwyaf ar ffordd hyn yw y bydd y gwlaw yn fy attal i fyned yno y tymmor gwlyb. Ar y 25ain cynfisol cychwynais tua Sohkha i gynnal yr ail gyfarfod, a chyrhaeddais yn gysurus cyn yr hwyr. Cefais y cyfeillion oll yn iach a chalonog. Erbyn deg o'r gloch yr oedd pobl Nontalang a Lamin wedi dyfod, ac yr oedd yr ysgoldŷ yn anghysurus o lawn. Y mae hon yn adeg boeth iawn ar y flwyddyn, cyn dyfodiad y gwlaw, a chan fod pobl yn llenwi y drysau, yr oedd yn anhawdd iawn sefyll, ac yr oedd y bobl a minnau â'n hwynebau yn rhedeg gan chwys. Yr oedd y cyfarfod yn llawn mor llwyddiannus a'r un yn Nongtalang. Y mae y cyfeillion yn cymeryd yn dda at hyn. Holwyd hwy yn yr ail bennod o'r *Hyfforddwr*, Dammeg yr Efrau, a hanes y Diluw yn y Catecism Cyntaf. Yn yr ail gyfarfod, bedyddiwyd gwraig a phlentyn yr athraw. Ymddyddanwyd âg ef a hithau am eu gwybodaeth a'u profiad er eu bedyddio hi a derbyn y ddau i gymundeb; yr oedd ef wedi bod yn aelod o'r blaen. Yr oedd yn parhâu yr un mor boeth os nad poethach na'r bore, ac yr oeddwn yn agos a methu sefyll i bregethu; ond yn ddisymwth, ar derfyn y bregeth, pan oeddym yn parotoi i gyfranogi o Swper yr Arglwydd, aeth mor dywyll nas gallem fyned ymlaen, a daeth ystorm fawr o daranau a chenllysg, yr hon a barhäodd am oddeutu 15 mynyd; wedi hyny cliriodd ymaith, ac yna eisteddodd 20 o honom i gofio angeu ein Gwaredwr. Wedi hyny aeth cyfeillion Nongtalang adref, ac aethum innau a nifer o gyfeillion Sohkha i Lamin, gan adael y lleill i ymgyfarfod yn Sohkha. Llanwyd yr ysgoldŷ yn Lamin gan wrandäwyr astud, ac yr oeddym yn bur gysurus hyd nes y daeth dyn meddw i aflonyddu arnom, a bu raid ei fwrw ymaith ar ganol yr oedfa. Wedi hyny aroswyd hyd nes oedd yn dechreu tywyllu i ganu hymnau ac egluro eu hystyr i'r bobl, yr hyn yr oeddynt yn ei fwynhâu. Y mae yr achos yn Sohkha yn parhâu i wisgo gwedd lewyrchus. Ymunodd tri â'r eglwys er dechreu y flwyddyn—un o Sohkha, un o Lamin, ac un o Padduh, pentref oddeutu tair mildir oddiyno. Yr wyf wedi anfon athraw newydd yno, un o athrawon ysgol Jiwai, gan ei fod yn ysgolaig pur dda, ac yn deall egwyddorion crefydd, ac felly yn gallu arwain yr eglwys. Y mae yr achos yn Nongtalang yn ymddangos yn dechreu gwella ychydig. Y mae tair neu bedair o ferched yn dysgu darllen ac yn dilyn y moddion ar y Sabboth. Yr wyf yn deall hefyd fod dwy o ferched wedi ymuno â'r eglwys yn Jongushen y mis diweddaf.

### JIWAI.

Er dechreu y flwyddyn hon, yr ydym wedi derbyn dwy i'r eglwys, sef mam a'i geneth. Yr oedd yr holl deulu wedi cynnyg eu hunain fisoedd yn ol, ond oedwyd eu derbyn hyd oni byddent wedi deall trefn cadw yn well. Y mae y tad a'r mab heb ddyfod i ymofyn yr ail waith; ond daeth y fam a'r lodes fach oddeutu wyth oed. Pan oedd rhai o'r brodyr yn dyweyd wrthi am aros hyd nes y deuai yr holl deulu, torodd allan i wylo, a dywedodd, "Na, nis gallaf aros hyd nes y deuant hwy; y mae arnaf eisieu cael fy nghadw, pa un bynag a ddeuant hwy ai peidio." Yr oedd wedi gwneyd cynnydd pur fawr mewn gwybodaeth er pan gynnygiodd ei hunan gyntaf. Rhoddwyd derbyniad rhwydd iddi. Ond y mae yn ddrwg genyf mai nid calonogol yw fy adroddiad i gyd y tro hwn. Bu raid i ni ddiarddel pedwar er dechreu y flwyddyn—un aelod a thri o ymgeiswyr. Torwyd un allan am fyned i ddawnsiadau paganaidd; ac yr wyf yn meddwl fod y ddysgyblaeth wedi gwneyd lles iddo, o herwydd y mae yn fwy cyson yn y moddion er y pryd hwnw na chynt. Torwyd y tair eraill am arfer iaith aflan a ffiaidd tra yn cweryla.

---

Derbyniwyd 12s. oddiwrth Miss M. Hughes, Llanelwy, swm a gasglwyd gan enethod ieuainc sydd yn ei dosbarth, tuag at gynnaliaeth geneth y diweddar U Juban.

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON

# Y DRYSORFA.

RHIF. 574.] AWST, 1878. [LLYFR XLVIII.


## PERAROGL CRIST.

CYNGHOR GWEINIDOGAETHOL A DRADDODWYD YN NGHYFARFOD YR ORDEINIO YN NGHYMDEITHASFA GWRECSAM, MEHEFIN 13, 1878,


GAN Y PARCH. EDWARD MATTHEWS.


*(Wedi ei ysgrifenu i'r* DRYSORFA *ganddo ef ei hun.)*

2 CORINTHIAID ii. 14, 15, 16: "Canys i Dduw y byddo y diolch, yr hwn yn wastad sydd yn peri i ni oruchafiaeth yn Nghrist, ac sydd yn eglurhâu arogledd ei wybodaeth trwom ni ymhob lle. Canys perarogl Crist ydym ni i Dduw, yn y rhai cadwedig, ac yn y rhai colledig: i'r naill yr ydym yn arogl marwolaeth i farwolaeth, ac i'r lleill yn arogl bywyd i fywyd; a phwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?"

**CEIR yr Apostol Paul, o dan wahanol gymhariaethau, yn ymdrin cryn lawer â natur a phwysfawrogrwydd gweinidogaeth yr efengyl, yn enwedig yn yr epistolau hyn at y Corinthiaid. Defnyddia yma, yn y geiriau a ddarllenwyd, y gymhariaeth o *berarogl*, er egluro y mater pwysig, ïe, y pwysicaf o gwbl i greadur, o ddal y cyfrifoldeb o weinidog y testament newydd. Mae rhai esbonwyr yn meddwl fod y gymhariaeth yn cyfeirio at arferiad o roesawu gorchfygwyr adref i'r prifddinasoedd, ar ol ennill buddugoliaethau mawrion. Arweinid, meddir, y gorchfygedig yn rhwym wrth y cerbydau, yn arwyddion y buddugoliaethau. Gellid meddwl nad yw hyn yn annaturiol; canys yn ddiau, y mae geiriau mewn cysylltiad â Christ, fel buddugoliaethwr mawr, yn debyg o fod yn gyfeiriol at arferion felly: "Gan ddileu ysgrifen-law yr ordeiniadau, yr hon oedd i'n herbyn ni, yr hon oedd yn ngwrthwyneb i ni, ac a'i cymerodd hi oddiar y ffordd, gan ei hoelio wrth y groes; gan yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, efe a'u harddangosodd hwy ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt arni hi." Dywedir y byddai rhai o'r carcharorion gorchfygedig hyn dan obaith sicr o ollyngdod wedi cyrhaedd y ddinas, ond yn unig eu dangos ar gyhoedd fel arwyddion o fuddugoliaethau. Yr oeddent yn sicr o arbediad bywyd, er bod yn ddarostyngedig i anfri a darostyngiad mawr. Yr oedd y lleill, eilwaith, o dan sicrwydd marwolaeth ddiarbed. Byddai'r bobl, i'r dyben o roesawu eu dewrion, yn gwneuthur perarogl llysieuog, ac yn taenu blodau ar hyd y ffyrdd, ac ystrydoedd y ddinas, nes pereiddio yr awyr â'r arogl hyfryd. Yn gymaint a bod rhai yn golledig, wedi eu sicrhâu y lleddid hwy ar ol cyrhaedd y ddinas, yr oedd marwolaeth iddynt hwy yn dyfod yn nês gydag arogl y blodau, a bywyd a rhyddhâd i'r lleill ag oedd o dan addewid arbediad. Felly, yr oedd y perarogl yn arogl marwolaeth i'r naill, ac yn arogl bywyd i'r lleill.**

**Yn yr adnod gyntaf o'r testun, dywedir fod "Duw yn eglurhâu arogledd ei wybodaeth ymhob lle" drwy ei genadon, "ac yn peri i ni oruchafiaeth yn Nghrist." Yn ol yr esboniad uchod, y meddwl yw, Dyma ni yn cael ein dwyn drwy yr holl wledydd, i'n dangos fel rhai gorchfygedig, ac felly yn esiampl o allu gras. Dangosir ynom ni fod Crist yn orchfygwr mawr ar holl allu y gelyn,**

ac wedi darostwng pechod, er ei rym, o dan ei draed. Yn awr, wele Grist yn ein dangos ni drwy y gwledydd, neu "ymhob lle," yn arwyddion ac yn rhyfeddodau o'i allu yn darostwng nwydau ysbrydol a naturiol. Os hyny ydyw'r meddwl yn y fan hon, daw y mater yn agos i'r cyfeiriad hwn: fod yr Iesu ynom ni yn dangos ei allu a'i ras, drwy ddarostwng ein nwydau pechadurus, a dyfod â'n meddyliau yn ufudd o dan yr iau i'w wasanaethu, ac i ufuddhâu i'w orchymynion sanctaidd. Lladd y nwydau pechadurus, heb ladd y dyn pechadurus, sydd yn drefn ogoneddus, yn werth ei dangos "ymhob lle." Nid oes dim yn ymddangos yn wrthun yn yr esboniad, ond yn hytrach yn cydfyned â geiriau eraill o eiddo yr apostol ynghylch ei achubiaeth, a'i anfoniad i bregethu, fel esiampl ryfedd o allu yr efengyl. Y mae hyny yn ddarllenadwy yn y pregethwr; yr oedd y pethau yr ydoedd yn eu pregethu wedi eu sefydlu yn egwyddorion anfarwol, yn ei achubiaeth ef ei hun. "Gwir yw y gair," meddai, "ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid; o ba rai y penaf ydwyf fi." "Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahâus; eithr mi a gefais drugaredd, am i mi yn ddiarwybod ei wneuthur trwy anghrediniaeth. A gras ein Harglwydd ni a draamlhäodd gyda ffydd a chariad, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu. Eithr o achos hyn y cefais drugaredd, fel y dangosai Iesu Grist ynof fi yn gyntaf bob hiroddef, er siampl i'r rhai a gredant rhagllaw ynddo ef i fywyd tragywyddol." Yn ol y geiriau yna, a'r cyffelyb, ymddengys i Paul gael ei wneuthur yn bregeth ar rad ras cyn ei wneuthur yn bregethwr. Dywedir yn y geiriau a ddyfynwyd ei fod ef, Paul, yn siampl o hir oddef Duw, yn bregeth ddarllenadwy i bob dyn, ïe, yn bregethau ar holl egwyddorion trefn Duw i gadw pechaduriaid; nid traddodi darlithiau ar drefn gras yn unig, eithr eglurhâd gweithredol o'r drefn hono yn y cyfnewidiad gogoneddus a effeithiwyd ynddo ef—dylanwad yr efengyl wedi troi yr enaid ystyfnig, a holl gwrs bywyd, i ddybenion newydd. Y mae Crist Iesu fy Arglwydd yn fy arwain i o gylch ymhob lle, ac yn arddangos ynof *fi* elyn gorchfygedig, arwyddion o'i allu a'i lwyddiant yn darostwng pob gelyn o dan ei draed. Y peth a arddangoswyd ar gyhoedd ar y groes, a arddangosir drwy ras ar gyhoedd ymhob lle ynof fi. Lle yr oeddwn i yn gablwr, yr wyf yn awr yn weddïwr, ac yn bregethwr. Nid dangos ei allu ar ddyn gwan sydd yma, eithr ar yr holl nwydau dieflig a phechadurus yn nghyfansoddiad ysbrydol dyn colledig. Os na fydd y pregethwr, yn amlygrwydd ei achubiaeth, a phurdeb ei ymarweddiad, yn eglurhâd o'r egwyddorion a ddysgir ganddo i eraill, nid ydyw ond marwolaeth ysbrydol yn effeithio yr un farwolaeth ymhob lle.

Yn yspaid eich bywyd, fy nghyfeillion, cedwch mewn cof y cyfrifoldeb ofnadwy sydd mewn pregethu i eraill y pethau nad ydych eich hunain o dan ddylanwad eu crediniaeth, ac felly fod yn foddion rhesymol o galedwch i'r gwrandäwyr, a bod eich hunain yn anghymeradwy. Nis gellwch gael goruchafiaeth yn *un* lle, chwaithach *ymhob* lle, a hyny yn iachus, oddieithr eich bod wedi eich perarogli gan Grist, drwy eich achub a darostwng eich meddyliau yn hollol i "ufudd-dod Crist." Y peth cyntaf a fydd Crist yn ei wneuthur ar ddyn fel cymhwysder i bregethu, a fydd ei wneuthur ef ei hun yn *bregeth*—"Dangos ynof fi." Pregethwr heb un bregeth yw dyn heb fod egwyddorion trefn achub wedi eu cyd-dymheru ynddo drwy ffydd; dyn yn siarad am bethau nad ydyw yn eu teimlo, yn gwneuthur rhith o'u cynnyg i eraill, heb brisio a wnânt eu derbyn ai peidio, sydd yn greadur gwael yn ngolwg Duw, a'r mwyaf truenus yn ngolwg pawb eraill. Fe allai y bydd yn ddarlithydd da ar egwyddorion celfyddydol; ond beth yw hyny mewn cysylltiad â phregethu Crist? oblegid nid celfyddydol yw Crist, eithr bywydol: "Ysbryd yn bywhâu." Nid yw yn bosibl cael gweinidogaeth yr efengyl i redeg allan o un man ond o fywyd ysbrydol. Llef dyn newydd ydyw; ac os na fydd y dyn newydd mewn bod, nis gall fod ei leferydd mewn bod. Rhaid yn gyntaf gymmodi â Duw drwy farwolaeth ei Fab ef; yna bydd gweinidogaeth y cymmod yn dylifo allan, fel afon bur o ddwfr y bywyd. Yr ydym ni wedi ein cymmodi, am hyny yr ydym yn genadau dros Grist yn erfyn, "Cymmoder chwi â Duw."

Bu yr Arglwydd Iesu am y rhan fwyaf o'i oes yn gwneuthur defnydd ei bregethau, sef yn byw allan yr egwydd-

orion yn ei holl gysylltiad â'r byd presennol. Yr oedd y bregeth ar y mynydd wedi ei byw yn berffaith gan Grist, cyn iddo ddechreu pregethu; felly, pregethu yr ydoedd yr egwyddorion oedd yn weledig yn ei holl fywyd; wedi eu hystrydebu ar bob modfedd o dir a droedlodd yn y byd. Yn y bregeth ar y mynydd, y mae yn cyhoeddi gwynfydedigrwydd uwch ben amryw bethau, pethau yr oedd wedi eu byw allan yn ei gysylltiadau dynol ef ei hun, ac felly yn destynau i bregethu i eraill. Y tlodion yn yr ysbryd, y rhai sydd yn galaru, y rhai addfwyn, y rhai sydd yn newynu a sychedu am gyfiawnder, y rhai trugarogion, y rhai pur o galon, y tangnefeddwyr, y rhai a erlidir o achos cyfiawnder, y rhai y dywedir pob drygair yn eich erbyn, a hwy yn gelwyddog —gwyn eich byd. Gwelir fod yr Iesu wedi byw allan i berffeithrwydd yr holl bethau hyn cyn dechreu eu pregethu, felly yr oedd yn sefyll o flaen y byd, ac yn sefyll byth, yn bregethwr byw yn dywedyd, Dilynwch fi. "Yr hwn a'm dilyno i, ni rodia mewn tywyllwch, eithr a gaiff oleuni y bywyd." Yn awr, "chwi yw goleuni y byd. Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Os na ellwch fod yn berffaith fel Crist, rhaid fod digon o oleuni a thebygolrwydd iddo yn eich galluogi i ddywedyd yn gryf, "Dilynwch fi." Byddwch yn teimlo, mae yn ddigon tebyg, eich bod chwi ymhell o fod yn agos at Grist; eto, byddwch fyw yn y fath fodd ag y bydd y byd yn teimlo eich bod ymhell o'i flaen ef, y bydd y bobl yn ymwybodol o'ch ymarweddiad da chwi, fel y bydd eich cadwedigaeth yn sicr yn eu barn hwynt, er fod eu hiachawdwriaeth eu hunain yn ansicr. Os ydych chwi, fy nghyfeillion, wedi eich cyfnewid, a'ch gwneyd yn bregeth, bob un o honoch, pregethwch y pethau a welsoch ac a glywsoch; ond, os nad ydych yn benderfynol o fyw ac ymddwyn yn addas i efengyl Crist, trowch at rywbeth arall, rhag eich bod yn dyweyd celwydd wrth yr Ysbryd Glân, ac yn achos o droi llawer cloff allan o'r ffordd, yn lle bod yn offerynol i'w droi i'r ffordd, a'i gadw rhag disgyn o hono i'r pwll. Gwnewch bob peth yn eich ymlwybriad drwy y byd, yn eich sefyllfa gymdeithasol, a fyddo yn argyhoeddiad i'r gynnulleidfa fod dyn wedi ei achub yn ei hanerch ar y cwestiwn pwysig o'r anghenrheidrwydd o achub eneidiau y gwrandäwyr. Ni fydd *pregethu*, heb fod yn alluog i gario allan argyhoeddiad felly, ond fel "efydd yn seinio neu symbal yn tincian." Pe byddai tafodau goreu dynion wedi eu hûno â thafodau neu ddoniau angylion, dyna fyddai'r sain yn nghlustiau Duw, ac i glustiau dynion hefyd, cyn nemawr amser; canys nid lleferydd dyn, eithr lleferydd Duw, yw gweinidogaeth y cymmod. Cynnorthwyer chwi i ddangos dyn wedi ei achub yn y pregethwr,—dyn colledig wedi ei waredu a'i gadw—dyn balch wedi ei ddarostwng—dyn nwydwyllt wedi ei ddofi, ac yn eistedd wrth draed yr Iesu—dyn aflan, wedi gadael ymdreiglo yn y dom, ac yn "ymlanhâu oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, ac yn perffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw"—ïe, dyn hunanol yn ymwadu âg ef ei hun, ac yn croeshoelio y cnawd, ac felly Crist yn eglurhâu arogledd ei wybodaeth trwom ni ymhob lle.

Golygiad arall, a'r mwyaf cyffredinol yw, fod Duw yn dangos ei allu, ac yn gweithredu mor rymus, drwy weinidogaeth yr apostol, nes peri iddo orchfygu pob rhwystrau, ac felly yn "eglurhâu arogledd ei wybodaeth ymhob lle." Gellir yn rhwydd gyfuno y ddau â'u gilydd, a chymeryd y cwbl yn un darn. Nid ydym yn meddwl y byddwn ymhell oddiwrth y nôd, a'r amcan mewn golwg wrth wneuthur felly. Y naill olygiad sydd yn gyfeiriol at ein personau, a'r llall at ein gweinidogaeth fel *perarogl*. Beth bynag yw y meddwl uniongyrchol, a chyfyng, rhaid i ni gymeryd y ddau gyda'u gilydd; y personau, a'r weinidogaeth.

Perarogl Crist i Dduw ydym yn ein personau. Rhaid i hyn fod yn gyntaf; oblegid, os na fydd ein personau yn gymeradwy, nid yw yn debyg y bydd ein gwaith felly. Peth rhesymol yw meddwl mai dyn ag sydd wedi derbyn y cymmod yn unig a all roi bloedd uwchben gelynion, Derbyniwch y cymmod. Nid yw yn beth tebyg fod Crist yn danfon gelyn iddo ar neges y cymmod; peth posibl ydyw iddo oddef gelyn i wneuthur hyny am dro hir, o herwydd rhyw ddybenion anadnabyddus i ni; eithr y rheol gyffredin yw anfon caredigion pob llywodraeth, i

gymhell ei hawliau, ac egluro ei meddyliau. "Yr ydym ni yn genadon," meddai Paul, "eithr ni a gafais drugaredd," cyn cael gweinidogaeth. Mi a welais oleuni o'r nef cyn dechreu agor y nef o flaen dynion; canys yn y goleuni hwnw y gwelais i oleuni; yr oeddwn i yn flaenorol, er yn ddyn goleuedig yn y pethau a ddysgid yn yr ysgolion, yn dywyllwch yn y pethau perthynol i ddysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu. Bellach, yr ydym ni fel cenadon dros Grist, yn "berarogl Crist i Dduw, yn y rhai colledig, ac yn y rhai cadwedig." "Perarogl Crist i Dduw." *Crist* yw'r perarogl i Dduw; ond yr ydym *ni* wedi ein *gwneuthur* yn berarogl i Dduw drwyddo ef; ond yr oeddem ni gynt fel y cenedloedd eraill "yn dywyllwch, eithr yr awr hon goleuni ydym yn yr Arglwydd." Ond wedi ein gwneuthur felly drwy Grist yr ydym. "Eithr yr awr hon, yn Nghrist Iesu, chwychwi, y rhai oeddech gynt ymhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist." Y mae gwneuthur yn agos drwy waed Crist, llwybr y ddyfodfa at y Tad drwyddo yn agored, a ninnau yn gwneuthur defnydd parhâus o hono drwy ddyfod at y Tad mewn gweddi, yn hanfodol i weinidogaeth effeithiol a pherarogiaidd. Yn awr, Crist yw y perarogl; nid wedi ei wneuthur yn berarogl, eithr efe oedd yn berarogl i Dduw ymhob peth. Gwnaethpwyd ef yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth; ac wrth gario yr egwyddorion hyn allan, yr oedd perarogl i Dduw yn codi i fyny, nes llanw yr holl nefoedd. Yr oedd y nefoedd yn byw o hyd mewn pleser mawr, yn yr arogl hyfryd ag oedd yn dyrchafu o weithredoedd, dyoddefaint, a marw Crist, yr Hwn "a'i rhoddodd ei hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." Y mae yma ddigon o berarogl i'ch perarogli chwi i fod yn berarogl i Dduw, ac i ddynion, ond i chwi fyw yn agos ato—perarogli eich personau, a'ch gwneuthur yn gymeradwy yn yr Anwylyd. Er eich bod eto yn bechaduriaid, wrth ddal cymundeb â Christ, ceir arogl Crist mor gryf a pherarogiaidd arnoch, nes y bydd Duw yn caru aros gyda chwi, a "rhodio yn eich mysg."

Tra yr oedd y byd wedi myned yn ddrewedig, ïe, yn rhy ffiaidd i Dduw allu tynu anadl uwch ei ben, penderfynodd efe ei foddi, a'i foddi a wnaed. Ond, y tu cefn i'r diluw ofnadwy, dacw Noah yn adeiladu allor i'r Arglwydd, ac yn cymeryd o bob anifail glân, ac yn offrymu poethoffrymau ar yr allor. "A'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth; a dywedodd yr Arglwydd yn ei galon, Ni chwanegaf felldithio y ddaear mwy er mwyn dyn, o herwydd bod bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctyd; ac ni chwanegaf mwy daro pob peth byw, fel y gwnaethum: pryd hau a chynauaf, ac oerni a gwres, a haf a gauaf, a dydd a nos, ni phaid mwy holl ddyddiau y ddaear." Cyn y diluw, yr oedd yr arogl mor annyoddefol yn ffroenau y Nefoedd, nes yr achosodd yr ymweliad barnedigaethol, ac y dinystriwyd yr hen fyd. Eithr yn yr aberth, aroglodd arogl esmwyth, peraidd, hyfryd, fel y cafodd ddigon o foddhâd i'w harbed rhagllaw, er mwyn y mwyniant annherfynol a deimlodd yn arogl yr aberth. Daeth dinystr o herwydd dyn; ond dyma arbediad, er holl annheilyngdod *dyn*, er mwyn yr aberth. Gellid meddwl fod Duw yn arogli, gyda'r awel iachus, arogl mor hyfryd nes y mae'n sefyll yn yr arogl, gan dynu anadliadau mwynhäol, ac yn dywedyd, Wel, y mae hwn yn hyfryd! Gallaf fyw yn gysurus yn arogl hwn, ac arbed y byd gyda llaw. Yr arogl hyfryd sydd yn gryfach a pherffeithiach na holl ddrygsawr dyn, fel y dywedodd Duw, Ni chwanegaf daro y ddaear mwy er mwyn dyn, eithr arbedaf er mwyn yr aberth. Yr oedd yr Arglwydd, yn ddïau, yn arogli drwy aberth Noah yr arogl hyfryd oedd yn yr Aberth mawr ar Galfaria, yr hwn yn unig oedd yn perarogli aberth Noah. Cysylltiad allor ac aberth Noah â Christ, oedd yn peri fod y gwasanaeth mewn cysylltiad â Noah mor esmwyth a chymeradwy; fel yn peri i Dduw ymlonyddu yn arbediad y byd. Heb gysylltiad uniongyrchol rhwng aberth Noah â Christ, buasai yr aberth a'r aberthwr yn anghymeradwy, ac yn ffiaidd ger bron Duw. Eithr wele Dduw yn arogli arogl esmwyth o gyfeiriad Calfaria, er ymhell yn y blaen o ran amser, eto yn ddigon cryf i droi pob arogl anhyfryd yn arogl esmwyth, pêr, a hyfryd yn ffroenau'r nefoedd. Peth rhyfedd o adfywiol i nefoedd a daear yw ychydig o wynt o ben Calfaria; bydd Duw a dynion yn cael

anadliadau iachus, parhâus, ac am byth yno; bywyd yn dragywydd i ddynion, a phleser penaf Duw yn ei weinyddiad. Yn aberth Iesu, y mae'r perarogl mewn cyflawnder, yn ddigon i bob byd, bob amser, ac i dragywyddoldeb. "A rhodiwch mewn cariad, megys y carodd Crist ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." Nid oes dim yn yr Iesu ond pereidd-dra, na dim mewn pechadur ond ffieidd-dra; ac y mae cryfder y perarogl yn Nghrist yn pereiddio y drygsawr mwyaf aflan; "yn puro ein pechodau ynddo ef ei hun." Perarogl oedd ei eiriau; yr oeddent yn dyferu perarogledd ymhob lle—"Tecach ydwyt na meibion dynion: tywalltwyd gras ar dy wefusau; o herwydd hyny y'th fendithiodd Duw yn dragywydd. O herwydd arogl dy enaint daionus, enaint tywalltedig yw dy enw, am hyny y llancesau a'th garant." Yr oedd genau a gwefusau Crist yn bur, ei eiriau yn arogl hyfryd. Nid oedd ynddo ddim o duedd i lygru neb, eithr i berffeithio *pawb*. "Ni chaed twyll yn ei enau."

Os yw Duw wedi rhoi ei eiriau yn eich calonau yn weinidogaeth y cymmod, chwithau a fyddwch yn berarogl ymhob lle, ac nid yn llygredigaeth; eich gwefusau yn bur, eich geiriau yn bur, heb ddim llygredig, o duedd i ddrygu moesoldeb, a gwneuthur eich moesoldeb eich hunain yn ammheus; dim a fyddo yn peri gwrid mewn un wyneb, eithr, y galon wedi ei thymheru â gras, fel y byddo eich geiriau yn rasol; "y cyfryw a fyddo da i adeiladu yn fuddiol;" felly yn arogli yn beraidd ymhob lle. Nid yw yn ddigon siarad geiriau grasol yn y pulpud, a geiriau anrasol yn y tŷ y byddwch yn llettŷa, onidê bydd arogl anhyfryd y tŷ yn peri i eiriau grasol y pulpud ddrewi, ac felly gras Duw yn cael ei droi yn drythyllwch. Gall fod *actio* a dynwared hen bregethwyr hyd hwyrbryd y nos, yn ddifyrwch ar y pryd; er hyny gellwch benderfynu nad oes arogl hyfryd yn ei ddilyn. Bydd ieuenctyd y tŷ yn myned i'r gwely, ac yn codi y bore, o dan argraffiadau anffafriol am y pregethwr a barodd y fath ddifyrwch; a phe byddai efe yn pregethu y Sabboth fel angel, byddai yn anhawdd perswadio eu meddyliau hwy mai nid "Satan wedi ymrithio yn angel y goleuni ydyw." Bydd ymddygiad anweddus i'r efengyl, mewn gair neu weithred, o flaen dynion ieuainc, neu wasanaethddynion, yn arogl mor anhyfryd na fyddent yn dewis eich gweled yn aml, na'ch clywed byth. Dilynwch ôl traed Crist, yr hwn a adawodd i ni esiampl, fel y dilynem ei ôl ef. Traed pur yw ei draed; ac y mae'r llysiau peraidd yn arogli yn hyfryd ymhob man lle y mae wedi rhoddi ei draed i lawr arnynt. Bydded i chwithau, wrth rodio ffyrdd y byd hwn, adael arogl hyfryd ar eich ol, megys pe baech yn sathru mewn gardd o berlysiau —fel y gallo y rhai sydd yn eich dilyn gael arogl mor hyfryd, nes eich edmygu a charu byw yn eich llwybrau—eich mwynder yn codi edmygedd, nes dywedyd, "Mor weddaidd ar y mynyddoedd yw traed yr hwn sydd yn efengylu, yn cyhoeddi heddwch; yn dywedyd wrth Sïon, Dy Dduw di sydd yn teyrnasu!" Y mae Crist, fel y gwelir, yn berarogl, ac yn gyflawnder o hono, ïe, yn ddim ond perarogl; eithr, nid hyny yn unig, ond y mae y pregethwr, fel y gwelir yn y testun, yn berarogl Crist i *Dduw*. Hyn sydd yn arwyddo rhyw gysylltiad rhwng y pregethwr â'r perarogl. Fel y dywedwyd ynghylch allor ac aberth Noah, fod cysylltiad rhyngddynt âg allor ac aberth Crist, onidê ni fuasai ynddynt ddim effeithioldeb, dim "arogl esmwyth;" felly hefyd, rhaid bod rhyw gysylltiad rhwng y pregethwr â'r Arglwydd Iesu, oblegid oddiyno rhaid iddo ef dderbyn y perarogliad. Nid oes dim yn berarogl i Dduw heb fod arogl Crist arno; yn arogl Crist y bydd efe yn caru anadlu, a gwneyd ei breswylfa. Nid oes dim arogl ond arogl Crist yn berarogl i Dduw; felly, bydd yn rhaid i ryw gysylltiad gymeryd lle rhwng y pregethwr â Christ, fel y byddo iddo dderbyn o hono ef y grasau hyny sydd yn arogli yn hyfryd yn ffroenau y Goruchaf. A chofiwch, os byddwch yn berarogl Crist i Dduw, y byddwch yn berarogl Crist i bawb ac i bob man.

Nid yw fod un yn bregethwr, ac wedi myned drwy rês o ffurfiau cysegredig mewn cysylltiad â rhyw blaid, yn ei bereiddio. Nid ydyw dwylaw gweinidogion ar ben dyn yn trosglwyddo dim rhinwedd iddo. Ar y mwyaf, nis gall hyny gynnwys ond ffurf, a chymeryd yn ganiataol fod cysylltiad rhyngddo â Duw yn Nghrist, ac felly yn ei ordeinio

o dan ddylanwad y cyfryw grediniaeth. Nis gall gynnwys dim ychwaneg nag arwydd allanol a chymdeithasol o dderbyniad dyn i'r weinidogaeth sydd o dan gymhwysiad eglur oddiwrth Dduw. Nid ydyw dwylaw esgob yn dyfod â dyn yn gyfranog o Grist. Er fod athrawiaeth yr olyniaeth yn myned ymhell yn y ffordd hono, eto nid yw neb o dan rwymau i gredu yr athrawiaeth hono os nad yw yn ewyllysio. O na, oblegid er yr holl bethau yna, y mae yn fwy na thebyg y bydd Judas yn ddiafol. Pregethu Crist heb adnabod Crist, ac heb fod cymundeb âg ef, nis gall fod yn arogl hyfryd i Dduw, na neb arall. Gall y pregethwr fod yn feirniadol, yn athronyddol, ac yn athrylithgar; eto bydd yr holl rinweddau hyn yn ddrygsawr mewn cysylltiad â gweinidogaeth yr efengyl, os heb dderbyn y "gras am ras" yn barhâus drwy Iesu Grist. Yr oedd rhyw gysylltiad agos rhwng yr offeiriad gynt â'r allor ac â'r aberth. Nid yn unig yr oedd efe wedi dysgu trin yr aberth yn gelfyddydol, ond yr oedd yno gysylltiadau yn dangos fod perthynas agos rhyngddo ef â'r holl ymdrafodaeth. Yr oedd hwrdd y poethoffrwm, y cyntaf i'r Arglwydd, yn aberth tanllyd. "A llosg yr hwrdd i gyd ar yr allor; poethoffrwm i'r Arglwydd yw; arogl peraidd, aberth tanllyd i'r Arglwydd yw." Hwn sydd i Dduw yn arogl peraidd, fel y gwelir. Wed'yn cymerir ail hwrdd, ac y mae hwnw yn dyfod i gysylltiad agos â'r offeiriad a'i feibion, gweinidogion yr Arglwydd, ac yn arwyddo cymundeb â'r aberth, a Duw ynddo. "A chymer yr ail hwrdd; a rhodded Aaron a'i feibion eu dwylaw ar ben yr hwrdd." Yr oeddent yn dyfod i gyffyrddiad â'r hwrdd, fel y gwelir: "eu dwylaw ar ben yr hwrdd. Yna lladd yr hwrdd a chymer ei waed, a dod ar gwr isaf clust ddehau Aaron, ac ar gwr isaf clust ddehau ei feibion; ac ar fawd eu llaw ddehau hwynt, ac ar fawd eu troed dehau hwynt." Gwelir fod y swyddogion oll, yr allor a'r aberth, yn dyfod i gysylltiadau agos â'u gilydd. Allor yr arogldarth yr unwedd ydoedd yn pereiddio y swyddogion yn y gwaith, fel yr oeddent yn arogl peraidd i Dduw a dynion. "Gwna hefyd allor i arogldarthu arogldarth. A gosod hi o flaen y wahanlen sydd wrth y dystiolaeth; o flaen y drugareddfa sydd ar y dystiolaeth, lle y cyfarfyddaf â thi. Ac arogldarthed Aaron arni arogldarth llysieuog bob boreu: pan daclo efe y lampau, yr arogldartha efe." "*Lle y cyfarfyddaf â thi.*" Y mae yma gysylltiadau âg ordinhadau Duw, ac â Duw ei hun. Nid yw ymdriniaeth âg ordinhadau yn ddim ond melldith, os na fyddwn yn ymwneyd â hwynt mewn agwedd y bydd Duw yn ymbleseru dyfod atom. Y geiriau sydd yn egluro yn amlwg fod yn rhaid i grefydd fyned mor bell â chymundeb a Duw yn Nghrist. Yr oedd Aaron â'i ddwylaw ar ben yr hwrdd; yr oedd mewn cysylltiad agos âg ef, ac yn arwyddo dyfod i gysylltiad â Duw mewn heddwch yn ei Fab.

Bydded i chwi fod â'ch dwylaw, eich meddyliau, yn teimlo Crist ymhob gwasanaeth crefyddol. Ymdrechwch i ddyfod i gysylltiad cymdeithasol âg ef cyn pregethu ac wedi pregethu, a bwrw eich beichiau arno. Pan y bydd ymdrech cywir o'r fath, nid yn fynych y ceir siomedigaethau mawrion. Na, "o flaen y drugareddfa sydd ar y dystiolaeth y cyfarfyddaf â thi." Nid ydyw Duw byth yn gadael dynion tra ar eu gliniau. Pan y byddoch yn traethu gair y bywyd, bydd arogl hyfryd gydag ef, os byddwch yn dyfod oddiwrth Dduw yn uniongyrchol. Nid unwaith mewn oes, neu yn awr ac eilwaith, sydd yn angenrheidiol i ni ddal y cymundeb hyn â Duw yn Nghrist, eithr yn gyson, a chryfhâu fwyfwy wrth fyned yn y blaen. Nid yw arfer pregethu yn allu pregethu. Gall fod yn rhwyddineb i siarad rhywbeth; eithr am bregethu, a chyrhaedd amcan pregethu, y mae "godidogrwydd y gallu" hwnw "o Dduw, ac nid o honom ni." Gwesgwch at Grist, rhwbiwch ynddo yn ôl ac ymlaen, pwyswch arno, cofleidiwch ef, cusenwch ef, a pheidiwch a myned i un man hebddo; felly y byddwch yn berarogliaidd ymhob lle. Eich gwefusau a ddyferant fel dîl mêl; bydd mêl a llaeth dan eich tafodau, ac arogl eich gwisgoedd fel arogl Libanus. Bydd eich gallu a'ch dylanwad yn codi o'r mwynhâd nefol y byddwch yn ei gael o ddefnydd eich gweinidogaeth; a bydd hyny yn sier o fod yn arogl hyfryd i Dduw, ac i'r holl saint. Bydd y saint yn deall, ie, y saint gwanaf mewn gwybodaeth, ymha le yr ydych yn byw, nid drwy athroniaeth neu sylw manwl i'r cymeriad dynol, nid wrth ddarllen traethodau

dyfnion; na, nid ydynt yn alluog i hyny, oblegid rhai bychain ydynt, ïe, rhai bach yn Nghrist hefyd; eto, er eu bod yn fabanod, y maent yn deall wrth archwaeth ac arogl. Mae'r baban yn deall wrth archwaeth; ni fŷn y sur, teifl allan gwrw neu wirod, eithr yn chwennychu y llaeth; nis gŵyr ddim am y llaeth ond ei fod yn flasus iddo. Felly, ychydig o athroniaeth a rhesymegyddiaeth sydd gan lawer o honom; eto, adnabyddir y gwahaniaeth rhwng blâs dyn a blâs Iesu Grist, mewn cysylltiad â'r efengyl, gan y rhai *bychain*. Dywedir fod diogelwch bywyd llawer o'r greadigaeth anrhesymol yn yr arogl a'r archwaeth. Nid eu gwybodaeth sydd yn peri iddynt fwyta y grawn iachus iddynt, a gwrthod y llall, ond yr arogl a'r blâs; nid ydynt yn hoffi y naill na'r llall; dyma'r unig reswm am hyny. Bydd llawer o'r saint yn gorfod byw wrth ychydig o wybodaeth dduwinyddol; eto bydd arogl ac archwaeth yn eu cyfarwyddo yn rhyfedd. Yr oedd Paul, meddir, yn bregethwr mawr, eto yr oedd bod yn gymeradwy gan y saint yn nôd ganddo ef, canys yr oedd y saint yn byw drwy y pethau hyn; a phan nad oeddent hwy yn cael dim, yr oedd yn arwydd nad oedd y weinidogaeth yn ei lle. "Canys yr hwn sydd yn gwasanaethu Crist yn y pethau hyn, sydd hoff gan Dduw, a chymeradwy gan ddynion." Os bydd digon o arogl Crist ar eich gweinidogaeth, bydd yn sicr o fod yn arogl hyfryd i'r holl saint. Crist, a hwnw wedi ei groeshoelio, oedd y cwbl yr oedd yr Apostol am wybod ymhlith ei wrandäwyr; er i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb, eto i bawb a alwyd i fod yn saint, "yn Grist, gallu Duw a doethineb Duw."

*(I'w barhâu.)*

---

## RHAGORIAETHAU A RHAGORFREINTIAU NEILLDUOL.

Pregeth a draddodwyd ar yr achlysur o farwolaeth Mr. P. M. Evans, yn nghapel Rehoboth, Treffynnon, prydnawn Sabboth, Mehefin 9, 1878,

*Gan y Parch.* John Pugh, B.A.

Numeri xiv. 24: "Ond fy ngwas Caleb, am fod ysbryd arall gydag ef, ac iddo fy nghyflawn-ddilyn, dygaf ef i'r tir y daeth iddo, a'i had a'i hetifedda ef."

"Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." Mae hyn yn golygu ei fod ef ei hun wedi ei fendithio, ac hefyd fod y sôn am dano yn foddion bendith i eraill. Ceir hyn yn wirionedd i fesur mwy neu lai am bob dyn duwiol ag a fyddo wedi cael hamdden i ffurfio ac amlygu ei gymeriad ymhlith ei gyd-ddynion. Ac y mae mewn modd arbenig yn wirionedd am bersonau a fuont yn hynod yn eu dydd a'u cenedlaeth. Un o'r cyfryw ydoedd Caleb, y gŵr y sonir am dano yn y testun. Yn yr hanes am dano, mae ei enw yn cael ei ddwyn i mewn gyda graddau o sydynrwydd, sef heb ddim crybwylliad am ddygwyddiadau boreu ei oes. Felly y gwneir gyda golwg ar amryw eraill o enwogion gair yr Arglwydd. Dywedir wrthym pwy oedd ei dad. Caleb mab Jephunneh y mae yn cael ei alw. Mae hyn yn arwyddo fod ei dad yn enwog; a thebygol ydyw y darfu i'w ddylanwad ef effeithio yn fawr er ffurfio ei gymeriad yntau. Felly y mae yn gyffredin; ac felly y bu yn y siampl sydd o flaen llygaid ein meddwl yn bresennol. Yr achlysur neillduol o'i godi ef i sylw ydoedd y ffaith ddarfod iddo gael ei anfon fel cynnrychiolydd llwyth Judah pan anfonwyd deuddeg o bersonau, un o bob llwyth, i edrych ansawdd gwlad Canaan. Mae hyn yn brawf fod rhywbeth urddasol a thywysogaidd yn perthyn iddo; oblegid personau o'r fath a ddewisir yn gyffredin i gynnrychioli eraill ar faterion pwysig. Pan ddychwelodd y deuddeg tywysog yma, wedi bod yn ysbïo gwlad Canaan, darfu i ddeg o honynt amlygu diffyg ffydd, doethineb, a gwroldeb; oblegid rhoisant y fath ddesgrifiad o'r wlad o ran ei chynnyrch a'i thrigolion ag oedd yn taflu holl wersyll Israel i derfysg a digalondid. Ond darfu i'r ddau arall, sef Josua mab Nun, a Chaleb mab Jephunneh, brofi eu hunain yn ddynion hollol wahanol. Ni ddarfu iddynt ammheu gwirionedd addewidion Duw, ac ni ddarfu iddynt lwfrhâu o gwbl yn wyneb yr anhawsderau. Ac yn y cysylltiad yma y dygir i mewn dystiolaeth y testun. "Ond fy ngwas Caleb, &c."

Mae y crybwylliad a wneir yma am dano mewn cyferbyniad i'r deg eraill yn rhoi ar ddeall i ni ar unwaith ei fod yn naturiol yn ddyn o farn bwyllog ac o feddwl sefydlog. Nid oedd o ran tymher yn wamal ac anwadal; ond yr oedd yn meddwl ac yn barnu drosto ei hun, ac yn ymddwyn yn gyfatebol. Ac nid yn unig hyny, ond yr oedd yn yr amgylchiad hwn yn cael ei reoli gan egwyddorion grasol, ac nid gan y siamplau yr oedd yn eu gweled, na chan yr amgylchiadau yr oedd ynddynt. Mae hyn ein harwain i sylwi yn fwy neillduol arno yn ngoleuni tystiolaeth y testun.

I. Rhagoriaethau Caleb.

II. Rhagorfreintiau Caleb.

Ac wrth wneyd y sylwadau hyn, cymer-

wn achlysur i wneyd cyfeiriadau at y brawd anwyl, yr hwn y mae ei enw mor gynnefin genym, a'i goffadwriaeth mor barchus yn ein plith. A chyda golwg ar y crybwylliadau a fwriedir wneyd, dymunem awgrymu dau beth, sef, nas amcenir ei osod allan fel un cwbl berffaith: ni buasai neb yn fwy gwrthwynebol nag ef ei hun i'r cyfryw amcan; ac hefyd gyda golwg ar bob rhagoriaeth a nodir, fod y clod yn gwbl i ras Duw. Felly cawn achlysur i ogoneddu Duw ynddo ef. Bellach deuwn

I. At RAGORIAETHAU CALEB.

1. Yr oedd yn *was* i Dduw. "Caleb fy ngwas" y mae Duw yn ei alw. Mae yntau yn cydnabod Duw yn Arglwydd. "Myfi a gyflawnais," medd efe, "fyned ar ol yr Arglwydd fy Nuw." Y mae o'r pwys mwyaf i ni pwy yw ein Harglwydd, neu i bwy yr ydym yn weision. Ac nid yw yn beth anhawdd iawn ychwaith i ddynion ddeall eiddo pwy ydynt. "Oni wyddoch eich bod yn weision i'r hwn yr ydych yn ufuddhâu iddo?" Pwy bynag sydd yn ufuddhâu i dueddiadau llygredig ei natur, y mae yn dra eglur pwy yw ei arglwydd a phwy fydd yn y diwedd yn ei feddiannu. Ond fe sonir o'r ochr arall am "ufuddhâu o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i chwi." Ufudd-dod ydyw hwn i alwad yr efengyl, a chydffurfiad calon â'i hegwyddorion. Ac os ydym wedi ein gweithio at hynyma, mae genym achos cyduno â'r apostol i ddyweyd, "I Dduw y byddo y diolch." Mae dynion yn dyfod yn weision i Dduw trwy ymroddiad gwirfoddol. Iaith eu calon ydyw geiriau Dafydd, "Yn ddiau dy was di ydwyf fi; mab dy wasanaethwraig." Y rhai sydd yn weision i Dduw, ei ewyllys Ef yw eu rheol, a'i ogoniant Ef yw eu hamcan mawr yn eu bywyd. A chan gadw eu golwg ar yr amcan hwn, y maent yn ffurfio eu cynlluniau, yn cyflawni eu dyledswyddau, ac yn ymgymeryd â'u gwahanol anturiaethau. Gwas Duw ydoedd Mr. Evans, a chafodd ei dueddu yn ei febyd i ymroddi i'w wasanaeth. A thebygol y gallesid dyweyd am dano ef yr hyn a glywais yn cael ei ddyweyd mewn perthynas i un arall, "Dyma fachgen na fu ddiwrnod erioed yn ngwasanaeth yr un drwg." Tybia rhai fod y rhan fwyaf o bobl dduwiol yr oes hon wedi cael adnewyddiad trwy ras Duw yn eu mabandod, ac felly eu bod o'u mebyd yn weision y Duw Goruchaf. Os felly y mae, yr oedd efe, yn ol pob tebyg, yn un o'r cyfryw.

2. Yr oedd yn meddu *ysbryd arall.* Dywedir fod ei enw yn air cyfansawdd, ac ei fod yn arwyddo—fel y galon. Mae hyn yn cyd-daro yn brydferth â'r hyn y mae efe yn ddyweyd am dano ei hun wrth roddi ei hanes yn cyflawni ei neges, "Mi a ddygais air iddo ef drachefn," medd efe, "fel yr oedd yn fy nghalon" (Jos. xiv. 7). Yr oedd efe yn amlygu ffydd, zel, a phenderfyniad; eto nid oedd y pethau hyn ond yr hyn oedd yn ei galon. A dyma yr ysbryd arall y sonia y testun am dano. Ysbryd oedd hwn yn ei wahaniaethu oddiwrth ei gymdeithion, y rhai oedd wedi myned allan ar yr un achlysur. Ysbryd i roddi anair i'r wlad oedd ynddynt hwy, ond ysbryd i ddyweyd "Gwlad dda odiaeth ydyw" oedd ynddo ef. Ysbryd i roddi i fyny i'r gelynion oedd ynddynt hwy; ond ysbryd i frwydro yn eu herbyn yn nerth Duw oedd ynddo ef. Ysbryd i fyned yn ol i'r Aipht oedd ynddynt hwy; ond ysbryd i fyned ymlaen ac i feddiannu y wlad oedd ynddo ef. Mae yr ysbryd arall hwn ymhob cristion fel effaith yr adnewyddiad sydd wedi cymeryd lle yn ei galon. "Nyni a dderbyniasom nid ysbryd y byd ond yr ysbryd sydd o Dduw. Ni a wyddom ein bod o Dduw, ac y mae yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni."

Yr oedd yr ysbryd arall hwn yn dynodi Mr. Evans. Yr oedd iddo ef, fel eraill, ei demtasiynau ymhob cyfnod o'i oes; ond yr oedd yr ysbryd arall yn ei dueddu i'w gwrthsefyll. Bu iddo ef, fel eraill, ei drallodau a'i brofedigaethau; ond yr oedd yr ysbryd arall yn ei gadw rhag llwfrhâu ac ymollwng. Gwelodd lawer yn yspaid ei gwrs crefyddol yn oeri, yn gwaelu, ac yn gwrthgilio; ond yr oedd yr ysbryd arall yn ei dueddu ef i ddal ymlaen er pob rhwystrau. Tybiem ein bod yn gweled yr ysbryd arall hwn yn ei ddull doeth o drin materion dyrys—yn y modd tyner y byddai yn ymddyddan â brodyr a chwiorydd gweiniaid yn yr eglwys—yn y dwysder, y difrifwch, a'r priodoldeb a fyddai yn ei weddïau—yn yr urddas a'r coethder a fyddai yn ei ymddygiadau cyffredin. Yr oedd yn amlwg ei fod o herwydd hyn yn un o rai rhagorol y ddaear.

3. Darfu i Caleb *gyflawn ddilyn yr Arglwydd.* Credodd addewid Duw, ymddiriedodd yn ngallu Duw, a pharhaodd yn ddi-ildio yn ffordd ei ddyledswydd, er fod y lliaws o'i gwmpas yn troi yn anffyddlawn. O herwydd hyn mae efe yn dyweyd am dano ei hun, "Myfi a gyflawnais fyned ar ol yr Arglwydd." Neu, Myfi yn gyflawn a aethum ar ol yr Arglwydd (Jos. xiv. 8). Yr oedd yn wrol a phenderfynol yn wyneb gwrthwynebiadau. Wedi i'r bobl gael y newyddion drwg am y wlad, yr oeddynt mewn cyffro mawr; rhai yn wylo, rhai yn gwaeddi, a phawb yn grwgnach. Ond wele Caleb yn sefyll yn eu canol ac yn ceisio gostegu y bobl, gan ddyweyd, "Y tir sydd dir da odiaeth. Yr Arglwydd

sydd gyda ni; nac ofnwch hwynt. Na wrthryfelwch yn erbyn yr Arglwydd."

Mae cyflawn ddilyn yr Arglwydd yn bresennol yn arwyddo ei ddilyn yn yr oll o'r amlygiadau y mae efe wedi roddi o hono ei hun; hefyd ei ddilyn â'r holl galon neu â'r holl enaid, fel ag i fod yn drwyadl ac unfrydol yn ei wasanaeth; ac hefyd ei ddilyn mewn ymarferiad cyflawn â'i wahanol osodiadau; ac ymhellach, parhâd i'w ddilyn ymhob math o amgylchiadau. Mae y rhai sydd yn cyflawn ddilyn, gan hyny, yn credu yn Iesu Grist; oblegid dyma yr amlygiad penaf y mae Duw wedi roddi o hono ei hun a'i drefn rasol. Maent yn proffesu Iesu Grist; oblegid ewyllys Duw ydyw i ni barchu ac anrhydeddu ei Fab. Maent yn ymarfer yn barchus â'i wahanol ordinhadau; oblegid yn y rhai hyn yr ydym i ddal cymundeb âg ef; ac y maent yn parhâu yn ffyddlawn er pob math o gyfnewidiadau. Nis goddef amser i ni i ymhelaethu ar y pethau hyn. Ond mewn cyfeiriad at Mr. Evans, gallwn ddyweyd yn ddibetrusder ei fod ef yn yr ystyriaethau hyn yn cyflawn ddilyn yr Arglwydd. Yr oedd yn credu yn Iesu Grist, ac yn ymddiried yn drwyadl ynddo am iachawdwriaeth. A pha un bynag ai mawr neu fychan a fyddai y pregethwr, yr oedd yn hoff o'r pregethau ymha rai y byddai trefn achub trwy Grist yn cael ei gosod allan gydag eglurder. Buasai yn barod i ddyweyd gyda'r dysgyblion, "At bwy yr awn ni? genyt ti y mae geiriau y bywyd tragywyddol." Ac nid yn unig proffesodd yr Arglwydd Iesu ar hyd ei oes, ond hefyd cymerodd ddyddordeb mawr yn holl ranau y gwaith. Yr oedd yn ei le ar y Sabboth, oddieithr pan fyddai anhwyldeb yn ei luddias; ac yr oedd yn un o'r gwrandäwyr goreu a allesid gyfarfod. Yr oedd yn ffyddlawn iawn gyda'r Ysgol Sul, yn enwedig cyn i'w natur ddechreu llesgâu a marweiddio. Yr oedd yn hoff iawn o'r cyfarfod gweddi nos Lun. A phan siaradai yn y *society*, yr oedd ei ddull yn gwneyd hyny yn profi ei fod yno yn ei elfen, ac wrth ei fodd. Teimlai ddyddordeb mawr yn y Cyfarfod Misol a'i weithrediadau. Ac yn ol cais a dymuniad taer ei frodyr, yr oedd wedi arfer myned yn agos i bob Cymdeithasfa yn Ngogledd Cymru er ys llawer o flynyddoedd. Ac am faith amser, cyflawnodd yno yn ffyddlawn y swydd o Ysgrifenydd ymhlith ei gydflaenoriaid. Yr oedd hefyd yn ddyn ëang a rhyddfrydig ei olygiadau, ac am hyny cyfeiriai gyda boddhâd at unrhyw symudiadau daionus ymhlith cyfundebau eraill gwahanol i'r eiddo ei hun.

Bellach deuwn i ystyried

II. Rhagorfreintiau Caleb.

1. Cafodd ei arddel gan Dduw. "Fy ngwas Caleb," meddai yr Arglwydd gyda golwg arno. Arddelwyd ef mewn modd nodedig pan oedd Israel yn nghanol y cyffro o herwydd y newyddion drwg, a phan yr oedd Caleb a Josua yn ceisio eu dystewi. "A'r holl bobl a ddywedasant am eu llabyddio â meini." "A," meddai yr hanes, "gogoniant yr Arglwydd a ymddangosodd yn mhabell y cyfarfod i holl Israel." Yr oedd Duw yn yr arwydd hwn fel pe buasai yn dyweyd, Edrychwch pa beth yr ydych yn ei gylch; fy ngweision i ydynt, ac yr ydwyf yn barod i'w hamddiffyn. Mae Duw hefyd wedi arddel Mr. Evans, er mae yn wir nid yn hollol yn yr un modd, ond yn hytrach trwy gysylltu anrhydedd ynglŷn â'i enw neu ei goffadwriaeth. Hen dystiolaeth ydyw hono, ac y mae yn cael ei phrofi yn wirionedd hyd heddyw: "Dyrchafa di hi, a hi a'th ddyrchafa di; hi a'th ddwg di i anrhydedd os cofleidi hi." Yr oedd efe yn deilwng o barch o herwydd ei athrylith, ei dalent, ei wybodaeth, a'i ddoethineb; eto yr ydym yn sicr mai y prif beth sydd wedi cynnyrchu y fath deimladau o barch iddo yn yr amgylchiadau hyn ydyw y ffaith ei fod yn y pethau hyn wedi gwasanaethu Duw. Y mae yn hyn fel pe byddai yn cael ei arddel gan Dduw ei hunan.

2. Darfu i Dduw ei fendithio. "A Josua a'i bendithiodd ef," meddai yr hanes. Ac nid oedd efe ond genau dros Dduw yn mynegi yr hyn yr oedd ef yn ei wneyd ac yn bwriadu gwneyd gyda golwg arno. Ac fel effaith y fendith hono, yr oedd yn meddu ar lawer o hoewder a bywiogrwydd, hyd yn nôd wedi myned ymhell mewn dyddiau. "Ac yn awr," medd efe ei hun, "wele fi heddyw yn fab pum' mlwydd a phedwar ugain. Yr ydwyf eto mor gryf a'r dydd yr anfonodd Moses fi; fel yr oedd fy nerth i y pryd hwnw, felly y mae fy nerth yn awr." Darfu i Dduw fendithio hefyd Mr. Evans mewn amryw ystyriaethau. Mae yn wir fod yn perthyn iddo ryw anhwyldeb ag oedd weithiau yn ei wneyd yn drymaidd a marwaidd; eto mae yn amlwg fod bendith y nefoedd wedi gorphwys arno. Bendithiodd ef â chymhar tyner, hynaws, medrus, a serchoglawn; bendithiodd ef â phlant lluniaidd, hoffus, synwyrol, a grasol; bendithiodd ef â phalas bychan i fod yn gartref iddo; bendithiodd ef trwy ei lwyddo yn ei anturiaethau; ac fel yr awgrymwyd eisoes, bendithiodd ef âg enw da ymhlith ei gyd-ddynion. Mae yn wir na fendithir yn hollol yn yr un modd bob un ag sydd yn was ffyddlawn i'r Duw Goruchaf. Ond er y cwbl, "efe a fendithia drigfa y cyfiawn." Os nad oes yno gyfoeth, mae yno gysur; os nad oes yno lawnder, mae yno dangnefedd; ac os nad oes yno esmwythyd, mae hyd yn nôd

y blinderau yn cael eu trefnu i fod yn foddion llesâd tragywyddol.

3. Dygwyd Caleb o'r diwedd i wlad yr etifeddiaeth. Ac nid oedd Canaan ond cysgod o'r etifeddiaeth fawr dragywyddol yn y nefoedd. Ac y mae yn deilwng o'n sylw y dygwyd ef i'r "tir y daeth iddo." Yr oedd wedi bod yno ar wibdaith o'r blaen, ac am hyny nid oedd y wlad iddo ef yn hollol newydd a dyeithr. Mewn modd cyffelyb, dygir pob dyn duwiol i'w etifeddiaeth nefol, ac y mae hwnw iddo ef yn dir y daeth iddo o'r blaen. Wrth yr hyn yr ydym yn golygu fod mwynhâd y nefoedd yn beth y mae pobl dduwiol yn cael blaenbrawf o hono yn y byd hwn. Nis gallwn ddyweyd yn well am yr etifeddiaeth hono nag yn ngeiriau Jeremy Taylor, "Pa mor ddedwydd y byddaf! Câf dy weled di ynot dy hun, a thydi ynof fy hunan, a fy hunan ynot ti, gan barhâu yn yr olygfa wynfydedig ac yn y mwynhâd dedwydd am byth bythoedd."

Mae yn wir fod rhywbeth i ni yn ddirgelaidd yn y dull ymha un y cymerwyd Mr. Evans i'w etifeddiaeth. Dyma sydd genym i'w ddyweyd, "Felly y rhyngodd bodd yn ei olwg ef." Darllenais am ddau frawd, un wedi tyfu i'w gyflawn faintioli, a'r llall yn un bach tair blwydd oed. Aeth yr hynaf i India gan adael yr un bychan yn y wlad hon. Ennillodd y brawd yn India gyfoeth ac anrhydedd mawr. Ymhen blynyddoedd, dychwelodd yn ol i'w hen wlad. Ymholodd am ei frawd bychan, a deallodd ei fod yn fachgen da, ac yn ffyddlawn yn cyflawni rhyw orchwyl cyffredin; a rhyw ddiwrnod, daeth heibio iddo mewn cerbyd gorwych, a chipiodd ef ymaith gydag ef. Yr oedd y bychan am fynyd wedi delwi gan syndod, ac yr oedd mewn braw heb wybod pa beth oedd i ddyfod o hono. Ond ymhen ychydig, deallodd mai ei frawd hynaf oedd wedi ei gipio, ac ei fod yntau ei hun i gael ei wneyd yn etifedd mawr. Felly Mr. Evans: yr oedd iddo Frawd hynaf, sef yr anrhydeddusaf a'r cyfoethocaf yn y wlad fry, ac yr oedd ynddo hiraeth am dano yntau. Ac yn ddiweddar daeth heibio iddo gan ei gipio ato ei hun i'w gerbyd. Ni wyddai Mr. Evans am fynyd beth oedd yn bod; ond ymhen ychydig fe ddeallodd mai y Brawd hynaf oedd wedi dyfod i'w gyrchu ato ei hun, ac ei fod yntau bellach i gael ei wneyd yn gydetifedd â Christ am dragywyddoldeb.

Mae ei hanes ef, a'r amgylchiad sydd dan sylw, yn ddefnydd addysg i amryw ddosbarthiadau.

1. *I bobl ieuainc sydd yn ffurfio eu cymeriad, ac yn dechreu ar eu cwrs trwy y byd.* Wele un dan ein sylw a roddodd ei hun yn ei febyd i Dduw a'i wasanaeth. Ac y mae ei holl hanes yn dyweyd mai "Da yw i ŵr ddwyn yr iau yn ei ieuenctyd." Gwnewch chwithau yr un modd. Yr ydych o gylch dewis sefyllfaoedd, ac yr ydych yn ewyllysio llwyddo yn eich anturiaethau. Edrychwch ar yr egwyddorion oedd yn elfenau ei lwyddiant ef, sef uniondeb, gofal, trefn, manylrwydd, diwydrwydd a dyfalbarhâd. Bu efe am faith amser yn gweithredu mewn gwahanol gylchoedd: *Local Board*, *Board of Guardians*, a byrddau y Gymdeithasfa, ac anfonwyd ef lawer gwaith fel cynnrychiolydd at bersonau urddasol; ac o herwydd yr egwyddorion oedd yn ei lywodraethu, mae ei enw heddyw yn anrhydeddus ynddynt oll. Mae i lawer o honoch rieni yn fyw, sydd yn fawr eu gofal am eich cysur a'ch llwyddiant chwi; cymerwch ef yn siampl o'r parch a'r ufudd-dod sydd yn ddyledus i rieni. Mae yn mharlwr Mr. Evans *oil painting* o hono wedi ei dynu er ys llawer o flynyddoedd yn ol; ac o'r tu ol i'r darlun y mae dalen o bapyr ac arni yr ysgrifen yma, "Peter Maelor Evans was born 10th of April, 1817, and whose portrait on the other side was taken in the 22 year of his age. His filial duties have been such that he has not occasioned one hour's grief to his affectionate parents: but in childhood he was pleasing, and in manhood he has invariably endeavoured to make them happy. Testified in his seventieth year by his affectionate father—THOMAS EVANS."

2. *I rieni yn eu cysylltiadau teuluaidd.* Yr oedd ganddo lywodraeth drwyadl ar ei deulu, ond eto llywodraeth cariad ydoedd. Yr oedd ynddo ryw agosrwydd cyfeillgar at ei blant, yr hyn oedd yn peri iddynt ei anwylo yn fawr, tra yr oedd ynddynt ar yr un pryd y parch dyfnaf iddo.

3. *I feistriaid a goruchwylwyr.* Y mae un sydd wedi bod yn ei wasanaeth er ys llawer o flynyddoedd yn tystiolaethu am dano, ac y mae yn ddiammheu fod y lliaws eraill yn barod i ddyweyd yr un peth: "Yr oedd mawredd fel meistr yn perthyn iddo. Yr oedd wedi astudio yn drwyadl hawliau y meistr, ac iawnderau y gweithiwr. Nid grwgnach a dwrdio oedd ei ffordd ef i gynnyrchu ufudd-dod a gweithgarwch." Daeth rhai o honoch i'w wasanaeth pan yn blant, a buoch yn cydchwareu â rhai o'i blant yntau, ac erbyn hyn yr ydych wedi dyfod yn ddynion ieuainc, ac yn ymylu ar ganol oed; daeth eraill o honoch i'w swyddfa yn mlodau eich dyddiau, ac erbyn hyn mae eich gwallt yn gwynu, ac yr ydych wedi myned yn hen bobl. Mae hyn yn ddyweyd llawer yn ffafr y naill blaid a'r llall.

4. *I'r meibion sydd ar ei ol.* Mae yn dda ganddynt hwy heddyw ddarfod iddynt mor ffyddlawn gyflawni eu dyledswyddau

tuag ato fel eu hanwyl dad. Ac ni a obeithiwn y cânt eu harwain a'u nerthu i ddilyn ei gamrau. Dywedir am Boleslaus, un o hen freninoedd Poland, pan fyddai ganddo rywbeth o bwys i'w gyflawni, ei fod yn cymeryd darlun ei dad yn ei law, yr hwn oedd wedi ei osod ar lafn o aur, ac ei fod yn dymuno yn ddirgelaidd am iddo gael ei gadw rhag gwneyd dim a fyddai yn annheilwng o'i enw anrhydeddus ef. Yr ydym o galon yn dymuno iddynt fawr lwyddiant.

5. *I'r rhai sydd yn teimlo dyddordeb yn llwyddiant yr achos yn y lle hwn.* Wele golled fawr. A ddeuwch chwi ymlaen i wneyd y golled, mewn rhan, i fyny? Mae rhai o honoch yn hoffi Rehoboth, ac yn parchu yr achos sydd yn cael ei ddwyn ymlaen yn y capel hwn, ond er hyny heb roddi eich hunain i Grist a'i wasanaeth; ac a ddeuwch chwi ymlaen yn bresennol er mwyn bod yn gymhorth i ddal ymlaen anrhydedd a llwyddiant yr achos? Gwelsom weithiau dderwen fawr wedi ei thori i lawr, ond yn fuan gwelsom ddwsin neu ddau o goed ieuainc wedi eu planu yn yr un safle; ac yr oeddynt fel pe buasent yn dyweyd, "Deuwn ni ymhen yspaid i lenwi yr holl wagle hwn." Wele dderwen fawr wedi ei thori i lawr yn ein plith ninnau; ac O mor dda a fyddai genym weled llawer o dderw bychain yn ymddangos yn barod i gymeryd ei lle! Mae rhai o honoch yn aelodau perthynol i'r eglwys hon, ac yr ydych yn ymwybodol nad ydych mor ymroddgar, mor ffyddlawn, ac mor ddefnyddiol ag y gallech fod. Ac ni a obeithiwn y bydd y golled fawr hon yn achlysur o'ch tueddu i gysegru yn fwy llwyr eich talentau, a'ch galluoedd, a'ch manteision, er llwyddiant achos y Gwaredwr yn ein plith.

6. Mae dull ei ymadawiad, yn ddefnydd rhybudd *i'r rhai sydd yn ymwybodol eu bod yn anmharod i farw.* Gŵyr rhai o honoch nad ydych mewn cymmod â Duw. Yr ydych heb edifarhâu am eich pechodau, ac am hyny heb gael maddeuant o honynt hyd yr awr hon. Yr ydych wedi arfer gwrando yr efengyl, ond hyd yma heb ufuddhâu iddi. A beth pe byddech yn cyfarfod âg angeu mewn modd cyffelyb i'r hyn y gwnaeth ef, beth a fyddai eich tynghed, neu pa fath a fyddai y canlyniadau?

Ond y mae yn dda genym allu tystio fod ei Waredwr ef yn abl ac yn barod i'ch gwaredu chwithau. Ac os ydych yn penderfynu troi ato, ni wna efe ddannod i chwi eich hanufudd-dod a'ch cyndynrwydd blaenorol, ond yn hytrach, efe a rydd i chwi gyda hyfrydwch yr holl fendithion ag a'ch gwna yn etifeddion y gwynfydedig am dragywyddoldeb.

Ein gobaith ydyw, y bydd yr ysgydwad dyeithrol hwn yn foddion i'ch cyffroi, i ddyfod heb oedi at Grist i geisio iachawdwriaeth. Dywedir am Luther, y bu marwolaeth sydyn ei gyfaill Alexis yn achlysur iddo benderfynu ar unwaith i roddi ei hun i Dduw a'i wasanaeth. A'n dymuniad ydyw am i'r amgylchiad difrifol hwn fod yn foddion i dori pob dadl yn eich meddyliau chwithau, ac i'ch tueddu i ddyfod yn ddiymaros at Grist i gael bywyd tragywyddol.

---

## YR YMHOLIAD DIFRIFOL YNGHYLCH ADFEILIAD GYDA CHREFYDD.

*Gan y Parch.* ROBERT ELLIS, *Ysgoldŷ.*

YR ymholiad difrifol sydd yn gweithio ei ffordd i deimladau llawer o hen bobl grefyddol ar hyn o bryd yw, A ydyw crefydd, yn ei phethau mwyaf ysbrydol a sanctaidd, yn peidio dirywio yn y tymmor presennol hwn wrth yr hyn ydoedd ddwy neu dair oes yn ol? A ydyw yr hyn a ofnodd Paul am eglwys Corinth yn beth i'w ofni hefyd am eglwysi Cymru, sef eu bod, yn raddol a diarwybod iddynt eu hunain, yn ymlygru oddiwrth y symlrwydd sydd yn Nghrist?" Onid yw yr ymholiad gorbwysig hwn yn deilwng o bob ystyriaeth?

Gwyddom fod i'r ymholiad difrifol hwn ei anhawsderau. Nis gellir gwneyd hyn yn deg heb gyferbynu yr hyn ydoedd crefydd yn yr oes o'r blaen â'r hyn ydyw yn yr oes hon; ac nid gorchwyl mor hawdd ydyw hyny. Er fod nifer o hen bobl grefyddol a da i'w cael ag sydd wedi byw gyda dwy oes, ac wedi cael y fantais i ddeall y naill oes a'r llall, eto rywfodd mae yr hen saint hyn yn rhy dueddol i gofio yr hyn oedd ragorol yn eu hoes gyntaf hwy, os priodol dyweyd felly, ac i edrych gormod ar yr hyn a dybiant sydd heb fod yn iawn yn eu hoes bresennol. Nid oes dim *os* nad oedd i hen dadau anwyl yr oes o'r blaen eu diffygion. Ond mae rhywbeth—a pheth rhagorol hefyd—yn y natur ddynol i gladdu gwaeleddau dynion da yn yr un bedd â'u llwch. Ac y mae cyferbynu yr hyn oedd ragorol mewn un oes â'r hyn sydd ddiffygiol mewn oes arall yn annheg, yn arwain i gamfarn, ac yn tueddu i wneyd cam â chenedlaeth plant Duw. Y mae henaint drachefn, fel rheol, yn tueddu i gymylu y meddwl, ac i edrych yn dywyll ar bob peth y presennol. Ac eto os ydyw gwneyd cyferbyniaeth rhwng yr hyn ydoedd ansawdd grefyddol yr eglwysi yn yr oes o'r blaen â'r hyn ydyw yn yr oes hon, yn ofynol er

deall yn un ai cynnyrchu ai gwaethygu y meant mewn crefydd ysbrydol a sancteiddrwydd, yna onid yr hen saint hyny sydd wedi byw gyda dwy neu dair oes, er diffygion eu hunain, eto sydd gymhwysaf o ysbryd i wneyd y gyferbyniaeth? Ac os ydyw yr hen saint hyn, oddiar sefyllfa sydd yn ymddangos iddynt hwy yn glir, yn dweyd fod crefydd yn ei hanfodion mwyaf ysbrydol, yn darfod wrth yr hyn ydoedd yn nyddiau eu hoes hwy, onid yw yn hollawl, a dyweyd y lleiaf, yn fater o ystyriaeth pur ddifrifol? Yn sicr nid yw y cyfryw bethau yn bethau i'w diystyru a'u gwawdio ymaith.

Mae yn ddigon gwybyddus i bawb sydd wedi talu sylw i hanes yr eglwys, fod ffeithiau galarus lawer i'w cael, y dichon i burdeb crefyddol waethygu yn ddirfawr mewn cyfundeb neu genedl mewn ysbaid mor fyr â dwy neu dair oes, ac y dichon i'r ymlygriad hwn hefyd fod yn ymweithio mor ddirgelaidd, mor raddol, a chynnyddol, nes na byddo hyd yn nôd y gwylwyr ar y pryd yn wybyddus o hono. Yn ddirgelaidd bob amser y dygir "heresiau dinystriol" i mewn. Ac y mae yn ffaith hefyd na bu adfeiliad ar wir grefydd mewn unrhyw oes, na byddai gan y gelyn ryw rai parod wrth law i udganu fod pob peth o'r goreu, ac nad oedd dim perygl, er mwyn iddo gael gwell mantais i weithio allan ei amcanion drygionus. Mynych y caed prawf fod yr hyn a dybiwyd ar y cyntaf yn *ddiwygiad*, mewn gwirionedd yn diweddu mewn *adfeiliad*. Tybygem nad oes dim ammheuaeth yn meddwl yr un dyn ystyriol sydd yn gweled yn ddyfnach na'r wedd allanol ar bethau, ein bod yn yr oes hon yn arbenig yn byw mewn "amseroedd enbyd," neu fel y gellir eu darllen, meddir, *amseroedd anhawdd*. Diau y dylai gwylwyr Sïon, ar adeg fel hon, fod yn ddynion craffus i adnabod arwyddion yr amseroedd—yn ddynion deffrous, hunanymwadol, a llwyr ymroddgar i'w gwaith, ac yn deall pa beth a ddylai Israel wneuthur. Tra yr oedd y dynion yn cysgu, medd ein Gwaredwr, y daeth y gelyn, ac yr hauodd efrau ymhlith y gwenith.

Dywedir gyda gormod o ymffrost, ein bod fel Cyfundeb wedi cynnyddu yn rhyfeddol yn y blynyddoedd diweddaf mewn haelioni a threfn, wrth yr hyn oeddym oes neu ddwy yn ol. Dichon hyny. Boddlonai ein tadau ar ychydig o reolau syml a hawdd eu deall. Ac am haelioni, nid hawdd gwneyd cyferbyniaeth deg rhwng y naill oes a'r llall, gan fod yr amgylchiadau bydol mor wahanol. Nodwedd oes ein tadau oedd prinder a chynnildeb. Yr oeddynt hwy dan orfod i edrych yn llygad pob ceiniog, ys dywedir, gan fod eu harian yn brin, tra yr ydym ni yn byw mewn amser o lawnder a moethau, ac ymwisgiad, o falchder a gwastraff. Yr oedd haelioni ein tadau yn rhedeg yn ddyfnach mewn llafur a hunanymwadiad—mewn aberth amser ac esmwythdra, yn fwy nag mewn rhoi arian, tra mae yr haelioni yn bresennol yn fwy trysorau, mewn arian a chasgliadau. Ond, a gadael ein tadau wedi derbyn yn Gyfundeb llawer mwy trefnus a gofalus nag yr oeddym unwaith, onid yw hyn drachefn yn ddigon posibl, a'r purdeb sancteiddrwydd ar unwaith yn prinhau—y mawrder yn ymado? Oni cheir mwy na digon o ffeithiau galarus yn hanes yr eglwys sydd yn profi hyn yma? Dyma y Babaeth, er enghraifft, wedi ymberffeithio mewn trefniadau a ffurfiau, ac yn bell ar y blaen mewn haelioni, ac eto yn gyfundrefn berffaith o bob llygredigaeth!

Yr ydym yn fynyddol yn myned i lawr o drafferth a thrafferth i gasglu a chyhoeddi ystadegau, ac yn rhy barod i ymffrostio yn ein rhif a'n cynnydd. A diau hefyd fod y drefn hon o rifo a chyfrif, o elfen a chymharu, yn briodol a buddiol er deall pa le yr ydym yn sefyll. Er nas gwyddom pa fodd i wneyd yn well, eto goddefer i ni ofyn, Onid yr hyn sydd yn lleihau poenus ar wir werth yr ystadegau hyn yw yr ystyriaeth eu bod yn cymeryd i mewn i'r cyfrif enwau yr holl aelodau hyny sydd ar lyfrau yr eglwys, pa rai sydd heb yr un lle i ammheu nad oes dim yn grefyddol ynddynt ond yn unig mewn enw? Gwyddom nas gall y swyddogion wrth rifo wneyd yn amgen na chymeryd i mewn i'r cyfrif yr holl enwau, er i rai fod yn esgeuluswyr, yn ddiotwyr, yn feilchion, yn anonest, yn gybyddion, yn ddygasog, yn benrhydd, &c. Mae chwynu wedi ei wahardd iddynt. Ni bu eglwys Crist un amser yn y byd hwn heb ei rhagrithwyr. Ond pan mae ei haelodau diras yn bygwth myned yn fwyafrif mewn eglwys, mae ei hachos, a dyweyd y lleiaf, yn dyfod yn ddifrifol.

Mae wedi dyfod yn arferiad gyffredin gan rieni a fo yn proffesu, i ddwyn eu plant i fyny yn yr eglwys, fel y dywedir. A diau fod hyn hefyd eu rhwymedigaeth mwyaf difrifol. Ac y mae yn ddios y daeth daioni annhraethol i'n Cyfundeb o'r llafur hwn. Ac eto rywfodd nis gallwn ochel y casgliad, mai o'r cyfeiriad hwn hefyd y tardd ein prif berygl. Peth naturiol i rieni sydd yn boddloni ar grefydd lac eu hunain, fydd boddloni ar beth cyffelyb i'w plant. Magu plant yn yr eglwys, heb yr un ymgais i'w dwyn i fyny yn grefyddol ar yr aelwyd gartref—*dyma ein gwir berygl!* O'r holl orchwylion eglwysig sydd yn disgyn i ran swyddogion, tybygem mai gwneyd derbyniad i gyflawn aelodaeth o'r plant hyn, pan ddelont i ryw oedran, yw yr un mwyaf anhawdd. Oedran bellach

yw y safon. Os eir i ddewis a phigo rhyw nifer o blant, a gadael eraill fydd at yr un oed, dyna rieni a phlant yn tramgwyddo. Ac os derbynir yr oll fydd at yr oed, dyna berygl o dderbyn i aelodaeth eglwysig nifer o rai heb yr un argoel o ofn Duw. Edrycha y bachgen a'r lodes ar eu cyflawn dderbyniad yn benaf, os nad yn gwbl, fel y ffordd i ddyfod yn llanc ac yn llances. Ac onid yw derbyn rhai felly yn aelodau o'r eglwys yn arwain yn anocheladwy, er yn raddol, i lenwi eglwys â dynion cnawdol a dienwaededig o galon? A pha beth fydd y canlyniad? Tasg galed ac anhawdd fydd gosod ar fugeiliaid eglwysig y siars o wneyd i fyny gyda phlant a phobl ieuainc y diffygion fu gan eu rhïeni gyda hwy gartref!

Yn yr oes o'r blaen dywedir mai eithriad anghyffredin fyddai penteulu yn proffesu crefydd heb ofalu am addoliad teuluaidd yn ei deulu. Ond, A ydyw felly yn bresennol? Onid y gŵyn gyffredin drwy y wlad yw fod y mwyafrif mawr o'r rhai sydd yn proffesu heb gymaint a rhith o addoli Duw yn eu tai? Os ydyw y gŵyn hon yn ffaith, fel y mae yn ofnus ei bod, pa beth y mae yr esgeulusdra difrifol hwn yn ei brofi? Cwynir hefyd fod yn anhawdd iawn cael gan lïaws o'r brodyr arfer gweddïo yn gyhoeddus, a bod nifer y gweddïwyr mewn llawer eglwys o hyd yn myned yn llai llai. Er na fynem er dim roddi gormod o bwys ar yr anmharodrwydd hwn i weddïo yn gyhoeddus, eto oni bydd dyn yn gweddïo yn ei dŷ, mae yn rhywbeth rhy debyg i ragrith iddo wneyd hyny yn gyhoeddus.

Mae yn ffaith hefyd fod rhyw gyfnewidiad poenus i deimladau hen bobl grefyddol wedi dyfod i mewn i'n cyfarfodydd eglwysig. Gogoniant y cynnulliadau hyn unwaith a fyddai gwaith y saint yn adrodd yn rhydd eu profiadau crefyddol i'w gilydd. Ac o bob peth ar y ddaear, pa beth mor debyg i'r nefoedd? Mae yn eglur ddigon fod lle hanfodol i brofiad o air Duw yn ngwaith yr Ysbryd ar galon dyn. Nis gall ei fod Ef yn gweithredu yn sanctaidd ar y meddwl a'r dyn ei hun heb brofi hyny. Ond bellach mae y profiad hwn o air Duw yn beth nas ceir ond gan ychydig, a bydd ei glywed hefyd, fel y mae yn ofnus, yn beth diflas gan y llawer. Mae yr hen *derm* anwyl *profiad* wedi myned yn ddirmygus. Pa gyfrif sydd i'w roddi am y cyfnewidiad? I ba beth y mae priodoli yr anmharodrwydd poenus hwn yn y brodyr a'r chwïorydd i ddyweyd eu profiad? Ai i'r diffyg profiad o bethau Dwyfol o gwbl, ynte i ryw ledneisrwydd ac ofn? Pa fodd bynag, diau fod yr hen arfer dda fu gan y saint o adrodd yn rhydd eu profiadau i'w gilydd, y moddion mwyaf effeithiol i feithrin crefydd ysbrydol y galon. Goddefer i ni awgrymu, Ai nid doeth a buddiol a fyddai i'r saint hyny, mewn eglwys ag sydd yn dymuno adnewyddiad o'r hen "seiat brofiad," gynnal cyfarfodydd i'r amcan hwn gyda'u gilydd ac ar wahân? Ni byddant felly yn y perygl o roddi eu pethau sanctaidd i'r cŵn, ac o daflu eu gemau o flaen y moch.

Cwynir, a hyny yn gyffredin trwy y wlad, fod y rhai sydd yn proffesu eu hunain yn grefyddol yn "arfer esgeuluso eu cydgynnulliad eu hunain." Gwir fod hon yn hen gŵyn am "*rai*." Ond nis gallai ein hen dadau oddef rhai felly heb eu galw i gyfrif. Onid yw y gŵyn hon drachefn yn myned ymhell i brofi y difaterwch mwyaf difrifol am iachawdwriaeth yr enaid? Pa beth ond y difaterwch hwn yw yr achos fod y cynnulliad bore Sabbath mor deneu, yr Ysgol Sul a'i hathrawon a'i dosbeirth mor fylchiog, y cyfarfod eglwysig yn cael ei esgeuluso yn ogymaint, a'r cyfarfod i weddïo yn beth mor ddiddym? Gan fod nifer mawr yr eglwys yn dangos y fath ddifaterwch, pa ryfedd fod y byd mor ddifater? Nid ydym wrth hyn ond adrodd ffaith rhy amlwg i'w chuddio na'i chelu, pa esboniad bynag a roddir arni.

Onid yw yn rhy eglur, drachefn, fod y diffyg o ddefosiwn—nis gwyddom pa enw gwell—yn y rhanau mwyaf ysbrydol o'r gwasanaeth crefyddol, yn dyfod yn boenus yn ein plith fel Ymneillduwyr? Y rhan fwyaf Dwyfol o'r gwasanaeth yn ddiau yw y darlleniad o air Duw; ond lleied o sylw a delir i hyny gan y lliaws! Pwy bynag a deifl olwg ar gynnulleidfa ar adeg y weddi gyhoeddus, caiff yr olygfa fwyaf ysgyfala a didaro ar y lliaws o honi, a dyweyd y lleiaf, fel rhai heb yr un dim i'w wneyd ar y pryd ond dysgwyl i'r adeg fyned heibio. Ai nid hyn yw y ffaith? Ac os felly, onid oes yma brawf fod y teimlad addolgar wedi syrthio yn isel a gwan yn ein plith? Pa ryfedd gan hyny fod y cyfarfod i weddïo wedi dyfod yr un mwyaf anmhoblogaidd oll? Ai fel hyn yr ydoedd ryw oes neu ddwy yn ol? Gyda phob difrifwch y gofynwn, A ganfyddir y fath ddiffyg, ymddangosiadol o leiaf, o'r defosiwn addolgar hwn yn nghynnulliadau crefyddol unrhyw genedl gristionogol ag a ganfyddir yn nghynnulliadau Ymneillduwyr Cymru? Cynnulleidfa yn proffesu ei bod yn addoli y Duw byw, a'r corff o honi heb gymaint a gwneyd un ffurf o ymgrymiad iddo! Gwir mai peth yn y meddwl yw y teimlad addolgar; ond ai nid oes dim a wnelo agweddau y corff a'r meddwl â'u gilydd yn hynyma? Attolwg ai nid oes a fyno agoryd ein haddoldai i gynnal pob math o gyfarfodydd, pa mor wageddus

bynag, rywbeth â'r annhrefn anfaddeuol hwn yn ngwasanaeth Duw? Ond y cwestiwn ydyw o hyd, I ba gyfeiriad tywyll y mae yr ysgyfaldod hwn gyda phethau cysegredig yn ein harwain fel cenedl?

Unwaith eto. Nis gellir gwadu nad yw yr efengyl yn cael ei phregethu yn ein pulpudau yn ei phurdeb, a chyda llawer o ddifrifwch. Ac er y dylid arfer pob taerineb er cael pechaduriaid at y Gwaredwr, eto onid oes perygl i ni, yn ein gorawydd i ychwanegu at yr eglwysi, adael argraff ar feddyliau dynion, er yn anfwriadol, y gwna "dyfod at grefydd" y tro, ac felly eu cymhell i hunan-dwyll, trwy gymeryd y broffes yn lle Crist? Byddai ein tadau yn bur ochelgar rhag rhoddi mantais i neb ddyfod i'r eglwys heb yn gyntaf "fwrw y draul," ys dywedent. Os oeddynt hwy yn gwneyd y drws yn rhy gul, onid ein perygl ni yw ei agor yn rhy lydan? Pa fodd bynag am hyny, onid y cwestiwn difrifol i ni i'w ofyn i ni ein hunain, i'n gilydd, ac i Dduw, ydyw, Paham na byddai yr holl bregethu yn llawer mwy llwyddiannus ar hyn o bryd i ddychwelyd pechaduriaid at Grist a'i grefydd? Addefwn fod cryn nifer drwy y wlad yn cael eu gwir ddychwelyd trwy weinidogaeth y gair, hyd yn nôd yn yr adeg drymaidd hon. Ond mae y nifer achubol hwn drachefn yn dorcalonus o fychan, o'i gymharu â chorff mawr y genedl sydd, er pob peth, yn "blant yr anufudd-dod," ac yn fychan o'i gymharu hefyd â lliaws o'n cenedl sydd yn flynyddol yn meirw yn eu pechodau. A ddichon fod ar y ddaear rywbeth mor ddifrifol a hyn—dynion mewn pwyll, a dynion o wybodaeth a barn, yn colli byth, o wir ddiofalwch, yn yr un fan a threfn gras Duw i'w cadw? Os dywedir mai yn ysbryd y pregethwyr y mae y diffyg, onid yw yn hynod drachefn fod braidd yr oll o bregethwyr y genedl yn ddiffygiol yn yr un modd? Addefwn yn rhwydd fod pob pregethwr adnabyddus o hono ei hun yn ymdeimlo yn ddwys â'i ddiffygion mewnol ac allanol. Ai nid oes dim arall i roddi cyfrif am yr aflwyddiant? Tybygem mai teimlad unfrydol yr hen bregethwyr, a fu yn pregethu i ddwy a thair oes o wrandäwyr, yw eu bod yn cyfarfod yn yr adeg bresennol hon â rhyw ddifaterwch a chalongaledwch, pur wahanol i'r hyn a deimlid hanner can' mlynedd neu lai yn ol. Pa fodd bynag am danom fel pregethwyr, mae yn wirionedd nas gellir ei wadu, ein bod yn pregethu i genedlaeth ag y mae y mwyafrif mawr o honi wedi ymsefydlu mewn anufudd-dod ac ymgaledu mewn anghrediniaeth, y fath na welwyd ei gyffelyb yn hanes ein cenedl yn flaenorol. Nid rhyfedd gan hyny os yw y rhai mwyaf deffrous ac ystyriol yn ofni fod Ysbryd yr Arglwydd wedi ei dristâu genym, ac yn graddol gilio oddiwrthym fel cenedl, nes y gedy ni o'r diwedd i galedwch barnol! Ai onid oes achos? Oni bu felly gyda chenedloedd a fu unwaith mor freintiol a chrefyddol a ninnau? Onid yw rhybudd yr apostol i'r eglwys yn Rhufain yr un mor briodol i ninnau—"Onid arbedodd Duw y cangenau naturiol, gwylia nad arbedo efe dithau chwaith?"

Gallesid yn hawdd myned ymlaen yn yr un cyfeiriad, i nodi ychwaneg o bethau tywyll sydd yn pruddhâu teimladau hen bobl grefyddol, ac yn peri iddynt ofni am arch Duw; ond gadäwn ar hyn. Gwyddom y bydd rhyw rai a ddarllenant y nodiadau hyn yn barod i'n cyhuddo o drin yr ymholiad yn rhy unochrog, trwy awgrymu fod pethau yn waeth nag ydynt, gan fod ochr arall llawer mwy goleu a chysurlawn; ac mai gwell a fuasai gadael y cwestiwn yn llonydd, neu ynte ei drin yn fwy trwyadl a theg. Dichon hyny. A ydyw yn ormod i mi gymhell rhai o'n brodyr sydd yn meddu mwy o graffder, a barn gliriach, o ba rai y mae lliaws i'w cael, i roddi goleufynag mwy cysurlawn ar yr ymholiad tra phwysig hwn? Gwnaent felly garedigrwydd dirfawr i nifer o hen saint sydd yn teimlo yn brudd am y gymanfa, yn galaru am anwiredd y ddinas, ac yn ofni am ddyfodol y genedl.

---

# Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

DIAREBION XXV. 17: "Cadw dy droed allan o dŷ dy gymydog, rhag iddo flino arnat a'th gasâu."

DYLID myned i dŷ cymydog i ymweled âg ef pan yn glaf, ac y mae ymweled âg ef weithiau pan yn iach yn beth dymunol. Ond y drwg yw, myned yno yn rhy aml, ac aros yno yn rhy hwyr ar ol myned. Yn ei dŷ ei hun y mae dyn oreu; yno y mae'r lle mwyaf manteisiol iddo i ddarllen, ac i chwilio i bethau buddiol. Y mae weithiau lawer o amser dyn yn myned yn ofer yn nhŷ ei gymydog, er i'r ymddyddan fe allai fod yn dda; oblegid nid yno y mae ei le ef. Nid oes gan rai dynion ddim blas ar eu tai eu hunain; yno y maent leiaf ond yn unig pan fyddont yn cysgu. Ceir gweled y dyn bob dydd, wedi dychwelyd oddiwrth ei alwedigaeth, a chael ei fwyd, yn myned i dŷ ei gymyd-

og; ac wedi myned yno, am oriau yn ysmocio, ac yn cadw'r teulu oddiwrth eu swper, a rhai oddiwrth y tân, a phob un o'r teulu yn dysgwyl iddo fyned bob moment. Pa bryd yr ä? meddant. Ond aros y bydd efe, gan gadw'r teulu i fyny yn hwyr yn y nos, a pheri iddynt o herwydd hyny fod yn hwyr yn codi bore drannoeth. Ac wedi iddo o'r diwedd fyned, dyna a ddywed y teulu, "Gobeithio na ddaw efe yma eto yr wythnos hon. Ond nos drannoeth wele efe yno drachefn. Eithr nid oes fawr o lewyrch ar y dyn sydd yn mynychu tŷ ei gymydog. Ychydig o amser y mae rhai dynion yn ei roddi at bethau pwysig y meddwl. Mae llawer o'u hamser yn myned i ennill bywioliaeth; a llawer i roddi cwsg i'r corff; ond ychydig o amser y maent yn ei roddi i grefydd ac i adeiladaeth y meddwl. Ond dylai pob dyn wneyd y goreu o'i amser, gan ei fod yn fyr; ac ni ddylai rwystro ei hun a'i gymydog oddiwrth ddyledswyddau crefyddol.—*Y Parch. John Davies, Nerquis.*

---

IOAN x. 4, 5: "A'r defaid sydd yn ei ganlyn ef, oblegid y maent yn adnabod ei lais ef. Ond y dyeithr nis canlynant, eithr ffoant oddiwrtho, oblegid nad adwaenant lais dyeithriaid."

CYHUDDWYD dyn yn yr India amser yn ol o ladrata dafad. Dygwyd ef o flaen y barnwr, ac yr oedd perchenog tybiedig y ddafad yno hefyd. Yr oedd y naill fel y llall yn haeru mai efe oedd piau'r ddafad; ac yr oedd gan y ddau dystion i brofi eu hawl, nes yr oedd yn anhawdd i'r barnwr benderfynu pwy oedd y gwir berchenog. Pa fodd bynag, gan ei fod yn gwybod am arferion bugeiliaid dwyreiniol gyda'u defaid, efe a ddefnyddiodd y llwybr canlynol. Mynodd i'r ddafad gael ei dwyn i'r llys; ac efe a anfonodd un o'r dynion i ystafell yn ymyl; ac yna dywedodd wrth y llall am alw'r ddafad, i edrych a ddeuai hi ato; ond nid oedd y ddafad yn ysgogi dim wrth ei leferydd ef. Yn y cyfamser arall, y dyn arall yn yr ystafell gyfagos, gan ddychymygu beth oedd natur y prawf a ddygid ymlaen, ac yn myned braidd yn ddiamynedd, a leisiodd fath o glwc, ac ar hyny wele'r ddafad yn ebrwydd yn llamu ymaith tuag ato ef. Y clwc neillduol hwnw oedd ei ffordd ef i alw ar ei ddefaid; a phenderfynodd y barnwr ar unwaith mai hwnw oedd yr uniawn feddiannydd. Dyn dyeithr i'r ddafad oedd y llall, ac nid oedd hi yn adwaen llais dyeithriaid.—*Moore's Life Scenes from Mission Fields.*

---

IAGO v. 7: "Wele y mae'r llafurwr yn dysgwyl am werthfawr ffrwyth y ddaear, yn dda ei amynedd am dano."

Y MAE amynedd yr amaethwr yn hiramynedd; amynedd sydd am enyd o amser yn edrych allan heb weled dim—dim ond llafur a thraul. Dyna'r maes aredig wedi llyncu yr oll a fwriwyd arno ac iddo i'w gyfoethogi, holl lafur dynion a cheffylau, a'r holl had gwerthfawr, heb ddim ond daear goch i'w gweled ar ol y cwbl. Yr un fath olwg sydd o flaen llygad yr amaethwr ddydd ar ol dydd; ond nid yw efe yn cyffroi dim, a llawer llai y mae yn anobeithio; canys gŵyr mai felly y rhaid i bethau fod ar hyny o bryd. Ac wedi i'r eginyn ymddangos ar y wyneb, bydd yn hir cyn dyfod yn dywysen, ac ar ol hyny am faith amser yn edrych yn lâs, fel pe byddai yr haul yn tywynu yn ofer arni. Anghenrhaid yw i'r llafurwr fod yn dda ei amynedd yn dysgwyl y cynauaf, ac yna efe a dderbyn ei wobr. Yn gyffelyb, y mae yn rhaid i gristion fod yn dda ei amynedd wrth ddysgwyl bendithion ysbrydol. Mae eisieu ei addfedu ef i'r fendith, yn gystal âg addfedu'r fendith iddo ef; rhaid iddo wrth auaf a gwanwyn, yr un modd a haf, tuag at fwynhâu'r cynauaf pan ddelo.

---

# Barddoniaeth.

## HEN BENNILLION CYFEILLGAR.

*At Olygydd y* DRYSORFA.

ANWYL FRAWD,—Y pennillion canlynol a adysgrifiais rai blynyddoedd yn ol, o un o ysgriflyfrau y diweddar SION LLEYN; a chan farnu y bydd yn dda gan lawer o ddarllenwyr y DRYSORFA eu gweled, yr ydwyf yn eu hanfon i'ch gofal chwi, fel eu rhodder i fewn ynddi mor fuan ag y galloch wneyd lle iddynt.—Ydwyf, Anwyl Frawd, yr eiddoch yn gywir,

OWEN JONES.

*Llandudno.*

*Pennillion, yn dymuno llwyddiant i* ROBERT JONES, *Rhoslan, yn ei siwrnai i Lundain, ar ddymuniad y Gymdeithas Grefyddol o Gymry, i draddodi Gair y bywyd iddynt, yn* 1779.

ARGLWYDD IESU, anfon *guardians*
O hen gedyrn nefoedd fry,
I ROBERT JONES yn amddiffynfa
Rhag gelynion ar bob tu:
Anfon MICHAEL gadarn nerthol,
Hen ryfelwr gwychaf gaed,

A deng myrddiwn o'r angylion
  Cedyrn, tanllyd, wrth ei draed.

Tithau GABRIEL, bydd yn gwmni
  Iddo i'r daith hirfaith hon;
Wrth dy swydd y byddi 'n cludo
  Rhyw newyddion hyfryd, llon:
Agor y dammegion celyd,
  Dattod y cylymau cudd,—
Cloddio rhyw ddirgelion dyfnion,
  A'u dwyn yn rhwydd i oleu dydd.

A doed yr angylion hyny
  Sy 'n rheoli rhodau mawr,
Ac yn dwyn ymlaen yn hwylus
  Bethau dyrys ar y llawr:
Deued eraill sydd â'u gofal
  Am achosion yma a thraw;
Megys yn gofalu am seintiau,
  Gan eu tywys yn eu llaw.

Bron na ddychymygwn weithiau
  Fod rhyw gynhwrf uwch y rhod;
A bod myrdd yn llawenychu
  Am y newydd o gael d'od,
I ddwyn llestr, er mai priddlyd,
  Eto llawn trysorau gwell
Nag yw 'r *deimwnds*, aur, a'r perlau,
  Gloddir o'r mynyddau pell.

Dygwch yn eich dwylaw gwynion,
  Ac arweiniwch ef ymlaen,
Gan ofalu am ei berson
  Yn mheryglon dŵr a thân:
Ond ei ysbryd ef, dy hunan,
  Cymer, Arglwydd, yn dy gôl;
Llwydda 'i waith, dyddana 'i feddwl,
  Nes ei ddyfod adre 'n ol.

Dyro ddrws ymadrodd iddo
  I gyhoeddi 'r efengyl wèn,
A dwyn allan ei thrysorau,
  Iachawdwriaeth led y pen:
Gwna fe 'n daran drwy dy Ysbryd
  I wrthsefyll pechod cas;
Gwna ef megys udgorn arian,
  I gyhoeddi golud gras.

Dos ymlaen, fy nghyfaill hawddgar,
  I dy daith dros Frenin nef;
Na phetrusa ar dy siwrnai,
  Dod dy ofal arno ef:
Dos i Lundain, a chyhoedda
  Yno i'r Cymry gariad rhad,
Fod y ddyled wedi ei thalu,
  Hedd a phardwn yn y gwa'd.

Negeseuwr wedi 'th anfon
  Wyt o'r llys uchela 'n bod,
At y gwrthryfelwyr penaf,
  Mwyaf cyndyn is y rhod:
Bydd yn astud ar dy siwrnai,
  Gwylia ar aswy ac ar dde;
Boed i achos mawr dy Frenin
  Yn dy galon gael ei le.

Tithau a anfonwyd weithiau,
  Megys Nehemïah bydd
Yn astudio *interest* Iesu,
  Yn y nos fel yn y dydd:
Llwydded Nefoedd wèn dy ymdaith,
  Rhoed awdurdod i fywhâu,

Fel bo i feirw fyrdd yn Llundain
  Dd'od o'u beddau i lawenhâu.

Bydded son am ben Calfaria,
  Dwyfol haeddiant Adda 'r Ail,
Tra bo tafod yn mhen Cymro,
  Tra bo Llundain ar ei sail:
Na foed enw i son am dano,
  Ond yr Enw mwyaf gaed;
Na foed plê gan bechaduriaid
  Aflan, euog, ond y gwaed.

Aed dy lais, da gais, di gudd—mwyn llathraidd,
  Yn llwythog o wir-fudd;
Dos, ROBIN, â dwys rybudd,
Gu eiriau lles, i Gaer Lludd.

---

## PARCHUS GOF AM MR. JAMES,

*Diacon yn Eglwys y Methodistiaid Calfinaidd, Docks, Caerdydd,*

OER gnul yw 'r cnul sy 'n chwerwi 'm cnawd,
  Rhoi 'r chwaer neu frawd i'r rhych ar frys;
Ceir angeu 'n rymus ar ei rawd
  I ran y tlawd a'r breintiol lys:
Mae enaid ffyddiog wedi ffoi,
  Aeth gwys i gloi ei gorff dan gudd;
Ac am mai rhaid mewn bedd ei roi,
  Is cur o'i doi mae Docks Caerdydd.

Aeth James drwy 'r glŷn uwch rhyn a chroes,
  I loewdeg oes, pur wlad y gân;
Er hyn, ei ryddid ef a roes
  Hir ddybryd loes i'w briod lân:
Ei fab, y meddyg, sy 'r awr hon
  Yn brudd, a'i galon braidd yn ddwy;
A thra byw ceraint dan y dòn,
  Nid all mai llon Saint Mellons mwy.

James anwyl iawn, am oes i'w wlad,
  Fu ail i dad, o'i ofal doeth;
Ei wyllys ef oedd ei llesâd,
  A'i chael i rodiad cariad coeth:
Yn Drefnydd teg, dros Ddirwest lawn
  Y gweithiai 'n gyflawn ac yn g'oedd;
A'r Ysgol Sul gai 'i ddysg a'i ddawn
  Yn dawel iawn—dyn duwiol oedd.

Diacon da fu James, mae rhi'
  Mewn temlau bri yn teimlo breg;
Ond nis gall neb a'i ddagrau 'n lli',
  Fod dan fwy cri na Dewi deg:
I David Evans oer yw 'r saeth,
  I dorf, ysywaeth, darfu swyn;
A gloes sydd ddofn i eglwys ddaeth
  O golli maeth gŵr call a mwyn.

Ei ddysg, a'i ddoeth gynghorion cu,
  Oedd win i lu drwy ddoniol oes;
Yn ffordd sancteiddrwydd uniawn fry,
  Goleuni fu ei lanaf foes:
Cymynrodd yw ei dawel gwys,
  Ac ynddi cynnwys eiddo drud,
I ddal ein hadystyriaeth ddwys
  Ar beth o bwys mwy 'i werth na 'r byd.

Gan ddyhuddo 'i briod fwyn
Gyda gwên i guddio 'i gŵyn,

Teimlai ynddo ymdrech dibaid
Nychlyd gorff a nerthol enaid:
Gwywai 'r naill ar finion bedd,
Ac addfedai 'r llall i'r hedd.

Tra gwanychai 'i babell frau,
A'r pang olaf yn nesâu,
Ymgysurai 'i dawel fron
Wrth wynebu 'r chwyddol dòn:
Pallai 'r golwg gyda'r clyw,
Hunai 'r dyn i'r sant gael byw.

Aeth heibio 'r nos, teg wawriodd dydd,
Yn awr mae 'r enaid mawr yn rhydd,
A rhydd byth mwy yw ef:
Fry, fry ehedodd James o'i gur,
I byncio 'r lawn gyfangerdd bur
Yn undeb corau 'r nef.

ROBERT PARRY
*(Robyn Ddu Eryri).*

## LLAIS YR IESU.

*(Hymns Ancient and Modern.)*

MI glywais lais yr Iesu 'n d'weyd,
"Tyr'd, gorphwys arnaf fi;
Yn stormydd adfyd pwyso 'th ben
Gei ar fy mynwes i:"
At Iesu daethum yn ddioed,
Yn dlawd a gwael fy ngwedd,
Ac Ef a'm cododd i o'r llwch,
I orphwys yn ei hedd.

Mi glywais lais yr Iesu 'n d'weyd,
"Sychedig enaid, clyw!
Cei yfed fyth o ddwyfol rîn
Ffynnonau dyfroedd byw:"
At Iesu daethum yn ddioed,
Gwrandewais ar ei lef,
Fy syched dorwyd gan y dwfr
A roddwyd ganddo Ef.

Mi glywais lais yr Iesu 'n d'weyd,
"Goleuni 'r byd wyf fi,
Ond edrych arnaf, cyfyd gwawr
Ar ddydd dy einioes di:"
Edrychais innau—gwelais wawl
Teg Haul dysgleiriol Duw,
Ac yn ngoleuni Hwn am byth
Y gall fy enaid fyw.

W. CADWALADR DAVIES.
*Bangor.*

## ENGLYN I'R GOG.

*A gyfansoddwyd wrth ei chlywed y tro cyntaf yn nechre haf* 1878.

Y Gôg ar y brigog bren—a seinia
Yn swynol ei hawdlen:
Egyr ei phig, gŵyra 'i phen,
Dwêd Gwcw gydag acen.

MICHAEL JONES.
*Fflint.*

# Bwrdd y Golygydd.

### Y DIWEDDAR MR. P. M. EVANS.

NIS gall neb o ddarllenwyr y DRYSORFA farnu mai anmhriodol yw i ni ddwyn enw a nodwedd ei diweddar Gyhoeddwr canmoladwy i sylw fel hyn ynddi. Yn wir, nid ydym yn gallu cofio am farwolaeth un Cymro, heb fod yn un o wŷr cyhoeddus y pulpud neu yr areithfwrdd, neu o'r *professions* breiniol, a effeithiodd mor ddwys ac mor gyffredinol ar ei gydwladwyr â marwolaeth Mr. Peter Maelor Evans. Pe cyhoeddai ei deulu restr o'r holl anerchiadau neu gofebau cydymdeimladol a dderbyniasant ar yr achlysur o'i ymadawiad, gwelid y nifer yn fawr dros ben. Cymanfa Gyffredinol, Cymdeithasfäoedd Gogledd a Dehau, Cyfarfodydd Misol, Byrddau Lleol, a lliaws o gyrff cyhoeddus eraill, heb son am lythyrau oddiwrth bersonau neillduol,—a anfonasant eu hamlygiadau o gydymdeimlad â gweddw a meibion ein diweddar gyfaill yn eu colled am un a gyfrifid yn bobpeth ganddynt, tra yr oedd hefyd wedi ei wneuthur yn anrhydedd ac yn fendith i'w gydgenedl. Mae yn ddiau fod dull disyfyd ei farwolaeth wedi dyfnhâu y teimlad a ddangoswyd mor eang; ond pe yn annibynol ar ragoriaethau personol a chymdeithasol Mr. Evans ei hun, ni buasai y teimlad ond lleol a byramserol.

Am ei fagwraeth a'i ddygiad i fyny, gallasai efe ddywedyd gyda Solomon, "Yr oeddwn yn fab i'm tad, yn dyner ac yn anwyl yn ngolwg fy mam. Efe a'm dysgai, ac a ddywedai wrthyf, * * * Penaf peth yw doethineb, cais ddoethineb, ac â'th holl gyfoeth cais ddeall. Dyrchafa di hi, a hithau a'th ddyrchafa di; hi a'th ddwg di i anrhydedd os cofleidi hi." Ei dad, Mr. Thomas Evans, Minera, Adwy'r clawdd, yn ddechreuol o ardal Llanrwst, oedd ddiacon enwog gyda'r Methodistiaid yn yr Adwy, yr hwn yr edrychid arno fel patriarch parchedig yn Nghyfarfod Misol Sir Fflint, er nas gallai ddyfod iddo ond yn anfynych yn ei flynyddoedd diweddaf. Bu efe farw yn yr oedran teg o 84 mlwydd. Am flynyddoedd bu yn ysgolfeistr llwyddiannus yn Adwy'r clawdd; ac, ymysg eraill, bu y diweddar Barch. John Hughes, Liverpool, a'i frodyr, dan ei addysg; a da y llefarai ei holl ysgoleigion am dano. Symudodd i'r Wyddgrug, lle yr arosodd am rai blynyddoedd, wedi cymeryd y swydd o ysgrifenydd a rheolwr mewn cysylltiad â gwaith plwm Maes-hafn. Oddiyno dychwelodd i'r Mwnglawdd, lle y cafodd oruchwyliaeth ynglŷn â'r gwaith plwm mawr oedd yno'r pryd hwnw. A llanwodd yn anrhydeddus bob lle y bu ynddo. Yr oedd Mr. Thomas Evans yn ŵr myfyrgar a darllengar, â gwedd urddasol arno, ac "yn Fethodist o'r hen *stamp*." Yr oedd ei wraig hefyd, mam Mr. P. M. Evans, yn berchen meddwl craff

a bywiog, ac o dueddfryd serchog a charedig, braidd yn *nervous*, ond fel gwraig a mam yn wir ofalus dros yr eiddo. Ganwyd ein cyfaill yn ardal yr Adwy, Ebrill 10, 1817. Wedi cael yn gyntaf addysg dda gan ei dad, ac wedi hyny mewn ysgol ddyddiol yn yr Wyddgrug, a gyfrifid y pryd hwnw yn ysgol glasurol dda, a thrachefn yn Ysgol Rammadegol Rhuthyn; ac hyd ddiwedd ei oes, pan y byddai eisieu, dangosai ei hun, er yn gwbl ddiymffrost, yn *classical scholar* rhagorol. Bwriedid ef i fod yn gyfreithiwr, eithr tueddwyd ei feddwl i fod yn argraffydd; ac nid yn ddiles iddo ei hunan, nac i'w wlad, y trôdd y bwriad hwnw. Bu yr ysgrifenydd yn cydlettŷa âg ef yn 1835—8; ac efe a'i cafodd yn ŵr ieuanc synwyrgall, boneddigaidd, caruaidd a chyfeillgar, a chrefyddol ddirodres; "yn ofni Duw, a chasâu drygioni." Bu yn llafurus a medrus fel athraw yn yr Ysgol Sabbothol; a phan y symudodd i Dreffynnon tua diwedd 1838, teimlid colled fawr ar ei ol.

Yn awr, gwelid ei enw fel aelod o *firm* Lloyd ac Evans, cyhoeddwyr ac argraffwyr, o'r Wyddgrug a Threffynnon, ac yn fuan o Dreffynnon yn unig, gan fod yr argraffdŷ wedi ei symud yno o'r Wyddgrug. Yr argraffiad cyntaf o Esboniad James Hughes ar y Testament Newydd a gyhoeddwyd yn yr Wyddgrug, y Llyfr Cyntaf gan J. ac E. Lloyd, a'r Ail gan J. Lloyd ei hun. Ond yr *imprint* ar y cyfrolau cyntaf o Esboniad James Hughes ar yr Hen Destament yw Lloyd ac Evans, ac ar y cyfrolau diweddaf, P. M. Evans, gan fod Mr. John Lloyd erbyn hyny wedi ymneillduo o'r *concern* yn Nhreffynnon, ac ymfudo i Liverpool, lle y bu yn cyhoeddi *Yr Amserau* yn benaf. Yr ail argraffiad o'r Esboniad ar yr Hen Destament, gyda chwanegiadau gan y Parch. R. Edwards, yn dair cyfrol fawr, a gyhoeddwyd yn gwbl, fel y gwelir, gan Mr. Evans. Y flwyddyn 1854 oedd y gyntaf iddo ef gyhoeddi Y DRYSORFA; a'r flwyddyn ganlynol yr oedd yn cyhoeddi y *Traethodydd;* ac yn y fl. 1860, cychwynwyd *Trysorfa'r Plant* yn ei argraffwasg. Am gynnyrchion eraill ei wasg yn Nhreffynnon, ni ddywedwn ond yn unig y dyfarnwyd yn Eisteddfod yr Wyddgrug yn 1873, pan yr oedd boneddwr o Gymro yn Lloegr wedi cynnyg gwobr am yr argraffiad tlysaf a rhagoraf yn yr holl ddygiad allan, o lyfr Cymraeg, mai y gyfrol o Bregethau y Parch. Henry Rees gan Mr. Evans oedd y llyfr hwnw.

Yn fuan wedi ei symudiad i Dreffynnon, yr oedd yr eglwys a'r gynnulleidfa yn nghapel Rehoboth yn gweled fod ei wybodaeth, ei ddoethineb, a'i ddawn, ynglŷn â'i grefyddoldeb, yn rhoi lle i ddysgwyl am ei ddefnyddioldeb i fesur helaeth yn eu mysg; ac ni chawsant eu siomi. Yr oedd yn un o'r athrawon goreu yn yr Ysgol Sabbothol—yn ufudd pan elwid arno yn y cyfarfod gweddi, ac yno yn gweddïo mewn ysbryd a geiriau priodol—yn synwyrol a difrifol pan ddywedai rywbeth yn y cyfarfod eglwysig—ac yn weithgar gyda phobpeth y gelwid arno i'w gyflawni. Yn ei flynyddoedd cyntaf yno, yr oedd y diweddar Barch. John Phillips yn gweinidogaethu yn entyrch ei fywiogrwydd a'i boblogrwydd; ac yn NHRYSORFA Rhagfyr, 1867, fel rhan o'r erthygl gyntaf, ceir adgofion a sylwadau Mr. Evans ar weinidogaeth Mr. Phillips yn Nhreffynnon. Nid oedd efe ar y pryd yn caniatâu i ni ddodi ei enw yn argraffedig fel ysgrifenydd y sylwadau; ond yr oedd yn hawdd i'r darllenydd weled fod cyfansoddydd yr adroddiad hwnw yn ŵr o farn a medr nodedig. Cymhellir ni i roddi yma y dernyn canlynol o hono:—

"Gwneid y gynnulleidfa i fyny o gymysgedd rhyfedd. Gyda yr eglwys, a'r dyrfa arferol, ceid rhai nad oeddynt yn wrandäwyr cyson, megys masnachwyr mwyaf y dref, ei edmygwyr o'r capeli eraill, rhai o'r teithiau agosaf, a'r *blackguards* mwyaf o'r heolydd. Yr oedd efe wedi ennill sylw a pharchedigaeth pob dosbarth, ac y mae ei enw yn perarogli ymhob cylch hyd y dydd hwn. Yn wir, yr oedd Sabbothau Mr. Phillips fel uchelwyliau yn y dref; ac ni byddai raid gofyn pwy oedd yn pregethu yn y capel mawr pan y byddai efe yno. Mae yn wir fod amgylchiadau masnachol a gweithfaol y lle wedi cyfnewid yn fawr er y pryd hyny, pan yr oedd y *factories* yn llawn gwaith, a gweithfäoedd eraill yn llwyddiannus. Ond nid hyny yn unig oedd yr achos o'i lwyddiant a'i boblogrwydd; yr oedd ysbryd y weinidogaeth ynddo: a lle y bydd hwnw, nid oes dim rhwystrau na orchfygir ganddo. Gofaled yr eglwys gefnogi yr ysbryd hwn, a gwareder ein gweinidogion oddiwrth bob peth a duedda i'w lethu a'i wanhâu. Er fod nerth Dwyfol ynddo, mae yn dyner iawn; ac y mae genym esiamplau lawer o rai, wedi rhedeg yn dda, 'yn ymrwystro,' ac yn ei golli. Beth bynag a ddywedwyd yn y dyddiau hyny am yr ysgogiad yn y cyfundeb at weinidogaeth fwy sefydlog, mae yn aros yn ffaith fawr a diymwad fod y prawf cyntaf o'r bron a wnaed arni yn ein plith wedi troi allan yn llwyddiant perffaith. Fe allai y canfydd y llygadog a'r diragfarn yn yr ychydig nodiadau a wneir, mai agos i anmhosibl ydoedd aflwyddiant, gan ei bod yn ddeddf yn llywodraeth y Bôd mawr i fendithio yr hyn a wneir oddiar gydymffurfiad â'i ordeiniad ef mewn doethineb a ffyddlondeb."

Yr oedd gan Mr. Phillips feddwl uchel am Mr. Evans fel gŵr ieuanc crefyddol, synwyrlawn, a thalentog; a llwyddodd i'w gael yn gydymaith iddo ar amryw deithiau pregethyddol o'r eiddo, heb fod yn hir deithiau, ymha rai y byddai raid iddo ddechre yr oedfäon, yr hyn a wneid ganddo yn fyr ac yn gymhwys.

Yn y flwyddyn 1844, dewiswyd ef yn ddiacon, pan yr oedd ef yr ieuengaf o bedwar a alwyd i'r swydd ar y pryd. Y tri arall a gymerwyd ymaith flynyddoedd lawer o'i flaen ef i'r orphwysfa nefol. Yn y fl. 1848, efe a aeth i'r ystâd briodasol gyda Miss M. Kerfoot, trydedd ferch Mr. James Kerfoot o'r Vaenol fawr, gerllaw Abergele, yr hwn sydd yn awr yn ei 83 mlwydd oed, yn henwr sionc, ac a gyfrifir yn un o'r amaethwyr mwyaf a goreu yn Ngogledd Cymru. Mae lledneisrwydd yn peri i ni fod yn gynnil wrth son am y byw; ond gallwn sicrhâu nad oedd bosibl fod ieuad mwy cymharus na'r eiddo Mr. a Mrs. Evans. "Rhodd yr Arglwydd yw gwraig bwyllog," ebe'r gŵr doeth; ac nid oes dim yn amlycach nad y cyfryw rodd a gafodd ein cyfaill yn ei briodas. Cawsant bump o blant, pedwar o feibion, ac un ferch. Ac nis gellid cyfarfod

â theulu yn ymddangos yn fwy caruaidd a dedwydd. Yn wir, byddem yn ystyried teulu y *Strand*—preswylfa Mr. Evans—yn *model family;* tad a mam a phlant yn mwynhâu eu gilydd yn y modd serchocaf a hyfrydaf. Gwelir yn mhregeth ei gymydog Mr. Pugh yn y rhifyn hwn dystiolaeth ysgrifenedig Mr. Thomas Evans am y cysur a roes Peter i'w rieni bob amser; a'i barch a'i ufudd-dod' ef iddynt hwy a wobrwywyd yn y cysur a gafodd yntau yn ei deulu ei hun. Ond anwadal ac anmherffaith yw pob mwyniant dan haul. Nis gellid gweled merch mwy hoffus ymhob modd na'i Mary Kerfoot ef; ond pan yn 15 oed, ac o ran ei pherson a'i phryd yn ymddangos yn llawer hŷn, cymerwyd hi ymaith gan angeu ar ol ychydig ddyddiau o afiechyd. Fel y gallesid dysgwyl, effeithiodd y fath ddyrnod trwm yn y modd dwysaf ar deimladau rhieni tyner; ac er fod Mr. Evans yn "dystewi yn yr Arglwydd," yr oedd yn rhy amlwg fod yr ergyd wedi ei gyrhaedd i'r byw, fel nas gallodd byth ymiachâu oddiwrtho. Bellach y mae efe a'i anwyl ferch

"Wedi hapus gwrdd ynghyd
Yn y nefol fythol fyd,
Lle na cheir ond hedd o hyd,
Heb ofid yn dragywydd."

Nis gallwn, o herwydd prinder gofod, ddodi i mewn ein holl nodiadau am ein cyfaill y tro hwn; a dilys genym na bydd yn flin gan y darllenydd gyfarfod unwaith eto âg enw oedd mor gydnabyddus iddo.

---

AT YSGRIFENYDDION Y CYFARFODYDD MISOL AC ERAILL GOFNODWYR.

Y MAE E. G. Salesbury, Ysw., bargyfreithiwr, Glan-Aber, Chester, yn mawr ddeisyfu cael enwau yr holl leoedd pregethu ymhob Sîr trwy Ogledd Cymru, perthynol i'r Methodistiaid Calfinaidd, yn misoedd y flwyddyn 1799, ynghyd ag enwau y "Cynghorwyr" yn yr holl Siroedd ar y pryd. Y mae Mr. Salesbury—ac nid ydym yn adwaen neb cymhwysach nag ef—yn bwriadu rhoddi hanes llafurwaith Anghydffurfiaeth yn Ngogledd Cymru mor gyflawn ag y bydd bosibl; a mawr hyderwn y gwna ein holl gyfeillion ag y mae ar eu llaw ei helpio i wneuthur hyny mor gyflawn ac mor ddioedi ag y gallont.

---

# Y Wasg.

Y PWLPUD YN Y TEULU, *sef Pregethau gan y diweddar Barch.* JAMES RICHARDS, *Pontypridd. Dan olygiad y Parch.* T. LEWIS, *Pontymister.*

Cwmafon: Griffiths and Son.

Y MAE dros saith mlynedd er pan y rhoisom adolygiad ar y rhan gyntaf o'r llyfr hwn; ac y mae yn ymddangos nad oes ond ychydig fisoedd er pan y cwblhäwyd y gyfrol. Dechreuwyd ei hargraffu yn Nghaerfyrddin; ac felly ceir gwahaniaeth yn y wedd argraffyddol ar yr holl bregethau, yr hyn nad yw yn prydferthu'r llyfr. Pa fodd bynag, dyma'r pregethau erbyn hyn, deg a deugain o honynt ynghyd mewn un gyfrol, gyda chofiant o'r pregethwr gan y Parch. E. Thomas, Casnewydd—nodiadau am dano fel gweinidog gan y Parch. D. Morgan, Blaenafon—a darluniad o'i nodweddau fel dyn a christion gan y Parch. E. Roberts, Pontypridd.

Am dano fel pregethwr, dywed Mr. Thomas,

"Sylfaenai Mr. Richards ei bregeth, nid ar hanner brawddeg, neu ddarn o gysylltiad, ond ar ddrychfeddwl cyfan a pherffaith yn ngair Duw; yna, gyda phwyll mawr a sylwadau pwrpasol, neu nodiadau eglurhäol, arweiniai y meddwl at y testun, ac yna codai ddau neu dri o benau. Wedi hyny dechreuai ei daith yn araf ar iseldir ei destun, gan ddringo o radd i radd nes cyrhaedd yr uchelder, a sefyll ar ben y bryn; yna gwnai ddefnydd presennol o'i faterion; ac yn hyn byddai bob amser yn ddedwydd ac effeithiol dros ben. I ddychymygu am ei bregeth ef, rhaid peidio meddwl am dymhestl ofnadwy o fellt a tharanau, nac ychwaith am ddim yn wyllt a mawreddog mewn natur, megys creigiau serth, mynyddoedd cribog, dyfnderoedd, ac afonydd, nac ychwaith am ruthr dinystriol corwynt yn diwreiddio coedydd, yn dymchwelyd cestyll, ac yn peri i'r moroedd ferwi, a'r tônau digofus wylltio a rhuo. Nid oedd dim yn ei ddawn yn cyfateb i hyn. Ond yr oedd hwnw yn debyg i lanw y môr ar ddiwrnod tawel o haf, yn chwyddo a chodi yn ddystaw a graddol, uwch, uwch, nes byddo'r llongau yn yr aber yn nofio, y traeth yn cael ei guddio, ac eithafnod y terfyn gosodedig yn cael ei gyrhaeddyd, neu yn debyg i daith raddol a hyfryd y goleuni ymlaen o wawr y bore hyd hanner dydd. Yr oedd y cwbl yn graddio. Yr oedd ei lais yn wan a phesychlyd, ond yn felus ac effeithiol. Siaradai yn bwysig, gofalus, a phwyslefol; a rhwng difrifoldeb mawredd, a phertrwydd pethau, yr oedd calonau y gwrandäwyr astud a deallus yn toddi ac yn llawenhâu, ac ymddangosai trefn y prynedigaeth yn ardderchog."

Ac am dano ynglŷn â'i gynnulleidfa ei hun, ysgrifena Mr. Morgan,

"Anfynych iawn y treuliai efe Sul oddicartref. Gartref yr oedd efe yn caru bod, a chartref yr oedd ei bobl yn caru iddo fod. Yr oedd felly gyfleusdra i gael yr efengyl

ganddo yn ei hamrywiol a'i gwahanol agweddau, a'i feddwl yntau yn ei lawn waith. Yr oedd efe yn well pregethwr i wrando arno am flwyddyn nag am fis. Yr oedd parhâu yn perthyn iddo, ac nid myned yn llai yn ngolwg ei bobl wrth bregethu yn yr un lle ac i'r un rhai. Nid oeddys yn blino ar ei bregethu. Yr oedd y fath gyfoeth yn ei bregethau, a'r fath amrywiaeth yn ei bethau, y fath feddwl addfed, y fath nerth meistrolgar wrth drin ei bwnc yn dyfod i'r weinidogaeth, fel yr oedd ei gael ef yn yr un pulpud bob Sul yn cael ei ystyried ymhob ystyr yn fantais ymhlith y bobl. Cofiwn yn dda am deimlad o anfoddlonrwydd mawr yn ein plith weithiau, wrth ei weled ef yn eistedd o dan y pulpud, a rhywun arall—pregethwr teithiol—yno ar y Sul. * * * Nid oedd ei bregethau oll yn gyfartal o ran pwysau a nerth; afresymol oedd dysgwyl i hyny fod; ond yr oedd yn bwynt ganddo ef wneuthur ambell i bregeth yn y mis i ragori ar y lleill. Hŷd ei bregethau yn gyffredin oedd deugain mynyd, neu dri chwarter awr; ond gydag ambell i bregeth fawr, byddai yn parhâu am awr, a mwy. Ni chlywsom ei fod ef un amser yn cael ei flino gan y sibrwd fod ei bregethau yn rhy hir."

Yr oedd yn chwith genym ddarllen am bregethwr a ganmolid mor fawr, fod yn rhaid iddo, yn chwanegol at ei ofal bugeiliol, ddilyn yr alwedigaeth o ganwyllwr, gyda'r hon y gweithiai â'i ddwylaw ei hun, tuag at ddwyn i fyny ei deulu lliosog! Yn ystod ei weinidogaeth, dros ddeugain mlynedd, ni chafodd erioed fwy o gyflog na phump neu chwe' phunt yn y mis. Yr oeddym ni yn tybied fod eglwysi y Bedyddwyr yn y Deheudir yn gryfion, ac o ganlyniad yn haelionus; ond ni a welwn mai i bobl y poethoffrwm rhad y gwasanaethai Mr. Richards.

Cyfrifid ef yn un o brif bregethwyr y Bedyddwyr yn y Dywysogaeth; ïe, cawn yma un o'i gyfeillion yn ei alw yn "bregethwr mwyaf Cymru yn nghanol y bedwaredd ganrif ar bymtheg." Mae hyny yn organmoliaeth; ond oddiwrth dystiolaethau dynion craff a'u gwrandawent, mae yn rhaid ei fod yn bregethwr o allu a dylanwad neillduol. Fe dybygid nad oedd yn gystal ysgrifenydd o lawer ag ydoedd o lefarydd; ond nis gellir darllen ei bregethau ysgrifenedig heb weled mai gŵr mawr ac un o "feistriaid y gynnulleidfa" ydoedd. Cynghorwn gan hyny ein cyfeillion i feddiannu a darllen y pregethau hyn, a'u trosi yn eu meddyliau, yr hyn, yn ddiau, a fyddai iddynt yn hyfryd ac yn llesol. Rhoddwn yma ychydig ddyfyniadau:

### DYFOD I'R IAWN.

Y mae rhyw swn hyfryd a rhyw ystyr brydferth i'r frawddeg hon: "A bod iddynt ddyfod i'r iawn." Fe allai fod y swyn sydd gan y gair *iawn* i'm clust i, yn cyfodi oddiwrth y ffaith ei fod yn enw ar un o ganlyniadau mawrion a ffrwyth dyoddefaint Iesu Grist. "Yr hwn a osododd Duw yn iawn." "Ac efe yw'r iawn dros ein pechodau ni." Pa le bynag y cwrddwyf fi â'r gair, a pha beth bynag fyddo ei ystyr bwriadol, y mae rhywbeth yn swn ei lythyrenau sy'n hebrwng fy meddwl i Galfaria, at sylfaen gadarn fy nghadwedigaeth: y Dwyfol Iawn. Ond nid iawn Crist yw'r iawn hwn. Eto, iawn ydyw ag y mae iddo ystyr hyfryd. Y mae rhyw fan ar ein golygiadau, ar ein calonau, ar ein hymarweddiad, ond i ni ddyfod iddo, y byddwn yn ein lle—wedi dyfod i'r iawn. Ond mae yr ymadrodd, "A bod iddynt ddyfod i'r iawn," yn arwyddo ei bod yn *all wrong* gyda phechadur anedifeiriol. Mae gair Duw yn dangos ei fod ymhell o'i le yn y cwbl oll. Y mae ei olygiadau, ei deimladau, ei ymarweddiad, ïe, ei holl gyflwr a'i sefyllfa, yn *all wrong*. Cyn y bydd un gobaith am dano, mae yn rhaid ei greu o'r newydd, ei eni drachefn, cael ei holl ddyn moesol i'r un man â'r gwirionedd, ïe, i'r iawn.

### CREDU AC NID GWEITHIO.

Nid yw yr efengyl yn ddim i neb heb ffydd, tra y mae yr holl dda sydd ynddi i'r hwn sydd yn ei meddu. Yn awr, hyn sydd yn rhoddi i'r efengyl ei neillduolrwydd. Y mae yn hyn yn gwbl ac yn hollol ar ei phen ei hunan, heb un drefn gyda golwg ar y naturiol a'r ysbrydol fel yr eiddo hi. Yn y llwybr o feddu da natur, nid yw ffydd ddim. A welsoch chwi rywun yn dyfod i feddu rhyw ran o'r ddaear yma yn *freehold* drwy ffydd? Y mae rhai ymhob cymydogaeth yn byw ar eu tir eu hunain; a ddaeth rhai o honynt iddo yn unig trwy ffydd? Ond deuwch i lawr at bethau llai. A welsoch chwi rywun yn dyfod i *suit* o ddillad, neu bryd o fwyd, drwy ffydd? Dim neb. Meddyliwch am unrhyw dda naturiol, bydded fawr neu fach: ni ddaeth neb erioed iddo trwy ffydd. Nid ffydd yw'r ffordd i gyfranogi o dda natur, ond llafur, lludded, a gwaith. Gwaith hefyd oedd hen ffordd bywyd tragywyddol. "Gwna hyn a byw fyddi,"—dyna lwybr y cyflwr dibechod. Edrychwch chwi ar y peth a fynoch; y ffordd tuag ato yw gwaith. Nid oes dim sydd yn wybodaeth ond trwy waith, a gwaith caled. Ond dyma drefn sydd yn cynnwys ynddi y daioni mwyaf, anfeidrol a thragywyddol; a'r llwybr ato yw ffydd; credu yn Nghrist, ymorphwys arno, a rhoi dy hunan tlawd iddo. Y mae'r drefn hon o gadw yn gwneyd iachawdwriaeth yn beth hawdd. Yn y blynyddoedd hyn y mae dyn tlawd yn dyfod i gyfoeth yn hawdd iawn mewn cymhariaeth i'r oesau blaenorol; dyn tlawd o un o'r plwyfi nesaf atom, wyth mlynedd yn ol, yn myned i Australia, ac yn ddiweddar yn dyfod yn ol yn werth dros ugain mil o bunnau. Ond i wella ei amgylchiad fel hyn, yr oedd yn rhaid myned i Australia, ac wrth hyny peryglu ei fywyd; ac wedi myned yno, gwaith—gwaith hyd ludded a blinder. Ond yma nid oes dim gwaith; ac yn lle myned i Australia, nid oes dim eisieu

symud o'r *seat* neu o'r fainc; dim ond credu ynddo, a derbyn yr ystâd wrth eistedd; trysor mwy ei werth na gwerth Australia i gyd. Diolchwn byth i Dduw am y drefn: "y ffydd yn Nghrist." Y mae'r drefn hon hefyd yn gwneyd iachawdwriaeth yn beth ebrwydd. Nid oes dim eisieu wyth mlynedd, na phump, nac un; nac oes, na mis na diwrnod. Gweled dy hunan yn golledig, a throi dy wyneb ato Ef: dyna'r meddiant wedi ei selio, a'i selio am byth. Y mae'r drefn hon yn ateb pawb—pob oedran a chyflwr dros yr holl fyd.

CARIAD DUW.

Cariad ydyw â thrysor o allu a phob gras tu cefn iddo. Yr ydym ni yn caru, ond yn aml yn caru i gael ein siomi, ac i siomi. Er caru, nid yw ein cariad ni yn fynych ond rhywbeth gwag. Mae'r teimlad i'w gael, ond nid oes dim arall; caru ar air yw; un gwag, nad yw yn werth dernyn grôt. Ond nid fel hyn y mae gyda chariad Duw. "A chariad tragywyddol y'th gerais; am hyny tynais di â thrugaredd." Cariad ydyw yn serchu yn ei wrthddrych, a moddion digonol i sicrhâu y gwrthddrych hwnw yn feddiant iddo byth. "Canys Duw, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, o herwydd ei fawr gariad trwy yr hwn y carodd efe ni." Mae cyfoeth anfeidrol o drugaredd yn cadw tu cefn i gariad Duw. "Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn feibion i Dduw." Wel, rhyw anrhydedd Dwyfol yw cael ein galw yn feibion i Dduw; ond ai enw yn unig yw ffrwyth y cariad? O na: "os plant, etifeddion hefyd." Mi a adwaenwn ŵr a gwraig, i'r rhai yr oedd tri o blant. Yr oedd ganddynt un fferm dda yn eiddo iddynt eu hunain; ac yr oedd hono yn drysor da i un o'r plant, ond bach rhwng y tri. Felly penderfynwyd dyfod i afael dwy arall; ac felly y bu. Flynyddau cyn marw y tad a'r fam, yr oedd fferm gan Willie, fferm gan Dafydd, a fferm gan Nansi. Ond nid tri o blant sydd gan Dduw, na thri chant o filiynau. O na; ac nid pob o fferm a all efe roi iddynt; ond fe all roi pob o fyd iddynt hwy os bydd yn dewis. A weli di y sêr yna? ebe Duw wrth Abraham. Rhifa hwy. Nid allaf fi ddim. Wel, felly y bydd dy had di; plentyn am bob seren, a seren am bob plentyn. Cariad âg anfeidrol gyfoeth tu cefn iddo yw cariad Duw.

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## GWEITHREDIADAU Y GYMANFA GYFFREDINOL,

### A GYNNALIWYD YN ABERYSTWYTH, MAI 28—31, 1878.

LLYWYDD:—Parch. J. THOMAS, Carno.
YSGRIFENYDDION:—
Parch. O. JONES, B.A., Liverpool.
" J. LEWIS, Caerfyrddin.

*(Parhâd o tu dal. 269.)*

TRYDYDD EISTEDDIAD Y GYMANFA.

AM 2 O'R GLOCH.

XI. Treuliwyd y cyfarfod hwn i draethu am Berson yr Arglwydd Iesu Grist, a'i bresennoldeb gwastadol yn ei eglwys.

AM 6 30 O'R GLOCH.

XII. Cyfarfod Cenadol cyhoeddus.

1. Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. D. Roberts, Gwalchmai.
2. Cymerwyd y gadair gan Alderman Phillips, Abertawe, yr hwn a draddododd anerchiad agoriadol.
3. Rhoddwyd crynodeb o weithrediadau y gymdeithas am y flwyddyn ddiweddaf, gan y Parch. J. Thomas, M.A., Ysgrifenydd y Genadaeth.
4. Rhoddwyd crynodeb o'r cyfrifon arianol gan Mr. Peter Williams, y Trysorydd Cyffredinol.
5. Cynnygiwyd gan y Parch. Joseph Thomas, Llywydd y Gymanfa, cefnogwyd gan Mr. Peter Roberts, Llanelwy, a phenderfynwyd, Ein bod yn derbyn ac yn cymeradwyo yr Adroddiad o weithrediadau y Gymdeithas, ynghyda'r cyfrifon arianol, a'u bod i gael eu cyhoeddi a'u lledaenu yn y dull arferol.
6. Cynnygiwyd gan y Parch. Emrys Evans, Dinbych, cefnogwyd gan y Parch. W. J. Williams, Hirwaen, a phenderfynwyd, Ein bod yn dymuno cydnabod yr Arglwydd am yr arwyddion o gynnydd ar yr ysbryd Cenadol yn ein heglwysi, a welir yn yr ychwanegiadau graddol mewn cyfraniadau at yr achos, ac yn yr awydd a ddangosir gan amryw o'n gwŷr ieuainc i ymroddi i'r gwaith Cenadol.
7. Cynnygiwyd gan y Parch. M. Morgan, Hwlffordd, cefnogwyd gan y Parch. D. Harris, Chicago, America, a phenderfynwyd,—Ein bod yn dymuno annog ein Swyddogion Eglwysig ac Arolygwyr ein Hysgolion Sabbothol, i arfer moddion i feithrin ysbryd Cenadol yn ein heglwysi, trwy drefnu i gynnal cyfarfodydd Cenadol blynyddol mewn cysylltiad â phob cynnulleidfa, ac i fabwysiadu rhyw gynlluniau i ddwyn y plant yn enwedig i deimlo dyddordeb yn y gwaith Cenadol.
8. Cynnygiwyd gan y Parch. T. Rees, Merthyr, cefnogwyd gan y Parch. J.

Jones, Aberhonddu, a phenderfynwyd,—Fod diolchgarwch gwresocaf y Gymanfa i gael ei gyflwyno i Mr. Peter Williams, Trysorydd Cyffredinol y Gymdeithas; i Mr. David Roberts, Trysorydd y Cyllid at gynnorthwyo Cenadon Methedig, &c.; i Dr. Gee, Cyfarwyddwr Meddygol y Genadaeth; i'r Parch. J. Thomas, M.A., yr Ysgrifenydd Cenadol; i Mri. John Griffith a D. P. Davies, Archwilwyr y Cyfrifon; ac i'r Cyfeisteddfod Gweithiol, am eu ffyddlondeb a'u gwasanaeth gydag achosion y Gymdeithas dros ystod y flwyddyn ddiweddaf.

9. Cynnygiwyd gan Mr. T. Williams, Croesor, Sir Feirionydd, cefnogwyd gan y Parch. R. Hughes, Uwchlaw'r ffynnon, a phenderfynwyd,—Fod y personau canlynol i gael eu penodi yn Gyfeisteddfod Gweithiol am y flwyddyn ddyfodol:—y Parchedigion R. Lumley; O. Thomas, D.D.; J. Hughes, D.D.; H. Jones; O. Jones, B.A; O. Owens; J. Thomas, B.A.; G. Ellis, B.A.; J. Evans, Garston; Mri. O. Elias; R. Gee, M.D.; J. Williams, Moss Bank House; John Griffith; T. Lloyd; E. Pugh; J. Roberts, Hope Street; T. Jones, 81, Parliament Street; D. Hughes; D. P. Davies; W. Patton; Edward Edwards; T. Jones, Five Elms.

10. Ar gynnygiad y Parch. M. Thomas, a chefnogiad y Parch. J. Jones, Ceinewydd, cyflwynwyd diolchgarwch unfrydol i Alderman Phillips am lywyddu y cyfarfod.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Parch. O. Jones, B.A.

PEDWERYDD EISTEDDIAD Y GYMANFA.

BOREU DYDD IAU, AM 10 O'R GLOCH.

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. D. Jones, Rhaiadr; darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

XIII. Penderfynwyd,—Fod y Gymanfa nesaf i fod yn Ffestiniog, Mehefin 24—27ain, 1879. Cyfeisteddfod i ragdrefnu materion y Gymanfa i gyfarfod prydnawn y 23ain.

XIV. Gwnaed sylwadau teimladwy ar y dygwyddiad galarus o farwolaeth Mr. P. M. Evans, a chynnygiwyd gan y Parch. Dr. Edwards, cefnogwyd gan y Parch. Emrys Evans, a phenderfynwyd, — Ein bod fel Cymanfa, tra yn ymostwng i ewyllys yr Hollalluog Dduw, yn dymuno dadgan ein galar dwys o herwydd marwolaeth ddisymwth ein brawd ffyddlawn, Mr. P. M. Evans; ac yn neillduol ein bod yn anfon i arwyddo ein cydymdeimlad dwfn â'r teulu trallodedig, gan daer weddïo am i Dad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon fod yn nodded iddynt yn eu profedigaeth chwerw, a rhoddi gras iddynt yn gymhorth cyfamserol.

XV. Cyflwynwyd o Bwyllgor y Cenadwriaethau oddiwrth Bersonau Unigol.

1. Fod anerchiad i gael ei anfon oddiwrthym fel Cyfundeb at Mr. Gladstone, yn dadgan ein cymeradwyaeth i'w ymdrechion yn mhlaid Cyfiawnder a Rhyddid, ac yn arbenig felly yn y cyfwng presenol, — y Parch. D. Saunders, Mri. C. Hughes, P. M. Evans, a'r ddau Ysgrifenydd, i'w barotoi.

A ganlyn yw yr hyn a anfonwyd at Mr. Gladstone:—

"That the General Assembly of the Welsh Calvinistic Methodists, meeting at Aberystwyth, May 28, 29, and 30th, 1878, desire to express their cordial appreciation of the disinterested efforts of the Right Hon. W. E. Gladstone, M.P. (notwithstanding the persistent and sometimes unscrupulous attacks of a war party), to create an enlightened public opinion in this country on the side of justice to the oppressed Christian subjects of the Ottoman Empire, and to bring about the speedy meeting of a Congress which might lead to the satisfactory settlement of the Eastern Question, without our having recourse to the sanguinary arbitrament of war; and that it is their earnest prayer that he may be strengthened and supported for many years to come in his noble efforts on behalf of all that will advance the cause of justice as well as the welfare of his country and of mankind."

Ar gynnygiad Alderman Phillips, ac eiliad y Parch. T. J. Wheldon, B.A., cydsyniwyd yn unfrydol â hyn.

2. Dygodd y Parch. D. Saunders i sylw y Gymanfa, trwy y Pwyllgor, yr Ysgoloriaeth er Cof am y diweddar Barch. Ieuan Gwyllt, a hysbysodd ei bod i fod yn enwadol, ac i fod o dan ofal Ymddiriedolwyr dewisedig o'n plith ni ein hunain.

Ar gynnygiad Mr. T. Harris, Trellan, a chefnogiad y Parch. T. J. Wheldon, B.A., penderfynwyd yn unfrydol,—Ein bod yn dymuno dadgan ein cydymdeimlad â'r amcan sydd i'r Ysgoloriaeth hon, ac yn rhoddi ein cefnogaeth i'r symudiad, gan hyderu y gwneir yr hyn a fydd yn deilwng o'r Cyfundeb.

XVI. Cyflwynwyd y penderfyniadau canlynol o'r Pwyllgor Arianol:—

*R. J. Davies in account with the General Assembly—Year ending 29th May, 1878.*

DERBYNIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Gweddill mewn llaw, Mai 1877 | 150 | 5 | 7 |
| Mr. P. M. Evans (gwel penderfyniad 10, Cymanfa Liverpool) | 100 | 0 | 0 |
| Mr. Gee, Llyfr Hymnau Cymraeg .............................. | 45 | 0 | 0 |

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Mr. P. M. Evans, Dyddiadur Cymraeg | 30 | 0 | 0 |
| Messrs. Hughes & Son, Dyddiadur Saesoneg | 10 | 0 | 0 |
| Mr. D. H. Jones, Cofiant Rowlands, a'r Cyffes Ffydd | 87 | 10 | 1 |
| | £422 | 15 | 8 |

TALIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Swyddogion y Gymanfa | 24 | 0 | 0 |
| Golygwyr y Dyddiaduron | 24 | 0 | 0 |
| Am Argraffu y Cyffes Ffydd | 153 | 15 | 0 |
| Am gyfieithu, &c., y Cyffes Ffydd i'r Saesoneg | 10 | 0 | 0 |
| Cyfeisteddfodau yn Llanidloes, &c. | 14 | 1 | 6 |
| Cynllun, Ffurfiau Cyfrifon Eglwysig, &c. | 4 | 16 | 0 |
| Amrywion | 2 | 4 | 4 |
| Mewn llaw | 189 | 18 | 10 |
| | £422 | 15 | 8 |

Examined the above account and found correct,

THOMAS LEWIS,
SAMUEL MORRIS.

29th May, 1878.

1. Pasiwyd yn unfrydol, Ein bod yn derbyn ac yn cymeradwyo cyfrif y Trysorydd, yr hwn a archwiliwyd gan Mri. T. Lewis a S. Morris; a bod diolchgarch y Gymanfa yn cael ei gyflwyno i'r Trysorydd.

2. Penderfynwyd cyflwyno y *bill* a dderbyniwyd oddiwrth Mri. P. M. Evans & Son i'r Ysgrifenydd i edrych drosto.

3. Penderfynwyd fod y gydnabyddiaeth a roddir i Gymedrolwr y Gymanfa Gyffredinol i fod yn £5 yr un, ac i'r Ysgrifenyddion £5 yr un, a bod hyn i ddyfod i weithrediad y flwyddyn hon.

4. Gyda golwg ar y cais a ddaeth o Bwyllgor Gweithiol y Genadaeth Dramor, sef, "Fod i'r Gymanfa Gyffredinol ymgymeryd â'r holl draul o argraffu y Cylchlythyr," — penderfynwyd, Ein bod yn ei ohirio yn bresennol.

5. Dymunir awgrymu y priodoldeb a'r buddioldeb fod i'r Gymanfa Gyffredinol gael ei chynnal yn ei thro yn y gwahanol Gyfarfodydd Misol yn y De a'r Gogledd mor bell ag y gwel y Cyfarfodydd Misol eu ffordd i gydsynio â hyn; a bod anogaeth yn cael ei roddi ar fod i'r eglwysi yn y Siroedd gyfranu at ei chynnal fel y gwneir yn bresennol gyda'r Gymdeithasfa Chwarterol.

J. JONES, *Llanfyllin, Cadeirydd.*
ROBERT ROWLAND, *Ysgrifenydd.*

XVII. Ar gynnygiad Mr. J. Jones, Llanfyllin, a chefnogiad Alderman Phillips, penderfynwyd,—Ein bod yn cymeradwyo yr oll o'r penderfyniadau hyn, ynghyda chyfrif y Trysorydd.

XVIII. Cyflwynwyd y penderfyniadau canlynol o Bwyllgor y Llyfrau gan yr Ysgrifenydd :—

1. Derbyniwyd adroddiad y Trysorydd, ei fod wedi derbyn yr arian oedd yn ddyledus oddiwrth y gwahanol gyhoeddiadau a llyfrau.

2. Derbyniwyd a chymeradwywyd adroddiad yr Archwilwyr i Gyfrifon y *Treasury* am 1876—77, sef y Parch. D. Phillips ac Alderman Phillips; a chynnygir fod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei roddi iddynt am eu gwasanaeth.

3. Wrth weled sefyllfa y cyfrifon rhyngom â Chyhoeddwyr y *Treasury* hyd ddiwedd 1877, a'r ol-ddyledion a welir sydd yn aros, cynnygir,—Ein bod yn dysgwyl i Mri. Williams & Son gasglu yr ol-ddyledion hyd ddiwedd 1877; neu, os dewisant, ein bod yn caniatâu iddynt yr holl swm o £85, ond iddynt anfon cydnabyddiaeth am dderbyniad y £50 sydd yn ddyledus iddynt, i'r Archwilwyr ar unwaith.

4. Derbyniwyd a chymeradwywyd adroddiad Mri. D. Jenkins Davies a R. Rowland, eu bod wedi archwilio cyfrifon y *Drysorfa* a *Thrysorfa y Plant;* a chynnygir fod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei gyflwyno iddynt am eu gwasanaeth, a'u bod i archwilio cyfrifon y ddwy *Drysorfa* a'r *Treasury* am y flwyddyn ddyfodol.

5. Derbyniwyd adroddiad y Pwyllgor a benodwyd i hyrwyddo gwerthiant Cofiant Daniel Rowlands a'r *Cyffes Ffydd*, yn hysbysu fod y Cofiant wedi ei werthu yn llwyr, ac un rhwymiad o'r *Cyffes Ffydd* Cymraeg; penderfynwyd,—Ein bod yn diolch yn galonog i'r Parch. R. Roberts, a Mri. R. Rowland ac E. Griffith, am eu llafur llwyddiannus, ac yn dymuno ar fod iddynt barhâu i ofalu am hyn am y flwyddyn ddyfodol.

6. Ein bod yn dymuno ar i'r holl Gyfarfodydd Misol sydd wedi cael Cofiant D. Rowlands a'r *Cyffes Ffydd* i anfon yr arian am danynt i Mr. D. H. Jones, Dolgellau.

7. Yn wyneb ein bod yn deall fod cŵyn mai anhawdd ydyw cael yr argraffiad lleiaf o'r Llyfr Hymnau Seisonig, argraffiad o'r hwn sydd yn awr yn y wasg, ein bod yn dymuno ar y Cyhoeddwyr i brysuro i'w ddwyn allan yn y gwahanol rwymiadau.

8. Yn wyneb fod ysgrifenydd y Pwyllgor Llyfrau yn cyflwyno ei ymddiswyddiad am na allai barhâu i wneyd y gwasanaeth anghenrheidiol i'r Pwyllgor, penderfynwyd, — Ein bod yn derbyn ei ymddiswyddiad, ac yn cyflwyno iddo ein diolchgarwch am ei wasanaeth dros yr amser y bu yn y swydd; ac yn dymuno cynnyg y Parch. J. Morgan Jones, Caerdydd, i fod yn ysgrifenydd y Pwyllgor hwn yn ei le.

9. Fod yr un personau i fod yn olygwyr y Misolion a'r Dyddiaduron am y flwyddyn ddyfodol, a bod y gydnabyddiaeth iddynt am eu gwasanaeth i fod yr un.

10. Derbyniwyd adroddiad o'r hyn a wnaeth Pwyllgor y Llyfr Hymnau Cymreig, a chynnygir ein bod yn cadarnhâu y penderfyniad y daethant iddo am amser terfyniad y cyttundeb, a'i fod i derfynu ar y 10fed o Ragfyr, 1878, yn ol y cyttundeb.

11. Ein bod yn awdurdodi Mri. T. Lewis, R. Rowland, a R. J. Davies, i wneyd yr hyn oll sydd yn anghenrheidiol yn ol y cyttundeb ar derfyniad y cyfryw, ac i gymeryd gofal achos y Llyfr Hymnau Cymraeg, o derfyniad y cyttundeb hyd y Gymanfa Gyffredinol nesaf, ac i alw ynghyd y Pwyllgor Llyfrau, os gwelant anghenrheidrwydd am hyny. Mr. T. Lewis i fod yn gynnullydd.

12. Y pedwar aelod o'r Pwyllgor sydd i fyned allan neu eu hailddewis y flwyddyn hon ydynt y Parch. O. Thomas, D.D., a D. Saunders, a Mri. R. Rowland ac Alderman Phillips.

O. Jones, *Ysgrifenydd.*

XIX. Ar gynnygiad y Parch. Dr. Edwards, ac eiliad y Parch. D. Edwards, penderfynwyd,—Ein bod yn cadarnhâu y penderfyniadau hyn, a bod y Parch. J. Harries Jones, Ph.D., i fod yn lle Mr. Saunders, a bod y tri eraill i aros am dair blynedd eto.

XX. Cynnygiwyd gan y Parch. Josiah Thomas, M.A., cefnogwyd gan y Parch. W. Pierce, a phenderfynwyd, fod annogaeth yn cael ei rhoddi, yn yr amser priodol, i fwy o ymdrech er ychwanegu nifer derbynwyr y *Drysorfa, Trysorfa y Plant,* a'r *Treasury.*

XXI. Oblegid rhesymau neillduol a enwyd, cynnygiwyd gan Mr. R. Rowland, cefnogwyd gan Mr. R. Jones, Ffestiniog, a phenderfynwyd,—Ein bod yn dymuno ar i'r Parch. O. Jones, B.A., i barhâu yn ysgrifenydd Pwyllgor y Llyfrau hyd y Gymanfa nesaf.

XXII. Adroddiad Pwyllgor y Dirprwyaethau.

1. Derbyniad Dirprwyaethau:—

(1.) Fod y Parch. Morris Morgan i gyflwyno y Ddirprwyaeth o America; y Parch. T. Levi i gynnyg, a Mr. P. Williams i gefnogi, penderfyniad mewn atebiad i'r Ddirprwyaeth.

(2.) Fod y Parch. R. Lumley i gyflwyno y Ddirprwyaeth oddiwrth yr Henaduriaethwyr Seisonig; y Parch. Dr. Edwards i gynnyg, a'r Parch. D. Edwards i eilio penderfyniad mewn atebiad i'r Ddirprwyaeth Henaduriaethol.

2. Anfoniad Dirprwyaethau:—

(1.) Fod y Pwyllgor yn dymuno annog y Gymanfa i anfon Dirprwyaeth yn ol i *Synod* yr Eglwys Henaduriaethol Seisonig.

(2.) Dymunir cynnyg y brodyr canlynol i ffurfio y gyfryw Ddirprwyaeth—y Parchn. Dr. Edwards, R. Lumley, ynghyda R. Davies, Ysw., A.S., ac Alderman Phillips.

Ar gynnygiad y Parch. T. Rees, ac eiliad y Parch. L. Ellis, penderfynwyd ein bod yn derbyn Adroddiad y Pwyllgor, ac yn cadarnhâu penodiad y personau a enwir i ffurfio y Ddirprwyaeth.

XXIII. Cyflwynodd y Parch. Joseph Evans yr Adroddiad Ystadegol am 1877. Yr oedd yr Adroddiad hwn yn un pur galonogol. Gwnaed sylwadau pellach gan amryw ar y cyfrifon, ac ar ansawdd crefydd ymysg y Cymry; a chynnygiwyd gan Alderman Phillips, eiliwyd gan y Parch. T. C. Edwards, M.A., a chefnogwyd gan Mr. John Williams, Liverpool,—Ein bod yn derbyn yr Adroddiad, a bod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei roddi i'r Ystadegwyr, y Parchn. J. Evans, a T. J. Wheldon, B.A., am eu gwasanaeth.

## PUMMED EISTEDDIAD Y GYMANFA.

### Am 2 o'r gloch.

Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. J. Jones, Bryn'rodyn. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod o'r blaen.

XXIV. Cyflwynwyd Adroddiad y Pwyllgor ar Gynnaliaeth y Weinidogaeth, gan Mr. R. Rowland; yr hwn sydd fel y canlyn:—

1. Enw — Trysorfa Gynnorthwyol y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru a Threfi Lloegr.

2. Amcan y Drysorfa fydd cynnorthwyo gwahanol eglwysi ein Cyfundeb i gael gwasanaeth ac arolygiaeth weinidogaethol yn unol â'r rheolau dilynol.

3. Fod y Drysorfa i gael ei gwneyd i fyny drwy gasgliadau cynnulleidfäol, tanysgrifiadau blynyddol, cyfroddion, a chymunroddion.

4. Gweinyddir achosion y Drysorfa gan Gyfeisteddfod cyfansoddedig o weinidog a blaenor o bob Cyfarfod Misol, y rhai a benodir gan y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, ac a gymeradwyir gan y Gymdeithasfa Chwarterol. Un rhan o dair i fyned allan yn niwedd yr ail flwyddyn, a'r un nifer yn flynyddol wedi hyny.

5. Fod nifer o frodyr, dyweder saith, yn cael eu penodi gan y Gymanfa Gyffredinol yn Ymddiriedolwyr, i weithredu mewn achosion a ddichon gyfodi yn unol â'r adran ddiweddaf o'r drydedd reol.

6. Fod y Trysorydd Cyffredinol i gael ei benodi gan y Gymanfa Gyffredinol, a'r

Trysoryddion a'r Ysgrifenyddion Sirol i'w penodi gan y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau.

7. Fod Goruchwyliwr neu Oruchwylwyr i gael eu penodi i ddwyn achos y Drysorfa o flaen y Cyfarfodydd Misol a'r cynnulleidfäoedd, ac i weithredu fel Ysgrifenydd neu Ysgrifenyddion.

8. Fod Adroddiad Blynyddol o'r casgliadau a'r treuliadau, ynghyda gweithrediadau y Cyfeisteddfod, i gael ei ddwyn allan.

9. Nad oes unrhyw gyfran o'r casgliadau i'r Drysorfa uchod i gael ei gadw fel ag i ffurfio Trysorfa Waddoledig *(Endowed Fund)*, oddieithr yr hyn a roddir trwy gyfroddion neu gymunroddion gan bersonau, ar yr ammod mai y llogau yn unig sydd i'w defnyddio yn flynyddol.

10. Nid oes cynnorthwy i'w roddi o'r Drysorfa ond yn unig i'r brodyr fyddo wedi eu galw yn rheolaidd trwy gydsyniad y Cyfarfod Misol i gymeryd gofal un neu ychwaneg o eglwysi, ac yn pregethu o leiaf un Sabboth o bob mis yn yr eglwys neu yn yr eglwysi hyn.

11. Ein bod yn ystyried nas gellir ar hyn o bryd addaw estyn cymhorth i eglwys neu eglwysi a fyddo yn rhifo mwy na 150, ac heb fod dan 50. Ac os ceir fod teithiau o dan 50, dymunir ar i'r Cyfarfodydd Misol ad-drefnu y cyfryw, fel ag i ddyfod i fyny â'r rheol.

12. Gofynir i bob taith a dderbynio o'r Drysorfa gyfranu tuag at gyflog eu gweinidog y cyfryw swm ag a ddyry foddlonrwydd i'r Cyfeisteddfod eu bod yn gwneyd yn ol eu gallu.

13. Fod y ceisiadau am gynnorthwy i'w gwneyd trwy y Cyfarfodydd Misol, yn unol â'r ffurf y penodir arno gan y Cyfeisteddfod, a'r cynnorthwy i bawb i fod yr un swm.

14. Nad yw y Drysorfa hon yn cymeryd i mewn yr eglwysi sydd yn derbyn cymhorth o'r Genadaeth Gartrefol, neu o Gronfa yr Achosion Seisonig.

15. Fod y Cyfeisteddfod Cyffredinol i gyfarfod ar wahan i'r Gymanfa Gyffredinol a'r Cymdeithasfäoedd Chwarterol.

LEWIS EDWARDS, *Cadeirydd.*
ROBERT ROWLAND, *Ysgrifenydd:*

XXV. Cynnygiwyd gan Dr. Edwards, cefnogwyd gan Mr. R. Jones, Ffestiniog, a phenderfynwyd, —Fod y rheolau hyn yn cael eu cymeradwyo yn y ffurf hon, ac i gael eu cyflwyno i'r Cymdeithasfäoedd Chwarterol, a thrwyddynt hwy i'r Cyfarfodydd Misol, yn y De a'r Gogledd, a bod llais y Cyfarfodydd Misol i'w ddwyn i'r Gymdeithasfa Chwarterol, a bod yr atebiad oddiwrth Ysgrifenyddion y Cymdeithasfäoedd Chwarterol i gael ei ddanfon i Gynnullydd y Pwyllgor.

XXVI. Cynnygiwyd gan y Parch. O. Jones, cefnogwyd gan Mr. M. Edwards, a phenderfynwyd,—Fod yr un Cyfeisteddfod i barhâu i ofalu am yr achos am y flwyddyn ddyfodol; Mr. R. Rowland i fod yn gynnullydd.

XXVII. Cyflwynodd y Parch. R. Lumley Ddirprwyaeth oddiwrth Eglwys Henaduriaethol Lloegr, sef y Parch. J. G. Wright, LL.D., Southampton, a'r Parch. James Muir, Egremont, Birkenhead, y rhai a anerchasant y Gymanfa; ac ar gynnygiad y Parch. Dr. Edwards, a chefnogiad y Parch. T. Rees, Merthyr, pasiwyd y penderfyniad canlynol yn unfrydol:—"That we gladly avail ourselves of the visit of Dr. Wright and Rev. Mr. Muir to renew our expression of brotherly regard and love for the English Presbyterian Church, as well as the pleasure and profit we have derived from the visit of the reverend gentlemen to our General Assembly, and that we also promise to nominate a Committee to correspond with the Presbyterian Church of England."

XXVIII. Ar gynnygiad y Parch. T. Rees, a chefnogiad Mr. M. Edwards, penderfynwyd,—Fod y personau a enwyd i fyned yn ddirprwyaethau i fod yn *corresponding members.*

XXIX. Darllenwyd llythyr cyflwyniad y Parch. D. Harris o Chicago, yn America. Cyflwynwyd ein brawd i'r Gymanfa gan y Parch. M. Morgan; a chafwyd anerchiad cynhes ganddo, a golwg gryno ar ystadegau ein Cyfundeb yn yr America. Ar gynnygiad y Parch. T. Levi, a chefnogiad y Parch. W. Pierce, penderfynwyd yn unfrydol,—"Ein bod yn rhoddi derbyniad croesawgar i'n hanwyl frawd, y Parch. David Harris, Chicago, ar ei ymweliad â Chymru, ac yn dymuno iddo bob cysur a llwyddiant yn ystod ei daith, a dychweliad adref diogel at ei deulu a'i frodyr. Dymunem iddo hefyd gyflwyno ein cofion cynhesaf at eglwysi America, a'n dymuniadau goreu ar eu rhan."

XXX. Cynnygiwyd gan y Parch. R. Davies, Amwythig, cefnogwyd gan y Parch. T. J. Morgan, a phenderfynwyd,—Fod i'r Ysgrifenyddion drefnu cyhoeddiad y Parch. D. Harris, tra byddo yn ein plith.

XXXI. Cynnygiwyd gan y Parch. O. Jones, B.A., a chefnogwyd gan y Parch. Rees Jones, a phenderfynwyd yn unfrydol,—Fod ein diolchgarwch gwresocaf yn cael ei gyflwyno i'n cyfeillion yn Aberystwyth am eu caredigrwydd a'u lletygarwch i aelodau y Gymanfa, a nodwyd personau i wneyd hyny yn hysbys yn y ddau gapel ar nos y Gymanfa.

JOSEPH THOMAS, *Llywydd.*

OWEN JONES, } *Ysgrifenyddion.*
JOHN LEWIS, }

## CYMDEITHASFA GWRECSAM,

**Mehefin 11, 12, 13, a'r 14eg, 1878.**

**Llywydd,—Y Parchedig Emrys Evans, Dinbych.**

**Dydd Mercher, Mehefin y 12fed.**

***Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch y prydnawn.***

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Darllenwyd y Cenadwriaethau canlynol:—

O Gyfarfod Misol *Môn*:—"Dymunir cydsyniad y Gymdeithasfa i werthu Capel Llanfair P.G., yn gymaint a bod un arall wedi ei adeiladu yn ei le."—J. Williams, *Ysg.*

O Gyfarfod Misol *Arfon*:—"Gyda golwg ar y Cynnygion a anfonwyd i'r Cyfarfodydd Misol o Gymdeithasfa Llanrhaiadr-yn-Mochnant o berthynas i Gyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol, penderfynwyd ein bod yn cymeradwyo yr oll o'r cyfryw fel y maent yn y Cylchlythyr, oddieithr y 3ydd;—fod yr Achos Dirwestol i'w ychwanegu at yr Achosion eraill a gynnwysir yn y Cynnygiad hwnw."—T. G. Roberts, *Ysg.*

O Gyfarfod Misol *Lleyn ac Eifionydd*:—"Ein bod yn cymeradwyo yr oll o'r Cynnygion o'r 'Pwyllgor yn Machynlleth' gyda golwg ar ddiwygio y Gymanfa Gyffredinol."—W. Ll. Jones, *Ysg.*

O Gyfarfod Misol *Sir Fflint*:—"Ein bod yn cymeradwyo Cynnygion 'Cyfeisteddfod Machynlleth' gyda golwg ar y Gymanfa Gyffredinol, oddigerth y 4ydd."—B. Jones, *Ysg.*

O Gyfarfod Misol *Sir Drefaldwyn* (y Rhan Uchaf):—"1. Gofynir am ganiatâd y Gymdeithasfa i werthu hen gapel Llawryglyn, ynghyda'r eiddo sydd yn perthyn iddo. 2. Am ganiatâd i werthu darn o'r tir sydd ynglŷn â chapel y Dderwenlas yn agos i Fachynlleth. 3. Am ganiatâd hefyd i werthu hen gapel y Dderwenlas."—O. Jones, *Ysg.*

O Gyfarfod Misol *Sir Drefaldwyn* (y Rhan Isaf):—"Cymeradwywyd Cynnygion Cyfeisteddfod Machynlleth oddieithr yr ail, a chynnygiwyd fel gwelliant:—Fod Cyfeisteddfod y Cyhoeddiadau i gael ei benodi gan y Gymanfa Gyffredinol, ond mai dymunol fyddai cadw golwg ar fod i'r gwahanol Gyfarfodydd Misol gael eu cynnrychioli yn deg ynddo."—W. Williams, *Ysg.*

O Gyfarfod Misol *Manchester*:—"Fod y Cyfarfod Misol hwn yn teimlo y dylid argymhell eglwysi y Methodistiaid yn Nghymru i wneyd eu goreu i gymhwyso a hyfforddi yr aelodau a fyddont yn ymadael i drefydd Lloegr, i dderbyn a mwynhâu breintiau eglwysig. Hyd y mae yn bosibl, na anfoner neb mewn oedran heb eu derbyn yn gyflawn aelodau. Hefyd, rhodder hysbysrwydd i'r rhai a fyddont yn ymadael am y capelau mwyaf cyfleus iddynt i fyned iddynt wedi dyfod i drefydd Lloegr. Dymunir hefyd argymhell manylrwydd gyda golwg ar yr hen drefn dda o beidio derbyn aelodau o eglwysi eraill heb docynau aelodaeth gyda hwynt."—J. Davies, *Ysg.*

O Henaduriaeth *Lancashire, &c.*:—"1. That the Presbytery desires to respectfully inform the Association that the English Circular [*Cylchlythyr*], which it was agreed to print for the use of the English-speaking portion of the Connexion, has not yet come to hand. 2. That permission be granted to the Trustees of the Old Chapel, Rossett, to dispose of it by lease or otherwise to a Committee of gentlemen in the neigbourhood, to be converted into a Reading Room, and Cocoa Rooms."—Edward Jerman, *Secretary.*

O Henaduriaeth *Trefaldwyn*:—"1. That English Circulars of the Association, being a full translation of the Welsh Circular, be issued. 2. That the Questions at the Synodical Examination be printed in English."—John Davies, *Secretary.*

III. Ar achos neillduol o Apêl oddiwrth bersonau yn erbyn Cyfarfod Misol penodol, penodwyd, yn unol â'r Rheol ar Apeliadau, saith o bersonau, un o bob Sir, ac un dros drefydd Lloegr, a'r seithfed gan y Gymdeithasfa, yn Gyfeisteddfod i wneyd ymchwiliad i'r achos:—O Sir *Fôn*, Mr. Roger Evans, Borth; Sir *Gaernarfon*, Mr. William Thomas, Morfa Nefyn; Sir *Ddinbych*, Mr. Ezra Roberts, Rhuthyn; Sir *Fflint*, Mr. Owen Williams, Bodffari; Sir *Feirionydd*, Mr. Robert Roberts, Bala; dros drefydd *Lloegr*, Mr. John Williams, Moss Bank, Liverpool; a nodwyd Mr. D. Roberts, Hope Street, Liverpool, gan y Gymdeithasfa.

IV. Yn unol â'r cais o Gyfarfod Misol *Môn*, rhoddwyd y caniatâd anghenrheidiol i werthu capel Llanfair P.G.—Penderfynwyd, yn unol â chais cyffelyb o Sir *Drefaldwyn* (y Rhan Uchaf), fod caniatâd yn cael ei roddi i werthu hen gapel Llawryglyn, ynghyda'r eiddo sydd yn perthyn iddo; ac hefyd i werthu hen gapel a thŷ'r capel y Dderwenlas, ynghyda'r tir sydd yn perthyn iddo.—Rhoddwyd caniatâd y Gymdeithasfa hefyd i'r cais o Henaduriaeth *Lancashire*, ynghylch hen gapel Rossett.

V. Gyda golwg ar Gynnygion Cyfeisteddfod Machynlleth o berthynas i'r Gymanfa Gyffredinol, gan nad oedd ond nifer bychan o'r Cyfarfodydd Misol wedi cymeryd sylw o honynt fel ag i ddwyn eu barn arnynt i'r Gymdeithasfa hon, penderfynwyd, ar gynnygiad Dr. Thomas, Liverpool, a chefnogiad Mr. W. Williams, Tanygrisiau,—Fod barn y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau ar y Cynnygion hyn yn cael ei dwyn i Gymdeithasfa mis Rhagfyr.

VI. Gyda golwg ar y Penderfyniad o

Gyfarfod Misol Manchester, wedi peth ymddyddan ar ei gynnwys, cynnygiwyd gan y Parch. Rees Jones, eiliwyd gan y Parch. Lewis Ellis, fod i'r Parchedigion William James, B.A., Daniel Rowlands, M.A., a Mr. R. Rowland, i dynu allan benderfyniad oddiwrtho i'w gynnyg i'r Gymdeithasfa.

VII. Mewn atebiad i'r cais o'r Henaduriaethau ar fod i'r Cylchlythyr gael ei ddwyn allan yn yr iaith Saesoneg, yn ol penderfyniad blaenorol y Gymdeithasfa, cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., cefnogwyd gan y Parch. William James, B.A., a phenderfynwyd ar fod i'r Ysgrifenydd ei ddwyn allan. Mewn cysylltiad â hyn penderfynwyd ymhellach, ar gynnygiad Mr. William Williams, Tanygrisiau, a chefnogiad y Parch. Rees Jones, Fod i hyn gael ei ddwyn hefyd i ystyriaeth Cyfarfod y Blaenoriaid.

VIII. Gyda golwg ar y cais o Henaduriaeth Trefaldwyn ar fod i'r Cwestiynau yn yr Arholiad Cymdeithasfäol gael eu hargraffu yn yr iaith Saesoneg, rhoddwyd fel eglurhâd dros ofyn am hyn, y cwynid fod rhai nad oeddynt yn deall Cymraeg wedi cael anfantais am nad oeddent wedi cael y Cwestiynau mewn iaith y deallid hwynt. Cafwyd ymddyddan maith ar hyn; a thra y dywedid y dylid dangos gofal na byddo y rhai a arholir yn cael cam nac anfantais, dangosid hefyd y dylid sefyll wrth gefn yr Arholwyr, na byddo sarhâd diachos yn cael ei fwrw arnynt hwythau. Gadawyd hyn ar yr ymddyddan yn unig, heb basio arno yr un penderfyniad.

IX. Cyflwynwyd i sylw achos yr Ysgolion Gwrth-Babyddol yn Sir Fflint gan y Parchn. Dr. Edwards a Dr. Thomas, gyda golwg ar gael cynnorthwy i'w dwyn ymlaen. Gwnaed casgliad flynyddoedd yn ol yn y Siroedd tuag at yr achos hwn, a chyfodwyd ysgoldai gyda'r arian a gasglesid, ac yr oedd yn aros weddill tuag at eu dwyn ymlaen; a thra daliodd yr arian hyny, aeth yr Ysgolion ymlaen yn llwyddiannus; ond erbyn hyn y mae y Cyllid wedi darfod, a'r Ysgolion mewn dyled. Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan y Parch. D. Charles Davies, a chyttunwyd ar y Penderfyniad canlynol:—"Wedi gwrando ar Adroddiad y cyfeillion sydd yn cymeryd gofal neillduol am yr Ysgolion a sefydlwyd genym ychydig flynyddoedd yn ol yn y parthau hyny o'n gwlad ag y gwneir ymosodiadau uniongyrchol arnynt gan Babyddiaeth, a deall fod trysorfa yr Ysgolion hyny eisoes mewn dyled o tua £60, a bod yn anobeithiol y gellir eu cadw yn agored yn hŵy, oddieithr cael rhyw gynllun tuag at gael cynnaliaeth barhâus ac effeithiol iddynt, ein bod yn dymuno, trwy ein Cyfarfodydd Misol, gyflwyno yr achos hwn i sylw a gofal ein holl Ysgolion Sabbothol o fewn cylch ein Cymdeithasfa, gan obeithio y bydd i'r amrywiol Gyfarfodydd Ysgolion annog ar fod casgliad yn cael ei wneyd ymhob Ysgol ar ryw Sabboth neillduol o bob blwyddyn, dyweder y Sul olaf o'r flwyddyn, tuag at yr amcan hwn, a chymeryd mantais hefyd ar yr amgylchiad hwnw i alw sylw y plant a'r ieuenctyd trwy yr holl Ysgolion at dwyll y grefydd Babaidd, a'r perygl dirfawr y mae ein gwlad yn agored iddo trwy yr ymosodiad a wneir ganddi arnom. Gellir gael amcangyfrif o'r swm a ofynir ond sylwi y byddai *dimai yn y flwyddyn* oddiwrth bob un o'n haelodau eglwysig yn ddigon i ateb i'r draul. Mae yn deg hefyd i'n cyfeillion trwy y Siroedd ddeall fod yr Ysgolion hyn, yn y blynyddoedd diweddaf, wedi costio i'n brodyr yn Sir Fflint tua £100 yn y flwyddyn."

X. Cyflwynodd y Pwyllgor ar yr achos o Apêl eu hadroddiad arno i'r Gymdeithasfa, yr hwn oedd fel y canlyn:—Penderfynwyd—"Ein bod, ar ol gwrando a rhoddi ystyriaeth bwyllog i adroddiad manwl o'r achos o'r ddwy ochr, yn barnu nad oes dim ynddo sydd yn galw am sylw y Gymdeithasfa." Cynnygiwyd gan y Parch. William James, B.A., a chefnogwyd gan y Parch. Lewis Ellis, a phenderfynwyd,—Fod Adroddiad y Pwyllgor hwn yn cael ei dderbyn.

XI. Dygwyd i sylw gynnygion Cyfeisteddfod y Gronfa Gynnaliaethol. Cynnygiwyd gan Dr. Thomas, ac eiliwyd gan Mr. Robert Rowland, a phenderfynwyd,—Fod y cynllun hwn yn cael ei gyflwyno i sylw ac ystyriaeth y gwahanol Gyfarfodydd Misol.

XII. Darllenwyd y llythyr canlynol oddiwrth Gymanfa Gyffredinol (General Assembly) yr Eglwys Rydd, yn cydnabod y llythyr o gydymdeimlad a anfonasid o Gymdeithasfa Llanrhaiadr at yr Eglwys hono ar farwolaeth y Cenadwr enwog Dr. Duff:—

"Free Church Offices,
"Edinburgh, 8th June, 1878.

"DEAR SIR,—I have to inform you that on the evening of the 30th May, in connection with the Report on Foreign Mission, I read in the General Assembly of the Free Church the fraternal greeting and expression of sympathy on the lamented Dr. Duff of the Northern Synod of the Welsh Calvinistic Methodists, which the Assembly received with much satisfaction. I am sure that the Assembly cordially reciprocate the sentiments of brotherly kindness which the Synod

has manifested.—Believe me, dear Sir, yours faithfully,

"WILLIAM WILSON,
"*Clerk to the Assembly.*

"Rev. Thomas Owen."

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am ½ awr wedi 6 o'r gloch yr hwyr.*

I. Cyflwynwyd Mr. Evan Jones, Machynlleth, fel un oedd wedi ei ddewis i'w ordeinio, ond trwy ryw amryfusedd gadawsid ei enw allan heb ei gyflwyno yn y Gymdeithasfa flaenorol. Wedi cael gair o gymeradwyaeth i'w gymeriad a'i lafur, cynnygiwyd gan Mr. Richard Owen, Machynlleth, cefnogwyd gan y Parch. Francis Jones, Waenfawr, cymeradwywyd ef yn unfrydol i'w ordeinio drannoeth.

II. Ymddyddanwyd â'r pregethwyr oedd i'w hordeinio: holwyd hwynt am eu hanes crefyddol, a'u teimladau yn wyneb yr alwad hon i'r holl waith, cafwyd ganddynt atebion boddhaol, a rhoddwyd iddynt amryw gynghorion priodol.

DYDD IAU, MEHEFIN 13EG.

*Cyfarfod y Blaenoriaid am ½ awr wedi* 8 *o'r gloch y boreu.*

Y brodyr a ordeiniwyd oeddynt y rhai canlynol:—

*O Arfon,*—Meistri William Elias Williams, Pentir, a David Jones, Llanllyfni. *O Leyn ac Eifionydd,*—Mr. Robert Owen Williams, Bethel. *O Sir Ddinbych,*—Meistri Thomas Hughes, Llanddulas, a Morris Williams, Dinbych. *O Sir Fflint,*—Mr. Ezra Jones, Lodge. *O Ddwyrain Meirionydd,*—Meistri William Griffith, Llansantffraid, ac Eli Evans, Dolyddelen. *O Orllewin Meirionydd,*—Meistri Owen Thomas Williams, Croesor, a Griffith Ceidiog Roberts, Maentwrog. *O Sir Drefaldwyn* (Y Rhan Uchaf),—Mr. Henry Jones, Llanwyddyn. *O Sir Drefaldwyn* (y Rhan Isaf), Mr. Evan Jones, Machynlleth. O Gyfarfod Misol *Liverpool,*—Mr. Evan J. Evans, Southport. O Gyfarfod Misol *Manchester,*—Mr. David Charles Davies, Bolton. O Henaduriaeth *Trefaldwyn,*—Mr. John Davies, Trefaldwyn.

Gweddïodd yn y gwasanaeth hwn y Parchn. D. Harries o'r America, Dr. Thomas a Rees Jones. Darllenwyd y rhanau arferol o'r Ysgrythyr gan y Parch. Roger Edwards; gofynwyd y Cwestiynau o'r Cyffes Ffydd gan y Parch. Dr. Edwards; traddodwyd yr Anerchiad ar Natur Eglwys gan y Parch. John Williams, Llandrillo; a'r Cynghor gan y Parch. Edward Matthews o'r Deheudir.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 2 o'r gloch prydnawn.*

I. Hysbyswyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn Nghaernarfon, Awst 20, 21, a'r 22ain. Cyfeisteddfod Gweithredoedd y Capelau i gyfarfod nos Lun, y 19eg.

II. Darllenwyd llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. D. Harries, Chicago, America, yr hwn oedd yn bresennol. Cafwyd cyfarchiad cynhes ganddo; rhoddodd hefyd olwg ar ansawdd yr achos crefyddol ymhlith y Methodistiaid yn nhir y Gorllewin, ac yn neillduol yn Chicago. Myngai y caredigrwydd mawr â dderbynia y Methodistiaid oddiwrth y Presbyteriaid yn y wlad hono. Rhoddwyd derbyniad croesawgar iddo i'r Gymdeithasfa gan y Parch. Dr. Edwards, yr hwn a gynnygiai ein bod yn dadgan ein llawenydd wrth weled Mr. Harries yn ein plith, gan ddymuno arno ymweled â chynifer o fanau ag a all yn ein gwlad i bregethu yr efengyl, a'n bod hefyd yn anfon ein cofion serchocaf at ein brodyr yn yr America, yr hyn a gefnogwyd gan Dr. Thomas, ac a basiwyd yn unfrydol.

Mewn cysylltiad â hyn hysbysai Mr. Harries fod y Parch. William Jones, gynt o Rhyd-ddu, yn dymuno arno ei gofio yn serchog at y Gymdeithasfa. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards,—Ein bod yn anfon ein cofion anwylaf at y Parch. W. Jones, yr unig un sydd yn fyw o'r tri wŷr enwog o Dolyddelen, gan lawenychu wrth ddeall fod yr hen dân yn aros yn ei ysbryd eto, yr hyn a gefnogwyd gan y Parch. Edward Price, ac y cyttunwyd arno yn unfrydol.

III. Darllenwyd yr adroddiad canlynol oddiwrth Gyfeisteddfod y Blaenoriaid:—

CADEIRYDD,—MR. DAVID ROBERTS, TANYRALLT.—Gwnaed y trefniadau ychwanegol anghenrheidiol ar gyfer y Cyfarfod Ordeinio. Gohiriwyd yr ystyriaeth o'r priodoldeb o roddi cydnabyddiaeth ychwanegol i Ysgrifenydd y Gymdeithasfa am ei lafur gyda'r Cylchlythyrau Seisonig, hyd Gymdeithasfa y gauaf.—Penderfynwyd ein bod, trwy y Gymdeithasfa, yn dymuno dadgan ein cydymdeimlad mwyaf dwys a diffuant â Mrs. Evans a'r teulu yn ngwyneb y brofedigaeth lem a'r golled drom a gawsant yn marwolaeth ein hanwyl frawd Mr. Evans, ynghyda dadgan i ni fel Cyfundeb yn y Gogledd gael colled fawr yn symudiad un a fu yn ein gwasanaethu mor effeithiol a ffyddlawn am yr yspaid o un mlynedd ar hugain fel Ysgrifenydd Cyfeisteddfod y Blaenoriaid.—Cafwyd anerchiad da ac effeithiol ar "Gysylltiad a chydweithrediad yr eglwys â'r Ysgol Sabbothol," gan Mr. Roberts, y Bala; a phasiwyd fod y mater hwn i fod yn destun i ymddyddan arno yn y Gymdeithasfa nesaf.

—Darllenwyd Cyfrifon Trysorydd y Gymdeithasfa, y rhai a archwiliwyd gan Mri. Rowlands a Lewis, a chymeradwywyd hwynt. —Hysbyswyd na thelid am argraffu adroddiadau o'r Cymdeithasfäoedd yn y *Treasury*, wedi i'r Cylchlythyrau Seisonig gael eu hargraffu.—R. ROWLAND, *Ysgrifenydd*.

IV. Gwnaed coffhâd parchus a theimladol am y diweddar Mr. P. M. Evans. Dadgenid teimlad dwfn o golled ar ei ol yn y gwahanol gylchoedd yr oedd yn troi ynddynt yn ein plith; yn y Gymdeithasfa—yn arbenig Cyfarfod y Blaenoriaid, yr hwn yr oedd wedi bod yn Ysgrifenydd iddo am gynifer o flynyddoedd, yn y Cyfarfod Misol, ac yn yr eglwys gartref yn Nhreffynnon, ond yn benaf oll yn ei deulu. Yr oedd yn ŵr cyflawn a phwyllog; nid fel y ffrwd yn tyrfu, ond fel yr afon ddofn yn dylanwadu yn ddystaw a bendithiol. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, cefnogwyd gan y Parch. Dr. Thomas, Fod cydymdeimlad dwysaf y Gymdeithasfa yn cael ei ddadgan â'i weddw yn ei phrofedigaeth chwerw.—Mewn cysylltiad â hyn hefyd gwnaed coffhâd cynhes am y diweddar Mr. D. Jones Morris, Bodffari, yr hwn a gymerwyd ymaith pan y dysgwylid fod iddo yn ol flynyddoedd o wasanaeth defnyddiol yn ngwinllan ei Arglwydd. Penderfynwyd fod cydymdeimlad dwysaf y Gymdeithasfa yn cael ei ddadgan â'i weddw yntau.

V. Cyflwynwyd i sylw a darllenwyd Adroddiad Cyfeisteddfod yr Athrofa gan y Parch. Dr. Thomas, yn absennoldeb yr Ysgrifenydd. Yr oedd yr Adroddiad fel y canlyn:—

*Adroddiad Cyfeisteddfod yr Athrofa, Mehefin* 6 *a'r* 7, 1878.

LLYWYDD,—D. ROBERTS, YSW.

I. Daeth cais oddiwrth Gyfarfod Misol Arfon am dderbyniad gŵr ieuanc ag oedd wedi bod am yspaid yn Athrofa Aberystwyth, yr hwn nad oedd wedi bod yn pregethu am flwyddyn yn ol y rheol, ond oedd wedi bod drwy y dosbarth y perthynai yr eglwys yr oedd yn aelod o honi iddo, yn Arfon, ac wedi rhoddi boddlonrwydd cyffredinol, a chydsyniwyd ei dderbyn fel eithriad i'r rheol.

II. Darllenwyd llythyr oddiwrth Mr. R. O. Rees, Dolgellau, ynghyda llythyrau a dderbyniasai oddiwrth ddau o swyddogion y Fibl-Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, yn cynnwys cais am gael yr hen Fibl a roddasai Mr. Rees o'r blaen i Lyfrgell yr Athrofa, i fod yn feddiant i, ac i gael ei gadw yn Llyfrgell y Fibl Gymdeithas yn Llundain; ond nid oedd y Cyfeisteddfod yn barod i gydsynio â'r cais, am fod i'r hen gyfrol ei hanes yn ei pherthynas â Mr. Charles, â'r Bala, ac â'r Methodistiaid.

III. Penderfynwyd fod i'r Llyfrgellydd wneyd rhestr o'r llyfrau a fyddo yn cael eu chwanegu at y Llyfrgell yn ystod pob blwyddyn, ac iddi gael ei darllen yn y Cyfeisteddfod, a'n bod hefyd yn dymuno ar i gyfeillion yr Athrofa gofio am y Llyfrgell drwy roddion o lyfrau gwerthfawr, hen a newyddion.

IV. Penodwyd Mri. J. Frimston a C. Hughes i archwilio yr holl gyfrifon, ac i fwrw golwg dros gynnwys y *Safe*, y rhai a adroddasant iddynt gael eu llwyr foddloni yn y naill a'r llall.

V. Darllenwyd manylion y cyfrif a ganlyn o Mehefin 1, 1877, hyd Mehefin 4, 1878, gan y Llywydd, fel Trysorydd yr Adeilad.

DERBYNIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Yn y Banc, Mehefin 1, 1877 ...... | 42 | 2 | 8 |
| Casgliadau, &c. ........................ | 250 | 6 | 7 |
| Llogau yn y Banc ..................... | 0 | 9 | 0 |
| | £292 | 18 | 3 |

TALIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Llogau ...................................... | 42 | 10 | 0 |
| Costau Argraffu ......................... | 6 | 15 | 10 |
| Traul y Banc .............................. | 2 | 7 | 10 |
| Gweddill yn y Banc .................... | 241 | 4 | 7 |
| | £292 | 18 | 3 |

DAVID ROBERTS, *Trysorydd*.

Archwiliwyd manylion y cyfrif uchod, a chafwyd hwynt yn gywir,

JOHN FRIMSTON.
CHARLES HUGHES.

VI. Cafwyd nad oedd y casgliad at yr adeilad wedi ei gwbl orphen mewn rhai lleoedd, nac wedi d'od i law ond o ychydig o Gyfarfodydd Misol, a dymunid ar iddo gael ei gwblhâu mor fuan ag y byddo modd; a bod i restr o'r symiau a dderbyniwyd o bob man gael eu hanfon i Mr. R. Rowland, Osmond View, Porthmadog.

VII. Derbyniwyd dwy Weithred drwy law D. Roberts, Ysw., i'w rhoddi yn y *Safe*, a chyflwynwyd diolchgarwch iddo am ei lafur gwastadol a'i fawr ofal am yr Athrofa a'i heiddo.

VIII. Gwnaed sylw gyda theimladau dwysion am y diweddar Mr. P. M. Evans, Treffynnon, yr hwn oedd wedi dangos ei hun bob amser yn un o gyfeillion gwresocaf yr Athrofa, ac yn un o aelodau mwyaf ffyddlawn a galluog y Cyfeisteddfod, yr hwn y teimlir colled ar ei ol am ei gydweithrediad medrus a pharod bob amser; a phenderfynwyd anfon at Mrs. Evans i ddadgan ein cydymdeimlad mwyaf diffuant â hi â'r teulu yn eu trallod.

IX. Penderfynwyd fod i'r Parch. D. Ll. Jones, M.A., barhâu yn Arholwr am flwyddyn eto; a bod i'r holl Arholwyr o hyn allan barhâu yn eu swydd am dair blynedd.

X. Fod i'r Parchn. Principal Edwards, M.A., Aberystwyth, fod yn Arholwr Duwinyddol, a G. Ellis, B.A., Bootle, yn Arholwr Clasurol am y tair blynedd nesaf.

XI. Cynnygir fod safon y derbyniad i

mewn i'r Athrofa i gael ei chodi, ac i gynnwys mwy o berffeithrwydd yn yr iaith Saesoneg, ynghydag elfenau yr iaith Lladin.

XII. Cynnygir hefyd, os bydd un o'r myfyrwyr yn methu rhoddi boddlonrwydd i'r Arholwyr, ei fod i fyned yn ol at yr un materion am y flwyddyn sydd yn canlyn; a bod pob myfyriwr llwyddiannus i dderbyn tystysgrif yn niwedd pob blwyddyn; a phan y gwelir ei fod yn meddu y teilyngdod angenrheidiol, trwy roddi boddlonrwydd llwyr i'r Arholwyr yn yr Arholiad uchaf, ei fod i dderbyn tystysgrif fwy arbenig.

XIII. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch i Robert Wright, Ysw., am ei garedigrwydd yn rhoddi ysgoloriaeth o £50 i'r goreu yn yr Athrofa y flwyddyn hon.

XIV. Derbyniwyd a chymeradwywyd adroddiad y Cyfeisteddfod Lleol, yn holl fanylion eu cyttundeb â'r gŵr sydd yn gofalu am y Coleg a'r *grounds* o'i amgylch.

XV. Cydsyniwyd â dymuniad y cyfeillion yn y Bala, ar fod i'r *term* ddiweddu y dydd Iau, ac nid y dydd Gwener cyntaf o Mehefin, fel y mae yn bresennol.

Wedi darllen yr Adroddiad, gwnaed sylwadau gan Mr. D. Roberts, Hope St., ar y casgliad er dileu y gweddill o'r ddyled sydd yn aros ar yr adeilad. Cwynid fod cymaint o annybendod gyda hyn. Dysgwylir, ond i'r lleoedd hyny sydd eto heb wneyd y casgliad ddangos yr un ffyddlondeb ag a ddangoswyd yn y lleoedd ei gwnaed, y byddwn yn rhydd oddiwrth hyn ymhen y flwyddyn.—Cafwyd gair gan Dr. Edwards am yr Ystafell Lyfrau. Hysbysai eu bod yn gwneyd ymdrech i gasglu ynghyd Hen Lyfrau Cymraeg, ynghyda hen Lawysgrifau (MS.) a Llythyrau yr hen enwogion sydd wedi ein gadael; ac y teimlid yn dra diolchgar i bwy bynag a anfonai y cyfryw i'w rhoddi yn yr Ystafell Lyfrau yn Athrofa'r Bala.

Cynnygiwyd gan Mr. D. Roberts, a chefnogwyd gan y Parch. W. James, B.A., a phenderfynwyd, Fod Adroddiad Cyfeisteddfod yr Athrofa yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo gan y Gymdeithasfa.

VI. Rhoddwyd Adroddiad o'r Arholiad a gynnaliwyd ar yr efrydwyr yn yr Athrofa. Rhoddwyd cymeradwyaeth mawr i'r Papyrau, yn enwedig rhai o honynt, a llawenheid yn fawr yn y wedd sydd ar yr Athrofa. Dywedwyd fod nifer mawr o ymgeiswyr am fynediad i mewn i'r Athrofa, mwy nag a welwyd ar unrhyw adeg flaenorol. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, cefnogwyd gan Mr. Peter Williams, a phenderfynwyd, Fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i'r Arholwyr, y Parchn. Dr. Thomas, Liverpool, D. Ll. Jones, M.A., Llandinam, a Ll. Edwards, M.A., Aberystwyth, am eu gwasanaeth gwerthfawr ac effeithiol.

*(I'w barhâu.)*

### ARHOLIAD ATHROFA Y BALA, 1878.

WRTH gyflwyno ein hadroddiad o'r Arholiad eleni, nid oes genym ond teimlo yn ddiolchgar i'r Arglwydd am yr amddiffyn Dwyfol sydd wedi bod o'r dechre hyd yn hyn ar y sefydliad. Ychydig yn ol yr oeddym yn teimlo yn bryderus oblegid sefyllfa iechyd y Parchn. Dr. Edwards a Hugh Williams; ond erbyn hyn y mae'r ddau wedi gwella mor dda fel y maent yn edrych càn gryfed ag y gwelwyd hwy er ys blynyddoedd lawer.

Parhäodd yr Arholiad eleni fel arferol am oddeutu pythefnos o amser; ac wrth ystyried nifer y materion, a manylder y cwestiynau, rhaid dyweyd fod y mwyafrif mawr o'r myfyrwyr yn deilwng o ganmoliaeth uchel am eu llafur, yn ceisio meistroli y cangenau fu dan eu sylw yn ystod y *session* ddiweddaf. Gall y darllenydd ffurfio barn lled gywir am safle y myfyrwyr oddiwrth y rhestr argraffedig a'r ffigyrau sydd ar gyfer eu henwau. Gwel fod myfyrwyr y flwyddyn gyntaf yn hynod o agos i'w gilydd. Nid oes dim bylchau mawr rhwng yr enwau a'u gilydd yn y rhestr o gwbl. Yr oedd y cyfanswm yn 1232; a chyrhaeddodd y cyntaf ar y rhestr 794, a'r diweddaf 580. Os parhânt i lwyddo yn y dyfodol fel y darfu iddynt yn y flwyddyn ddiweddaf, diau genym y bydd eu meddyliau wedi ymgyfoethogi yn fawr yn ystod eu tymmor Athrofäol. Nid yw myfyrwyr yr ail flwyddyn yn agos mor gyfartal â'u gilydd. Tra yr ennillodd y cyntaf o'r pedwar 952, ni chafodd y diweddaf o honynt ond 511. Tra y mae'r cyntaf yn nês o lawer i gyrhaedd y nodau cyflawn na'r uchaf o fyfyrwyr y flwyddyn gyntaf, y mae'r diweddaf ymhellach oddiwrthynt na'r isaf o fyfyrwyr y flwyddyn gyntaf. Am fyfyrwyr y drydedd flwyddyn, y mae ymysg y rhai hyn gymaint o amrywiaeth fel y mae yn anhawdd gwybod pa beth i'w ddyweyd heb archolli teimladau rhai o honynt hwy ar un llaw, neu aberthu gonestrwydd ar y llaw arall. Yn eu mysg hwy, y mae y rhan fwyaf o'r myfyrwyr goreu yn yr holl Athrofa, ac yn eu mysg hwy hefyd y mae rhai—un neu ddau—o'r dynion ieuainc mwyaf aflwyddiannus yn yr Arholiad. Mae'r gwahaniaeth yn ormod i ni adael iddo fyned heibio yn ddisylw. O'r cyfanswm o 1412, ennillodd y pedwar cyntaf ar y rhestr o 1123 i 832, tra nas ennillodd y ddau isaf yaddi ond 359 a 258. Mae yr un peth i'w weled yn rhestr y bedwaredd flwyddyn. Tra yr oedd y cyfanswm yn 1516, ennillodd y cyntaf 1317, a'r ddau ddiweddaf 230 a 200. Ond y mae amgylchiadau y ddau ŵr ieuanc hyn yn rhoddi esboniad ar y gwahaniaeth. Yr

oedd Mr. William Williams yn absennol yn ystod rhan o'r Arholiad, yn cael ei dderbyn yn genadwr yn Nghymanfa Gyffredinol Aberystwyth; ac nis gallodd Mr. Evan Lloyd, o herwydd afiechyd, ddilyn yr holl ddosbarthiadau. Ar yr un pryd, yr ydym yn gorfod dyweyd nad yw y rhan fwyaf o fyfyrwyr y bedwaredd flwyddyn wedi pasio yr Arholiad yn agos mor foddhäol ag yr oeddym yn dysgwyl. Yr oedd y cyntaf o honynt yn rhagorol; ac yr oedd yn dda genym ei weled yn cael ysgoloriaeth o hanner cant o bunnau i fyned am ddwy flynedd i Aberystwyth. Ni buasem yn gwneyd y sylwadau hyn oni buasai ein bod yn credu fod yn resyn i rai wedi bod yn yr Athrofa am bedair blynedd gael mor ychydig o farciau ag a welir ar gyfer enwau rhai o'r myfyrwyr hyn eleni. Yr ydym yn teimlo yn dra hyderus, oddiar ein hadnabyddiaeth o'r gwŷr ieuainc, na ddygwydd hyn y flwyddyn nesaf.

Mae rhai o'r dynion ieuainc sydd yn sefyll uchaf ar restr y drydedd flwyddyn eleni yn lleygwyr, ys dywedir. Yr ydym yn ofni yn fawr fod rhai o'n dynion ieuainc yn gorfod myned bob Sadwrn i deithiau Sabbothol mor bell, ac yn dychwelyd adref mor hwyr ddydd Llun, fel nad ydynt yn cael, i bob pwrpas ymarferol, ond pum' diwrnod yn yr wythnos at eu gwaith yn yr Athrofa. Dyma y rheswm paham y mae rhai o honynt yn ymddangos mor isel mewn Rhesymeg eleni, sef am fod y dosbarth yn cael ei gynnal ar brydnawn ddydd Llun, a hwythau heb gyrhaedd adref, neu yn rhy luddedig i ddyfod iddo.

Er fod safon derbyniad i mewn i'r Athrofa wedi ei godi, ac y bydd o hyn allan yn cynnwys yn ychwanegol at Dduwinyddiaeth, Saesonega Rhifyddiaeth, ac elfenau yr iaith Lladin, eto credwn pe byddai un o efrydwyr goreu y bedwaredd flwyddyn yn aros yn yr Athrofa am flwyddyn yn ychwaneg fel *Tutor* i addysgu Myfyrwyr y flwyddyn gyntaf yn elfenau Groeg, Alsoddeg, &c., y gwnelai hyny rwyddhâu llawer ar waith yr Athrawon, ac y caent fwy o amser i ymgymeryd â dosbarthiadau uwch. Diau genym fod y gwelliadau a basiwyd trwy y Pwyllgor eleni, yn tueddu yn uniongyrchol at wneyd y Sefydliad yn fwy effeithiol a llwyddiannus.

D. LLOYD JONES.

*Nodiad Chwanegol.*—Bu William Jones yn absennol am amser o herwydd afiechyd yn ei deulu, a R. J. Williams o herwydd gwendid ei iechyd ei hunan.

### Y FLWYDDYN GYNTAF.

*Saesoneg, Classics, a Mathematics.*

Cyfanswm, 720.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Robert Jones | ...532 | R. P. Ellis | .........447 |
| Robert Williams | 492 | R. O. Morris | ......444 |
| J. H. Roberts | ...478 | Richard Jones | ...397 |
| Richard Edwards | 460 | O. G. Owen | ......392 |
| W. M. Williams | 449 | David Owen | ......360 |

*Duwinyddiaeth.*—Cyfanswm, 512.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Richard Edwards | 334 | David Owen | .....220 |
| O. G. Owen | ......318 | Robert Williams | 200 |
| R. O. Morris | ......266 | J. H. Roberts | ...186 |
| R. P. Ellis | .........260 | Richard Jones | ...184 |
| Robert Jones, W. M. Williams | 240 | | |

Cyfanswm, 1232.

| | | |
|---|---|---|
| Richard Edwards | 794 | Gwobr ychwanegol £4 |
| Robert Jones | ...772 | " " £3 |
| R. O. Morris | ......764 | |
| O. G. Owen | ......710 | |
| R. P. Ellis | .........707 | |
| Robert Williams | 692 | |
| W. M. Williams | 689 | |
| J. H. Roberts | ...664 | |
| Richard Jones | ...581 | |
| David Owen | ......580 | |

### YR AIL FLWYDDYN.

*Saesoneg, Classics, a Mathematics.*

Cyfanswm, 740.

| | | | |
|---|---|---|---|
| D. R. Griffith | ...574 | E. Humphreys | ...366 |
| J. O. Jones | ...... 429 | John Jones | ......303 |

*Duwinyddiaeth.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| D. R. Griffith | ...378 | E. Humphreys | ...228 |
| J. O. Jones | ......230 | John Jones | ......208 |

Cyfanswm.

| | | |
|---|---|---|
| D. R. Griffith | ...952 | Gwobr ychwanegol £5 |
| J. O. Jones | ......659 | " " £4 |
| E. Humphreys | ...594 | |
| John Jones | .........511 | |

Gorfu i J. Morgan Jones ac Edward Jones ymadael cyn diwedd y tymmor o herwydd afiechyd.

### Y DRYDEDD FLWYDDYN.

*Saesoneg, Classics, a Mathematics.*

Cyfanswm, 900.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Richard Hughes | 767 | John Davies | ......416 |
| Owen Edwards | ...742 | William Jones | ...394 |
| O. J. Owen | .........690 | Edward Lloyd | ...354 |
| J. G. Jones | ......530 | J. H. Parry | ......111 |
| Hugh Roberts | ...512 | | |

*Duwinyddiaeth.*—Cyfanswm, 512.

| | | | |
|---|---|---|---|
| O. J. Owen | ......382 | Hugh Roberts, J. Thos. Jones | 258 |
| Owen Edwards | ...370 | J. H. Parry | ......248 |
| Richard Hughes | 356 | William Jones | ...242 |
| Ioan Davies | ..... 310 | Edward Lloyd | ...226 |
| J. G. Jones | ...... 302 | | |

Cyfanswm, 1412.

| | | |
|---|---|---|
| Richard Hughes | 1123 | Ysgoloriaeth D. Roberts, Ysw. £20 |

| | | |
|---|---|---|
| Owen Edwards 1112 | Gwobr ychwanegol | £10 |
| O. J. Owen ..... 1072 | " " | 10 |
| J. G. Jones ...... 832 | | |
| Hugh Roberts ...770 | | |
| Ioan Davies ......726 | | |
| William Jones ...636 | | |
| Edward Lloyd ...390 | | |
| J. H. Parry ......359 | | |
| J. Thomas Jones 258 | | |

Bu William Jones yn absennol am ran o'r tymmor o herwydd afiechyd yn ei deulu. Ni bu R. J. Williams, Ffestiniog, yn bresennol o herwydd afiechyd.

Y BEDWAREDD FLWYDDYN.

*Saesoneg, Classics, Mathematics, ac Athroniaeth.*

Cyfanswm, 1004.

| | |
|---|---|
| Thos. John Jones 869 | Thomas G. Owen 425 |
| William Roberts 537 | Robert Hughes... 343 |

*Duwinyddiaeth.*—Cyfanswm, 512.

| | |
|---|---|
| Thomas J. Jones 428 | William Roberts 224 |
| T. G. Owen ...... 290 | Evan Lloyd ...... 200 |
| Wm. Williams... 230 | Robert Hughes... 172 |

Cyfanswm, 1516.

| | |
|---|---|
| Thos. J. Jones 1317 | Ysgol. Mr. Wright £50 |
| William Roberts 761 | Gwobr ychwanegol £10 |
| T. G. Owen ...... 715 | |
| Robert Hughes... 515 | |
| William Williams230 | |
| Evan Lloyd ...... 200 | |

Yr oedd William Williams yn absennol yn ystod rhan o'r arholiad, yn cael ei dderbyn yn genhadwr yn Nghymanfa Aberystwyth, ac nis gallodd Evan Lloyd, o herwydd ei afiechyd, ddilyn yr holl ddosbarthiadau.

*Y rhai a ddaethant i mewn y flwyddyn hon.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. | W. Hobley | 174 |
| 2. | J. C. Jones | 167 |
| 3. | Is. J. Williams | 166 |
| 4. | G. R. Jones | 164 |
| 5. | E. J. Williams | 163 |
| 6. | R. J. Willliams | 153 |
| 7. | William Matthews | 151 |
| 8. | W. J. Davies; J. E. Jones; S. J. Jones | 150 |
| 9. | Owen Jones, Cemmaes...; Christmas Lewis | 147 |
| 10. | O. E. Williams; R. R. Morris; T. E. Roberts | 143 |
| 11. | Morris O. Jones | 141 |
| 12. | D. Jones, Clynnog; D. Jones, Llanelwy | 135 |
| 13. | O. Jones, Penmachno ...; R. Williams, Rhosfawr | 130 |
| 14. | Thomas Williams | 126 |

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

AR y Sul olaf yn Mehefin, agorwyd capel newydd Caerdydd, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. W. Evans, Tonyrefail, a Richard Lumley. Y Parch. E. Matthews a bregethodd y nos Lun ganlynol, a'r Parchn. Dr. Owen Thomas a D. Saunders nos Fawrth a dydd Mercher. Mae'r capel hwn yn newyddbeth mewn adeiladaeth eglwysig, ac nid yn unig yn wahanol i ond mewn rhyw ystyriaethau yn rhagori ar ddim a fedd y Cyfundeb. Y cynllunydd yw Mr. Henry Harries, Caerdydd; ac y mae desgrifiad o'r capel hwn, gyda chanmoliaeth uchel i'w gynllun, wedi ymddangos yn mhrif gyhoeddiad yr Adeiladwyr yn y deyrnas. Gobeithiwn y caiff goreugwŷr ein Cyfundeb gyfleusdra i'w weled cyn hir mewn Cymanfa Gyffredinol. Cynnwysa le i tua 500 i eistedd; ac y mae'r adeilad wedi costio rhwng £5000 a £6000.

Tra y mae y dalaeth Ogleddol yn llawenhâu fod un arall o'i haelodau wedi cael eisteddle yn y Senedd, y mae y dalaeth Ddeheuol, a'r Cyfundeb yn gyffredinol, i'w longyfarch ar lwyddiant Mr. Robert Davies Roberts, Aberystwyth, yn ennill y gradd uchel o Ddoctor mewn Gwyddoniaeth (D.Sc.) yn Mhrifysgol Llundain. Mae Mr. Roberts hefyd yn M.A. yn Mhrifysgol Caergrawnt.

Cynnaliwyd cyfarfod pwysig yn ddiweddar yn Abermeurig, mewn cysylltiad âg achos yr Ysgol Sabbothol yn Nehau Ceredigion, pryd yr oedd cynnrychiolwyr yn bresennol o bob dosbarth o fewn y cylch, ac y derbyniwyd adroddiadau dyddorol am y gwaith, y rhanwyd gwobrau, ac y torwyd gwaith ar gyfer y dyfodol. Mae cyfarfod blynyddol yr Ysgolion Sabbothol yn allu mawr yn neupen y Sîr hon.

Mae yr eglwys Seisonig yn Nghaerdydd wedi gwneyd ymdrech ganmoladwy i dynu i lawr ei dyled drom trwy yr hyn a elwir *Bazaar*, ffrwyth yr hyn oedd tua £300; ac y mae'r ddyled wedi ei thynu i lawr i tua £1800—baich trwm, ond y mae'r gynnulleidfa ieuanc hon a'i gweinidog talentog yn ymroddi yn galonog dan y pwys i gario ymlaen yr achos yn effeithiol.

Ailagorwyd capel Soar, Bro Morganwg, ar ol gwellhâd mawr ac helaethiad trwy ddodi oriel ynddo, ar yr 17eg a'r 18fed o Gorphenaf, pryd y cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan amryw o weinidogion y Sîr.

Yr ydys yn adeiladu capel yn ymyl tref Llanelli, mewn ardal a elwir y Ffwrnes. Mae hwn yn achos newydd. Teilynga eglwysi Llanelli ganmoliaeth uchel am eu gwaith yn estyn y cortynau yn y dref a'r wlad o'i chwmpas.

Ar y 14eg a'r 15fed o Gorphenaf, agorwyd capel newydd mawr a hardd Pentre, Ystrad Rhondda—y Parchn. G. Parry, Aberystwyth, John Lewis, Caerfyrddin, ac eraill, yn gweinyddu ar yr achlysur.

Yr ydys wedi rhoddi caniatâd i helaethu dau o gapelau Gorllewin Morganwg, sef eiddo Llansawel a Maesybar.

Y cwrdd pregethu sydd wedi myned yn sefydliad hynod boblogaidd a phwysig, yn enwedig yn Sir Forganwg. Daw tyrfäoedd lïosog ynghyd ar yr achlysuron hyn; ac fe roddir cyfle i wahanol barthau y wlad i wrando doniau goreu y Cyfundeb trwyddynt. A chesglir symiau mawr at gynnaliaeth yr achos a diddyledu y capelau. Yn ychwanegol at y cyfarfodydd a enwys eisoes, y mae genym i grybwyll y bu'r Parchn. E. Matthews a John Lewis yn traddodi'r pregethau blynyddol (chwedl y Saeson) yn Bryn, Cwmafon, ar y 7 a'r 8fed o Gorphenaf, a'r Sabboth a'r Llun canlynol bu'r Parch. W. James, B.A., Manchester, ac eraill, yn cyflawni yr un gwasanaeth yn Tongwynlas; ac ar yr 21ain, y Parchn. Robert Thomas, Garston, a W. Evans, M.A., yn Roath, Caerdydd.

Ar y 23 a'r 24ain o Mai, cynnaliwyd cyfarfod blynyddol Cwmaman, y Parchn. T. E. Edwards, Rhymni, Ebenezer Rees, a J. Walters, Sir Gaerfyrddin, yn pregethu. Gwnaed casgliad da. Y mae 35 o aelodau wedi eu hychwanegu at yr eglwys hon yn ystod y chwe' mis diweddaf. Hefyd ar yr 16 a'r 17eg o Mehefin, cynnaliwyd cyfarfod blynyddol Penclawdd, y Parchn. J. Jones, Aberhonddu, W. M. Jones, Aberteifi, a T. James, M.A., yn y gwaith. Eilwaith ar y 3ydd a'r 4ydd o Orphenaf yn Heartsease a Phenybont Maesyfed, pryd y cafwyd cynnulliadau lïosog a chasgliadau rhagorol. Y Parchn. Thomas Rees, J. Cynddylan Jones, W. Evans, M.A., a Moses Williams, oedd y gweinidogion ar yr achlysur. Ar yr 16 a'r 17eg o Mehefin yr oedd y Parchn. T. Job, D. James, Robert Jones, ac Abraham Roberts, yn "cadw cyfarfod" yn Cwmparc, Rhondda, lle mae capel hardd, a'r ddyled ymron diflanu.

Mae yn llawenydd cyffredinol gan ein cyfeillion, a chan holl wir Ryddfrydwyr Cymru, fod John Roberts, Ysw., o Bryngwenallt, Abergele, ac o Liverpool, wedi ei ethol yn aelod seneddol dros fwrdeisdrefi Sir Fflint, yn lle y diweddar Ellis Eyton, Ysw. Cafodd y gwrthwynebiad mwyaf egnïol gan y Ceidwadwyr, y rhai a fynent i P. P. Pennant, Ysw., gael ei ddewis; a daeth Pabyddion, a rhai Wesleyaid Seisonig, gyda llïaws a broffesent o'r blaen eu bod yn Rhyddfrydwyr, i gefnogi'r Torïaid. Ond er eu gwaethaf hwy, efe a ennillodd y sedd yn anrhydeddus; ac nis gellir gwadu fod Mr. Roberts yn anrhydedd nid yn unig i'w gyfundeb, ond i'w genedl.

Agorwyd capel newydd Cymreig Seacombe y mis diweddaf. Y mae yn sefyll yn Liscard Road, yn agos i'r cysylltiad â Grosvenor Road, ac felly mewn lle hynod fanteisiol a dymunol. Y mae'r capel hwn yn ogoniant i'r holl gymydogaeth, yn gystal âg yn glod i'n cyfundeb ac i'r Cymry. Gweinyddwyd yn y cyfarfodydd agoriadol gan y Parchn. Dr. Edwards, D. Saunders, a W. James o Aberdâr, a chan Mr. Lumley y gweinidog. Casglwyd £170 yn yr amrywiol oedfäon.

Yr ydym newydd glywed am farwolaeth y Parch. Robert Roberts, Llangeitho, yr hwn yr hir gofir ei weinidogaeth efengylaidd ac effeithiol. Hyderwn y bydd genym lawer i'w adrodd am dano mewn rhifyn dyfodol, yn gystal ag am y Parch. John James, Penybont, yr hwn oedd yntau yn ŵr mawr yn ein Hisrael Fethodistaidd, er nad arferai fyned ond ychydig oddicartref.

Mr. Heth Jones, y blaenor hynaf yn Adwy'r Clawdd, ac, oddigerth un, yr hynaf ymysg blaenoriaid Cyfarfod Misol Sir Fflint, a fu farw yn y mis diweddaf yn 78 mlwydd oed. Yr oedd yn ŵr duwiol, serchog, a ffyddlawn iawn; a chafodd gladdedigaeth hynod barchus. Gweinyddwyd wrth ei dŷ, yn y capel, ac yn nghladdfa y Rhosddu, Gwrecsam, gan y Parchn. R. Edwards o'r Wyddgrug, W. Pierce o Rosesmor, H. Hughes o'r Adwy, D. Jones o Fachynlleth (y gweinidog yn ddiweddar yn yr Adwy), I. Jones o Glan'rafon, Jacob Jones o Saron, H. Barrow Williams, a T. Francis o Wrecsam.

Mae eglwys Llanfechain, yn y Rhan Isaf o Sir Drefaldwyn, wedi galw y Parch. David Hughes, Croesoswallt, i'w bugeilio, ac yntau wedi cydsynio â'r alwad, yr hon a gadarnhäwyd gan y Cyfarfod Misol.

Cynnaliwyd cyfarfod sefydliad y Parch. J. Hillier, yn ddiweddar o Groesoswallt, fel gweinidog yr eglwys a'r gynnulleidfa Seisonig yn Beaumaris. Llywyddwyd gan y Capten Williams, y diacon hynaf; ac anerchwyd y cyfarfod gan y Parch. E. Griffiths, Meifod, a Mr. J. Jones, Ashlands, Croesoswallt, a anfonwyd gan eu Cyfarfod Misol, a chan y Parchn. Joseph Jones, Pont Menai, J. R. Hughes, a J. H. Symington, M.A., Birkenhead (yr hwn oedd yn aros yn y gymydogaeth ar y pryd), a chan Mr. Hillier ei hun.

2 A

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### BETH AM BWNC Y DWYRAIN?

DAETH cydgynghorfa Berlin i'w therfyn; ac y mae Iarll Beaconsfield, ac Arglwydd Salisbury, wedi dychwelyd adref; y cyntaf yn cael ei dderbyn gyda'r croesawiad twymnaf gan ei gyfeillion. Ond y mae y rhai hyny o'r Toriaid oedd yn cefnogi i'r eithaf lywodraeth y Twrc, ac am fyned i ryfel â Rwssia o'i herwydd, heb gael eu boddloni yn Beaconsfield, ac yn edrych arno fel un anffyddlawn i'w ymddiried, ac wedi gweithredu yn groes i'w ardystiadau a'i addewidion blaenorol. Mae pob golwg am ryfel, pa fodd bynag, wedi cilio ymaith; ac er mai hen ystori'r Ceidwadwyr, gyda Beaconsfield yn eu blaenori oedd, fod yn rhaid cadw ymherodraeth Twrci yn annibynol ac yn anrhanedig, ni a welwn fod cynnadledd Berlin yn trefnu hollti mawr i fod arni. Mae Rwssia yn cael Kars ac Ardahan a Batoum, Awstria yn cael Bosnia a Herzegovina, Roumania yn cymeryd y Dobruscha, Bulgaria Ogleddol yn dyfod yn annibynol, a Bulgaria Ddeheuol, a rhan fawr o Roumelia, yn cael hunan-lywodraeth am yr amser, os nid yn barhâus. Ac, yn awr, wedi i'r Toriaid godi crochwaedd yn erbyn Rwssia am ei hyspeiliadau, pwy ond llywodraeth Prydain Fawr sydd yn estyn i gymeryd rhan o'r yspail? Cyn i gynghorfa Berlin ddiweddu gyda'i phenderfyniadau, yr oedd Beaconsfield a'i gydweinidogion wedi gorphen cynghrair â Thwrci, ymha un y trefnid i lywodraethiad ynys Cyprus yn Môr y Canoldir fod yn drosglwyddedig i Brydain Fawr, ac i Prydain gymeryd dan ei hamddiffyn diriogaethau y Sultan yn Asia. Bydd ein darllenyddion, mae yn ddiau, wedi cael mantais i glywed a darllen llawer am Cyprus, ac am y cynghrair yn ei chylch, cyn pen mis eto, fel nad rhaid i ni yma ddwyn allan ein daroganau. Y tebygrwydd ydyw y bydd caffaeliad Cyprus yn troi allan yn gostus iawn i'r wlad hon, tra y gosodir ni hefyd gan ein llywiawdwyr, ysywaeth, i fod yn darian i ddiogelu llywodraeth bwdr a ffiaidd y Twrc yn Asia am ryw dymmor eto.

---

### LLAWER YN FYR.

BU farw Brenines Spain yn wraig ieuanc ddeunaw oed, pan mewn gobaith i fod yn fam, ac wedi ennill calon ei deiliaid ar gyfrif rhagoroldeb ei chymeriad a hynawsedd ei hysbryd; ac amlygir galar mawr ar ei hol. Nid yw'r Brenin Alfonso, sydd wedi ei adael yn weddw, ond 21 mlwydd oed. Anfonodd ein Brenines ni lythyr caredig o gydymdeimlad at y Brenin ieuanc.

Yn chwanegol at y newyn tost yn China, dygwyddodd ystorm ddychrynllyd o fellt a tharanau, yn cael ei dilyn gan wynt a gwlaw gerwin, ac wedi hyny gan bistyll awyr *(waterspout)* dirfawr, yn Canton ar yr 11eg o Ebrill, yr hyn a fu yn angeuol i ddeng mil o bersonau.

Mae'r bardd Americaidd enwog, a golygydd a pherchenog y *New York Evening Post*, William Cullen Bryant, wedi marw yn ddiweddar yn 84 mlwydd oed. Edrychid arno ef fel y mwyaf goludog o'r beirdd. Yr oedd efe, trwy newyddiaduriaeth a barddoniaeth, wedi ennill eiddo a gyfrifir yn werth can' mil o bunnoedd.

Y newyddiaduron Americaidd a hysbysant am farwolaeth yr hybarch a'r enwog Charles Hodge, D.D., yn 79 mlwydd oed. Edrychid arno ef fel un o brif dduwinyddion efengylaidd yr oes hon. Derbyniwyd ef yn ysgolaig i Goleg Princeton pryd nad ydoedd ond tair ar ddeg oed; a phan yn ddwy ar bymtheg oed, ennillodd y graddau athrofäol gyda'r *honours* uchaf. Bu wedi hyny am dair blynedd yn Mhrifysgolion Paris, Halle, a Berlin. Am lawer o flynyddoedd, efe oedd prif Broffeswr Duwinyddiaeth yn Princeton; ac y mae ei "*Systematic Theology*," mewn tair cyfrol, yn cael ei gyfrif fel y corff o dduwinyddiaeth rhagoraf yn Saesoneg. Cyhoeddodd hefyd esboniadau rhagorol ar amryw o epistolau y Testament Newydd.

Mae Gweinidogion ein Llywodraeth, yn annheilwng o honynt eu hunain, ac yn anghyson â'u gweithrediadau tuag at Scotland a'r Iwerddon, ar ol hir ddystawrwydd, wedi gwrthod gwrando ar gais y ddirprwyaeth ddylanwadol am *grant* i Brifysgol Aberystwyth. Na fydded i etholwyr Cymru anghofio hyn pan ddelo yr Etholiad Cyffredinol.

Mrs. Clara A. Balfour, areithyddes ragorol, ac awdures led enwog, a fu farw yn nechre'r mis diweddaf, pan yr oedd o fewn ychydig i gyrhaedd deng mlwydd a thriugain oed. Ymysg ei hysgrifeniadau eraill, cyfansoddodd bump neu chwech o nofelau poblogaidd, yn argymhell yr egwyddor o lwyrymwrthodiad â diodydd meddwol. Etholasid hi yn llywyddes y *British Women's Temperance Association.*

Yr un yw Pabyddiaeth yn ein hoes ni â'r hen oesoedd erlidgar, yn ol ei gallu. Gan fod Protestaniaid yn llwyddo yn Spain i gylchdaenu'r Bibl yn dra helaeth, yn enwedig ymysg y dosbarthiadau tylotaf, mae'r Pab presennol wedi rhoddi allan gyhoeddiad yn gwahardd pawb i roddi bwyd na llety i un cenadwr Protestanaidd yn Spain, dan boen esgymundod, ac yn bygwth esgymundod hefyd ar bwy bynag y byddo ganddo unrhyw lyfr Protestanaidd yn nghadw yn ei feddiant. Mae'r cyhoeddiad hwn i'w ddarllen ymhob eglwys blwyfol yn Spain. Yn chwanegol at hyn, mae'r Pab wedi ysgrifenu llythyr â'i law ei hun at Alfonso, brenin Spain, yn taer ddeisyf arno arfer pob ymdrech i roddi yr awdurdod wladol ar waith i droi ymaith y cyfryw genadon o'r wlad, a chymeryd yn yspail yr hyn fyddo ganddynt!

Yn nghyfarfod mawr yr *Orangemen* yn Liverpool, a gŵyr pawb mai Toriaid rhonc

yw yr Oreinwyr, y Brawd George Ferguson, D.G.M., fel ei gelwir, wrth gyfeirio at yr etholiad diweddar yn Mwrdeisdrefi Fflint, a ddywedai fod yr ymgeisydd Ceidwadol yn pleidio *Home Rule*, a bod yr offeiriad Pabaidd a'r clerigwr Protestanaidd yn eistedd ochr yn ochr yn yr un cerbyd. Cafodd y Ceidwadwr yno ei orchfygu, am yr hyn y dywedai Mr. Ferguson, *Serve him right.*

Mewn pregeth a draddododd Esgob Manchester yn eglwys St. Helen's, Bishopsgate, Llundain, dywedai fod cymaint â 10,487 o fywioliaethau eglwysig wedi eu creu o'r newydd o fewn y deng mlynedd ar hugain diweddaf. O'r rhai hyn yr oedd cyflog y clerigwyr mewn 297 yn llai na £60 yn y flwyddyn; mewn 1650, o £80 i £120; ac mewn 1600, o £100 i £120. Gwyddai nad oedd lliaws o glerigwyr yn derbyn £200 yn y flwyddyn, tra yr oedd raid iddynt, fe allai, gynnal gwraig a thri neu bedwar o blant, talu ardreth tŷ, ac ymddangos fel boneddigion.

Gofynwyd i foneddiges bedwar ugain mlwydd oed gan un a esyd ei hunan allan fel astudiwr y natur ddynol, "Pa bryd y mae merched yn rhoddi i fyny eu dysgwyliad am briodi?" ac mewn dull oedd braidd yn boethlyd, ei hateb hi oedd, "Yn wir, syr, rhaid i chwi ofyn i rywun hynach na myfi."

Un diwrnod yn ddiweddar, cymerwyd meddiant o Eglwys Chantry, Frome, gan haid o wenyn; ac ar ol llawer o ymdrech drafferthus i'w troi allan, cymerasant eu lloches yn nghlochdŷ neu dŵr yr adeilad. Y dydd Sadwrn canlynol, pa fodd bynag, wele'r gwenyn yn dychwelyd i'w llettŷ blaenorol o fewn corff yr adeilad gysegredig; a chan eu bod y tro hwn yn gwrthod yn hollol dderbyn y *notice to quit*, barnwyd nas gellid dwyn ymlaen un gwasanaeth crefyddol yno ar y Sabbath oedd yn canlyn, ac felly gadawyd yr eglwys yn gwbl y dydd hwnw i sain hymiau (nid hymnau) y gwenyn, ond gan eu collfarnu i fyned dan fygdarthiad brwmstan ddydd Llun.

Llafurwr o'r enw Fryer yn Sheffield a syrthiodd oddiar ben ysgol, ac a fu farw mewn canlyniad i'r codwm. Ar y trengholiad dywedwyd yr arbedasid ei fywyd pe buasai efe yn cydsynio i dori aelod ymaith. Ond efe a nacäodd gan ddywedyd fod ei holl aelodau wedi dyfod gydag ef i'r byd, ac y caent, bob un, fyned gydag ef o'r byd. Yn gyffelyb i'r dyn hwn yn dymmorol, onid oes llawer yn colli bywyd tragywyddol trwy ommedd ymadael â'u chwantau pechadurus?

Rhyw ddyn yn San Francisco a fu farw gan adael ar ei ol gymaint â thriugain mil o wahanol rywogaethau o chwain, gwibed, a gloynfywion—oll yn ddau can' mil o nifer; a pha beth a wneir bellach â'r cyfryw gasgliad hynod? Paham y bu'r fath ddyn farw? ebe rhywun. Nage, ebe'r llall, ond i ba beth y bu efe byw?

Dywed un o bapyrau newyddion Mississipi, er y *gellir* prynu tir yno am 10 *cent* yr erw, —a chanfed ran o ddolar yw *cent*—eto fod pobl yn y dalaeth hono, heb feddu tir o gwbl, yn gwario dolar yn y dydd am *whisky*.

Mae'r *Nonconformist* wedi cyhoeddi rhai ffigiwrau yn dangos mawr gynnydd y *Liberation Society*, neu'r Gymdeithas i ddadsefydlu yr Eglwys oddiwrth y Wladwriaeth. O'i chychwyniad yn 1844, mae ei chyllid blynyddol yn myned fwyfwy; ac yr oedd eleni dros £16,000.

Cynnelir yn awr Gynnadledd Gyffredinol Esgobyddol, sef o archesgobion ac esgobion, preladiaid Prydain Fawr a'r Iwerddon, Scotland, y Trefedigaethau Prydeinig, y Taleithiau Cyfunol, a gwledydd eraill, oll yn perthyn i gyfundeb Eglwys Loegr, yn mhalas Lambeth; Archesgob Caergaint yn llywyddu. Y mae yn agos i gant o breladiaid yn rhoddi eu presennoldeb yn y gynnadledd. Ni adewir i *reporters* ddyfod i'r cyfarfodydd. Ymdrinir âg amrywiol faterion perthynol i'r *Anglican Communion*, ys dywedir; ond nid oes ond awdurdod foesol yn unig—nid dim cyfreithiol—gan y penderfyniadau.

Yn Llangybi, pentref tawel tua saith milldir o'r Casnewydd ar Wysg, cafwyd teulu o'r enw Watkins, gŵr a gwraig a thri o blant, oll yn feirw, a phob arwydd mai wedi eu llofruddio yr oeddynt. Yr oedd y gwely ar ba un y gorweddai'r plant wedi ei roi ar dân, a'r cyrff mewn rhan wedi eu llosgi. Mae Yspaenwr, o'r enw Joseph Garcia, wedi ei ddal a'i draddodi i'r carchar fel y llofrudd. Nid oedd efe ond newydd ddyfod yn rhydd o garchar yr Wysg, wedi cael naw mis o garchariad am dori tŷ. Yr oedd efe yn gwisgo botasau y dyn llofruddiedig pan ddaliwyd ef, gyda'i ddillad ganddo mewn bwndel. Mae dau ddyn arall hefyd mewn dalfa, un o ba rai oedd â chanddo esgidiau perthynol i Watkins.

Mae Arglwydd Aberdâr wedi derbyn y swydd o lywydd y *Royal Historical Society* yn lle y diweddar Iarll Russell.

Yn Nghymanfa Gyffredinol Eglwys Rydd Scotland, etholwyd y Parch. Dr. Andrew A. Bonar, Glasgow, yn Gymedrolwr am y flwyddyn yn lle y Parch. Syr Henry Moncrieff.

Esgob Manchester, mewn conffirmasiwn, neu fedydd esgob, fel ei gelwir, wrth anerch y merched ieuainc yno, a lefarai yn gryf yn erbyn gwychder gwisgiadau mewn merched yn gweini neu yn gweithio er mwyn bywioliaeth. Yr oedd un eneth, medd efe, wedi rhoddi tair punt am bluen, ac un arall, a weithiai mewn *factory* yn Blackburn, wedi rhoddi naw punt am siaced!

Mae yr argraffiad o *Daith y Pererin* (Saesonaeg) a gyhoeddir yn Glasgow, i'w werthu am ddwy geiniog yr un, newydd gyrhaedd y ganfed fil. Mae yn debyg, gyda'r eithriad o'r Bibl, nad oes un llyfr yn y byd wedi cael y fath gylchdaeniad â Thaith Pererin Bunyan.

Y Parch. Samuel Martin, gweinidog enwog gyda'r Annibynwyr yn Westminster, Llundain, a aeth yn ddiweddar i'w orphwysfa, ar ol rhai blynyddoedd o wendid nychlyd, a rhai misoedd o ddygn afiechyd. Yr oedd efe yn nodedig, ymysg pethau eraill, am ei ofal pryderus dros bobl ieuainc.

BASGED Y GWIREBAU.

*Y Seithfed Fasgedaid.*

LXXIII.

Un rheswm paham na byddai Cristionogaeth yn fwy llwyddiannus yn y byd ydyw, fod cristionogion proffesedig yn rhy fynych yn cymeryd crefydd yn ddarostyngedig i bethau eraill, yn lle ei dodi i ddal llywodraeth ar bob peth. Penderfynir gyda golwg ar le i fyw, ac ar orchwyl a galwedigaeth, ac ar gyfeillach, ac ar briodas, a'r cyffelyb, yn annibynol ar fantais i fyw yn grefyddol; a hyny o le a gaiff crefydd a fydd yn ddilynol ac yn ddiweddol. Pe caffai yr efengyl chware teg i deyrnasu, nis gallai'r byd lai na gweled ei phrydferthwch dan ei choron.

LXXIV.

Nid ambell i weithred fawr ar ei phen ei hun, ond gweithrediadau bychain yn barhâus a chymhlethedig, sydd yn ffurfio'r cymeriad. Y mae gwyrddlesni'r maes yn dyfod, nid oddiwrth y coedydd sydd oddiamgylch, ond oddiwrth y glaswellt sydd ar hyd-ddo.

LXXV.

Mae crefydd yn y deall yn unig yn opiniyngar, ac yn y teimlad yn unig yn anwastad, ac yn y gydwybod yn unig yn fath o erwinder. Dylai deall mewn crefydd roddi iawn ffurf i'r teimlad, a theimlad roddi gwresogrwydd i'r gydwybod, a chydwybod roddi gwaelod cadarn i'r ddau.

LXXVI.

Gwelir weithiau rywbeth fel ail dŵf ynglŷn â gronynau gwenith, sydd yn eu mallu yn lle eu haddfedu i'r cynauaf; ac fe welwyd ar amserau gyffelybrwydd i ffoledd ieuenctyd mewn hen bobl, yn peri fod yr olwg arnynt yn bruddaidd a phoenus. Dedwydd yw yr hwn nad yw yn myned i'w fedd cyn ei amser, nac ar ol ei amser, eithr fel y cyfyd ysgafn neu ysgub o ŷd *yn* ei amser.

LXXVII.

Peth digon naturiol yw i'r byd fawrygu ei wroniaid ei hun, a diystyru gwroniaid y nefoedd. Mae yna weniaeth o bobtu: y byd yn canmawl y rhai sydd yn dangos eu bod yn gosod gwerth ar ei ganmoliaeth. Efe a all eu deall hwy yn eu cymhelliadau a'u hymarferiadau; ond y mae egwyddorion yr hunanymwadol yn ddirgelwch iddo. Desgrifiad o bobl y meddyliau daearol a chyffredin yw, "Canmolant dithau o byddi dda wrthyt dy hun." Ond am y dyn pur a mawrfrydig, ei nodwedd ef yw, "Yr hwn y mae'r dryg-ionus yn ddirmygus yn ei olwg," bydded urddenwog neu gyfoethog; "ond a anrhydedda y rhai a ofnant yr Arglwydd."

LXXVIII.

Nid y rhai sydd yn byw yn nghanol dygwyddiadau mawrion yw y rhai goreu am weled eu gwerth a'u pwysigrwydd. "Ein tadau ni ddeallasant dy ryfeddodau yn yr Aipht," medd y Salmydd. Gwelir yn well lawn uchder y mynydd wrth bellâu oddiwrtho.

LXXIX.

Mae purdeb mewn dyn yn ei debygu i Dduw. "Gwyn eu byd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw." Ac y mae tynerwch yn Nuw yn ei debygu i ddyn. "Fel y tosturia tad wrth ei blant, felly y tosturia yr Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef." Yr oedd y ddau ragoriaeth hyn yn berffaith yn Nghrist Iesu, ein Harchoffeiriad sanctaidd a diddrwg, heb fod y Dwyfol yn cuddio'r dynol, na'r purdeb yn gormesu ar y tynerwch.

LXXX.

Dyn yn derbyn gwirionedd Duw i'w roddi allan yn ganlynol, sydd gyffelyb i fôr Galilea, trwy ba un y mae afon yr Iorddonen yn rhedeg, ac sydd yn cael ei gadw yn glaer a pheraidd trwy rediad y ffrydlif. Ond yr hwn sydd yn derbyn i mewn heb roddi allan drachefn, sydd debyg i'r Môr Marw, lle na cheir ond merddwfr chwerw, am nad oes iddo aber yn gollwng allan.

LXXXI.

Tuag at gymedroli'r meddwl mewn hawddfyd, a thuag at sirioli'r galon mewn adfyd, nid oes eisieu i ddyn yn y ddau amgylchiad ond ystyried a chydnabod yr un peth hwn, Ni bydd hyn ond dros amser.

LXXXII.

Mae ffydd, gan edrych ar addewidion y gair, yn dysgwyl llawer oddiwrth Dduw, a chariad, gan edrych ar y gorchymynion, yn gwneuthur llawer dros Dduw.

LXXXIII.

Pan y mae dyn yn ei ddarostwng ei hun, dan ddylanwad y gras o ostyngeiddrwydd, y mae yn gyffelyb i bêl yn cael ei thaflu ar y ddaear, yr hyn a wna iddi wrthneidio yn uwch tua'r wybr. Ceir yn wastad y gwir urddasol ymysg y rhai mwyaf hunanymwadol. Pwy erioed a gaed mor ogoneddus â Christ, a phwy a welwyd mor addfwyn a gostyngedig?

LXXXIV.

Mae dyn yn dlawd neu yn gyfoethog mewn gwirionedd, nid yn ol yr hyn sydd ganddo, ond yn ol yr hyn y mae yn ei ddymuno. Ystyrier yn dlawd, nid yr hwn nad oes ganddo ond ychydig, ond yr hwn y mae ynddo chwant am ychwaneg; ac ystyrier yn gyfoethog, nid yr hwn sydd ganddo lawer, ond yr hwn sydd yn teimlo nad oes ganddo ddigon. Gall y tlawd ei bwrs ymgyfoethogi trwy foddlonrwydd, a gall y cyfoethog mewn ystôr dlodi ei hun trwy gybydd-dod.

# Amrywiaethau.

## CADW LLYWODRAETH AR Y LLAIS.

Yr oedd marsiandwr yn Llundain yn anghydweled âg un o'r Crynwyr, neu'r Cwaceriaid, ynghylch cyfrifon arianol oedd rhyngddynt. Penderfynodd y marsiandwr ddwyn yr achos i lys cyfreithiol, i'r hyn yr oedd y Cwacer, yn ol ei egwyddorion, yn hollol wrthwynebol; ac efe a geisiodd ymhob modd argyhoeddi'r marsiandwr o'i amryfusedd; ond yr oedd hwnw yn llwyr anhyblyg. Yn awyddus i wneyd un ymdrech eto rhag myned at y gyfraith, galwodd y Cwacer yn ei dŷ un bore, gan ofyn i'r gwas a oedd ei feistr adref. Y marsiandwr yn clywed y gofyniad, ac yn adwaen y llais, a waeddodd allan o ben y grisiau, "Dywedwch wrth y *rascal* nad ydwyf am ei weled." Y Cwacer, gan edrych i fyny tuag ato, a atebodd yn dawel, "Wel, gyfaill, Duw a roddo i ti well meddwl," ac a aeth ymaith. Nis gallasai y marsiandwr lai na theimlo dylanwad yr ateb llariaidd, a chanfod gwrthuni ei anfoesgarwch afrywiog ei hun; a'r canlyniad a fu iddo chwilio yn fwy trwyadl i'r cyfrifon mewn dadl, a gweled mai y Cwacer oedd yn ei le, ac ef ei hun wedi camgymeryd. Ar ol hyny, efe a aeth o hono ei hun at y Cwacer i gydnabod ei fai; a chafodd dderbyniad maddeugar a chroesawgar. Cyn ymadael, efe a ddywedodd, "Y mae genyf eto un cwestiwn i'w ofyn i chwi. Pa fodd yr oeddech yn gallu bod mor amyneddgar, ar yr achlysuron blaenorol, pan yr oeddwn i yn fy nangos fy hun mor ddireswm a drwg fy natur?" "Mi a ddywedaf i ti, gyfaill," ebe'r Cwacer. "Mae fy nhymher naturiol yn fyrbwyll a phoethwyllt fel yr eiddot ti; ond mi welais fod rhoi ei ffordd i'r fath dymher yn beth pechadurus; ac mi gefais hefyd ei fod yn beth diles a niweidiol. Yr oeddwn yn sylwi fod dynion mewn drwgdymher yn wastad yn siarad yn uchel; ac mi feddyliais os gallwn gadw llywodraeth ar fy llais y byddai hyny yn help i gadw i lawr fy nrygnwyd. Y mae yn rheol genyf, gan hyny, i beidio gadael i'm llais ar un amser godi uwchlaw cywair penodol; a thrwy gadw yn ofalus at y rheol hon, wele fi, trwy fendith Duw, wedi gallu llawn feistroli fy nhymher naturiol." Yr oedd yma gyfuniad o athroniaeth a chrefydd; a da fyddai i bawb ddilyn y fath esiampl. Cofier mai gorchymyn ysbrydoliaeth Duw ydyw, "Tyner ymaith oddiwrthych bob chwerwedd, a llid, a dig, a *llefain*."

## PA FODD I ADNABOD YSGOTIAD.

Yn ngwneuthuriad un o'r rheilffyrdd mawrion, yr oedd y pengweithiwr *(foreman)* dan y cymerwr *(contractor)* yn ŵr o Ysgotland; ac efe a gynghorodd yr ysgrifwas i gyflogi llafurwyr Ysgotig os medrai efe eu cael, gan eu bod yn gyffredin yn bobl gryfion, diwyd, a medrus. "Ond pa fodd y gallaf fi wybod mewn gwirionedd mai Ysgotiaid a fyddant?" gofynai yr ysgrifwas. "Ai nid ellwch ddeall hyny oddiwrth eu tafodiaith?" ebe'r llall. Ond yr oedd yr ysgrifwas wedi dyfod o amgylchoedd Llundain; ac nis gwyddai efe y gwahaniaeth rhwng priodiaeth Ysgotland â'r eiddo pobl Sir Gaerefrog. "Wel," medd y pengweithiwr, "mi ddywedaf i chwi pa fodd i adnabod Ysgotiad: gofynwch, 'Beth yw dyben penaf dyn?' ac os na rydd y dyn yr ateb a ysgrifenaf i chwi, gellwch benderfynu mai twyllwr ydyw os dywed mai Ysgotiad ydyw." Yr hanes a ddywed fod yr ysgrifwas, yn yr atebiad a dderbyniai i'r cwestiwn cyntaf yn Nghatecism Cyntaf y Gymanfa, yn cael prawf anffaeledig o enedigaeth a magwraeth Ysgotig. Yr ateb, fel y gŵyr llawer o'n darllenwyr, ydyw, "Dyben penaf dyn yw gogoneddu Duw, a'i fwynhâu ef yn dragywydd."

## BARGEN BRIODASOL.

Galwodd gŵr ieuanc gyda'r Parch. Dr. M., yn ninas New York, i ddymuno ei wasanaeth yn ngweinyddiad priodas. "Yr wyf am wneyd bargen gyda chwi, doctor," ebe'r dyn ieuanc. "Barnu yr wyf fi y caf yn yr eneth yr wyf yn myned i'w phriodi wraig benigamp; ac os aroswch chwi flwyddyn am eich tâl, ac iddi hithau droi allan yn ol fel yr wyf yn meddwl y gwna, yna mi a roddaf i chwi hanner cant o ddoleri.' Felly y cyttunwyd; priodwyd y bobl ieuainc, ac yr oedd yr amgylchiad wedi myned yn hollol o gof y gweinidog. Ymhen y flwyddyn dyma'r gŵr ieuanc yn galw drachefn; ac nid oedd y doctor yn ei adwaen ar y cyntaf. Ond pan gyfeiriodd ei ymwelydd at y briodas a'r fargen flwyddyn yn ol, efe a gofiodd y dygwyddiad. "Wele," ebe'r gŵr ieuanc, "y mae hi yn well ddwywaith nag y dychymygais i y buasai hi; a dyma i chwi gan hyny gan' dolar." Da iawn a fyddai pe gwelid yr holl gyfathrachau priodasol yn troi allan cygystal.

## Y BIBL A'R CARCHARAU.

Yr wyf fi yn dyfod o wlad lle y taenir y Bibl ymysg pob dosbarth; a chanlyniad o hyny a welir yn ngwaith presennol Ysgrifenydd Cartrefol y deyrnas yn myned i gau i fyny hanner carcharau y Siroedd yn Nghymru. Pan yr oeddwn yn Nolgellau y dydd arall, dywedodd cyfaill wrthyf, "Y mae arnoch eisieu coleg duwinyddol yn y Bala. Prynwch y carchar yn y dref hon; mae yr Ysgrifenydd Cartrefol yn myned i'w gau." Ac yr oedd carchar arall—carchar Sir Fôn yn Beaumaris—heb ynddo ddim ond un carcharor am chwe' mis; ac nis gallasai hwnw siarad yr un gair o Gymraeg. Yr ydym yn ddyledus am hyn oll i ddylanwad y Llyfr hwn. Gwlad yr un Llyfr mewn modd arbenig yw Cymru. —*Y Parch. E. Herber Evans yn Nghyfarfod Blynyddol y Fibl Gymdeithas yn Llundain.*

## Y LLAETH YN YR EWYLLYS.

Yr oedd un gŵr claf o sefyllfa iselradd yn derbyn o balas boneddwr haelfrydig chwart o laeth bob dydd. O'r diwedd bu y gŵr claf farw; a'r boneddwr yn dirion a alwodd gyda'r weddw, i ymofyn pa fodd yr oedd arni. "Rhaid i mi ddyweyd wrthych, syr," ebe hi, "fod fy ngŵr wedi gwneyd ei ewyllys; ac ynddi efe a adawodd y chwart o laeth i'w frawd, ac nid i mi!" Gan ei fod yn derbyn y llaeth oddiwrth y boneddwr bob dydd, efe a aeth i feddwl fod dyled ar y cyfranydd caredig i roddi hwnw iddo yn barhâus, ac nid yn unig iddo ef, ond i'r neb yr ewyllysiai efe ei roddi iddo ar ol ei ddydd! Ai nid ydym ni yn rhy fynych yn ymddwyn yn debyg i hyn at yr Hollalluog? Wrth dderbyn trugareddau yn feunyddiol, yr ydym yn myned i edrych arnynt fel pethau y mae yn gyfiawn i ni eu cael, ac yn grwgnach yn chwerw os collwn rai o honynt.

## CASGLU DYLEDION DRWG.

Adroddir am un a elwid Bily Bangs yn ninas Philadelphia yn America ei fod yn un hynod lwyddiannus am gasglu dyledion drwg. Ei ddull ef i wneyd hyny ydyw gwisgo het uchel iawn, gyda'r geiriau, "Biliau drwg yn cael eu casglu" wedi eu paintio mewn llythyrenau breision arni; ac nid yw mewn un modd yn beth boddhaol gan ddyledwyr ei weled ef yn sefyllian oddeutu eu drysau. Darfu i un dyledwr digofus achwyn arno yn llys y gyfraith; ond ni chafodd Bily na chosb na cherydd, canys dywedai'r barnwr y gallai Bily wisgo het gyda chloc y dref arni os ewyllysiai.

## YSGYFAINT Y CREADUR NEWYDD.

Gweddi a mawl yw ysgyfaint y creadur newydd. Trwy y naill y mae efe yn tynu i mewn fywyd dedwydd o'r nefoedd, a thrwy y llall y mae efe yn ei anadlu yn ol drachefn iddo Ef yr hwn a'i rhoes. Fel hyn y mae grasusau crefydd yn cylchredeg; y

maent yn dyfod oddiwrth Dduw mewn egwyddor, ac yn dychwelyd at Dduw mewn offrymiad. Y cristion sydd trwy hynyma yn cael ei ddysgu i dderbyn ei fendithion o'r nef, ac i gydnabod ei fod yn eu cael oddiyno.

ENLLIB.

Gall meddyg wella clwyf corfforol: ond pa falm a all iachâu brathiad tafod enllibgar? Mae athrod yn ymdaenu fel haint dros yr holl wlad; ac wedi iddo unwaith fyned allan, nis gellir ei alw yn ol. Gellir ad-dalu yspeiliad trwy roddi adref; ond pa fodd y gellwch chwi byth wneyd iawn hollol a digonol i'r neb a enllibiwyd genych? Yn wir, wedi i chwi unwaith absenu ac enllibio dyn, nis gall eich holl aur a'ch arian, pa faint bynag a all fod genych, effeithio dim i ddileu'r camwri a wnaethoch âg ef.—*Robert Bolton.*

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU CASSIA.

### CHERRA.

Llythyr oddiwrth y Parch. John Roberts, dyddiedig Nongsawlia, Mehefin 19eg, 1878.

Y mae hi yn gwlawio yn drwm iawn yma heddyw; y mae eisoes wedi gwlawio dros bymtheng modfedd o wlaw er chwech o'r gloch neithiwyr, a synwn i ddim na bydd wedi gwlawio ugain modfedd cyn y nos. Pe buasai y fath wlaw wedi disgyn yn Nghymru, ni buasai pont ar un afon, oddieithr y Menai hwyrach. Buasai Llyn y Bala i fyny yn rhywle tua chymydogaeth *lodge* y Coleg yn ddiammheu. Ond y mae y ddaear yma mor llac, a'r rhediad dwfr mor serth, fel cyn pen awr neu ddwy wedi iddi fyned yn hindda, ni byddwn ni yn gwybod braidd ei bod wedi gwlawio. Ar y cyfan, ychydig o wlaw ydym wedi gael hyd yma y flwyddyn hon, ac yr oedd hyny wedi dechreu cynnyrchu clefydau o gwmpas; yr oedd y *cholera* wedi dyfod hefyd i bentref Cherra, ac amryw wedi meirw o hono. Dydd Gwener, wythnos i'r diweddaf, yr oeddwn wedi ofni fod Mrs. Roberts wedi cael ymosodiad o hono—yr oedd bron yr holl arwyddion arferol arni; ond o drugaredd aeth y perygl ymaith yn fuan, ac y mae erbyn hyn bron wedi cwbl wella.

Ddydd Gwener diweddaf ymadawodd y *Chief Commissioner*, sef Col. Keatinge, ac y mae yn debyg na ddaw yn ol eto. Gobeithio y bydd ei olynydd, Syr Senart Bayley, yr un mor garedig ag ef. Byddai yn dda iawn hefyd pe ceid rhywun i godi tipyn ar safon moesoldeb yn y wlad yma, yn enwedig yn Shillong.

Bydd yn dda genych ddeall fod U Jom, neu U Kypa U Morkha, wedi dyfod yn ol i'r eglwys, wedi bod allan am flynyddau. Bu yn hir iawn yn cloffi rhwng dau feddwl. Ymddangosai ambell dro wedi gwneyd ei feddwl i fyny i beidio dychwelyd mwy. Ar yr adegau hyny siaradai yn hunangyfiawn iawn; ond yr oedd yn amlwg iawn nad oedd yn cael esmwythyd. Wrth ei dderbyn dywedai ei fod wedi chwilio am gyfiawnder ymhob man cyn ildio i'w dderbyn yn rhad gan Dduw trwy Iesu Grist. Gobeithio gan Dduw y caiff nerth i ddal ati bellach hyd y diwedd. Yn naturiol, dyn stiff opiniynllyd ydyw, a byddai ei hen ddyn ar droion yn cael y llaw uchaf arno; ond ar y cyfan yr wyf yn meddwl ei fod yn gwella. Y mae cryn waith arno eto, ond fe ddaw, dan driniaeth Ysbryd Duw, yn berffaith lân.

Heno byddwn yn derbyn mam a merch i'r eglwys. Bu y fam yn yr eglwys o'r blaen flynyddau yn ol, ac y mae yn deall crefydd yn dda.

Y mae y gwaith fel hyn yn myned rhagddo yn raddol, ac y mae yn ddiammheu fod gallu yr efengyl yn cael ei deimlo yn y pentref hwn a'r pentrefi o gwmpas. Ond y mae llawer iawn o elyniaeth yn aros eto at air Duw, yn enwedig yn erbyn gwaith achubol Ysbryd Duw.

Byddai pob peth yn iawn pe yr ymfoddlonid ar ddyfod i'r capel ar y Sabboth, &c. Ond pan y dechreua rhywun feddwl am ddyfod i'r eglwys a gadael yr hen arferion, fe godir ystorm ddychrynllyd gan ei deulu yn ei erbyn, a gwneir pob peth i'w rwystro; ac os methant yn hyny, gwnant bobpeth ar a allant i'w niweidio. Y mae yma wraig wedi dyfod i'r eglwys yma er ys amser yn ol, ac y mae yn byw hefyd ar yr orsaf, fel nas gallai ei theulu wneyd dim drwg iddi hi yn uniongyrchol. Ond am na wnai ei mam ei gwadu yn hollol, dechreuasant boenydio yr hen wraig—aethant a phob peth oddiarni, fel y gadawsant hi yn llythyrenol heb ddim i gael bwyd. Wedi hyny curasant hi gan ei chicio yn ei *breast*, a rhanau eraill o'i chorff. Aeth mor gyfyng ar yr hen greadures fel y penderfynodd wneyd pen am dani ei hun, a thua tair wythnos yn ol fe grogodd ei hun yn ei thŷ. Ymddengys eu bod yn ofni fod yr hen wraig yn cydymdeimlo mwy â'i merch nag â hwy, ac ofnent iddi ddyfod yma i Nongsawlia ati,—dyna oedd wrth wraidd y cyfan. Y mae y wraig hon wedi colli pob peth oedd yn disgyn iddi fel rhan oddiwrth ei theulu trwy ddyfod yn Gristion, ac yn awr dyma hi wedi colli ei mam hefyd.

## SHILLONG.

MEHEFIN yr 20fed, ysgrifena y Parch. T. Jerman Jones, "Diolch yn garedig iawn i'r Cyfarwyddwyr am ganiatâu £25 tuag at helpu i adgyweirio y capel ar ol y niwed a wnaed iddo gan yr ystorm. Yr ydym wedi gorphen adeiladu y muriau, ac wedi ei doi oll â haiarn. Mae yn awr yn adeilad eang, cadarn, cyfleus, ac yn edrych yn rhagorol. Mae yn hŵy o ddeuddeg troedfedd nag ydoedd. Mesura yn awr oddifewn driugain troedfedd wrth bedair ar hugain. Anfonaf i chwi air am dano pan y caf ychydig bach o hamdden.

"Yr wyf newydd ddyfod adref o ymweled â Khadsawphra, fel nad wyf wedi cael hamdden i ddim. Mae y gwaith yno yn dal i fyned ymlaen ar y cyfan yn dda. Yr oedd yno gynnulleidfa o tua dau gant ar hyd y Sabbath."

---

## LLYDAW.

---

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. A. C. RACINE BRAUD, DYDDIEDIG MEHEFIN 15FED, 1878.

### ATTALFEYDD AR FFORDD LLWYDDIANT.

ER mwyn rhoddi i chwi ddrychfeddwl am anhawsderau y gwaith o efengyleiddio Ffrainc, adroddaf i chwi ffaith a gymerodd le yn ddiweddar yn Hesin-Compigny, yn agos i Béthune. Dros ystod amryw fisoedd bu Mr. F., efengylydd, yn cynnal cyfarfodydd yn y pentref hwnw, lle y trigai ychydig Brotestaniaid; nid oedd neb wedi ceisio ei attal. Ar yr 20fed o Chwefror yr oedd, yn ol ei arfer, wedi cynnal cyfarfod; mater ei gyfarchiad oedd dychweliad Sant Paul. Ar ddiwedd y gwasanaeth dosbarthwyd traethodau ymysg y 80 neu y 100 o bersonau oeddynt yn bresennol. Wedi i Mr. F. ddychwelyd i'w dŷ o un o'i ymweliadau, anfonwyd am dano gan Brifswyddog yr Heddgeidwaid, yr hwn a'i hysbysodd fod achwyniad wedi cael ei wneuthur yn ei erbyn oherwydd y cyfarfod a gynnaliwyd ganddo yn Hersin. Pan gyfarfu y Llys yn Béthune ar y 15fed o Fai, dedfrydwyd yr efengylydd i dalu dirwy o 25 o *francs*, ac i *bymtheng niwrnod o garchariad* Mae hyn yn rhyfedd pan gofiwn mai dan werinlywodraeth yr ydym, a fod genym weinidogion rhyddfrydig. Ond, yn anffodus, mae deddf mewn grym yn gwahardd cyfarfodydd anawdurdodedig yn y rhai y bydd mwy nag ugain o bersonau yn bresennol,—deddf sydd heb ei diddymu eto gan y Weriniaeth; ac y mae yr ynadon, y rhai ydynt bron i gyd yn zelog o blaid yr offeiriaid, yn ei rhoddi mewn grym, pa bryd bynag y gwelant gyfleusdra. Gallasent ei rhoddi mewn gweithrediad yn fy erbyn i y gauaf diweddaf, pan yr oeddwn yn cynnal y cyfarfodydd yn Kerentrech, ac fe ddichon eu bod yn gobeithio y gallant wneuthur felly pan y byddaf yn eu hailddechreu yn mis Medi. Fy mwriad gan hyny ydyw gofyn i'r Rhaglaw am awdurdod; wedi cael caniatâd, byddaf yn barod i gyfarfod âg ymosodiad, a chan nad all neb beri i ni ofni byddwn yn fwy rhydd i gyfarch y bobl. Bu raid i ni roddi terfyn ar y cyfarfodydd yn nechreu Mai, neu yn hytrach daethant i derfyniad o honynt eu hunain. Mae y dosbarth gweithiol yma yn arfer treulio y prydnawn bob Sabboth yn yr haf yn y wlad gyda'u teuluoedd, gan ddychwelyd adref yn rhy hwyr i wneyd dim ond cymeryd swper a myned i'r gwely. Nid oes ganddynt ddigon o flas ar wasanaeth efengylaidd i roddi awr at hyny, os rhaid cymeryd yr awr hono oddiwrth eu difyrion. Peth arall sydd yn cymhell y bobl i gadw draw yn yr haf ydyw ofn cael eu gweled yn dyfod i'r cyfarfodydd; mae llawer o honynt yn debyg i Nicodemus, "y dysgybl o hyd nos." Bydd i mi ailddechreu y cyfarfodydd hyn mor fuan ag y byddo modd, a thrwy gymhorth yr Arglwydd, gobeithiaf allu llwyddo i ddwyn rhyw nifer o leiaf i deimlo yn fwy difrifol ac i deimlad o'u hanghen am Waredwr dwyfol.

### YR ACHOS YN LORIENT.

Mae nifer da yn parhâu i ddyfod i'r moddion yn ein capel yn Lorient; mae y gynnulleidfa yn hytrach yn cynnyddu, ac yr wyf yn sylwi gyda boddhâd fod mwy o ddifrifwch, a mwy o duedd at bethau ysbrydol ymysg rhai o'n pobl; yr oedd eu ffyddlondeb a'u zel yn fwy diffygiol nag y buasai yn ddymunol. Mae y dychweledigion yn enwedig yn gyson bob amser yn y cyfarfodydd, ac y maent yn dyfod yn fwy rheolaidd at fwrdd yr Arglwydd na'r rhai sydd wedi bod yn Brotestaniaid o'u mebyd. Bydd genym ryw nifer o Babyddion yn bresennol bob Sabboth, a byddaf yn teimlo yn nodedig o ddedwydd bob tro y byddaf yn gweled wyneb newydd yn y gynnulleidfa, gan fy mod yn sicr fod yn anmhosibl iddynt fyned o'n capel heb argraffiadau ffafriol am yr Efengyl ac am yr Eglwys Brotestanaidd. A phwy all ddyweyd pa ddaioni all ddeillio oddiwrth un gair dan weithrediad Ysbryd Duw, yn disgyn ar galon syml ac i enaid yn ymofyn am y gwirionedd?

MARWOLAETH UN O'R AELODAU.

Collasom yn ddiweddar un o'r chwïorydd a fu yn dyst o ddechreuad y gwaith efengylaidd yn Lorient, a'r hon oedd yn un o aelodau mwyaf ffyddlawn a defnyddiol yn ein heglwys. Boneddiges Seisonig ydoedd Mrs. Gregory. Yr oedd ganddi gylch llïosog o gyfeillion yn Lorient; ac yr oedd ei dull cyfeillgar a'i charedigrwydd wedi ennill iddi, mewn tref lle y bu yn trigianu mor hir, barch a serch y boblogaeth. Y canlyniad oedd fod llïaws mawr yn bresennol yn yr angladd, ac fod ein capel yn llawer rhy fychan i gynnwys y dyrfa oedd yn ceisio dyfod i mewn. Testun fy anerchiad oedd 2 Tim. i. 10: "Iesu Grist, yr hwn a ddiddymodd angeu, ac a ddyg fywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy yr efengyl." Canfum yn fuan fod calonau fy ngwrandäwyr gyda mi, fel yr oeddwn yn traddodi y genadwri ddifrifol a dderbynient oddiwrth yr Arglwydd trwy enau ei was; a rhynged bodd i'n Tad nefol na byddo i'r had da a hauwyd fod wedi disgyn i gyd ar dir creigiog, nac ymysg drain, ond fod rhyw gymaint o hono o leiaf wedi syrthio ar dir da, lle y gall wreiddio a dwyn ffrwyth ar ei ganfed.

Y BIBL-GLUDYDD.

Mae Le Groignec, er pan ysgrifenais atoch o'r blaen, wedi ymweled â llawer o bentrefi pellenig a'u cymydogaethau yn Finisterè ac yn Morbihan. Yn gyffredin byddai yn cael derbyniad siriol; mewn dau dŷ yn unig y bu yn wahanol; yno darfu i'r bobl ar ol ei wawdio a'i gamdrin, ei wthio yn greulawn oddiwrth eu drysau. Mae er dechreu y flwyddyn wedi gwerthu deg a thriugain o gopïau o'r Ysgrythyrau sanctaidd.

Yn Trèfiagat (Finisterè) aeth i dŷ amaethwr cyfoethog, yr hwn a ddangosodd iddo Fibl sydd wedi bod yn ei feddiant er ys blynyddoedd, yn gystal ag amryw draethodau a Hymnau Llydaweig Mr. J. Williams. Dywedai y gŵr hwn wrtho yr arferai offeiriad y plwyf alw gydag ef yn lled fynych. "Un diwrnod," meddai, "rhoddais y Bibl ar y bwrdd i gael gweled pa beth a ddywedai yr offeiriad. Edrychodd arno, gafaelodd ynddo, trodd y dalenau, a sylwodd yn arafaidd, 'Y Bibl ydyw; mae genyf finnau hefyd, ond anfynych y byddaf yn ei agoryd.'" Cyfarfyddodd yr offeiriad truan hwn, yr hwn a ymddygai mor ddiystyrllyd at y Bibl, â marwolaeth alarus; boddodd tra yn pysgota, yr hyn oedd ei hoff ddifyrwch, a'i orchwyl parhâus.

Yn Pont Scorfft (Morbiban) aeth Le Groignec i dŷ lle y cyfarfyddodd ymysg eraill â dyn ieuanc gydag wynebpryd gonest a deallus, i'r hwn y cynnygiai gopi o'r Testament Newydd. Er mwyn ei ddenu i'w brynu, darllenodd amryw ranau, a thra yr ydoedd yn darllen, daeth amryw gymydogion i mewn a gwrandawsant arno. Ar ol darllen y rhanau o'r Bibl, eglurai ein cyfaill eu hystyr; a phan ddybenodd lefaru, estynodd y gŵr ieuanc ei law i gymeryd y llyfr. Ond dywedai ei chwaer wrtho os prynai y llyfr na alwai hi byth mo hono yn ddim ond y "Protestant." "Nid yw o un gwahaniaeth genyf fi," meddai yntau, "nid yw y pethau ffol a ddysgir i ni gan yr offeiriaid yn fy moddhâu i fel y gwna geiriau y llyfr hwn," a thalodd ei bris i Groignec, er gwrthwynebiad ei chwaer a merched eraill oedd yn bresennol.

Yn Gavre (yn agos i Lorient), pentref bychan ar làn y môr, lle y preswylia pysgotwyr a'u teuluoedd, cynnaliodd Groignec amryw gyfarfodydd. Dywedai wrthyf fod yn hawdd cael cyfarfod yn yr or-ynys fechan yma pan fyddai y cychod allan. Ar yr adegau hyny bydd y merched yn ymgynnull yn sypiau ar y traeth i gyweirio y rhwydau, a gwrandawant gyda dyddordeb parchedig ar hanes y gwyrthiau a gyflawnwyd gan yr Iesu ar y môr. Mae y gwragedd hyn yn dra choelgrefyddol, ac y mae ganddynt ymddiried mawr yn "Sant Ann," ond nid ydynt mor benboeth a llawer o'r dosbarthiadau tlotaf mewn rhan neillduedig, a derbyniasant yn ewyllysgar nifer o draethodau a ranwyd yn eu mysg gan ein cyfaill.

Adrodda Le Groignec yn fynych ei fod yn rhyfeddu mor fychan yw y parch a delir yn y dyddiau hyn gan y bobl i'r offeiriaid. Yn bur ddiweddar, yn Kerentrech, taflwyd anfri ar offeiriad yn yr heol gan blentyn wyth mlwydd oed. Gofynodd yr offeiriad iddo, "Paham yr ydych yn fy nifrïo fel hyn?" "Am mai offeiriad ydych," meddai y plentyn, "ac nid wyf fi, fel un, yn hoffi yr offeiriaid." Nid oedd y plentyn hwn, yn ddiammheu, ond yn ailadrodd y peth y clywsai rywun yn ei ddywedyd,—ei dad ei hun, fe allai. Mae y diffyg parch i'r offeiriaid Pabaidd, a welir yn awr yn fynych yn y lleoedd gwledig mwyaf neillduedig, yn cydfyned â difaterwch ar ran y bobl druain am grefydd ac am les eu heneidiau anfarwol; ac y mae y difaterwch hwn yn ffrwyth yr addysg a dderbyniasant gan yr offeiriaid eu hunain, y rhai ydynt wedi arfer eu dysgu i ddibynu ar eu harweinwyr ysbrydol, offeiriaid Eglwys Rhufain, am eu hiachawdwriaeth.

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 575.] MEDI, 1878. [LLYFR XLVIII.

## PERAROGL CRIST.

CYNGHOR GWEINIDOGAETHOL A DRADDODWYD YN NGHYFARFOD YR ORDEINIO YN NGHYMDEITHASFA GWRECSAM, MEHEFIN 13, 1878,

GAN Y PARCH. EDWARD MATTHEWS.

*(Parhâd o tu dalen 287.)*

2 CORINTHIAID ii. 14, 15, 16: "Canys i Dduw y byddo y diolch, yr hwn yn wastad sydd yn peri i ni oruchafiaeth yn Nghrist, ac sydd yn eglurhâu arogledd ei wybodaeth trwom ni ymhob lle. Canys perarogl Crist ydym ni i Dduw, yn y rhai cadwedig, ac yn y rhai colledig: i'r naill yr ydym yn arogl marwolaeth i farwolaeth, ac i'r lleill yn arogl bywyd i fywyd; a phwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?"

**FEL yr awgrymasom, cymundeb â Duw yn Nghrist, a hyny yn barhâus, sydd yn rhoddi arogl peraidd ar weinidogaeth yr efengyl. Mewn ystyr priodol, nid oes weinidogaeth yr efengyl os na fydd yn deillio o ymwneyd ffyddiog â Duw yn Nghrist, a chymdeithas yr Ysbryd Glân. Dyma'r gwir "eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw—yr eneiniad a dderbyniasoch ganddo ef," yr hwn "sydd yn aros ynoch chwi; ac nid oes arnoch eisieu dysgu o neb chwi; eithr fel y mae yr un eneiniad yn eich dysgu chwi am bob peth, a gwir yw, ac nid yw gelwydd, ac megys y'ch dysgodd chwi, aroswch ynddo. Ac yr awrhon, blant bychain, aroswch ynddo; fel, pan ymddangoso efe, y byddo hyder genym, ac na chywilyddiom ger ei fron ef yn ei ddyfodiad." Yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw sydd yn cynnwys rhywbeth nad oedd yr eneiniad âg olew gynt ond yn gysgod gwan o hono.**

**Hwn yw y peth ei hunan, yn cynnwys, yn un peth, adnabyddiaeth o'r Sanctaidd hwnw:** gwybodaeth drwy ffydd o orchwyliaethau ysbrydol ar y **meddwl, yn darostwng y galon o dan awdurdod a llywodraeth gair Duw. Mae hyn yn rhywbeth mwy na gwybodaeth dduwinyddol o Dduw—gwybodaeth addysg, sydd wedi galluogi dynion i siarad yn fedrus am y Bôd mawr, ac ysgrifenu traethodau campus, fel y dywedir, eto heb brofi cyfnewidiad calon dan ddylanwad yr wybodaeth hono—dyn o dan lywodraeth pechod, er yn gelfyddydol siarad yn ddysgedig am hollbresennoldeb Duw. Nid yw hyn yn anmhosibl o fod, fy nghyfeillion. Y mae *yn* bod, ysywaeth. Nid ydym yn dywedyd fod yr wybodaeth yna yn afreidiol, eithr y mae yn *anghenrheidiol;* goreu i gyd po fwyaf o honi. Eithr dywedyd yr wyf fod gorchwyliaethau yr Ysbryd Glân, er cymhwyso at y weinidogaeth, yn cynnwys gwybodaeth ac adnabyddiaeth helaethach o'r gwirionedd na hynyna. Rhaid i air Duw aros ynoch, Crist ynoch, Duw ynoch, yr Ysbryd ynoch, yn ei holl rasusau bendigedig. "Ysgrifenu yr wyf atoch chwi, rai bychain, am i chwi adnabod y Tad."** Y mae yr adnabyddiaeth hwn o'r Tad yn cynnwys "cariad y Tad yn

aros ynddo ef." Y mae teimladau plant at dad yn bodoli yn y galon. "Arosed gan hyny ynoch chwi yr hyn a glywsoch o'r dechreuad. Od erys ynoch yr hyn a glywsoch o'r dechreuad, chwithau hefyd a gewch aros yn y Mab ac yn y Tad." Rhaid fod y ddysg hyn yn cynnwys rhywbeth heblaw goleuo y meddwl yn gelfyddydol, neu addysgiaeth o dan law arweinydd medrus; oblegid wele'r geiriau, "Arosed ynoch yr hyn a glywsoch o'r dechreuad," yn cynnwys addysg ysbrydol, neu arweiniad Dwyfol mewn pethau ac mewn trefn uwchlaw dynol—dysg nad yw cig a gwaed yn medru ei gweinyddu; neb ond y Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. "Gwedi iddo hysbysu i ni ddirgelwch ei ewyllys, yn ol ei foddlonrwydd ei hun, yr hon a arfaethasai efe ynddo ei hun." Yn ol hyn, y mae dwyn dyn i adnabyddiaeth gadwedigol o'r efengyl yn cynnwys hysbysiad ysbrydol o "ddirgelwch ei ewyllys," yr hyn a dderbynir ganddo trwy ffydd. Heblaw deall geiriau a materion cyffredinol yr efengyl, cynnwysa y geiriau orchwyliaeth ysbrydol a Dwyfol drwy'r efengyl, yn ffurfio adnabyddiaeth deimladol o'r gwirioneddau; gwybodaeth achubol; gwybodaeth sydd ynglŷn âg iachawdwriaeth; y ffydd sydd yn gweithio drwy gariad, ac na chwymp byth ymaith. "Nid wyf yn peidio a diolch drosoch," medd Paul, "gan wneuthur coffa am danoch yn fy ngweddïau; ar i Dduw ein Harglwydd Iesu Grist, Tad y gogoniant, roddi i chwi ysbryd doethineb a dadguddiad, trwy ei adnabod ef; wedi goleuo llygaid eich meddyliau; fel y gwypoch beth yw gobaith ei alwedigaeth ef, a pheth yw golud gogoniant ei etifeddiaeth ef yn y saint, a pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuag atom ni y rhai ŷm yn credu, yn ol gweithrediad nerth ei gadernid ef." Goleuo y meddwl a theimlo nerth ei gadernid ef yw gorchwyliaethau achubol gras Duw.

Y mae hyn yn gyffredinol i'r holl saint; ac nis gellir bod yn gadwedig, a myned i'r nefoedd, heb ddeall a theimlo rhagorol fawredd ei nerth ef. Hon yw yr egwyddor gyntaf; ac yna "ewch rhagoch at berffeithrwydd." Os hyn yw y cam cyntaf yn y daith i'r nefoedd, yn sicr dylid cymeryd y cam hwn cyn cychwyn i'r pulpud. Y cam cyntaf i'r nefoedd a raid fod y cam cyntaf i'r pulpud, onidê bydd yr holl daith yn ŵyrgam, yn dywyllwch, ac yn dybenu ymhell oddiwrth iachawdwriaeth. Pa fodd y gall un egluro i bawb beth yw cymdeithas y dirgelwch, os na fydd y peth wedi ei egluro iddo ei hun drwy yr Ysbryd Glân? Nis gellir yn briodol egluro beth yw Crist yn y saint i'r saint heb fod Crist yn deimlad ysbrydol, yn "obaith y gogoniant" yn ein calonau ni. Nid ydyw dyn diadgenedledig yn yr un byd â'r dyn ailenedig; nis gallant ddeall eu gilydd yn iawn; nid oes gydymdeimlad rhyngddynt o gwbl. "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, canys yn ysbrydol y bernir hwynt." Os bydd y dysgawdwr yn y pulpud heb ei eni o Dduw, yn dysgu, neu yn cymeryd arno ddysgu, y rhai a aned o hono ef, a'r rhai y mae ei had ef, sef Duw, yn aros ynddynt, rhaid fod llen trwchus rhyngddynt; rhywbeth fel y cwmwl oedd yn arwain Israel—gwyneb goleu ar Israel, a gwyneb tywyll yr ochr arall. Peth ofnadwy fod y pregethwr yn y pulpud yn sefyll ac yn siarad ochr yr Aipht i'r cwmwl. Nis gall, gallem feddwl, fod mewn cydymdeimlad â neb ond y cyfryw ag oedd yn blysio y "pysgod yr oeddynt yn eu bwyta yn yr Aipht yn rhad, y cucumerau, a'r pompionau, a'r cenin, a'r wynwyn, a'r garlleg." Ochr yr Aipht i'r cwmwl yr oedd y pethau yna i gyd; eithr yr ochr arall yr oedd Moses, gwas yr Arglwydd yn sefyll, yn estyn ei fys at wlad yr addewid, a'u cyfeirio yn y blaen i bwynt gwlad Canaan, lle yr oedd y gwenith, yr haidd, y gwinwydd, y gwin a'r llaeth, y mel, a'r awyr yn bur ac iachus, a'r ffrwythlonrwydd yn llawn drwy yr holl la. Dyn yn byw yn mhleserau y byd hwn, ac yn pregethu, neu yn cymeryd arno bregethu yr efengyl—dyna un yn yr ochr arall, yr ochr dywyll i'r llen, yr ochr Aiphtaidd, heb wybod yn wirioneddol flas dim ond y pompionau, y wynwyn, a'r garlleg. Nid oes gan neb hawl i ddysgu dim i eraill nad yw wedi ei ddysgu ei hun.

Dysgwylir, nid yn unig fod y pregethwr yn gwybod ac yn teimlo gwirioneddau yr efengyl, ond hefyd yn eu teimlo yn helaethach ac yn gryfach na'r cyffredin—wedi myned ymhellach iddynt mewn profiad o Grist, neu, wedi

myned rhagddo i fwy o berffeithrwydd mewn adnabyddiaeth o hono. Mae'r gair *cyfranogi* o rywbeth, yr hwn a ddefnyddir yn fynych yn y Testament Newydd, yn arwyddo bwyta bwyd, yfed diod. "Ni ellwch yfed o phïol yr Arglwydd a phïol y cythreuliaid. Ni ellwch fod yn gyfranogion o fwrdd yr Arglwydd a bord y cythreuliaid." Os nad yw y geiriau uchod yn arwyddo rhywbeth mewnol, nid ydynt yn wir; oblegid fe ellir bwyta ac yfed, ac yr ydys yn gwneuthur hyny yn aml, ysywaeth, o fwrdd y naill a'r llall. Yr ydys yn cyfranogi o phïol yr Arglwydd yn y cymun, ac o phïol y cythreuliaid mewn tafarndai, mewn cyfeddach a meddwdod, mewn cydorwedd ac anlladrwydd. Eithr am gymundeb ysbrydol, nis gellir gwneuthur y ddau. Os ydyw eich blys yn gryf, a'ch archwaeth yn awyddus am bompionau, wynwyn, a garlleg yr Aipht, nid ydyw felly am ffrwythau gwlad Canaan hefyd. Na, bydd y naill yn suro'r llall. Os ydych yn blysio pechod, ac yn ymbleseru yfed o'r phïolau, yr ydych yn gyfranogion â'r cythreuliaid; ond os ydych yn ymwrthod a phïol y cythreuliaid, ac yn dyheu am gymundeb a phrofiad o Grist, yr ydych yn gyfranogion o Grist. "Phïol y fendith, yr hon a fendigwn, onid cymun gwaed Crist ydyw? Y bara yr ydym yn ei dori, onid cymun corff Crist ydyw? Oblegid nyni yn llawer ydym un bara, ac un corff; canys yr ydym ni oll yn gyfranogion o'r un bara." Yr ydych yn byw ar a chyda'r pethau mwyaf archwaethol i chwi; a blas ac arogl hyn a fydd arnoch, er gwneuthur ymddangosiad o fyw ar bethau eraill. Os ydych yn caru Crist yn fwy na phob peth, yr hyfrydwch mwyaf i chwi yw aros yn ei ddysgeidiaeth, a chyfranogi o'i fendithion; ac yr ydych felly yn byw ar yr ochr i wlad Canaan i'r cwmwl, ac i farw yno yn y goleuni. Peth ofnadwy yw pregethu yr efengyl, neu gymeryd hyny fel proffes, a byw a marw ochr yr Aipht i'r cwmwl. Gwnewch eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr y peth cyntaf, ac yna ewch rhagoch at berffeithrwydd. Bydd cyfranogi o Grist yn eich dwyn i gydymdeimlad âg Ysbryd Crist. Derbyn Crist yw derbyn Crist yn y cwbl; felly yn gyntaf dim yr ydych yn cyfranogi o'i Ysbryd: "Ysbryd Crist ynoch." Wedi eich aileni, a'ch gwneuthur fel plant bychain, byddwch yn chwennychu didwyll laeth y gair. Ysbryd Crist a dderbyniasoch; nid ysbryd caethiwed, ac nid ysbryd y byd, eithr Ysbryd yr hwn a gyfododd Duw o feirw.

Ysbryd Crist sydd ysbryd addfwyn a gostyngedig. Yr oedd efe yn ei Ysbryd yn berarogl i Dduw, ïe, yn llanw yr holl nefoedd o berarogl. "Ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw, eithr efe a ddibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu'r groes." O dan ddylanwad Ysbryd Crist, hawdd iawn yw myned yn ddim, ïe, "edifarhâu mewn llwch a lludw." Mae gweled dyn yn y pulpud â holl arwyddion balchder o'i gwmpas, ac yn arweinydd, neu o leiaf yn ddilynydd cyflym ar ddulliau yr amserau, yn hollol anghydweddol âg Ysbryd Crist, yr addfwyn a'r gostyngedig. Mawredd gostyngeiddrwydd Crist oedd y mawredd mwyaf a welodd y byd erioed, a'r prydferthwch mwyaf gogoneddus a bendigedig. "Bydded ynoch y meddwl yma, yr hwn hefyd oedd yn Nghrist Iesu." Ond os byddwch mewn cymundeb âg Ysbryd Crist, nis gellwch lai na bod yn ddarostyngedig iddo, ac yn weision i bawb er mwyn Iesu. Bydd Ysbryd Crist yn eich perarogli, nes eich gwneuthur yn berarogl i Dduw, yn wrthddrychau y bydd efe yn ymhyfrydu eich derbyn i'w bresennoldeb. "Ar hwn yr edrychaf, sef y truan a'r cystuddiedig o ysbryd, ac sydd yn crynu wrth fy ngair." O bawb, y pregethwr a ddylai fod y dyn gostyngeiddiaf ymhob man; oblegid tybir ei fod ef yn arweinydd ymhob gras, ac felly yn ddysgawdwr y rhai bach. Fel hyn, os yw yn dysgu eraill yn y gras hwn, rhaid iddo, fel bugail y defaid, fyned o'u blaen hwynt, a'r defaid ei ganlyn ef. Byddwch, mae yn debyg iawn, yn cael eich galw i gymeryd gofal eglwysi neillduol; rai o honoch beth bynag. Mewn cysylltiad â hyn, gofalwch am astudio yr Arglwydd Iesu yn dda, a dilyn ei ôl ef. Astudiwch yn benodol ei ddammeg ynghylch gwahodd i'r neithior, yn enwedig y rhan hyny o'r addysg ynddi sydd yn traethu ar ymddygiadau priodol yno. Gwell yw dysgu y wers drwy astudiaeth o'r geiriau na gorfod ei dysgu drwy orchwyliaethau

chwerwon. "Ac efe a ddywedodd wrth y gwahoddedigion ddammeg, pan ystyriodd fel yr oeddynt yn dewis yr eisteddleoedd uchaf, gan ddywedyd wrthynt, Pan y'th wahodder gan neb i neithior, nac eistedd yn y lle uchaf, rhag bod un anrhydeddusach na thi wedi ei wahodd ganddo, ac i hwn a'th wahoddodd di ac yntau ddyfod a dywedyd wrthyt, Dyro le i hwn, ac yna ddechreu o honot trwy gywilydd gymeryd y lle isaf. Eithr pan y'th wahodder, dos ac eistedd yn y lle isaf, fel pan ddelo yr hwn a'th wahoddodd di, y gallo efe ddywedyd wrthyt, Y cyfaill, eistedd yn uwch i fyny. Yna bydd i ti glod yn ngwydd y rhai a eisteddant gyda thi ar y bwrdd. Canys pob un a'r a'i dyrchafo ei hun a ostyngir, a'r hwn sydd yn ei ostwng ei hun a ddyrchefir." Bydd astudio yn dda yr ymadroddion uchod yn fantais fawr yn y cychwyn, yn ddiau; a phe buasai aml un yn peidio cymeryd y gadair uchaf, cyn ei hennill trwy ddylanwad, gallasai fod yno eto; eithr hyrddiwyd ef oddiyno, a thrwy gywilydd gorfydd iddo gymeryd y lle isaf. Pe baech yn rhoi ychydig o synwyr a gras i gydweithredu, fe ddichon na fyddai yn anfuddiol, er mwyn dyfod i ben â'r cwestiwn hwn yn llwyddiannus. Pan y'ch gwahodder gan gynnulleidfa, byddai yn burion cymeryd y lle isaf, hyd nes y galloch weithio eich hunain i'r lleoedd uchaf drwy ddylanwad, synwyr da, crefydd dda, a defnyddioldeb amlwg. Yna daw rhywrai yn y blaen, a dywedant, "Y cyfaill, eistedd yn uwch i fyny." Peidiwch eistedd yn y gadair fawr o dan y pulpud, os bydd yno un; gadewch hi yn wag yn hytrach. Peidiwch a myned ormod yn y blaen yn rhy gynnar; rhowch eu lle arferol i hen bobl. Tra fyddwch chwi yn defnyddio pob cyfleusdra i lesâu y dosbarth ieuanc, byddwch yn fuan yn dad iddynt hwy, ac yn frawd i'r lleill.

Fe ddichon y bydd yn anghenrheidiol i chwi ddyfod i ymdrafodaeth â rhai afreolus; nid ydyw y byd wedi ei waghâu yn hollol o'r cyfryw; eto nid oes yr un ysbryd a all eu dofi ond ysbryd addfwyn yr Iesu. Nid dant am ddant, nid llygad am lygad, nid sèn am sèn, nid myned yn afreolus gyda hwynt; nagê, eithr "Na wrthwynebwch ddrwg; ond pwy bynag a'th darawo ar dy rudd ddehau, tro y llall iddo hefyd. Cerwch eich gelynion, gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt; a gweddïwch dros y rhai a wnel niwed i chwi, ac a'ch erlidiant, fel y byddoch blant i'ch Tad yr hwn sydd yn y nefoedd; canys y mae efe yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn." Dyma Ysbryd yr Arglwydd Iesu; a chyfranogiad o'r ysbryd hwn a fydd yn anghenrheidiol i chwi yn barhâus i orchfygu drygioni trwy ddaioni, a darostwng gelyn drwy weddïo drosto. Gellir gwneuthur hyn wrth rwbio ein hysbrydoedd wrth Ysbryd Crist, a pherarogl i Dduw yn dyrchafu i'r nefoedd, yn ffrwyth y cymundeb ar y ddaear.

Yr ydych yn dechre, mewn cymhariaeth, ar waith yr ydych o anghenrheidrwydd yn sicr o deimlo dyoddefiadau mawrion yn eich meddyliau. Bydd profedigaethau weithiau yn codi o'r lleoedd yr oeddech yn dysgwyl eich cysuron mwyaf. Y rhai hyny, fe allai, fydd y rhai chwerwaf o gwbl. Bydd y dyoddefiadau cysylltiedig â'r swydd yn rhwym o fod yn llawer, ac yn llawer o rai pwysig iawn. Peidiwch meddwl am fyd esmwyth iawn; peidiwch lluni gobeithion am gysuron helaeth yn y byd; canys, heblaw gofalon y bywyd hwn, y rhai sydd yn dyfod yn fwy neu yn llai i ran pawb, y rhai sydd yn drymion yn aml, bydd pwysau eneidiau, dyoddefiadau oddiwrth ymosodiadau o bob tu, o mewn ac allan, dynol a dieflig, yn symbylau beunydd yn y cnawd, fel na bydd genych le mawr i ymdecâu yn y cnawd, oddieithr i chwi fyned i fyw yn ol y cnawd. Fe ddichon na bydd eich dyoddefaint yn yr un ffurf ag eiddo yr apostol Paul; ond nid cymaint o wahaniaeth am y ffurf; deuant yn rhyw ffurf. Yr oedd Paul er ei holl fawredd, "mewn blinderau yn helaethach" na neb, "mewn gwïalenodau dros fesur, mewn carcharau yn amlach, mewn marwolaethau yn fynych. Gan yr Iuddewon bum' waith y derbyniais ddeugain gwïalenod ond un. Tair gwaith y'm curwyd â gwïail; unwaith y'm llabyddiwyd, teirgwaith y torodd y llong arnaf; noswaith a diwrnod y bûm yn y dyfnfor; mewn teithiau yn fynych; yn mheryglon llifddyfroedd, yn mheryglon lladron, yn mheryglon gan fy nghenedl fy hun, yn mheryglon gan y cenedloedd, yn mheryglon yn y

ddinas, yn mheryglon yn yr anialwch, yn mheryglon ar y môr, yn mheryglon ymhlith brodyr gau, mewn llafur a lludded, mewn anhunedd yn fynych, mewn newyn a syched, mewn ymprydiau yn fynych, mewn anwyd a noethni. Heblaw y pethau sydd yn dygwydd oddiallan, yr ymosod yr hwn sydd arnaf beunydd, a gofal dros yr eglwysi. Pwy sydd wan, nad wyf finnau wan? pwy a dramgwyddir, nad wyf finnau yn llosgi?" Gwelir fod gweinidog yr efengyl yn byw mewn llawer o deimladau angerddol nad yw cristionogion yn gyffredin ddim yn deimladwy o honynt oddieithr mewn mesur bychan. Byddwch yn nôd i saethau dynion weithiau, os dywedwch y gwir wrthynt—yn nôd i saethau cythreuliaid, os byddwch yn gwneuthur rhywbeth, yn enwedig yn gwneyd rhywbeth sydd yn fwy na chyffredin. Bydd picellau y fall fel gwenyn yn gyfeiriol atoch o bob man. Yr unig gysur a help fydd cadw eich golwg ar "yr Hwn a ddyoddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, fel na flinoch, ac nad ymollyngoch yn eich eneidiau." Edrychwch arno Ef: efe yn unig yn ei ddyoddefaint sydd yn alluog i'ch dal i fyny, a'ch gwneyd yn amyneddgar danynt. Bydd yn rhaid i bawb sydd yn dilyn Crist, yn enwedig y cyfryw sydd yn gweini yn ngweinidogaeth y gair, ddwyn nodau yr Arglwydd Iesu yn eu cyrff a'u heneidiau hefyd. Rhaid iddynt ymfoddloni myned drwy drafferthion amgylchiadau bywyd presennol, a dwyn beichiau trymion a gofalon ysbrydol yn feddyliol, ïe, gofal am ac ynghylch helyntion yr holl eglwysi. Tebyg iawn fod hyn hefyd yn angenrheidrwydd er eich cadw yn ddwys a phwysig, ac i barhâu mewn llafur a gweinidogaeth y gair, ynghydag mewn cymundeb â dyoddefiadau yr Arglwydd Iesu. "Canys i hyn y'ch galwyd hefyd; oblegid Crist yntau a ddyoddefodd drosom ni, gan adael i ni esiampl fel y canlynech ei ôl ef: yr Hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau; yr Hwn, pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn; pan ddyoddefodd, ni fygythiodd, eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn." Y mae yn anrhydedd cael dyoddef er *mwyn* Crist, canys bydd hyny yn ddyoddef *fel* Crist. "Llawenhewch yn gymaint a'ch bod yn gyfranogion o ddyoddefiadau Crist, fel, pan ddadguddier ei ogoniant ef, y byddoch yn llawen ac yn gorfoleddu. Os difenwir chwi er mwyn enw Crist, gwyn eich byd; oblegid y mae Ysbryd y gogoniant, ac Ysbryd Duw yn gorphwys arnoch." Bydd gwrthddrychau y byd llysieuog yn rhoi arogl gryfach pan sethrir arnynt; y mae yn codi o'u clwyfau yn arogl hyfryd. Y llysiau pur sydd â'u harogl peraidd yn cynyddu wedi eu hysigo; ac nid oes dim wedi gwasgar rhinweddau y saint, a chryfhâu a phereiddio eu harogledd, gymaint â dyoddef dros Grist o gariad dros ei waith. Bydd perarogiau dyoddefaint yr hynafiaid yn treiddio drwy bob gwlad a hinsawdd, a thrwy genedlaethau, hyd ddiwedd y byd.

Peidiwch ag edrych ar y swydd hon fel sefyllfa o bleser a mwynhâd bydol, onidê bydd eich siomedigaethau yn annyoddefol; oblegid os dilynwch yr Arglwydd Iesu, ac os gweithiwch allan ei egwyddorion mewn gair a gweithred fel gweinidogion y Testament Newydd, nid rhyw lawer o lonydd a mwynhâd bydol sydd yn eich aros, eithr dyoddefiadau, gofalon, siomedigaethau, ïe, hyd yn nôd mewn cyfeillion. Nid yn y byd a mwyniant dynol y mae eich gorphwysfa chwi, ond yn sylweddau eich gweinidogaeth. Y mae i chwi gysuron, cofiwch, eithr nid cysuron y byd; bydd y rhai hyny yn drewi yn aml; eithr cysuron cryfach mewn pethau dianwadal, mewn cymundeb â Christ, mewn gobaith bywyd tragywyddol drwyddo. O dan deimladau gofidus y presennol, bydd rhaid i chwi ymestyn hyd at adgyfodiad y meirw yn awr ac eilwaith; felly bydd angenrheidrwydd i chwi gael ffydd fel y galloch fyw ar bethau'r dyfodol, a thynu dyddanwch o honynt mewn gorthrymderau. Yr ydych chwi i fyw, nid i'r byd hwn, eithr i fyd ysbrydol, anfarwol, a diddiwedd; ac oddiyno yr ydych i ddysgwyl eich prif gysuron. Rhaid cael bara i fwyta, a dillad i wisgo, ond nid yn foethus iawn. Ond yr ydych chwi i fyw a derbyn eich cynnaliaeth yn benaf o'r ysbrydol; ac o dan ddylanwad gobeithion dyfodol, ni bydd cystuddiau yr amser presennol hwn ond byr ac ysgafn, ac yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i *ni*," ïe, ac yn berarogl Crist i Dduw ymhob lle. Bydd rhodio fel hyn mewn cymundeb â Christ, gan ddysgwyl ein cynnaliaeth o

hono ef, yn dyfod â'r meddwl i deimlad o ymddibyniad arno, ac yn cynnyrchu ysbryd gweddi ac addoliad, yr hyn sydd yn fwynhâd annrhaethadwy a gogoneddus yn nghanol dyoddefaint.

Gweddïau mwyaf Crist oedd yn nyfnder mwyaf ei ddyoddefiadau. Efe a weddïodd yn ddyfalach, ddyfalach, a'i chwys fel defnynau o waed. Ewch yn fynych gydag ef i fynydd yr Olewydd; yn fynych dilynwch ôl ei draed bendigedig; y mae arogl hyfryd y ffordd hono. Y mae gweddïau yr Arglwydd Iesu yn arogl peraidd dros yr holl le, hyd ben y mynydd, ïe, hyd nef y nefoedd. Bydd Duw yn cael arogl hyfryd yma; cerddwch chwithau yn fynych i'r lle hwnw; bydd arogl eich olew yn well na'r holl beraroglau; bydd eich gwefusau yn dyferu fel dil mêl; bydd mêl a llaeth o dan eich tafodau, ac arogl eich gwisgoedd fel arogl Libanus. Mynydd yr Olewydd! O! mynych y cyrchasai efe i'r lle hwnw; nid yn unig cyn y cwrdd, eithr wedi y cwrdd hefyd. "Ac wedi iddo eu danfon hwynt ymaith, efe a aeth i'r mynydd i weddïo." "Ac wedi iddo fyned allan, efe a aeth, yn ol ei arfer, i fynydd yr Olewydd, a'i ddysgyblion hefyd a'i canlynasant ef. A phan ddaeth i'r man, efe a ddywedodd wrthynt, Gweddïwch nad eloch mewn profedigaeth." Ewch i fynydd yr Olewydd yn fynych; chwi a ddeuwch oddiyno â digon o arogl peraidd i arogli yn hyfryd ymhob lle. Y mynydd oll sydd yn berarogl Crist i Dduw; rhodiwch ar hyd-ddo, o'r sylfaen i'r clopa uchaf; anadlwch ei awyr peraroglaidd fore, nawn, a nos; a bydd eich iechyd ysbrydol yn cryfhâu, yn gwella, fel y bydd yn iachâu pawb a phob peth o'ch cwmpas. Cerddwch â phob pregeth yn aml i'r mynydd hwn. Ië, sefydlwch eich myfyrgell arno; cyfansoddwch yn ei awyrgylch, a thraddodwch heb fod ymhell oddiyno. Rhaid gwlychu y bregeth beunydd â dagrau gweddi. Pethau rhyfedd yw pregethau i sychu heb fod dagrau gweddi yn dyferu arnynt o hyd. Hen bregethau wedi sychu, ac wedi llwydo, ac yn arogli yn drwm o lygredigaeth y cnawd, yw'r arogl mwyaf anhyfryd o bob arogl sydd yn y byd. Y maent yn ddrewedig annyoddefol, ac yn eu sawyr afiachus y bydd yr holl ddoluriau ysbrydol a marwol yn cael bcdolaeth. Cyrchwch yn fynych i fynydd yr Olewydd; ei awyr sydd adfywiol ac iachus, a'i wlith nefol a bendigedig fydd yn fywyd a thangnefedd i'ch ysbrydoedd. Fel Crist, bydd eich teimladau yn angerddol am achub dynion, yr hwn a wylodd bron hyd sychu i fyny ei adnoddau uwchben colledigaeth Jerusalem: "O Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a anfonir atat, pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant ynghyd, y modd y casgl yr iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech!" Dyna deimlad angerddol uwchben colledigaeth dyn yn yr Hwn a wyddai ei bwysfawrogrwydd; a chymundeb â'r teimlad yna fydd yn eich gwneuthur chwithau i deimlo yn gyffelyb, ac felly bod yn berarogl Crist i Dduw. O dan ddylanwad y teimlad hwn, chwi a fyddwch, er mwyn cyrhaedd yr amcan o achub dynion, yn foddlawn i ddyoddef, ac ymroddi yn hollol i'r gwaith o dan lawer o anfanteision. Bydd cariad Crist, y perarogl nefol, yn dyferu ar eich heneidiau, yn eich cymhell yn y blaen drwy barch ac anmharch, yn ewyllysgar i wneuthur yr hyn a alloch er gwasanaethu Crist, ac er llesâd llaweroedd. Egwyddor fendigedig yw hon, ac yn arogli yn hyfryd ymhob dinas ac ymhob lle. Nid all na ddêl rhwystrau; ond peidiwch ag ymrwystro, canys gorchfygwch wrth ddal cymundeb â'r cariad a gariodd yr Arglwydd Iesu yn fuddugol drwy ei holl anhawsderau, fel y byddoch yn "fwy na choncwerwyr drwy yr Hwn a'ch carodd." Bydd llawer i'w ddysgu, o wersi rhy galed i gnawd, gyda gwaith y weinidogaeth; eto mewn cymundeb â Christ, ac o dan ddafnau tyner ei Ysbryd, bydd y meddwl yn dyfod yn ystwyth i groeshoelio y cnawd, a dyoddef pob peth er mwyn Iesu Grist yn llawen, ïe, teimlo pob peth yn anrhydedd er mwyn ei enw ef. Yr oedd yr apostol Paul wedi dysgu, yn nghymundeb Crist, i wneuthur pob peth ag oedd yn anghenrheidiol at gyrhaedd amcan y weinidogaeth. "Canys mi a ddysgais ymha gyflwr bynag y byddwyf, fod yn foddlawn iddo. Ac mi a fedraf ymostwng, ac a fedraf ymhelaethu: ymhob lle ac ymhob peth y'm haddysgwyd, i fod yn llawn ac i fod yn newynog, i fod mewn helaethrwydd ac i fod mewn prinder. Yr wyf yn gallu pob-

**peth drwy Grist yr hwn sydd yn fy nerthu i."**

**Wel, y mae hwn yn arogli yn hyfryd iawn ar y ddaear, ac yn cyrhaedd hyd entrych nef. Arogl Crist ydyw; felly pob peth a wneir drwy Grist ac i Grist sydd yn esgyn ger bron Duw yn arogl peraidd. Ewch gan hyny yn y blaen; dilynwch Grist i fynydd yr Olewydd nes dysgu gweddïo yn ddyfalach, ddyfalach; ewch gydag ef, ac aroswch gydag ef yn ei brofedigaethau, nes ystwytho i fyned trwy lawer o orthrymderau; ac ewch gydag ef i fynydd y Gweddnewidiad, nes teimlo mor ddedwydd, nes chwennych myned i'r nefoedd, heb ddim mwyach i dori ar y cymundeb nefol.**

*(I'w barhâu)*

---

## CRIST EIN TANGNEFEDD NI.

SYLWEDD PREGETH A DRADDODWYD YN NGHAPEL Y TRINITY, ABERTAWY, IONAWR 1, 1871,

*Gan y diweddar Barchedig* DAVID HOWELLS.

EPHESIAID ii. 14: "Canys efe yw ein tangnefedd ni, yr hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddattododd ganolfur y gwahaniaeth rhyngom ni."

Y MAE y gair tangnefedd yn un swynol iawn, yn air boneddigaidd iawn; y mae swn nefol iawn yn y gair, Tanc—nef,—heddwch o'r nef. Priodolir ef fel yn perthyn i'r oll o Dduw. Gelwir ef Duw y tangnefedd, a gwir Dduw y tangnefedd. Priodolir ef i'r Natur Ddwyfol ymhob un o'r Personau. Duw yr heddwch y gelwir ef, neu Duw y tangnefedd. Y mae y gair tangnefedd yn fwy cyflawn ac yn fwy *rich* na'r gair heddwch. Priodolir ef hefyd i'r Ysbryd Glân: "Ffrwyth yr Ysbryd yw tangnefedd." Ond yn fwy pendant priodolir tangnefedd i'r Mab: "Efe yw ein tangnefedd ni;" nid yn unig efe a wnaeth dangnefedd, ac efe sydd yn rhoddi tangnefedd, ond "efe yw ein tangnefedd ni." Enw hyfryd iawn arno ef yw Tywysog tangnefedd.

Oddiwrth y geiriau sylwn ar ddau beth:

I. Y TEITL A RODDIR YMA I IESU GRIST.

II. Y GWAITH A BRIODOLIR IDDO: "Yr hwn a wnaeth y ddau yn un." Y mae pechod wedi gwneyd un yn ddau, a dau yn bedwar, ond y mae Iesu Grist yn gwneyd yn un. Ni wn i a deimlwch chwi *interest* mewn peth fel hyn ai peidio; ond dyma ni yn dechre y flwyddyn newydd gyda'r Iesu.

I. Y TEITL A RODDIR YMA I IESU GRIST: "Efe yw ein tangnefedd ni," neu "Efe yw ein Tangnefeddwr ni."

Y mae efe yn Dangnefeddwr yn ei Berson mawr, ac yn ei holl swyddau i gyd. Gweinidogaeth Tangnefeddwr oedd ei weinidogaeth fel Brenin, fel Prophwyd, ac fel Offeiriad. Dyma oedd y cyhoeddiad cyntaf ar ei enedigaeth: "Ar y ddaear, tangnefedd." Rhaid ei bod wedi myned yn dangnefedd yn y nefoedd cyn y danfonid y newydd oddiyno yma.

Yr oedd efe yn berffaith Gyfryngwr o ran swydd cyn iddo gael ei berffeithio fel Person i'r swydd. Fe gwrddodd pethau yn hapus iawn ynddo ef oedd wedi myned yn ddau ymhob man arall. Y Ddwyfol natur a'r natur ddynol; yr oedd pechod wedi ysgar y ddwy yna oddiwrth eu gilydd; ond fe wnaed y ddau yn un ynddo ef, a hyny mor *real* fel nas gellir dyweyd un peth am dano fel dyn a pheth arall am dano fel Duw. Yr oedd y Person yn yr oll o hono yn y cwbl a wnaeth. Felly y gellir dyweyd am dano yn ei holl swyddau mai Tangnefeddwr mawr ydoedd. Yr oedd felly fel Offeiriad: fe wnaeth heddwch trwy waed ei groes ef. Tangnefeddwr mawr oedd efe fel Brenin: "Tywysog tangnefedd; ar helaethrwydd ei freniniaeth a'i dangnefedd ni bydd diwedd." Y mae ei dangnefedd i fod yr un mesur â'i freniniaeth. Ac fel Prophwyd yr oedd yn pregethu tangnefedd. Fe roddodd hyn yn ei ewyllys ddiweddaf i'w ddysgyblion cyn marw: "Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd, fy nhangnefedd yr wyf yn ei roddi i chwi." "Efe a ddaeth gan bregethu tangnefedd i chwi y rhai pell ac i'r rhai agos." O y fath swn hyfryd sydd yn ei eiriau ar ol adgyfodi! "Efe a ddaeth i mewn, a'r drysau yn gauad, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd wrthynt, Tangnefedd i chwi!" O eiriau melus a llawn o ddyddanwch! "Tangnefedd i chwi!" Ië, efe yw ein Tangnefeddwr ni. Gwerth mawr mewn tref, mewn gwlad, ac mewn teyrnas yw tangnefeddwr; ond dyma Dangnefeddwr â'i ddylanwad yn llanw yr holl fyd, ac yn llanw pob byd hyd at orseddfainc Duw ei hunan.

II. YR HYN A WNAETH EFE FEL Y CYFRYW. Beth y mae yn wneyd fel tangnefedd, ac fel Tangnefeddwr? Wel, gwneyd y ddau yn un.

Rhwygo y mae pechod; gwasgar y mae; ond crynhoi y mae Iesu Grist; uno y mae Iesu Grist. Ni charwn i ddim bod â llaw genyf fi i wneyd yr un yn ddau, ond mi *leiciwn* helpu i gael y ddau yn un. Y mae Iesu Grist wedi gwneyd llawer dau yn un. Yr unig beth y mae yn ddattod yw gweithredoedd diafol; dattod dyn a

phechod oddiwrth eu gilydd. Pan ddaeth pechod i mewn i'r byd, fe ddarniodd holl greadigaeth Duw; ond y mae Iesu Grist wedi penderfynu cau yr holl agenau, a gwneyd yr holl rwygiadau i fyny eto.

1. *Y mae efe yn gwneyd dyn yn un âg ef ei hunan.* Pan ddaeth pechod i mewn i galon dyn, fe aeth yn chwalfa ar bob peth yno. Aeth holl alluoedd enaid dyn i ymladd â'u gilydd. Gorfu i ddyn droi allan o hono ei hun, ac fe aeth yn elyn iddo ei hun; ac yn wir, o fewn dyn y mae yr ystormydd mawr byth er hyny. Ond y mae y Tangnefeddwr mawr yn ymgymeryd â gwneyd y ddau yma yn un. Ni ddaw fawr llun ar eich teïau chwi, fy nghyfeillion, nes cael Iesu Grist i deyrnasu yn eich calonau chwi; a dim ond cael hyny, fe aiff yn dawelwch mawr o fewn. Bydd yna y fath dawelwch nas gall holl ystormydd y byd ei derfysgu.

2. *Y mae yn gwneyd Duw a dyn yn un.* Y mae seiliau cryfion i'r undeb hwn. Ni wn i ddim nad yw yn gryfach na'r uniad cyntaf, o gymaint ag y mae prynedigaeth yn rhagori ar greadigaeth. Ië, mi allaf ddyweyd rhagor; fe chwalodd yr undeb cyntaf, ond fe bery hwn. "Pwy a'n gwahana ni" yw hi mwy.

3. *Y mae yn gwneyd yr Iuddew a'r Cenedl-ddyn yn un.* Mae'r byd trwy bechod wedi myned yn Aceldama; gwlad yn myned yn erbyn gwlad, a theyrnas yn erbyn teyrnas; ac nid oes fawr obaith y gwellheir pethau nes i'r Tangnefeddwr mawr hwn gymeryd meddiant o'r byd. O y fath arddangosfa ryfedd sydd yn yr unfed bennod ar ddeg o Esaiah! "A'r blaidd a drig gyda'r oen, a'r llewpard a orwedd gyda'r myn; y llo hefyd, a chenau y llew, a'r anifail bras a fyddant ynghyd, a bachgen bychan a'u harwain." O olygfa ogoneddus! Gwawried yr hyfryd fore ar fyrder. Amen.

*Ysgrifenwyd gan* Evan Felix, *Treorci.*

---

## Y TAFOD.

Fel *aelod o'r corff*, un bychan ydyw, er nad y lleiaf, na'r lleiaf pwysig. Pe collai dyn ei dafod, nid yn unig nis gallai lefaru, ond nis gallai fwyta chwaith; oblegid y tafod sydd yn cynnal yr ymborth tra mae y dannedd yn ei falu.

*Rhoddwyd tafod i bob dyn.* Ni buasai y corff dynol yn gyflawn hebddo; ond y mae tafod ambell un wedi ei grogi yn well nag eiddo un arall: gall y naill siarad yn fwy hwylus na'r llall; bydd un yn cael anhawsdra i gynhanu geiriau, tra y gall un arall wneyd hyny gyda rhwyddineb llithrig.

*Ni fwriadwyd i ni wneyd camddefnydd o hono,* oblegid gosodwyd deg ar hugain o swyddogion mêwn lifrai gwynion i gadw *guard* arno; ond gwelir rhai personau yn esgeuluso cau y dorau, a gosod y swyddogion mewn trefn, ac yn gwneyd *exhibition* parhâus o'u tafodau, yr hyn sydd arferiad hollol annaturiol, a dyweyd y lleiaf. "Ni thorodd Arthur nawdd gwraig," sef ei thafod. Pan gythruddir dyn, codi ei ddwrn wnaiff efe; ond pan gyffröir gwraig, y tafod yw yr arf a ddefnyddir,—dyna ei nawdd.

*Rhoddwyd tafod i ddyn er ei alluogi i gymdeithasu â'i gyd-ddynion.* Trwy gyfrwng y tafod, sef trwy eiriau, y gwna dyn fynychaf ei feddwl yn hysbys i arall. Y mae cyfryngau eraill a ellid nodi, trwy ba rai, dan amgylchiadau neillduol, y gellir cyrhaedd hyn; ond y tafod yw y cyfrwng arbenig, y symlaf, a'r mwyaf effeithiol; gall y dylaf o honom ddefnyddio hwn.

*Y mae'r tafod yn traethu yr hyn a ffurfir yn y meddwl, a'r hyn a ddaw allan o'r galon.* "O helaethrwydd y galon y llefara y genau," meddai yr Hwn sydd yn adnabod calon dyn, a'r hwn hefyd sydd hysbys o'i holl eiriau. Y tafod sydd yn traethu y geiriau; ond yn y meddwl eu ffurfir, ac o'r galon y deuant, oblegid y galon ydyw ffynnonell bywyd moesol, yn gystal a bywyd naturiol dyn. "*Speech is silvern; silence is golden:*" y mae ymadrodd yn arianaidd; dystawrwydd yn euraidd. Anfynych yr edifarheir am siarad rhy fach, ond y mae llawer yn edifarhâu yn chwerw am siarad gormod.

*Eto gan fod y tafod dan lywodraeth yr ewyllys, gall dyn weithiau fod yn wahanol i'w eiriau;* hyny yw, gall dyn siarad yn wahanol i'w feddwl a'i deimlad. Nid bob amser y goddefir i'r tafod draethu yr hyn a fydd yn y galon; ac y mae weithiau niwed, ac weithiau les, yn deillio o hyn. "Pe traethai'r tafod a wypai, ni byddai gymydogol neb rhai." Y mae y tafod, er nad oes ganddo esgyrn na gïau, wedi bod yn foddion i dori esgyrn lawer gwaith; canys y mae i eiriau eu hystyr a'u heffaith, pa un bynag ai difrifol ai cellwair y byddom.

*Gwneir niwed a drygau lawer, yn gystal a daioni a lles, gan y tafod; a chamddefnyddir ef yn aml gan lawer o honom.* Camddefnyddir ef trwy ddyweyd geiriau pigog, a sylwadau angharedig y naill am y llall; trwy gellwair, a siarad geiriau segur ac ofer. Camddefnyddir ef gan lawer trwy dyngu a chablu, a chymeryd enw Duw yn ofer, a chan lawer eraill trwy *hanner* tyngu. Camddefnyddir ef gan liaws o bobl, o bob rhyw ac oedran, trwy ddyweyd geiriau mor isel ac aflan nes codi gwrîd i'w hwynebau. Gall fod gan y mab neu y ferch

wyneb càn glysed a gwyneb angel, tra mae eu tafodau yn halogedig gan sawyr yr iaith iselaf. Defnyddir y tafod i erlid ac i enllibio, gan ddywedyd "pob dryg-air" am y cyfiawn a'r diniwed. Rhegir a melldithir â'r tafod; gweddïir a bendithir âg ef hefyd. Y tafod a ddefnyddir gan bobl segur i ddyweyd anwireddau, ac i adrodd chwedlau o dŷ i dŷ, nes gyru cymydogion yn mhenau eu gilydd. Y mae pwy bynag sydd yn euog o'r arferiad isel a dirmygedig hwn, pwy bynag sydd yn euog o'r bai pechadurus hwn, yn pechu yn erbyn Duw, yn gwneyd cam â'i enaid, yn anafu ei gymeriad, ac yn camddefnyddio ei dafod.

Un gair byrbwyll a draethodd y tafod a ddechreuodd yr ymrafael a wahanodd y cyfeillion goreu; a buasai yn well gan y dyn hwnw heddyw pe buasai wedi brathu ei dafod na'i yngan âg ef. A'r tafod y rhwymodd y ddeuddyn yna eu hunain am eu hoes, y naill wrth y llall, "er gwell ac er gwaeth." A'r tafod y mae llawer gŵr a gwraig yn ffraeo â'u gilydd, gan wneyd eu cartref yn anghysurus; a phe byddai dim ond un o'r ddau yn attal ei dafod, darfyddai y cweryl. Tra mae y dyn acw fan yna yn ennill ei fywioliaeth trwy lafur ei ddwylaw, a gweithio yn galed o ddydd i ddydd, y mae un arall yn ei ymyl yn medru gwneyd hyny â'i dafod.

Y tafod a fu yn cyhoeddi yr efengyl i ni gyntaf erioed, ac y sydd yn parhâu i wneyd hyny hyd heddyw. Dywedid, "Bu farw o'r darfodedigaeth," neu, "Y galon gryn a'i lladdodd;" ond geiriau cêl, fel "gwenwyn aspiaidd," a osodasant y da a'r didwyll yn oer eu grudd yn ngwely'r gro. Disgynasant fel picellau'r fall oddiar fwa malais, cenfigen, eiddigedd, neu siomiant, gan drywanu y galon garedig, ffyddlawn, nes gyru'r bywyd i redeg, ddyferyn ar ol dyferyn, dip, dip, nes gwaedu o honi i farwolaeth!

Y tafod sydd yn sibrwd acenion serch, weithiau yn gywir, ac weithiau yn ffals. Gall y tafod ddyweyd "geiriau fel brâth cleddyf," càn hawsed â geiriau mêl a miwsic. Gall y tafod frathu y galon fel dagr, nes bod creithiau arni am flynyddau lawer; gall hefyd âg un gair tyner wella clwyf na wyddai neb am dano.

"One fitful word at random spoken,
Has often healed a heart that's broken."

Un gair caredig a draethodd rhyw dafod ar antur a roddodd falm i lawer calon ar dori; ac yn fynych iawn, lle ni thybiom ni,

"Bydd rhyw galon brudd, hiraethus,
Yn gwaedu 'n ddystaw dan ei chlwy'."

Gwnawn y defnydd priodol o'n tafodau, yr hyn yw dyddanu, cysuro, llesâu, a dysgu y naill y llall, a dyrchafu a gogoneddu enw ein Crëawdwr.

JANE BUCKLEY.

*Penygraig.*

---

# Hanesynau ac Adroddiadau.

GWERTH PENDERFYNIAD AC YMDRECH.

FLYNYDDAU yn ol, yr oeddwn yn dychwelyd mewn agerlong o barth pellenig o Ewrop. Yr oedd yr hîn yn hyfryd, y môrdeithwyr yn lliosog, a phawb yn ymddangos yn mwynhâu y fordaith yn odiaeth. Cefais lawer o ymddyddan cyfeillgar âg un gŵr yn benodol; dyn golygus, corffol, o wêdd ddymunol. Oddiwrth ei sylwadau o bryd i bryd, yr oeddwn yn barnu iddo gael dygiad da i fyny yn ei ieuenctyd. Adroddais fy marn wrtho, gan chwanegu fy mod yn credu y rhaid fod ei rieni yn bobl grefyddol.

"Y mae hyny yn wir," ebe yntau.

Dywedais wrtho: "Er eich bod yn siarad Saesonaeg mor dda, yr wyf yn deall mai nid brodor o Loegr ydych."

"Nage," atebai efe; "*Dutchman* ydwyf; ac fel yr ydych chwi wedi meddwl, yr oedd fy nhad a fy mam yn rhai rhagorol. Yr oeddynt hefyd yn gyfoethog—eiddo gan fy mam yn gystal â chan fy nhad—ac eto yr oeddynt yn byw, nid yn wastraffus, ond yn gynnil; a hwy a'm dygent i fyny yn ofalus iawn. Ond, yn anffodus, pan nad oeddwn eto ond dyn lled ieuanc, daeth rhyw anghydwelediad rhyngwyf â'm tad, a phenderfynais fyned oddicartref. Rhoddais *advertisement* mewn newyddiadur Seisonig am le fel ysgrifenydd masnachol, ac a lwyddais yn hyny. Cyttunais â marsiandwr yn Llundain, yr hwn a addawai roddi i mi chwech ugain punt o gyflog."

"Yr oedd hyny," meddwn, "yn llawer iawn i ddyn ieuanc i gychwyn."

"Oedd," meddai yntau; "ond mi a gefais hyny am y gallwn ysgrifenu a siarad pedair iaith: *Dutch, French, German*, a Saesoneg. Mae gwybodaeth o amryw ieithoedd yn wastad yn gaffaeliad da; ac felly y bu i mi. Yr oedd fy meistr yn dirion wrthyf, a minnau gyda'm gorchwylion yn gyson a dyfal; ac am ryw dair

blynedd, yr oedd pob peth yn dda gyda mi.

"Un prydnawn, wedi derbyn £30 yn gyflog chwarter blwyddyn, telais yr ardreth oedd ddyledus arnaf i'm llettŷwraig; o herwydd nis gallwn fyw mewn dyled. Yna mi a aethum allan i rodio, a chefais fy hun yn nghymydogaeth un o *squares* y *West-end*. Pasiais ryw dŷ am yr hwn y dywedid wrthyf mai lle i hapchwareu *(gambling house)* ydoedd. Nid oeddwn i erioed wedi bod oddifewn i'r fath le; ac felly, wedi fy nhemtio gan gywreingarwch, aethum i mewn, yn gwbl ddiachos. Mae yn debyg mai'r diafol a roes hyny yn fy mhen; o herwydd, yn ddifeddwl am un perygl, ymgymysgais â'r cwmni mawr o hapchwareuwyr, lle yr oedd rhai wrthi yn chware damwain, ac eraill yn sefyll mewn cyffröad dirfawr. Cefais yno ddigonedd o'r gwin goreu, fel ei cyfrifid, heb i mi dalu dim am dano. Wedi fy mherswadio i yfed, buan yr arweiniwyd fi i dreio fy llaw yn yr hapchware. Mi a yfais ac a yfais nes myned yn feddw iawn; ac yn y cyflwr cynhyrfus hwn, arosais i *gamblo* am ran fawr o'r nos. Byddwn weithiau yn cael lwc dda, fel y dywedir, yn ennill llawer, ac wedi hyny mi a gollwn fy holl ennillion. Yr oedd yn hwyr iawn arnaf yn myned i fy llettŷ; a'r bore nesaf, deffröais mewn cyflwr truenus, gyda chûr pen arswydus. Pan ddaethum ataf fy hun, a chwilio fy llogellau, cefais mai pedair punt a chwe' swllt oedd yr oll oedd genyf o'm cyflog chwarter. Yr oeddwn mewn dyryswch yn wir. Sut y gallwn i fyw am y tri mis dyfodol? o herwydd yr oeddwn wedi arfer talu am bob peth wrth ei gael. Nis gallwn anfon at fy nhad; o herwydd yr oeddwn yn meddwl na roddai efe yn awr un help i mi. Ac ofer oedd i mi fenthyca arian gan neb; canys pwy a fyddai mor ffol â rhoddi benthyg i un nad oedd yn gallu byw ar yr hyn a dderbyniai? Ni feiddiwn ddywedyd gair wrth y marsiandwr yr oeddwn yn ei wasanaeth, gan y byddai yn naturiol iddo ef ddyweyd, 'Mi welaf eich bod wedi syrthio i arferion drwg; ymgysylltasoch â chwmni anmhriodol, ac ni wnewch y tro i mi.' Wedi eistedd i synfyfyrio am oddeutu pymtheng mynyd, penderfynais pa beth i'w wneuthur. Cenais y gloch am fy llettŷwraig; a phan y daeth ataf, dywedais wrthi am fy ynfydrwydd yn myned i dŷ yr hapchware, ac yno dan ddylanwad y gwin yn colli fy arian, a chan nas gallwn i yn awr dalu am fy llettŷ, mai gwell oedd i mi ymadael yn ddioed. Hithau yn wraig gall, a gydwelai â mi yn hyny, ac a'm gollyngai ymaith.

"Yna mi a aethum i hela allan am ystafell i lettŷa ynddi; ac wedi hir gerdded, a thrafferth fawr, canfyddais ystafell i'w gosod am hanner coron yn yr wythnos. Gellwch fod yn sicr mai nid mewn cymydogaeth barchus yr ydoedd; ond rhaid oedd iddi wneyd y tro i mi. 'Pa bryd y deuwch chwi yma?' ebe'r wraig. 'Dyfod!' atebais, 'yr wyf yn dyfod y bore heddyw.' Dychwelais, gan gario fy mocs ar fy ysgwydd; o herwydd yr oedd talu i neb arall am ei gludo, neu gymeryd cerbyd, i mi allan o'r cwestiwn. Wedi ymsefydlu yn fy nhrigfa newydd, penderfynais ynghylch fy mywioliaeth: boreufwyd, torth geiniog a gwydraid o ddwfr; ciniaw, torth geiniog a phenog coch; tê prydnawn, dim; swper, dim; golchwraig, swllt yr wythnos—yr oedd hyny yn anocheladwy. Ni ddywedais air wrth neb am newidiad fy llettŷ, gan na wnaethai'r tro i mi gyhoeddi fy ynfydrwydd fy hun. Yr oedd y byw salw yn galedfyd i ddyn ieuanc iach; ond mi a ddeliais at fy mhenderfyniad.

"Un diwrnod, yn ol fel y mynai Rhagluniaeth, cyfarfum âg un o hen gyfeillion fy nhad, boneddwr Allmaenaidd, yr hwn a'm gwahoddodd i giniawa gydag ef unwaith yn yr wythnos. Buasai yn dda genyf wneyd hyny; ond yr oeddwn yn ofni rhag i'r boneddwr flino arnaf; felly mi a ddywedais wrtho y deuwn ato i giniawa bob yn ail wythnos; ac nis gallaf ddyweyd wrthych pa mor lawen y byddwn yn deffroi ar y bore hwnw; bore diwrnod y *roast-beef;* o herwydd y gwyddwn y cawn i hyny yn saig reolaidd ganddo. Nis gallaf anghofio fel y byddwn yn bwyta o ddifrif wrth fwrdd y ciniaw hwnw, ac yn gwir fwynhâu'r ddarpariaeth. Un diwrnod, dywedai yr hen foneddwr, gan chwerthin yn uchel, 'Mae yn dda iawn genyf eich gweled, anwyl gyfaill, ac y mae i chwi bob croesaw; ond rhaid i mi ddyweyd, er fod genyf ystymog dda pan yn ŵr ieuanc fy hun, na welais i neb erioed âg ystymog mor ragorol â'r eiddoch chwi.' Yr wyf yn credu mai'r ciniaw brâf unwaith yn y pythefnos oedd yn tycio i'm helpio i ddal allan, tra yr oeddwn yn cadw fy hanes yn ddirgelwch oddiwrth bawb. Pa fodd bynag, dal allan a wnaethum; ac wrth i mi wneyd y cyfrif i fyny ar derfyn y tri mis, cefais fod genyf bedwar swllt a chwe' cheiniog yn weddill. Pan welais hyny, dywedais wrthyf fy hun, 'Yr wyf wedi arfer â'r byw caled hwn, ac mi geisiaf fyw yr un fath am dri mis eto.' Felly y gwnaethum; ac ymhen yr ail dri mis, wrth gymeryd *stock*, gwelais fod genyf £24 yn aros yn fy meddiant o'm cyflog chwarter. Yr oeddwn fel hyn ymlaen ar y byd; ac o'r awr hono hyd yr awr hon, ni bum gymaint ag unwaith mewn diffyg am arian. Ond er nas

gwnaethum ddim niwed i fy hun trwy y fath hunanymwadiad llymdost a arferid genyf, nis mynwn argymhell fy esiampl i bob dyn ieuanc, gan y buasai aml gyfansoddiad corfforol yn derbyn mawr niwed oddiwrth fyw fel yr oeddwn i.

"Yr oedd fy meistr yn un o feddwl a chymeriad ardderchog; ac mi ddywedaf wrthych pa fodd yr oedd efe yn ymddwyn ataf. Wedi i mi fod gydag ef ryw bum' mlynedd neu chwech, efe a'm galwodd ato ryw ddiwrnod, ac a ofynodd, 'Beth yw eich cynllun a'ch bwriad am y dyfodol? mae yn debyg nad ydych yn meddwl aros yn ysgrifenwas am eich oes.' Atebais, 'Nac ydwyf yn wir, syr, os gallaf fi helpio.' 'Wel,' ebe efe, 'o'r pryd hwn mi a godaf eich cyflog o £120 i £250 yn y flwyddyn; ac ymhen tair blynedd, chwi a ellwch ddysgwyl am fwy drachefn.' Diolchais iddo yn wresog, fel y gellwch feddwl; ac mi a wnaethum rywbeth gwell na hyny: cymerais ofal am gyflawni fy ngorchwylion yn y modd ffyddlonaf a chyflawnaf; o herwydd yr oeddwn yn penderfynu na byddai fy meistr ar ei golled am ei haelfrydedd tuag ataf.

"Wedi'r codiad hwn yn fy nghyflog, ymhen dwy flynedd, rhoddais fy serch ar ferch ieuanc o deulu cyfrifol yn Sir Gaerefrog, y ferch ieuanc gallaf, hoffusaf, a'r fwyaf rhinweddol a welswn erioed; a'r diwedd o hyny oedd i ni briodi; a da y troes hyny i mi ymhob modd, er cysur tymmorol ac er budd ysbrydol; o herwydd hi a'm perswadiodd yn fuan i ddarllen gair Duw, a gweddïo arno yn y teulu bob dydd; a chefais bellach fwy o flâs nag erioed ar bethau'r Bibl. Erbyn i'r tair blynedd ddyfod i ben, yr oedd genyf fab bychan yn dechre gwenu arnaf. Y pryd hwn codwyd fy nghyflog gan fy meistr i £300 yn y flwyddyn, ac efe hefyd a ganiatäodd i mi bum' punt y cant ar yr holl *fus'nes* a wneid, nes i hyny ddyfod yn drydedd ran o'r *profits*. Gyda hyny rhoes i mi lythyr seliedig i'w roddi i fy ngwraig. 'Anrheg sydd ynddo,' medd efe, 'iddi hi a'i mab.' A pheth a gafodd hi yn y llythyr ond arian-nodyn am £200. Yr oeddwn yn credu nad oedd gan neb yn unlle well meistr nag oedd genyf fi; ac yr oeddwn yn teimlo nas gallwn ddangos gormod o ffyddlondeb yn ei wasanaeth. Cyn hir efe a'm cymerodd yn gyfranogydd o'r holl *concern*, heb i mi dalu dim am hyny; ac yn awr yr oedd fy hanner i o'r elw yn llawer mwy na'r holl elw yr oedd efe ei hun yn ei gael pan y daethum ato gyntaf.

"Dylaswn ddywedyd yma, er fod genyf ddigon i'w wneyd yn Lloegr, nad oeddwn wedi anghofio Holland, fy hen gartref; a phan yr ymwelais â'm rhieni, aeth yn gymmod llwyr a llawn rhyngof a'm hanwyl dad; a byddwn wedi hyny yn ymweled bob blwyddyn â'r hen bobl. Ar un ymweliad, yr oedd fy nhad yn edrych yn brudd iawn; a phan wesgais arno am yr achos o'i brudd-der, cefais fod dyledwyr drwg, a rhyw anffodion eraill, wedi cyfarfod âg ef, nes yr oedd yn ymdeimlo ei fod yn methu talu ei ffordd. 'Ond pe bawn yn gwerthu'r cwbl,' meddai, 'gallwn dalu pedwar ugain y cant.' 'Yna, fy nhad,' meddwn innau, 'gwerthwch y cwbl, a thelwch yr hyn a alloch.' Efe a wnaeth hyny, pryd y cafodd ei eiddo yn fwy o werth nag y dysgwyliai, ac yntau yn abl i dalu ei holl ddyled. 'Wel, fy nhad,' dywedais wrtho, 'pan oeddwn i yn ieuanc, yr oedd fy mam a chwithau yn gofalu yn dyner a da am danaf; ac yn bresennol wele finnau mewn gallu i ofalu am danoch chwithau, ac mi a wn na byddaf ddim tlotach.' Ac felly, yn wir, y bu arnaf; yr wyf yn awr yn llawer cyfoethocach nag yr oeddwn pan y dywedais felly wrtho ef. Fy mam dduwiol a fu farw yn ddiweddar, gan adael i mi ei bendith, yr hyn a gyfrifaf yn llawer mwy gwerthfawr na phe buasai ganddi aur neu dir i'w adael i mi. Mae fy nhad eto yn fyw, ac nid oes dau gyfaill mwy mynwesol nag efe a minnau. Ac y mae genyf bedwar o blant da, sydd yn gysur i'w hanwyl fam a minnau. Yn wir, y mae Duw wedi bod yn dda wrthyf; ac O fel y dylwn ei fendithio a'i ogoneddu!"

Dyna i ti, ddarllenydd, yr ystori a gefais gan y *Dutchman*. Esiampl hynod ydyw o ddyn ieuanc wedi ei waredu o berygl moesol mawr; o herwydd y mae miloedd a mwy yn Llundain, a manau eraill yn Lloegr, wedi cael eu dyfetha am byth wrth fwrdd yr hapchware. Yr oedd hefyd y berthynas rhwng y meistr a'r gwasanaethydd yn hyfryd iawn; y naill yn dirion, a'r llall yn ffyddlawn. Cymered y neb y perthyna iddynt y gwersi priodol oddiwrth hyn. Cofied plant hefyd y ddyledswydd sydd arnynt, a'r daioni a ddaw iddynt, o dalu y pwyth i'w rhieni, mewn caredigrwydd a gofal am danynt mewn henaint a gwendid. Dywedai y marsiandwr wrthyf fod pobl ieuainc Holland yn gyffredinol wedi eu dysgu yn dda i barchu ei rhieni, ac y credir yno fod anufudd-dod iddynt yn tynu melldith y nefoedd am ben y troseddwr.

L. H.

---

## Y TRI CHYMRO YN NEW ZEALAND.

(*Parhâd o tu dalen* 258.)

PAN ar ganol y daith i'r *diggings*, cymerwyd un o'r tri Chymro yn glaf. Ac, yn sicr,

nid peth dibwys oedd cyfarfod âg afiechyd pan ar benau'r mynyddoedd yn New Zealand, allan o gyrhaedd pob meddyg a meddyginiaeth. Parodd y cyfryw amgylchiad ddigalondid mawr iddynt. Yr oedd y tywydd, pan glafychodd y brawd hwn, yn hynod wlawog; a'r gwlaw a barhäodd nes peri i'w dillad fod cȃn wlybed â phe trochesid hwynt yn y môr. Dan y fath amgylchiadau, yr oeddynt, fel y gallesid tybied, yn dyheu am gyrhaedd terfyn taith y diwrnod hwnw. Wedi cyrhaedd yr ysmotyn penodol, dyna'r ddau iach mewn egni a brys i gynnorthwyo eu cydymaith claf, od oedd hyny yn bosibl. Aeth John ati i gynneu tân, a Lewis gyda'i raw i wastadâu y ddaear. Yr oedd cèryg mawrion i'w cael yn lled fynych ar y mynyddau, yn estyn eu gyddfau ymlaen, gan grogi dros eu gwaelodion. Wedi i Lewis wastadâu y ddaear, a lledu'r gwrthban ar lawr, rhoes y Cymro claf i orwedd, gan ei lapio yn ofalus yn y wlanen, ac yn ei ddillad gwlybion, o dan y gareg ymestynol.

Erbyn hyn yr oedd John wedi cael gafael mewn ychydig briciau crinion, ac wedi llwyddo i ferwi'r dwfr. Aed â llestraid o dê cynhes i'r claf, ac wedi i'r naill a'r llall gael ychydig luniaeth, yr oedd amser gorphwyso wedi dyfod. Y ddau iach a orweddasant un o bob tu i'r cyfaill claf, gan gadw ynddo gymaint o wresogrwydd âg y gellid. Y bore drannoeth, megys yn wyrthiol, ac er dirfawr lawenydd i'r tri, yr oedd y claf bron yn holliach. Nid anhawdd oedd bendithio Duw rhagluniaeth am ei ofal tadol a manwl dros y crwydriaid ar wyneb arall y ddaear, agos yn hollol wrthwyneb i hen wlad eu genedigaeth. Wedi cymeryd eu boreufwyd, a rhoddi yr anifeiliaid yn y drôl, cychwynasant ymlaen i'w taith yn wir galonog. Esgynent rai prydiau megys i'r nefoedd, a phryd arall disgynent megys i'r dyfnder, ac ymagorai o'u blaen wastadtir o ddeg i bymtheg o filldiroedd ysgwâr, heb gymaint â choeden o fath yn y byd yn tyfu arno. Yn nherfyn y gwastadtir, esgynai mynyddau uchel i'r ehangder, y rhai yr oedd yn anmhosibl i anifeiliaid gydag un math o lwyth fyned i fyny ar hydddynt yn unionsyth. Oblegyd hyny torasid ffordd ar ddull hanner lleuad, yn esgyn i fyny yn raddol o droed y mynydd, nes cyrhaedd ei goryn, nid anghyffelyb i'r llwybr sydd yn arwain i ben Tomen y Bala. Wedi llawer o boen a thrafferth, gwthio a gwaeddi, clecio a chwipio, o'r diwedd dyna yr ysgrubliaid a'r llwyth wedi cyrhaedd pen y mynydd. Ac wedi cwrs o ffordd ar benau'r mynyddoedd, wele ddisgynfa aruthrol yn eu cyfarfod, ac yr oedd yn rhaid i'r clûd fyned ar hyd y goriwaered serth, un o'r disgynfëydd anhawddaf i'w feistroli ynglŷn âg unrhyw fynydd yn New Zealand; ac os oedd dringo i fyny, fel y nodwyd, yn ddrwg a blin, yr oedd myned i lawr y goriwaered yn saith gwaeth. A ellir rhoddi i ti, ddarllenydd hynaws, ryw ddrychfeddwl am y serthrwydd? Yn y lle cyntaf, rhwymid dwy olwyn y drol gyda dwy gadwen, fel na syflent. Wedi hyny rhwymid cadwen arall wrth ben ôl y drol, gan sicrhâu'r pen arall wrth gareg afrywiog anferth o faint. Gyda hyny, byddai chwech o ddynion cryfion wedi sicrhâu rhaff wrth ochr y drol —yr oll yn attalfeydd rhag i'r drol gyflymu yn ormodol, a niweidio yr anifail; ac er hyn oll, diangfa gyfyng a gaed rhag i'r creadur blinedig gael ei hyrddio bendramwnwgl i droed y mynydd.

Wedi teithio yn y wedd a nodwyd am oddeutu chwe' diwrnod, i fyny ac i lawr, cyrhaeddasant le o'r enw Dunston, lle ag yr oeddent, pan yn gadael Dunnedin, wedi bwriadu ymsefydlu ynddo. Eithr wedi dyfod yno, cawsant ar ddeall mai lle pur wael ydoedd i'r rhan fwyaf am ennill aur; a pherswadiwyd hwy i fyned ugain milldir yn is i lawr yr afon; ac fe ddeallir mai yn ngwaelod yr afon hon yr oedd yr aur i'w gael. Ond yr oedd eu dyfodiad i'r dref grybwylledig yn rhy ddiweddar iddynt allu myned dim ymhellach y diwrnod hwnw; ac felly bu raid iddynt osod eu *tent* i fyny tu cefn i'r dref; ac nid hir y buont cyn myned i orphwys, gan mor flinedig oeddynt. Cyn hanner nos, pan yr oedd y tri Chymro yn cysgu yn drwm, deffröwyd hwy yn sydyn gan ystorm ofnadwy; a chyn iddynt ymron gael hamdden i rwbio eu llygaid, dyma'r *tent* i lawr yn glap ar eu penau; ond ni thorwyd asgwrn o honynt, canys llïan, ac nid dim trymach, oedd defnydd y babell. Pa fodd bynag, buont yno am beth amser fel pysgod mewn rhwyd, yn methu yn glir ddyfod allan; ond o'r diwedd, gallasant ymryddhâu; ac wedi i ychydig amser fyned heibio, gostegodd y gwynt i radd fawr. Codasant y babell eilwaith, ac aethant i mewn iddi, lle y cawsant seibiant i gysgu drachefn, hyd saith neu wyth o'r gloch y bore. Ar ol brecwesta, aethant am dro i'r dref. Un o'r pethau cyntaf a ganfyddent oedd ystorfa fawr wedi ei gyru ar ei gogwydd; ac wedi myned ychydig ymlaen, yr oedd rhan lled helaeth o'r dref yn yr un sefyllfa. Yr oedd tô i fasnachdŷ enfawr wedi ei godi yn deg oddiar ei golofnau, a'i hyrddio ystrim-stram-strellach i'r ochr arall i'r heol. Yr oedd yr adeiladau hyn, dealler, wedi eu gwneyd o haiarn teneu. Yr olwg ar y dref y bore hwn, ar ol ystorm y noson flaenorol, oedd echrydus i'r eithaf; ac yr oedd ei cholledion yn ddirfawr.

Tua deg o'r gloch, cychwynodd y tri Chymro i'w taith, pryd yr oedd beichiau

trymion o ddeugain i hanner cant o bwysau ar eu cefnau: un â'r cydaid blawd, a'r oll o'r ymborth, y llall â'r arfau gweithio, a'r trydydd â'r *tent* a'r gwelyau. Taith hynod anhylaw, garw, a pheryglus oedd hon: cripio i fyny y rhiwiau uchel, ymlithro yn ofalus ar y ddisgynfa serth, ymgripio i lechweddau creigiau y pryd hwn, a cherdded ar ymyl ceulan neu ddyfnder erchyll y pryd arall, pan nad oedd ond rhyw ddwy droedfedd rhyngddynt â syrthio i'w grombil. Clywsant am un teithiwr yn cerdded ar ddibyn cyffelyb, ac, o herwydd mynyd anwyliadwrus, yn syrthio i lawr i'r gwaelodion; a dyna lle yr oedd y truan yn gorwedd yn ei waed, a'r baich trwm, oedd yn flaenorol ar ei gefn, wedi ymsefydlu ar ei wddf, heb fod yn bosibl i undyn wneyd ei ffordd ato i weinyddu dim cymhorth iddo; ac yno ar waelod y graig y trengodd!

Oddeutu chwech o'r gloch yn yr hwyr, cyrhaeddodd y tri Chymro lecyn ar ymyl yr afon y cyfeiriwyd ati eisoes, lle y barnasant mai eu doethineb oedd ymsefydlu ynddo. Yr oeddynt wedi diffygio cymaint ar y daith galed ac anhygyrch hon, fel nad oedd ganddynt ar y pryd nemor nerth nac ysbryd i ymgynnyg at unpeth. Dichon mai nid anmhriodol a fyddai gair neu ddau ynghylch yr afon a nodwyd. Dywedir ei bod yn tarddu o lŷn mawr a geir ar ben un o'r mynyddoedd draw, yr hwn sydd yn bwrlymu i fyny o grombil y mynydd, ac felly yn fawr yn ei tharddiad cyntaf; amryw o afonydd bychain, gydag un neu ddwy o afonydd mawrion, yn ymarllwys i'r afon arbenig dan sylw, sef y Molanux, fel y cafodd y Cymry ei henw. Mae ei dyfnder mewn rhai manau cyfyng, meddir, o bedwar ugain i gan' troedfedd; ac mewn manau eraill, ymleda yn gyffelyb i fôr bychan. Rhagor nag unwaith, rhoddodd yr ysgrifenydd ei holl ewynau ar waith i geisio taflu careg o un glàn i'r làn arall, ond yn hollol aflwyddiannus.

Yn yr afon hon, fel y dywedwyd yn flaenorol, yr oedd gorweddle yr aur; ond nid oedd modd cael yr aur i fyny heb gael dwfr yr afon i lawr, sef i'r llifeiriant ostwng. Yr oedd llawer o opiniynau ynghylch yr afon. Dywedai rhai ei bod yn treio yn yr haf; ond eraill a ddywedent fod hyny yn anmhosibl, gan ei bod yn tarddu o'r llŷn, megys y nodwyd. Sicr yw, pa fodd bynag, ei bod yn fwy yn y gauaf nag yn yr haf; ac yr oedd hyn yn naturiol o herwydd gwlybaniaeth y gauaf. Gwelwyd rhai yn aros ar làn yr afon am fisoedd lawer, gan ymddiried yn ngostyngiad y dwfr; ac eraill a arosent gan gredu yn erbyn gobaith. Nid peth anghyffredin fyddai gweled yr afon wedi chwyddo mewn un noson gymaint a chwe' troedfedd ar ei harwynebedd; ac hwyrach y byddai ar y noson drachefn yn gostwng yr un morsydyn. Yr oedd cyflymdra ei dwfr yn ddeng milldir yn yr awr. Am y mŵnwyr, neu'r *diggers*, a fyddent yn agosach nag eraill at ymyl yr afon, byddai ymchwyddiad sydyn ei dwfr yn beryglus i'r eithaf iddynt, yn arbenig os dygwyddai hyny yn y nos. Nid peth dyeithr rai boreuau a fyddai gweled *tents*, a'r crydau a ddefnyddid i lanhâu yr aur, ynghyda choedydd mawrion, yn marchogaeth ar gefn yr afon orwyllt tua'r môr, ïe, a bywyd aml i ddyn wedi myned yn aberth yn y rhyferthwy arswydlawn.

Ond i ddychwelyd at hanes y tri Chymro. Yr oeddent hwy yn gofalu am osod eu pabell allan o berygl gorlifiad yr afon, a gorweddent yn nosol ynddi. Buont yn aros yn yr un fan am rai misoedd, gan ddysgwyl yn bryderus am ostyngiad yr afon. Yn y cyfamser, yr oedd gan bob un o honynt ei orchwyl arbenig ei hun: un yn golchi'r dillad, y llall yn coginio yr ymborth, a'r trydydd yn tylino'r toes. Nid oedd yn bosibl crasu'r bara yno fel y gwneir mewn lleoedd pwrpasol at hyny. A lled ryfedd oedd yr orchwyliaeth doesenaidd yno. Yn y lle cyntaf, chwilid am gareg gweddol o faint, ac mor wastad ag y byddai modd iddi fod. Wedi rhoi'r gareg i orwedd ar ei gwastad ar y ddaear, a chynneu tân coed arni, ac i'r coed losgi eu nerth ymaith, fe chwelid y lludw llosgedig yn ofalus oddiar y gareg; ac wedi ei glanhâu yn dda, rhoddid y toes arni, a theflid y lludw arno, nes ei lwyr orchuddio; ac ymhen amser priodol, ceid ef wedi ei grasu, yn fara cymhwys i'w fwyta, ac yn weddol flasus, ond y byddai raid wrth amser lled faith tuag at ei iawn dreulio yn y cylla.

Wedi i wythnos neu ddwy fyned heibio, anesmwythodd meddwl y tri am gael rhyw fath o foddion crefyddol, gan nad oeddynt yn gallu dygymmod â threulio'r Sabbath heb addoliad cyhoeddus. Ar ol ychydig o ystyriaeth, aethant oddiamgylch i edrych a oedd dim Cymry yn y lle heblaw hwynthwy ill tri. Ac wedi ychydig ymchwiliad, daethant ar draws rhyw bedwar neu bump o'u cydgenedl o'r hen wlad; a thaer gymhellasant y cyfryw rai i droi i mewn i'w pabell hwy ar y Sabbath canlynol, i'r dyben o ddarllen a gwrando rhyw gyfran o Air yr Arglwydd. Addawodd y Cymry hyny ddyfod; a buont yn ffyddlawn i gyflawni eu haddewid. Cynnaliwyd y moddion trwy ganu a gweddïo, darllen, ac egluro'r gair. Nid oedd yno gadair nac ystôl i eistedd arni; dim ond y ddaear lom. Yr oedd gan y tri chrefyddwr Fibl Cymraeg bob un, ynghyd â chyfrol o *Lampau'r Deml*, yn cynnwys pregethau gweinidogion adnabyddus o Gymru. Byddai Ysgol Sabbothol yn cael ei chynnal y pryd-

nawn, gyda'r tri Bibl at wasanaeth yr wyth cynnrychiol. Ac yn yr hwyr, byddai'r darllenydd goreu yn darllen pregeth allan o'r *Lampau*. Yn y wedd hon y parhäodd y moddion crefyddol dros amser eu haros-iad wrth làn yr afon. Hynyna y tro yma.

W. JONES.

*Rhosllanerchrugog.*

---

## CYMERIADAU YMHLITH EIN CYNNULLEIDFAOEDD.

### V.—WILLIAM THOMAS A'R DEWIS BLAENORIAID.

WEDI i deulu y Fron Hen ymadael â'r fro, llettŷid pob pregethwr a ddeuai i'r daith gan Mr. Jones y *shop;* a gadawyd William Thomas yn unig swyddog ar yr eglwys. Pa opiniynau bynag eraill a ddaliai yr hen flaenor yn wleidyddol ac eglwysyddol, nid oedd yn credu mewn unbenaeth; a mynych y cwynai o herwydd ei unigrwydd yn y swydd, ac y dangosai yr anghenrheidrwydd am gael rhywrai i'w gynnorthwyo. Gan fod Mr. Jones y *shop* yn cymeryd gofal y llyfrau ac hefyd yn gweithredu fel trysorydd, yr oedd mwyafrif yr eglwys yn teimlo yn ddigon boddlawn i bethau aros fel yr oeddynt. Ond dadleuai William Thomas drachefn ei henaint a'i anfedrusrwydd yn y swydd, ynghyd a'r cyfrifoldeb mawr yr oedd yn ei gymeryd arno ei hun wrth fod yn unig swyddog mewn eglwys, lle yr oedd amryw eraill yn gymhwys i'r gwaith. Buasai George Rhodric yn cefnogi â'i holl galon ymbiliau William Thomas am gael ychwaneg o flaenoriaid, oni buasai fod dau rwystr ar ei ffordd. Yn un peth, yr oedd yn credu yn sicr pe yr elid i ddewis, y buasai Mr. Jones y *shop* yn myned i fewn; ac hefyd yr oedd yn gweled y posiblrwydd iddo ef ei hunan gael ei adael allan; ac yn ngwyneb y ddau beth hyn, penderfynodd fod yn ddystaw ar y pwnc. Ond yr oedd rhyw eneiniad amlwg i'w ganfod ar yr hen frawd Siôr yn ddiweddar; nid oedd mor dueddol i bigo beïau ag y bu, ac yr oedd rhyw ystwythder anarferol yn ei ysbryd, ac arwyddion eglur ei fod yn awyddus i fod ar delerau da â phawb, hyd yn nôd â Mr. Jones y *shop* a'i deulu. Buasai yn anfrawdol yn neb briodoli y cyfnewidiad hwn er gwell ynddo i unrhyw amcanion hunangar ac uchelgeisiol, ac nid oedd neb yn ei groesawu ac yn llawenhâu mwy yn yr olwg arno na'r syml a'r difeddwl-drwg William Thomas.

Fel yr awgrymwyd yn barod, yr oedd nifer lliosocaf yr eglwys yn eithaf parod i bethau aros fel yr oeddynt; ac yr oedd yr hen bobl, yn enwedig yr hen chwïorydd, yn parhâu i ddyweyd na chaent neb tebyg i William Thomas; ond yr oedd yr aelodau callaf a galluocaf, tra yn ofni i'r amgylchiad droi allan yn achlysur cythrwfl ac anghydweledіad, yn gorfod cydnabod rhesymoldeb ac ysgrythyroldeb cais eu hen swyddog parchus. O'r diwedd, pa fodd bynag, llwyddodd yr hen frawd i gael gan yr eglwys anfon at y Cyfarfod Misol "fod anghen arni am ychwaneg o swyddogion."

Yn ngwyneb yr amgylchiad oedd bellach yn ymddangos yn debyg o gymeryd lle, yr oedd yn yr eglwys dri o wŷr yn teimlo yn bur wahanol i'w gilydd. Yr oedd un gŵr yn ystyried y dylasai gael ei ddewis; yr oedd un arall yn ofni cael ei ddewis; ac yr oedd un arall yn benderfynol na chymerai ei ddewis. Y gŵr a ystyriai ei hun yn feddiannol ar holl anhebgorion blaenor ydoedd George Rhodric; canys yr oedd yn un o'r aelodau hynaf yn yr eglwys, ac yn un o'r athrawon hynaf yn yr Ysgol Sabbothol; nid oedd ychwaith o ran dawn a gwybodaeth yn ddirmygedig; ac nid allai neb ddyweyd dim yn erbyn ei garitor. Wrth roddi y pethau hyn i gyd at eu gilydd, yr oedd efe yn ystyried y gallai sefyll cymhariaeth â phigion yr eglwys, ac na wnaethid camgymeriad wrth ei ddewis. Heblaw hyn, yr oedd o'r farn fod eisieu "gwaed newydd" yn y swyddogaeth. Nid oedd y *class* o bregethwyr oedd yn arfer dyfod yno i wasanaethu y peth y dylasai fod; ac yr oedd yn canfod llawer iawn o ddiffyg trefn mewn amryw bethau eraill y buasai efe wedi galw sylw atynt er ys llawer dydd oni buasai ei fod yn ofni i rywrai dybied ei fod yn ceisio "ystwffio ei hun ymlaen." Y gŵr oedd yn ofni cael ei ddewis ydoedd Mr. Jones y *shop*. Yr oedd y rhan flaenllaw yr oedd wedi ei chymeryd gyda'r plant yn yr Ysgol Sabbothol, ac mewn cyfarfodydd eraill, ei waith yn cymeryd gofal llyfrau yr eglwys, a'r ffaith fod ei dŷ erbyn hyn yn gartref i bregethwyr, yn peri iddo weled nid yn unig y posiblrwydd, ond hefyd y tebygolrwydd, y dewisid ef. Er ei fod bob amser yn awyddus i wneyd yr hyn oedd yn ei allu dros achos crefydd, yr oedd yn ystyried fod cymaint o bwysigrwydd ynglŷn â swydd blaenor, ac yn ammheu cymaint am ddiogelwch ei gyflwr ysbrydol, a'i gymhwysder personol i'r gwaith, fel y buasai yn rhoddi unrhyw beth bron i'r eglwys am beidio ei ddewis. Y gŵr arall oedd yn benderfynol na chymerai ei ddewis ydoedd Noah Rees. Gŵr ieuanc ydoedd ef, eiddil, gwyneblwyd, ac yn cael y gair fod ganddo lawer o lyfrau; ac yr oedd rhai yn myned mor bell ac eithafol a dyweyd fod ganddo gymaint a thri Esboniad ar y Testament Newydd, ac o leiaf ugain o lyfrau eraill ar wahanol bynciau. Er fod y chwedl anhygoel hon yn cael ei ham-

mheu yn fawr ar y cyntaf, ennillasai fwy o gred yn ddiweddarach gan y ffaith ddarfod i'r gŵr ieuanc ennill dwy wobr mewn Cyfarfod Cystadleuol; un yn werth hanner coron, a'r llall yn werth tri swllt. Taenid y gair hefyd na byddai efe byth yn myned i'r gwely hyd un ar ddeg o'r gloch ar y nos, a bod ei fam yn cwyno ddarfod i Noah ddyfetha mwy o ganwyllau mewn un flwyddyn nag a ddarfu ei dad yn ystod ei holl oes, a'i bod yn sicr mai y diwedd a fyddai iddo golli ei iechyd. Heblaw fod Noah yn fwy difrifol, ac yn fwy rhwydd ac ufudd na'i gyfoedion pan elwid arno i gymeryd rhan yn y moddion cyhoeddus, yr oedd ei gôt, yr hon oedd bob amser o liw tywyll, gyda gwasgod yn cau yn glòs at y gwddf, ynghyd a'r ymarferiad o amddiffyn y rhan a enwyd olaf â *muffler* pan y byddai yr hin heb fod yn gynhes iawn, yn dangos yn eglur at ba alwedigaeth yr oedd yn cymhwyso ei hun. Tra nad oedd y nifer llïosocaf o'i gyfoedion yn cofio ar nos Sadwrn pwy a fyddai wedi ei gyhoeddi i bregethu yno drannoeth, byddai Noah yn cofio yn dda, ac yn gwybod o ba gyfeiriad i'w ddysgwyl, ac yn gyffredin yn myned i'w gyfarfod, a'i arwain i'w letty. Er nad oedd wedi hysbysu ei gyfrinach i neb, yr oedd amryw yn gallu ei darllen, ac yn gwybod cystal ag ef ei hun fod ei lygaid ar rywle y byddai raid i'r blaenoriaid *edrych i fyny* ato, fel nad oedd raid iddo wneyd penderfyniad mor gadarn na chymerai ei ddewis yn flaenor.

I dori yr hanes yn fyr, caniatäwyd cais yr eglwys gan y Cyfarfod Misol, a phenodwyd dau frawd i fyned yno i ddwyn y dewisiad oddiamgylch. Noswaith y cyfarfod eglwysig, wythnos cyn yr adeg yr oedd y dewisiad i gymeryd lle, ystyriai William Thomas hi yn ddyledswydd arno alw sylw y frawdoliaeth at yr amgylchiad, a'u hannog i weddïo am ddoethineb a chyfarwyddyd i wneyd pobpeth mewn tangnefedd a chariad, er lles yr achos, a gogoniant y Pen mawr. Tra yr oedd efe yn myned ymlaen yn y ffordd hon, yr oedd yn eistedd yn ymyl y sêt fawr, â'i phwys ar ben ei ffon, hen wreigan ddiniwed a duwiol, yr hon a glustfeiniai yn ddyfal; ac yn y man cododd yn sydyn ar ei thraed, a dywedodd—"William Thomas, deudwch chi wrtho ni pwy i ddewis; y chi ŵyr ore o lawer; ac mi wna i, beth bynag, yn union fel y byddwch chi yn deyd, ac mi wnaiff pawb arall, 'does bosib'. Chawn ni neb gwell na chi na chystal, mi wn, a dydw i yn gweled neb yma cymhwys iawn ond Mr. ——." Amneidiodd William Thomas arni hi i dewi; ac efe a aeth ymlaen mor agos ag y gallwn gofio yn y geiriau canlynol:—"Mae Gwen Rolant bob amser yn dyweyd ei meddwl yn onest, ac y mae genyf ddiolch iddi am feddwl mor dda o honof; ond nid oes neb yn gwybod yn well na mi fy hun mor anghymhwys ydwyf i'r swydd, ac fod yma amryw o'm brodyr a allent ei llenwi yn llawer gwell. (Gwen Rolant yn ysgwyd ei phen mewn anghrediniaeth.) Er nad wyf yn ewyllysio, ac na byddai yn iawn ynof enwi neb, fel yr oedd Gwen Rolant yn gofyn, eto hwyrach, fy nghyfeillion, y goddefwch i mi, oherwydd fy oedran, roddi gair o gynghor i chwi. Gallaf eich sicrhâu nad ydyw swydd blaenor yn un i'w chwennychu, ond yn unig fel y mae yn gyfleusdra i fod yn fwy gwasanaethgar i Dduw. Yr wyf yn meddwl y gallai pob un o honoch addoli yn well heb fod yn flaenor. Mae y blaenor wrth ei swydd yn gorfod gwrando ar bob cŵyn yn erbyn pawb, ac yn gwybod hefyd pa swm y mae pob aelod yn ei gyfranu at y weinidogaeth, ac at achosion eraill; ac os bydd ambell un heb fod yn cyfranu fel y bydd Duw wedi ei lwyddo, pan elwir ar y brawd hwnw at ryw wasanaeth cyhoeddus, nid yw y blaenor yn gallu cydaddoli â'i holl galon fel y gall yr hwn nad yw yn gwybod. Pan fyddwch yn myned i ddewis, fy mrodyr, gofelwch nid yn unig am ddynion â chrefydd dda ganddynt, ond gofelwch am rai yn meddu ar ddynoliaeth dda hefyd, heb yr un crac yn eu caritor. Ni wnaiff ychwaneg o gyfrifoldeb, a chwaneg o bwysau wella'r crac, ond yn hytrach beri iddo ymagor ac ymollwng. Os bydd crac neu bydrni yn môth yr olwyn, fel y gwyddoch, er fod cànt cryf am dano, ni wna llwyth trwm ddaioni yn y byd iddo. Yr un modd, er i chwi wybod fod dyn wedi cael cànt cryf gras am dano, os bydd crac yn ei garitor, ni wna swydd ond ychwanegu ei berygl. Ac i mi ddyweyd fy mhrofiad fy hun i chwi, yr wyf yn credu fod tlodi, er nad yn annghymhwysder, yn anfantais fawr i ddyn fod yn flaenor. Nid all y blaenor tlawd annog i lettygarwch a haelioni crefyddol fel y dymunai wneyd. Bydd raid iddo hefyd wrth ei swydd ymwneyd â llawer o arian perthynol i'r achos; ac y mae arian yn brofedigaeth i ddyn fydd mewn angen beunyddiol. Anhawdd ydyw i sach wâg sefyll yn unionsyth. Yr wyf fi, fel y gwyddoch, wedi gwrthod bob amser fod yn drysorydd i unrhyw *fund*. Os gellwch, dewiswch ddynion na bydd arian yn brofedigaeth iddynt. (Mr. Jones y *shop* yn chwys dyferol.) Os bydd pob peth arall yn cydfyned, da a fyddai i chwi gael dynion parod o ran dawn gweddi, a gallu i siarad yn gyhoeddus. (George Rhodric yn edrych i dop y capel.) Profedigaeth fawr llawer blaenor ydyw ei fod yn ddi-ddawn; oblegid bydd gwaith cyhoeddus yn fynych yn syrthio i'w ran pan fydd pawb eraill naill ai yn anmharod neu ynte yn anufudd.

Mae o bwys i chwi hefyd, fy nghyfeillion, gael dynion ag y bydd eu cydymdeimlad yn ddwfn â'r pregethwr. Melldith i eglwys ydyw blaenor brwnt a phigog. Mae llawer oedfa wedi cael ei handwyo o herwydd ymddygiad anserchog ac oer y blaenor tuag at y pregethwr; ac, o'r ochr arall, y mae llawer pregethwr wedi cael iechyd i'w galon a chodiad i'w ysbryd mewn pum' mynyd o ymddyddan serchoglawn â'r blaenor cyn myned i'r capel. Ceisiwch, os gellwch, ddewis dynion y bydd eu hysbryd yn cydredeg âg ysbryd y pregethwr, a'u calon yn llosgi am lwyddiant ei amcan mawr. Na ddiystyrwch ieuenctyd neb. Os ydych yn gweled yma ryw fachgenyn addawol, darllengar, a ffyddlawn, er nad oes ganddo ond dwy dorth a dau bysgodyn, na throwch ef o'r naill du oherwydd ei ieuenctyd. (Noah Rees yn rhoi ei ben i lawr.) Pan ddaw yr adeg i chwi ddewis, bydded i chwi, fy nghyfeillion, gael eich cynhyrfu oddiar gydwybod i Dduw, ac nid oddiar amcanion hunanol a phersonol."

Aeth yr hen flaenor ymlaen yn y dull uchod am yspaid; ac ar y diwedd annogodd un o'r enw Peter Watcyn, yr hwn a gyfrifid ei fod yn deall Saesoneg yn dda, i egluro i'r frawdoliaeth y drefn o ddewis swyddogion y penodasid arni gan y Corff, yr hyn a wnaeth gyda deheurwydd mawr. Yn yr eglurhâd a roddwyd gan Watcyn, soniodd gryn lawer am y "balot," "y tugel," "y rhai presennol," "a'r rhai absennol, "dwy ran o dair," "a thair rhan o bedair," &c., yr hyn oll i Gwen Rolant, er clustfeinio ei goreu, oedd yn Roeg perffaith. Pa fodd bynag, wedi i ddau frawd ofyn cwestiwn a chael atebion boddhäol, terfynwyd y cyfarfod. Ar y ffordd gartref, dywedai George Rhodric fod yn hawdd iawn gweled at bwy yr oedd William Thomas yn naddu, a phwy oedd ei ddyn *o*. Dywedai Gwen Rolant ei bod hi yn ofni fod crefyddwyr yr oes hon yn myned i dir pell iawn. Pan oedd hi yn ieuanc, y ffordd y byddid yn dewis blaenoriaid oedd i ddau bregethwr, neu ynte bregethwr a blaenor ddyfod i'r seiat, ac i bawb fyned atynt, a *dyweyd* pwy oeddynt am ddewis; ond yrwan fod rhyw *Balet* yn dwad, pwy bynag oedd hwnw—yr oedd hi yn ofni oddiwrth ei enw ei fod yn perthyn rywbeth i Belial. Ac am y *tiwgl* yr oeddynt yn son am dano, yr oedd hi yn siwr mai Sais oedd hwnw, ac mai gwaith Peter Watcyn oedd ei gael yno, fel y cai o wybod pan nesa' y gwelai hi o. "Ni chymer'sai William Thomas lawer o hono ei hun," ychwanegai yr hen chwaer, "â nol Saeson yma, ac ni ddarfu o gymaint a henwi un o honynt y noson hono, yr hyn oedd yn dangos yn ddigon plaen mai gwaith Peter Watcyn oedd y cwbl."

Afreidiol ydyw dyweyd fod Gwen Rolant, pan ddaeth noswaith y dewisiad, wedi cael ei siomi o'r ochr oreu, ac na welodd ac na chlywodd, er chwilio a chlustfeinio ei goreu, yr un Sais yn y cyfarfod, ond yn hytrach pregethwr a blaenor. Y cyntaf a adwaenai yn dda, ac oedd anwyl iawn ganddi. Ac yr oedd Gwen druan yn diolch o'i chalon nad oedd crefyddwyr yr oes hon wedi myned i dir mor bell ag yr oedd hi wedi ofni.

L. N. M.

---

# Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

GENESIS vii. 1: "Dywedodd yr Arglwydd wrth Noah, Dos di, a'th holl dŷ, i'r arch; canys tydi a welais i yn gyfiawn ger fy mron i yn yr oes hon."

YR oedd pob cnawd wedi llygru ei ffordd; ond cafwyd Noah yn gyfiawn ger bron Duw yn yr oes annuwiol hono; yr oedd efe yn nofio mewn sancteiddrwydd yn erbyn y ffrwd o fyd cyfan. A phan yr oedd poblogaeth y byd annuwiol, oll, yn cael eu boddi â dyfroedd y diluw, cafodd Noah arch i nofio mewn diogelwch nes glanio ar fynyddoedd yr Ararat. Os na chawn ninnau grefydd a'n cyfyd yn awr uwchlaw'r byd, hi a fydd ry wan yn y diwedd i'n codi uwchlaw'r diluw dinystriol. Crefydd na'n rhwystra i gydymffurfio â'r byd, ni bydd hono yn gallu rhwystro ein damnio gyda'r byd."—*Y diweddar Barch. William Morris, Tŷddewi.*

PSALM xcii. 12: "Y cyfiawn a flodeua fel palmwydden."

YR oedd cynnyrch a ffrwythau gwlad Canaan, yn enwedig ei choed, yn cael eu defnyddio yn dra mynych yn arwyddluniau o bethau ysbrydol; a chan fod amryw o'r rhai hyny yn ddyeithr i'n gwlad ni, nis gellir deall y gwirionedd y bwriedir ei drosglwyddo trwy y gymhariaeth heb yn gyntaf fod yn adnabyddus o honynt. Dyna y balmwydden fel esiampl: y mae hon yn un o goed mwyaf gwerthfawr y Dwyrain. Mae'r tlodion yn byw bron yn gwbl ar ei ffrwyth hi. Y mae hi bob amser yn werddlas, ac y mae ei phresenoldeb yn brawf sicr fod dwfr heb fod nebpell o'r lle. Am hyny y mae golwg arni hi yn dadebru enaid y teithiwr sychedig yn yr anialwch; ac nid oes fodd argy-

hoeddi Arabiad y diffeithwch y gall gwlad fod yn un hapus os na bydd palmwydden ynddi. A ni yn gwybod y pethau hyn, mor brydferth yw yr ymadrodd a ddywed fod y cyfiawn yn blodeuo fel y balmwydden!—*Y diweddar Barch. Edward Morgan, Dyffryn.*

---

DIAREBION XX. 25: "Magl yw i ŵr lyncu peth cysegredig; ac wedi addunedu, ymofyn."

CYFIEITHIAD Delitzsch ydyw, "Magl yw i ŵr waeddi allan yn frysiog, Cysegredig, ac yn gyntaf ar ol addunedu, ymofyn." Y golygiad ydyw, dyn mewn sydynrwydd yn traethu nad yw hyn neu arall ymysg ei feddiannau i berthyn rhagllaw iddo ef, ond ei fod yn gysegredig i Dduw, ac i'w gyflwyno i wasanaeth crefyddol y deml. Mae'r cyfryw adduned ddisymwth yn dyfod yn fagl i ddyn. Y mae, fe allai, wedi addaw mwy nag oedd weddus neu ddyledus oddiwrtho, neu, y mae cyflawniad yr adduned yn gysylltiedig âg anhawsderau iddo ei hun, ac, hwyrach, yn rhwym o fod yn flinder i eraill oedd a wnelent rywbeth â'r hyn a addäwyd, neu, gallai ei fod ef wedi edifaru ac yn myned i dori ei adduned. Dyna efe, pa fodd bynag, yn lle rhwydd-gyflawni ei adduned, yn ymchwilio a ddylai efe gadw y cyfryw adduned, neu ai ni ddylai gilio rhag gwneuthur yr hyn a addawodd. Dylai dyn wneuthur pob peth mewn pwyll ac arafwch, ac yn enwedig gwylio rhag i deimlad y foment orthrechu doethineb a barn.

---

LUC viii. 24: "Ac efe a gyfododd, ac a geryddodd y gwynt a'r tònau dwfr; a hwy a beidiasant, a hi a aeth yn dawel."

YR oedd dysgyblion Crist mewn llong, "ac fe gyfododd tymhestl fawr o wynt, a'r tònau a daflasant i'r llong hyd onid oedd hi yn llawn weithian." Ac yr oedd yr Athraw mawr "yn y pen ol i'r llong," yn y *cabin*, "yn cysgu ar obenydd." Yr oedd efe yn gallu cysgu yn dawel pan ydoedd pawb eraill yn flin a thrallodedig iawn arnynt. Pan yr oedd holl obaith y dysgyblion am gadwedigaeth eu bywyd wedi darfod, hwy a aethant ato ef i'w ddeffroi, ac a ddywedasant wrtho, "Athraw, ai difater genyt ein colli ni?" Dyma'r swn a glywodd wrth ochr ei *hammock:* Colli! Y bywyd mewn perygl! Ond pe eu colli hwy a wnaethid, mi fentraf ddywedyd mai hwn a fuasai y tro cyntaf i neb golli â'r Iesu ar y bwrdd. Dychymygaf ei weled, wedi'r fath appelio ato, yn dringo grisiau'r *companion*, a chàn gynted âg y daeth ei wyneb i'r golwg, y gwynt yn y fan megys yn gwladeiddio! Beth oedd yn peri hyn? Neb llai na Duw mewn cnawd oedd yno; ïe, Duw â thafod dynol yn dywedyd wrth y gwynt a'r môr am ostegu a dystewi. O ein Harglwydd, ebe'r gwynt ystormus a'r môr cynhyrfus, nis gwyddem ni ddim dy fod di yna. Wel, dystawa di, wynt, yn awr, a gostega dithau, fôr, medd yr Iesu. Ac yn ebrwydd dyna'r gwynt a'r môr yn myned yn ddystaw, fel dau gorgi bach wedi i'w meistr *stampo* ei draed yn y llawr. Rhyfedd iawn! y mae pobpeth a phawb ond dyn yn deall Duw yn llefaru.—*Y diweddar Barch. Ebenezer Richard.*

---

# Barddoniaeth.

## MYFYRDOD WRTH FYNED I'R ADDOLIAD FORE SABBATH YN MANCHESTER.

TYWYSED Duw ei weision—i saethu
Yn syth i bob calon;
Mawl o hyd sy 'n nhemlau Iôn
At ennill pentewynion.

Clychau â'u seiniau cysonol—'n galw
Pob gelyn yn siriol:
"Y truan erch tro yn ol
I fodrwy yr Anfeidrol."

Achuber, rhag yr *Ichabod*,—â gras
Iesu Grist, rhag pechod;
D'weder, o lyfr y Duwdod,
Y Crist fu yw 'r Crist i fod.

Ceir gwledd, O ryfedd! yn rhad,—yn deilwng
O deulu 'r nefolwlad;
Yn SION mae croesawiad,—
Gwin "y tŷ" yw gwên y Tad.

Mawr fraint gan y saint yw son—am y groes
Dyma gred pob cristion;
Awr â hwyl fyddo 'r awr hon,
Awr dyger gwaredigion

I afael breintiau 'r Nefoedd,—dyma fraint,
Dyma fri 'r holl oesoedd;
Rhoer allan y gân ar g'oedd,—
Ioli, moli wna 'r miloedd!

IDRIS FYCHAN.

*Manchester.*

---

## YMADAWIAD Y PARCH. O. T. WILLIAMS O CROESOR,

I gymeryd gofal gweinidogaethol eglwys Seisonig Dolgellau.

I ŴR gaed i ni mor gu,—ar Groesor,
Gresyn ydoedd cefnu;
Ond dywed ef, 'r wy 'n credu—"Bwriad Iôn,
Yw arwain Saeson i deyrnas Iesu."

O'm henaid gwnaf ddymuno,—"Duw yn rhwydd"
Er dwyn ei ran iddo;
Hedd ddylanwad ddilyno
Ei goeth iawn bregethau o.

Ewyllys Duw yw llesâu dyn,—a'i gael
Mewn gair, iddo 'n blentyn,
A gwneyd angel o'i elyn,
Er ei fawl, trwy 'i air a fyn.

Dwyn y byd o enau bedd—annuwiaeth,
Wna 'n Howen drwy 'i rinwedd;
Boed dwyfol anfarwoledd,
Geiriau Duw yn gwrido 'i wedd.

Ysbryd Iôr fo 'n sibrwd iaith,—i'w enaid,
Mewn goleuni perffaith;
Felly dêl ef a'i holl daith
Yn goronog ar unwaith.

Einioes hir, ac hynaws wên,—yr Iesu
Grasol fyddo i Owen;
A llwyddiant mewn dull addien,
Diwedd oes mewn dyddiau hen.

NAMORYDD.

---

### YMSON Y BRENIN AMSER.

Er nad wyf mewn gwisgoedd rhwysgfawr,
Fel breninoedd daear lawr,
Eto 'r mwyaf un o honynt
Ger fy mron a blyga i lawr:
Tywysogion, uchelswyddwyr
O bob gradd, ac ymhob oes,
Gydnabyddant fy awdurdod
Gydag ofn a pharchus foes;
Nid oes berlau yn fy nghoron,
Unig wyf ar orsedd ddu,
Eto pawb a'm gwasanaethant,—
Ymherawdwr ydwyf fi!

Fel y lleidr yn y cyfnos
Symud wnaf ar ysgafn droed;
Cipiaf ymaith degwch swynol
Y lwys wyryf, ugain oed;
Ol fy aradr a ganfyddir
Ar y gwan hynafgwr draw,
Yn y cwysi ar ei ruddiau,—
Ar ei wyw grynedig law;
Hen ac ieuanc, gwan a gwrol
Ymostyngant im' yn llu;
Mae y cyfan wrth fy ngalwad,—
Ymherawdwr ydwyf fi!

Ar drysorau 'r byd ymborthaf,
Ymdaith wnaf mewn rhwysg a grym,
Nid yw cedyrn bethau 'r ddaear
Wrth fy ngallu i yn ddim;
Adeilader teg ddinasoedd,
Coder cestyll ymhob gwlad,
Y cadarnaf a faluriaf,
Try yn llwch o dan fy nhra'd;
Dan fy nyrnod y palasau
Gwychaf ânt yn adfail ddu,
Gwelaf dranc pob peth daearol,—
Ymherawdwr ydwyf fi!

Dyna fel y balch ymffrostiai
Amser, yn ei neuadd fawr,
Tra 'n ymborthi ar weddillion
Cenedlaethau daear lawr;
Oriau, dyddiau, chwim flynyddau,
O'ent ei wasanaethwyr ef,—
* * * *
Ond yn sydyn, udgorn seiniai,
Siglai seiliau 'r neuadd gref,
Ar ei sedd y teyrn a grynai,
Oer a gwelw troes ei wedd!
Ac yn mynwent tragwyddoldeb
Amser ddodwyd yn ei fedd!

ANTHROPOS.

*Bala.*

---

## Bwrdd y Golygydd.

---

### Y DIWEDDAR MR. P. M. EVANS.

At y crynodeb a roddwyd mewn ffordd o hanes am Mr. Evans yn ein rhifyn diweddaf, dyledus arnom yw cyfeirio yn fyr at brif deithi ei gymeriad. Yr oedd yn feddiannol ar ddynoliaeth gyflawn a thrwyadl; ni chafodd neb mo hono ar un amgylchiad yn llai na dyn. Yr oedd synwyr cryf a theimlad tyner, cydwybodolrwydd manwl a rhyddfrydedd llwyr, wedi eu cyfuno ynddo; ac yr oedd ei wybodaeth a'i gallineb, gyda'i fedr a'i fwyneidd-dra, yn ei osod ar y blaen yn yr holl gylchoedd y ceffid ef ynddynt. Pe buasai heddynadon bwrdeisiol yn perthyn i Dreffynnon, mae yn ddiau y gosodasid Mr. Evans er ys talm ar y fainc heddynadol; ac, er heb yr enw, gwyddom y byddai gweithredoedd goreu ustus heddwch yn cael ei cyflawni ganddo. Ag ef yr ymgynghorai ei gymydogion ymhob pynciau o bwys; a gallesid llwyr ymddiried ynddo am gadw cyfrinach. Bu am amser yn Gadeirydd *Local Board* Treffynnon, ac yn Gadeirydd *Assessment and Sanitary Committees* Undeb Treffynnon; ac nid oedd bosibl i neb lanw'r lleoedd hyny yn well ac yn fwy cymeradwy nag y gwnai efe. Lliaws mewn cyfyngderau a phrofedigaethau a gysurwyd ac a gynnorthwywyd yn effeithiol ganddo; a theimlir gwagle mawr ar ei ol yn hyn o ran. Fel meistr, yr oedd megys dyn gyda dynion, ac yn cael ei fawr barchu a'i garu gan y rhai a lywodraethid ganddo.

Tra yr oedd yn rhydd a charedig mewn cymdeithas yn gyffredinol, cofir ef gan y rhai hyny a anrhydeddwyd â'i gyfeillach yn neillduol fel un o'r cyfeillion puraf, serchocaf, a ffyddlonaf y cyfarfuasant erioed âg ef. Yr oedd meddylgarwch, rhadlonedd, a diffuantrwydd yn ei hynodi fel y cyfryw; cynghorai mewn doethineb a thiriondeb, cydymdeimlai yn garuaidd, a chynnorthwyai gyda pharodrwydd; ac yr oedd ei gyfrin-gyfeillach yn fwynhäol yn wir.

Fel blaenor eglwysig, yr oedd wedi ennill

iddo ei hun radd dda. Yn yr eglwys gartref, ni hir-siaradai ar un mater nac un amser, ond siaradai yn wastad i'r pwrpas, fel y teimlid yn ddiogel yn wastad pan gyfodai efe i lefaru. Wrth drin athrawiaeth, neu ymdrin â phrofiad, neu rybuddio, cynghori, a cheryddu pan fyddai eisieu, ni cheid ef yn ormodol mwy nag yn ddiffygiol yn yr hyn a ddywedai; ac nid oedd ei well am fod yn galonogol i'r holl frawdoliaeth. Y golled fwyaf i eglwys a chynnulleidfa Rehoboth oedd ei ymadawiad ef. Yn Nghyfarfod Misol ei wlad, yr oedd efe yn un o'r "rhai a dybid eu bod yn golofnau." Yr oedd ei farn addfed, ynghyda'i bwyll a'i gymedroledd, yn gorchymyn gwrandawiad astud, ac yn gyffredin yn sicrhâu cydsyniad rhwydd i'r hyn a leferid ganddo. Mynych y penodid ef i fyned ar ymweliadau i eglwysi, a chroesaw cynhes a dderbyniai ymhob man. Yr oedd er ys llawer o flynyddoedd yn Gyfarwyddwr y Genadaeth Dramor, ac yn Gyfarwyddwr yr Athrofa, dros ei Sir, ac yn hyny, megys ymhob peth arall, yn cyflawni ei swyddogaethau yn ddaionus. Bu am tuag ugain mlynedd yn Ysgrifenydd Cyfeisteddfod y Blaenoriaid yn Nghymdeithasfa y Gogledd, ac "ysgrifenydd cymhwys" ydoedd i'w frodyr, heb ynddo 'dwrf, rhwysg, na rhodres yn ei oruchwyliaeth. Fel cyhoeddwr cylchgyhoeddiadau y Cyfundeb, yr oedd pob peth yn drefnus ganddo, a'r Cyfundeb ar ei ennill oddiar ei law.

Ni fwriadasom wrth alw sylw at farwolaeth ein hanwyl gyfaill roddi yma fywgraffiad am dano; ac felly gweddus yw i ni yn awr dynu at derfyniad. Nis goddef ein teimlad i ni fyned at amgylchiadau ei farwolaeth; mae ein holl ddarllenwyr yn hysbys am ei angeu disyfyd iawn pan yr oedd wedi myned i'r Gymanfa Gyffredinol yn Aberystwyth, yr hyn a barodd y prudd-der mwyaf i'r holl gyfeillion cynnulledig yno. Yn ddiau, nid anghofir byth yr effaith ddwysgynhyrfiol a gafodd y newydd annysgwyliadwy am ei ymadawiad dyeithr a disymwth arnom. Ond edrych i fyny a ddylem. Yr Arglwydd, yr hwn a ŵyr beth sydd oreu, ac nis gall wneuthur ond yr hyn sydd oreu, efe a wnaeth hyn; a gweddus yw i ni ddystewi yn yr Arglwydd. Yr oedd rhywbeth yn hynod, ac megys yn rhagargoel o'i ymadawiad diattreg, yn ei waith yn ymryddhâu oddiwrth ofalon a gorchwylion o un i un: rhoddi i fyny swyddau trefol a gwladol, ymddiswyddo o fod yn Ysgrifenydd Cyfeisteddfod y Diaconiaid yn y Gymdeithasfa, gwneuthur i fyny mewn modd manylach nag arferol ei holl gyfrifon arianol erbyn dechre'r flwyddyn hon, trefnu ei holl amgylchiadau, gosod ei ail fab, oedd gydag ef, i ofalu yn uniongyrchol am ddwyn ymlaen ei fasnach, a phethau eraill cyffelyb. Yr oedd y Nefoedd megys yn mynu ei barotoi yn allanol i fyned ymaith o'r byd hwn, tra yr oedd ei barotoad ysbrydol i'r gwynfyd fry wedi ei gyflawni yn flaenorol. Colled i ni oedd ei symudiad oddiyma, ac yn enwedig pan y dysgwy liem ei gael am amser eto; ond yr oedd raid wrtho yno, lle y mae ganddo waith pr odol yn gystal âg urddas breniuol, canys am y seintiau nefol y dywedir, "Ei weision Ef â'i gwasanaethant Ef—a hwy a deyrnasant yn oes oesoedd."

---

## HYNODION BYWYD YR ARGLWYDD IESU.

MR. GOLYGYDD,—Da genyf weled y rhyddfrydigrwydd sydd yn nodweddu eich *Bwrdd Golygyddol* pan yn caniatâu i'm sylwadau blaenorol ymddangos. Amcanaf ymgadw rhag cerdded yn rhy agos i'r dibyn, a rhoddi fy hun yn agored i'r enbydrwydd o syrthio i'r dyfnder islaw, gan nad oes genyf mewn golwg ond yn unig ceisio dyfod i fwy o eglurder yn y dadguddiad y mae Duw wedi ei roddi i ni yn hanes bywyd ein Hiachawdwr bendigedig.

Er y dichon y byddaf yn ymddangos ar y cyntaf fel yn rhedeg yn rhy bell i dir dyeithr ac anhawdd ei oddef, eto gan arfer gweddi am arweiniad Ysbryd Duw, dichon y llwyddir i ennill tir o'r newydd.

Wrth sylwi ar ymgnawdoliad yr Arglwydd Iesu, cawn yn ei enedigaeth y cyfuniad a'r cymesuredd mwyaf cydnaws a goruchel o'r hyn sydd yn naturiol a'r hyn sydd yn oruwchnaturiol; a'n perygl mawr, wrth siarad am dano, ydyw colli golwg ar y gwirionedd pwysig yma, a myned yn eithafol gyffredin, neu redeg yn ormodol i'r eithafion cyferbyniol, a chyda'r naill neu'r llall golli golwg ar ei wir fawredd. Dywedai Paul am yr Adda cyntaf, "Y cyntaf o'r ddaear yn ddaearol. Nid cyntaf yr ysbrydol, ond yr anianol, ac wedi hyny yr ysbrydol." Nid felly yn yr ystyr gyfammodol yn unig, ond yn sylweddol hefyd. "Megys y dygasom," yn gorfforol, "ddelw y daearol, ni a ddygwn hefyd," yn gorfforol, "ddelw y nefol," neu ysbrydol; nid yn unig y bywyd ysbrydol, ond y corff hefyd. Yr unig reswm sydd genym i'w roddi dros fod yr Arglwydd Iesu yn ymddangos yn y cymeriad o gorff ysbrydol ar ddechreuad cyfnod y deugain niwrnod, sef wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, ydyw y ffaith ei fod wedi gorphen ei waith, a dyosg yr agwedd a gymerodd efe arno ei hun. Nis gallwn ddyfod i'r penderfyniad mai ei arosiad yn y bedd am dridiau a theirnos a ddygodd y cyfnewidiad hwn oddiamgylch, nac ychwaith yr amgylchiadau yr aeth efe trwyddynt o'i enedigaeth hyd ei farwolaeth. Amcan mawr ei ddarostyngiad a'i ddyoddefaint ydoedd rhoddi iawn, er cyfreithloni i eraill hawl i'w ddelw ef trwy gredu ynddo. Nid rhoddi iawn er cyrhaeddyd y safle hwnw o fywyd a'r corff gogoneddus a ddangosid ganddo ef yn ei adgyfodiad. Yr oedd y naill a'r llall ganddo ef yn flaenorol, ond yn unig ei fod oblegid y wisg, yr agwedd, a'r darostyngiad yr aeth efe iddo, i'w gael yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus; ond mor fuan ag y gorphenodd y gwaith, wele y fantell fawr—y cyfrifiad—yn cael ei dyosg, ac wele gorff gogoneddus yn ymddangos fore yr adgyfodiad, ie, yr hyn oedd yn bod yn flaenorol, ond yn unig fod y gorchudd wedi ei gymeryd ymaith. Fel yr oedd yn Ail Adda, nid ydoedd yn ddarostyngedig i'r un gollfarn a'r Adda cyntaf,

"Gan farw ti a fyddi farw; trwy chwys dy wyneb y bwytei fara, hyd pan ddychwelech i'r ddaear, oblegid o honi y'th gymerwyd; canys pridd wyt, ac i'r pridd y dychweli." Na, yr oedd yn rhaid iddo ef roddi ei einioes i lawr o hono ei hun cyn y gallesid ei chymeryd oddiarno; a thra yn ei rhoddi i lawr, yr oedd ei hawl ef yn parhâu iddi drachefn. Yr oedd bywyd ac anllygredigaeth wedi ei ddwyn i oleuni yn ei Berson ef tra yn nyddiau ei gnawd. Ond efe a ddyoddefodd y groes, ac a aeth yn dranc i'r bedd, fel y byddai yn iawn digonol dros y rhai oeddynt o dan gollfarn marwolaeth, ac fel y dygid hwy i feddiant o'i fywyd anllygredig a gogoneddus ef.

Yr ydym wedi awgrymu yn ein sylwadau blaenorol fod dynoliaeth bersonol yr Arglwydd Iesu uwchlaw bod yn ddarostyngedig, nid yn unig i bechodau, ond hefyd i wendidau naturiol, y natur ddynol, fel y mae yn deillio o'r Adda cyntaf. Os cawn rywbryd yn ei hanes iddo ddangos safle o fywyd a chorff mor ogoneddus nad ydoedd mewn un modd yn ddarostyngedig i wendidau a gyfrifir genym yn ddibechod, megys blino, newynu, sychedu, &c., rhaid ei fod ef ei hun felly o'i enedigaeth, gan nad oedd yn rhaid iddo ef fyned drwy unrhyw gwrs o amgylchiadau iawnol er ei gynnysgaethu â chorff mor ogoneddus ag a ddangoswyd ganddo yn ei adgyfodiad. Y pryd hwn yr ydym yn cael golwg ar ragoriaeth ardderchog bywyd a chorff yr Ail Adda rhagor yr Adda cyntaf. Bellach nid y daearol ond y nefol, nid yr anianol ond yr ysbrydol, a welir; nid yn unig y bywyd felly, ond y corff hefyd. Yn awr, y dirgelwch y carem ddyfod i oleuni arno ydyw hyn, Ai hwn oedd y bywyd, ai hwn oedd y corff, a brofwyd ac a deimlwyd ac a welwyd yn gwisgo agwedd gwas—a wnaed mewn dull fel dyn, ac a ymddangosodd yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus? Ië, hwn oedd efe, ac heb fyned trwy un math o gyfnewidiad (er marw ar y groes, a'i ddodi mewn bedd i orwedd am dridiau a theirnos) mewn trefn i ymddangos yn yr adgyfodiad, yr hyn ni wnaeth efe o'r blaen ond yn unig un waith, sef ar Fynydd y Gweddnewidiad. Cafodd Pedr ac Iago ac Ioan olwg arno yn ogoneddus iawn, ei wyneb yn ddysglaer fel yr haul, a'i ddillad oedd cân wyned a'r goleuni, yn ganaid iawn, y fath ni fedr un panwr ar y ddaear eu cànu, trwy leni tywyll y cyfrifiad a'i ddarostyngiad. Fe ddyoddefodd demtasiynau y diafol, ond nid oedd un gogwydd yn ei feddwl i blygu iddynt. Ymddygodd y gyfraith tuag ato fel at ddyn pechadurus; ymddarostyngodd i fod "ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr, fel y byddai drugarog ac Archoffeiriad ffyddlawn mewn pethau yn perthyn i Dduw, i wneuthur cymmod dros bechodau y bobl." Daeth yn ddarostyngedig i fod mewn eisieu, wedi ei gylchynu â gwendid, yn diffygio gan wendid mewn teithiau, yn rhaid iddo wrth fwyd a diod fel ninnau; ïe, felly er dwyn ynddo ei hun y fath sefyllfa ddyrchafedig o gorff a bywyd nad ydoedd yn ddarostyngedig i wendidau o un natur fel y cawn dystiolaeth o hyny cyn esgyn o hono i'r gogoniant. Fe brofodd i'w ddysgyblion y pryd hwnw wedi ei adgyfodi mai efe ydoedd yr un a fu gyda hwy fel eu Harglwydd a'u hathraw, ac ymhob peth fel un o honynt hwy—trwy fwyta yn eu gwydd hwynt, a phrofi tu hwnt i bob ammheuaeth mai efe ydoedd eu Harglwydd a groeshoeliwyd ac a adgyfododd. Yn wir, gwnaeth yr arwydd hon yn ngwydd y dysgyblion, nid am ei fod yn ddarostyngedig i'r gwendid o fod mewn anghen bwyd; yr oedd efe uwchlaw pob darostyngiad bellach, ac wedi dwyn i'r goleuni yr hyn oedd yn bod yn flaenorol ynddo ef, fel yr ydym wedi sylwi eisoes. Gan Ioan yr ydym yn cael yr adroddiad llawnaf am y cyfnod rhyfedd o dan sylw yn y rhan olaf o'r ugeinfed bennod. Gwelwn fod yr Iesu yn gwneyd ymddangosiad wythnosol ddwywaith gyda'r dysgyblion pan mewn ystafell gauedig, wedi ymgasglu felly ynghyd rhag ofn yr Iuddewon; efe a safodd yn eu canol, ac a ddywedodd wrthynt, "Tangnefedd i chwi;" y gair mwyaf cysurol a allasai ddisgyn ar eu clustiau pan wedi ymgasglu yn fyntai fechan ddychrynedig a diamddiffyn. Yn yr amgylchiad hwn o eiddo yr Arglwydd Iesu, yr ydym yn cyfarfod â llawer o ddyeithrwch ac anhawsder yn y ffaith fod yr Arglwydd Iesu wedi ymddangos yn y lle yr oedd y dysgyblion wedi ymgasglu a'r drysau yn ngauad. Pa fodd y gallasai mater fyned drwy fater? Clywsom un, tra yn ceisio osgoi yr anhawsder hwn, yn dyweyd nad ydyw geiriau yr hanesydd yn cymeryd i fewn y syniad fod yr Arglwydd Iesu wedi myned i fewn at y dysgyblion heb agoryd y drws, ond mai yn nghauad y cafodd efe y drws pan yn myned i'r ystafell, ac iddo fyned i mewn atynt gan agoryd y drws heb iddynt ddeall hyny. Yr ydym yn ddiolchgar i'r brawd hwn am ei gynnyg, ond yr ydym yn ei gael yn osgoi yr anhawsder yn hytrach na'i orchfygu. Nid y ffaith fod yr Arglwydd Iesu wedi cael y drysau yn nghauad a wnaeth i'r ysgrifenydd son am danynt felly, ond y ffaith ddarfod iddo ef ymddangos yn eu plith "*a'r drysau yn nghauad*," a'u bod felly o ran diogelwch iddynt rhag ofn yr Iuddewon. Ond gallwn ni ddyweyd fod yr Arglwydd Iesu yn awr yn gwneyd hyny yn berffaith naturiol, gan nas gallai sefyllfa ei natur ysbrydol fod yn ddarostyngedig i anhawsderau deddfau natur, megys i fater fyned trwy fater—ymddangosiad a diflaniad mater i olwg llygaid. Yr oedd ei holl weithredoedd y pryd hwn mewn perffaith gydgordiad â gallu ysbrydol, yr hwn sydd yn annhraethol uwchlaw yr anianol a'r naturiol, ac yn oruchaf arnynt mewn nerth a gallu, ac nid ydynt ar ei ffordd pan yn cyflawni ei waith a'i amcanion yn y byd hwn.

Hefyd, nid wrth unrhyw ddeddf, nac yn groes i unrhyw ddeddf yr esgynodd yn ngwydd y dysgyblion i'r drydedd nef. Wrth ei allu ysbrydol yr esgynai, ar wahân i unrhyw ddylanwad deddf oddiallan; ac nid oedd gweithrediad y gallu hwnw yn gwrthdaro mewn unrhyw amgylchiad yn erbyn neu yn myned yn groes i hyny. Y mae yn allu rhydd oddiwrth unrhyw derfynau neu reol deddf. Nid oes gan ddeddf natur hawl ar gorff ysbrydol; o ganlyniad nid ydyw yn

ddarostyngedig i'r cyfryw. Cyfrifwn y gallu hwn uwchlaw y gwyrthiol, ac yn perthyn yn unig i'r byd ysbrydol ac anweledig. Nis gellir ei feddu yn y fuchedd hon. Rhaid i'r anianol gael ei greu o'r newydd a'i godi yn gorff ysbrydol. Nid trwy wyrth yr adgyfododd yr Iesu oddiwrth y meirw; nid trwy wyrth yr ymddangosodd i'r dysgyblion â'r drysau yn nghauad, ac nid trwy wyrth yr esgynodd i'r gogoniant. Pe gwyrth fuasai y naill neu'r llall o'r amgylchiadau hyn, rhaid mai trwy wyrth yr adgyfodir y saint y dydd diweddaf. Crist ydyw y blaenffrwyth o'r adgyfodiad cyffredinol hwnw, ac yn nerth yr un gallu a'r "blaenffrwyth" yr esgynant i fyny o dir y meirw i'r gogoniant, lle y teyrnasant mewn bywyd ac anllygredigaeth yn oes oesoedd.

Bydd genym eto sylwadau pellach mewn rhifyn dyfodol.

LEVI.

*Cemmaes, Môn.*

---

### YN Y RHIDYLL.

MEISTR GOLYGYDD,—Yr wyf yn cadw rhidyll go dda, ac yn gwneuthur defnydd o honi. Byddaf yn rhoi ac yn ysgwyd ynddi yr amrywiol rawn a gaf yn y gwahanol gyfnodolion a chyhoeddiadau i'w rhidyllio, yn lle cymeryd pob peth yn rhwydd fel y byddont. Ac yr wyf wedi meddwl anfon atoch chwi yn awr ac eilwaith hysbysrwydd am rai gronynau a welaf yn rhy anhylaw i fyned i lawr yn ystwyth drwy y rhidyll. A chaiff y cynnullwyr esbonio, os mynant, pa un ai ar fy rhidyll i, ai ynte ar eu grawn hwy, yr oedd y bai.

Mewn cyhoeddiad yr un fath i'r llythyren a'r ysbryd â'r eiddoch chwi, dywed yr ysgrifydd am ddarlith a draddodir gan weinidog ffraeth ar deithi a hynodion hen weinidog ymadawedig, "Mae y ddarlith hon wedi bod yn foddion i gasglu amryw filoedd tuag at ddiddyledu capelau." Ni ddywedir, fe welir, amryw filoedd o ba beth. Ai casglu amryw filoedd o bobl ynghyd i wrando a feddylir? Ond oddiwrth yr ymadrodd "i ddiddyledu capelau," gellid tybied mai casglu cyfraniadau arianol at dalu'r dyledion yw'r syniad, ac felly, wrth gwrs, miloedd o bunnau a olygir. Eithr ai nid ydyw hyna yn ormodiaith? I wneyd *amryw* filoedd, cymerer dim llai na phump. Wele, ynte, pum' mil o bunnoedd,—pa faint o gyfarfodydd darlithio a gynnaliwyd i hela hyny? A dywedyd fod pob darlithiad gan y brawd llwyddiannus wedi cynnyrchu deg punt o elw clir, yr hyn sydd dra annhebyg, yr oedd raid iddo felly draddodi ei un ddarlith ryfedd bum' cant o weithiau i wneuthur hyny; ac y mae hyna hyd yn hyn yn methu myned i lawr yn hwylus trwy fy rhidyll i.

Gohebydd i newyddiadur crefyddol—un o'r ymwelwyr crwydrol sydd yn gwneuthur cofnodiadau o'u mynediadau a'u gwelediadau, a ysgrifena ei fod o fewn i un o "synagogau yr Hen Gorff" ar Sabboth yn ddiweddar yn gwrando hen batriarch sydd "wedi myned heibio i'r pedwar ugain, rai blynyddau," ac medd efe, "Cawsom bregeth am awr ond deg mynyd oddiwrth y geiriau hyny yn y Philippiaid, 'Na wnewch gyfrif o ddim, eithr ymhob dim diolchwch, &c.'" Dylai gohebydd swyddol, a hwnw yn ddiacon eglwysig, ac un yn ysgrifenu yn barhâus am bregethu a phregethwyr, fod yn hyddysg yn siŵr yn ei Fibl; ond gwelir, ysywaeth, mai nid felly y mae. *Nid oes* yn yr epistol at y Philippiaid "y geiriau hyny" a ddywed efe. Cawn Paul yn Miletus, wrth gyfarch henuriaid eglwys Ephesus, yn dywedyd, "Nid wyf fi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy llawenydd." Ac yn yr ail epistol at y Thessaloniaid, efe a ddywed, "Ymhob dim diolchwch." A dyma yr ymwelwr gohebyddol hwn yn peri i'r geiriau yn yr Actau ac yn y Thessaloniaid ymwneuthur yn un adnod, ac ymfudo i'r Philippiaid! Hwyrach mai'r gwir destun ydoedd, "Na ofelwch am ddim, eithr ymhob peth mewn gweddi ac ymbil gyda diolchgarwch, gwneler eich deisyfiadau chwi yn hysbys ger bron Duw." Y *mae'r* geiriau yna yn y Philippiaid; a gallesid meddwl y buasai gŵr cyhoeddus gyda chrefydd yn ddigon cyfarwydd ynddynt fel ag i beidio ceisio asio darnau o ddwy adnod o leoedd eraill, i'w gwneyd hwy i fyny. Cynghorwn ef i edrych i'w Fibl pan gymero pregethwr ei destun, ac yn neillduol pan yr elo efe i ysgrifenu y testun i'r wasg. Mae yn wir nad oedd yna unpeth tebyg i heresi; ond yr oedd yn bradychu diofalwch ac anghof, os nid anwybodaeth. Nis gall y gwŷr sydd yn rhedeg i'r print fod yn rhy fanwl wrth wneyd dyfynodiadau.

Ymhellach: darllenais adolygiad newyddiadurol ar lyfr "Cofiant y Parchedig John Jones, Blaenanerch." Heblaw cyfeirio at y llyfr, y mae yr adolygydd yn rhoi adgofion o'r eiddo ei hun am dano mewn Cymdeithasfäoedd yn Llangadog ac yn Llanrwst, ac mewn Cyfarfod Misol yn y Dinas, Sir Benfro. Fel hyn y dywed am dano yn Llanrwst: "Nid anghofiwn byth am dano yn cymeryd rhan yn yr ymdriniaeth ar Eiriolaeth Crist yn Nghymdeithasfa Llanrwst yn 1864. Yr oedd Mr. Rees, a Mr. Morgan, a Mr. John Phillips yno; ond Mr. John Jones o ddigon a gynnyrchodd fwyaf o effaith. Yr oedd yn gwaeddi yn ogoneddus, a'r bobl mewn hwyl orfoleddus. Pregethodd dair gwaith yn y Gymdeithasfa hono, sef y tair noswaith. Yr oeddid yn cynnal Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol mewn ystafell yn ymyl y capel yn amser gwasanaeth y nos gyntaf, ac yntau gyda rhywun arall yn pregethu. Ymhen tipyn, pan oeddym yn brysur yn nghanol gweithrediadau y pwyllgor, dyma swn llais Mr. Jones yn tori arnom, a chodi yn uwch uwch, nes i ni fethu myned ymlaen; ac nid oedd neb yn cael mwy o fwynhâd na Mr. Rees." Wel, *fe fu* Cymdeithasfa yn Llanrwst yn 1864, a hi oedd Cymdeithasfa Mehefin y flwyddyn hono; ac *yr oedd* y Parchedig Feistri Rees a Morgan a Phillips ynddi. Ond *nid oedd* Mr. Jones, Blaenanerch, ynddi o gwbl. Aethum i'r Sasiwn hono i wrando'r pregethau; ac y mae enwau'r pregethwyr, ynghyd a'r testynau, genyf eto

yn ysgrifenedig; ydynt, ac yn argraffedig; ac felly gallaf sicrhâu mai camadroddiad yw cysylltu enw yr efengylwr o Flaenanerch â dygiad ymlaen Gymdeithasfa Llanrwst yn 1864. Mae yn bur debyg i Mr. Adolygydd gyfarfod âg ef mewn rhyw Gymdeithasfa arall yn Ngogledd Cymru, yn yr hon y gallai fod Mr. Jones, fel y noda, "yn gwaeddi yn ogoneddus, &c.;" ond yr amryfusedd ydoedd i ŵr y pin ysgrifenu ddodi yr hen frawd hynod i lawr yn *Llanrwst*, ymha le na bu efe, os wyf yn iawn gofio, mewn Sasiwn erioed.

Dyna i chwi, syr, ddigon yn y rhidyll y tro hwn.—Yr eiddoch yn syber, ac yn sobr,

HENLANC RIDYLLIWR.

GAIR YN OL AT LEVI O'R CWMMAES.

ANWYL SYR,—Mae'r tipyn dadl sydd rhyngom ill dau yn troi ar y syniad a roddir ac a gymerir am y gair *cyfrifiad*. Chwi a ddywedwch (tu dal. 261), "mai trwy *oddefiad* neu *gyfrifiad* yr ydym i edrych ar wendidau naturiol natur ddynol yr Arglwydd Iesu." Attolwg, a fyddwch chwi cystal â rhoddi darnodiad i ni o'r hen air duwinyddol, *cyfrifiad?* Ac ai yr un peth â *goddefiad* a olygir genych yn yr ystyr o gyfrifiad pechod Adda i'w hil, cyfrifiad pechodau yr eglwys ar Grist, a chyfrifiad cyfiawnder Crist i'r neb a gredo? neu, A ydoedd y cyfrifiad o wendidau naturiol natur ddynol Crist iddo ef yn rhywbeth hollol wahanol o ran natur i'r cyfrifiadau eraill? Pan gaffwyf atebiad i hynyma, bydd yn haws barnu ynghylch y mater mewn dadl.—Ydwyf, yr eiddoch yn frawdol,

THADDEUS.

## Y Wasg.

HANES PRYDAIN FAWR *o'r cyfnodau boreuaf hyd y flwyddyn* 1878. *Gan y Parch.* OWEN JONES, *Llandudno.*

Llangollen: Hugh Jones, Argraffydd a Chyhoeddydd.

YR hanes, fel y dywedir wrthym yn gywir, sydd "wedi ei grynhoi i gylch byr, a'i ysgrifenu mewn arddull syml ac eglur, er mwyn gwerin Cymru na allant gyrhaedd manteision rhagorach." Mae y llythyren fân, a'r 116 o du dalenau, pa fodd bynag, yn rhoddi cryn lawer o ddarlleniad; a'r darllenydd a elo dros yr holl hanes, gan ei ddal yn ei gof, a fydd yn hanesydd Prydeinig da, oddiar wybod am "brif helyntion y deyrnas hon drwy yr oesoedd."

I'n tyb ni, dylasai yr awdwr medrus ranu y llyfr yn fân bennodau, gyda mynegai neu daflen cynnwysiad o'r cyfan, er mwyn i'r darllenydd droi yn hylaw at unrhyw dymmor neu amgylchiad wladol a fynai; ond, fel y mae, ceir y llyfr yn cynnwys llawer o wybodaeth fuddiol mewn ychydig o le. Gall y gweithiwr ei gymeryd yn ei logell, er ei ddifyru a'i addysgu yn ei fynydau hamddenol, a'r teithiwr ei ddefnyddio fel cydymaith i ymgomio yn gall am yr hen amser gynt; a gellir dysgwyl, megys y dywed y rhagymadrodd, i'r "gyfrol fechan ond cynnwysfawr hon, fod yn nwylaw ac ar fyrddau meibion llafur ein cenedl yn gyffredinol, ac y caiff llawer tad a mam yn Nghymru ddefnyddien ymddyddanion difyrus ac addysgiadol â'u plant ar yr aelwyd, hirnos gauaf, o'r llyfryn bychan hwn."

GRAMMADEG CYMRAEG, *gan* DAVID ROWLANDS, B.A. *(Dewi Môn), Athraw yn Ngholeg Aberhonddu.*

Wrexham: cyhoeddedig gan Hughes and Son.

"Darparwyd y llyfr hwn," medd yr awdwr, "ar gyfer y Cymry hyny a chwennychant ddeall cymaint o gyfansoddiad eu mamiaith ag a'u galluoga i'w hysgrifenu yn gywir. Cadwyd tri dosbarth neillduol mewn golwg: 1. Cymry uniaith, na wyddant ddim am rammadeg o gwbl. Er mwyn y dosbarth hwn, defnyddiwyd y termau grammadegol mwyaf adnabyddus, ac eglurwyd hwynt mewn iaith hawdd i'w deall. 2. Cymry dwyieithog ag sydd yn hyddysg yn ngrammadeg yr iaith Saesoneg. Er mwyn y dosbarth hwn, dodwyd geiriau Saesoneg rhwng cromfachau, lle bynag y gallent fod yn wasanaethgar. 3. Efrydwyr Cymreig yn ein Colegau. Er mwyn y dosbarth hwn, crynhöwyd i gylch bychan yr oll ag sydd yn anghenrheidiol ar ysgolaig cyffredin i'w wybod. Ymdrechwyd yr un pryd i barotoi y ffordd i astudiaeth o weithoedd eraill mwy cyflawn.

Annogwn ein cyfeillion ieuainc yn gyffredinol sydd heb feistroli egwyddorion grammadeg ein heniaith ardderchog, i astudio yn ddyfal y grammadeg newydd hwn, yr hwn sydd ar unwaith yn waith syml a gorchestol. Mewn ysgolion nosol yn nosweithiau'r gauaf, gall fod yn hyfforddwr hynod o wasanaethgar; a phwy bynag yn bersonol a roddo iddo efrydiaeth drwyadl, a ddaw yn ysgolaig Cymreig o werth a medr.

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## CYMDEITHASFA GWRECSAM,

**Mehefin 11, 12, 13, a'r 14eg, 1878.**

Llywydd,—Y Parchedig Emrys Evans, Dinbych.

(*Parhâd o tu dal.* 310.)

### Dydd Iau, Mehefin 13eg.

VII. Darllenwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol, gan yr Ysgrifenydd, yr hwn oedd fel y canlyn :—

*Adroddiad o Weithrediadau Cyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth Gartrefol, am 2 o'r gloch, ac am 6, prydnawn dydd Mawrth.*

Yr oedd yn bresennol,—Y Parchn. G. Williams, Talsarnau, a John Thomas, B.A.; Mri. Roger Evans, Thomas Lewis, Edward Vaughan; E. T. Jones, Dinbych; Edward Peters, Peter Williams; Richard Owen, Machynlleth; John Jones, Ashlands, Croesoswallt; Thomas Rowlands; John Davies, Salford; T. F. Roberts; y Trysorydd, a'r Ysgrifenydd. Dewiswyd Mr. T. Lewis i lywyddu y ddau gyfarfod.

1. Hysbyswyd fod Mr. John Davies wedi ei ddewis gan Manchester; y Parch. John Thomas, B.A., gan Henaduriaeth Lancashire; Mr. Richard Owen, Machynlleth, gan Ben Uchaf Trefaldwyn; Mr. John Jones, Ashlands, gan Ben Isaf Trefaldwyn; a Mr. E. T. Jones, gan Sir Ddinbych, i fod yn aelodau o'r Cyfeisteddfod am dair blynedd.—2. Hysbyswyd fod tri o'r Cenadon wedi ymddiswyddo yn ystod y flwyddyn—y Parchn. E. J. Evans wedi gadael Hanley; Edward Jones, Dublin; a John Benbow, Weston. Gyda golwg ar Mr. Evans, pasiwyd penderfyniad yn dadgan gofid y Cyfeisteddfod ei fod wedi encilio o faes y Genadaeth, yn enwedig am fod hyn wedi ei achosi, fel y deallwyd, gan waeledd corfforol, ac yn dymuno ar iddo gael adferiad buan o'i waeledd.—3. Hysbyswyd fod pedwar o Genadon newyddion wedi eu sefydlu ar y maes er y llynedd :—Mr. Henry Jones, M.A., o Sir Forganwg, yn Hoylake, trwy gydsyniad Henaduriaeth Lancashire; Mr. Evan Jones Evans, o'r Dyffryn Ardudwy, yn Southport, trwy gydsyniad Cyfarfod Misol Liverpool; Mr. Charles Williams, o'r Dyffryn, Sir Fflint, yn Crewe, trwy gydsyniad Cyfarfod Misol y Sîr hono; a Mr. J. R. Jones, o Leyn, yn Dublin, trwy gydsyniad Cyfarfod Misol Sir Fôn. ' yflwynwyd y tri brawd cyntaf i'r Cyfeisteddfod, ac wedi cael gair o'u teimlad gyda golwg ar feusydd neillduol eu llafur, ac i'w dewisiad gael ei gadarnhâu, rhoddwyd cynghor priodol iddynt, ar ddymuniad y Cyfeisteddfod, gan y Parch. Griffith Williams.—4. Ail etholwyd yr Is-Bwyllgor, sef Mri. Peter Williams, Robert Rowlands, Edward Peters, a'r Ysgrifenydd.—5. Ystyriwyd y ceisiadau a ddaethent i mewn trwy y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau am *grants.*

#### Y LLEOEDD CYMREIG.

Daeth cenadwri o Sir Fôn, yn gofyn am barhâd y *grant* o £60 i Dublin, yr hyn a ganiatäwyd. Yr oedd yr un Sir hefyd yn cyflwyno achos Froghill, lle yn Staffordshire, i sylw. Yr oedd achos y lle hwnw wedi ei gyflwyno ganddynt i'r Cyfeisteddfod y llynedd, a'r pryd hwnw caniatäwyd *grant* o £20 i'r lle, er nad ydyw wedi gofyn ond am hanner hyny hyd yma; ond gan fod y cyfeillion wedi anfon eleni eto i Sir Fôn am yr un gefnogaeth ag a gafwyd o'r blaen, a hyny er mwyn iddynt gael y cyffelyb swm ag a addawyd y flwyddyn o'r blaen, teimlai y Cyfarfod Misol fod eu hanwybodaeth ynghylch y lle yn gyfryw nad allent ffurfio barn deg am deilyngdod y cais, ac felly dymunent ei gyflwyno i'r Cyfeisteddfod, gyda'r awgrymiad y byddai yn well rhoi y lle o dan ofal un o'r Siroedd sydd yn agosach ato.—Penderfynwyd fod Froghill i fod rhagllaw dan arolygiaeth Sir Fflint, yr hon sydd yn gofalu eisoes am le arall yn Staffordshire, sef Hanley; bod y cais i gael ei ohirio hyd Gymdeithasfa Caernarfon, gyda'r dysgwyliad y bydd i'r brodyr yn y Sîr hono wneyd ymchwiliad i ansawdd yr achos yn y cyfamser, ac anfon i mewn adroddiad o ffrwyth hyny, er cyfarwyddyd i'r Cyfeisteddfod pan yn cymeryd yr achos i ystyriaeth y pryd hwnw; ond bod y lle yn rhydd i ymofyn am y £10 sydd yn ddyledus iddynt o addewid Llanerchymedd, pan farnont hyny yn anghenrheidiol.—Yr oedd Manchester yn gofyn am barhâd y *grant* o £30 at gyflog y Cenadwr yn Bolton, Mr. D. C. Davies, ac yn ychwanegol at hyn fod £20 yn cael eu rhoddi iddo am gymeryd gofal yr achos newydd yn Tyldesley, lle pur obeithiol sydd ar dueddau y dref hono, ar yr ammod fod iddo roddi 13 o Sabbothau yn y flwyddyn i'r lle, ac un diwrnod yn yr wythnos. Caniatäwyd y ddau gais.—Yr oedd Cyfarfod Misol Gwaelod Trefaldwyn yn gofyn am y *grant* o £50 i Wolverhampton a Bilston, a chaniatäwyd hyn.—Yr oedd Sir Fflint yn gofyn am £40 i genadwr newydd Crewe, a £45 i genadwr dysgwyliedig Hanley. Caniatäwyd y cais cyntaf, ac addawyd £35 i'r lle arall.—Derbyniwyd y ceisiadau canlynol o Gyfarfod Misol Liverpool :—

Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Mount Pleasant, Mehefin 5, 1878, penderfynwyd :—1. Ein bod yn anfon cais at Gyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth Gartrefol, yn Nghymdeithasfa Gwrecsam, am *grants* i'r lleoedd cenadol sydd dan arolygiaeth y Cyfarfod Misol hwn, fel y canlyn :—Southport, £30 (ychwanegiad o £15). Runcorn, £30 (ychwanegiad o £5, am un flwyddyn yn unig). Witton Park, Spennymoor, a dau le arall, £90 (ychwanegiad o £10, am un flwyddyn yn unig). Skelmersdale, £24 (ychwanegiad o £12); ynghyda pharhâd o'r cynnorthwy arferol i'r lleoedd eraill, sef Barrow-in-Furness (£70) Dalton (£15); Millom (£70); St. Helens ac Earlstown (£70);

Wigan (£60); Widnes (£20); Ditton (£10). 2. Dymunir cyflwyno i sylw y Cyfeisteddfod enw Mr. E. J. Evans, gyda golwg ar gadarnhâd ei sefydliad fel cenadwr yn Southport.

J. GRIFFITH, *Ysg.*

*Liverpool, Mehefin* 6, 1878.

Gwnaed y trefniadau canlynol gyda golwg ar y ceisiadau hyn:—Bod Southport i gael £30. Runcorn, £25; Widnes, £20; a Ditton, £10. Witton Park, Spennymoor, a'r lleoedd cysylltiedig, £90. Skelmersdale, £24. Ynghyda hyn annogwyd fod i'r Parchn. John Owen, Wigan, ac E. J. Evans, o Southport, gymeryd ychydig o ofal rhyngddynt o'r lle hwn ar hyn o bryd. Barrow, £70. Dalton, £15. Millom, £70. St. Helens ac Earlstown, £70. Wigan, £60.—Wrth fod mwy nag un o'r lleoedd uchod yn cwyno oblegid y baich mawr o ddyled sydd ar eu capeli, ac oddiar ofn fod hyn yn cael ei achosi weithiau oddiwrth fod y cyfeillion yn codi adeiladau llawer mwy costus nag fyddai eisieu, pasiwyd y penderfyniad canlynol ar y mater:—Dymuna y Cyfeisteddfod hwn alw sylw y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau y rhai y mae lleoedd Cenadol o fewn eu terfynau, na byddo iddynt ganiatâu i'r lleoedd hyny adeiladu capelau heb i'r cynlluniau a'r draul o'u hadeiladu gael eu cymeradwyo ganddynt hwy yn y dull arferol.

### Y LLEOEDD SEISONIG.

Henaduriaeth Lancashire. Derbyniwyd y ceisiadau arferol o'r Henaduriaeth am y lleoedd o dan ei gofal, a phasiwyd y penderfyniadau canlynol arnynt:—Waverton a Saighton i gael £50. Scarisbrick, £10. Pentremoch ac Ewloe, at gyflog Cenadwr ac Ysgolfeistr, £30. Yr oedd cais am £30 i Mancott hefyd, at gyflog Cenadwr, ond yn gymaint nad oedd yr un hysbysiad ffurfiol wedi dyfod o'r Henaduriaeth ynghylch pwy y mae y lle hwn yn bwriadu ei alw, nac yr un dadganiad ynghylch cymhwysder y cyfryw un i'r lle, oedwyd penderfynu y mater hwn hyd Gymdeithasfa Caernarfon, gyda'r dysgwyliad y ceir cenadwri ar hyn o'r Henaduriaeth erbyn hyny.—Caniatäwyd i Holt a Glanypwll £50. Bethlehem a Summer Hill, £50. Glanyrafon, £50. Bangor-is-coed, £20. Hoylake, £60.—Cafwyd llythyr oddiwrth frawd yn Sïon yn taer erfyn ar fod i Genadwr gael ei apwyntio i'r lle hwnw, am ei fod yn gwywo o eisieu mwy o ofal bugeiliol, a chyfeiriwyd y llythyr i ystyriaeth yr Henaduriaeth.—Pasiwyd pleidlais o ddiolchgarwch i Mr. Peters, Caerlleon, am ei fwriad haelionus tuag at yr achos yn Caergwrle, ynghyda'i holl ymdrechion o'i blaid; a dymunwyd arno barhâu yn ei ymdrechion nes llwyddo i gael Cenadwr ffyddlawn i gymeryd ei ofal. Derbyniwyd llythyr oddiwrth y Parch. John Williams, Caerlleon, yn dadgan ei anallu i gymeryd gofal Saughall yn hwy; ei fod wedi bod yno ychydig droion, ond nad oedd yn dysgwyl yr un gydnabyddiaeth am hyn. Penderfynwyd cyflwyno diolchgarwch i Mr. Williams am y llafur hwn; a dadganwyd y gobaith na fyddai i'r Henaduriaeth adael i'r hen achos hwn ddarfod yn llwyr o ddiffyg rhyw fesur o ofal cenadol.—Henaduriaeth Trefaldwyn. Derbyniwyd y ceisiadau arferol am y *grants* i'r lleoedd o fewn cylch yr Henaduriaeth, a gwnaed y trefniadau canlynol ar eu cyfer:—I Lanymynach a Gwernypant, £55. Coedway, £40. Amwythig, £45. Trallwm a'r Castell, £35. Tabernacl, Geuffordd, a'r Groes, £60. Jerusalem, Trefaldwyn, a Brooks, £50. Bethesda a Mochdre, £35.—Caniatäwyd *grant* o £25 i'r achos Seisonig yn Croesoswallt, yn ngwyneb rhyw amgylchiadau neillduol.—Derbyniwyd cenadwri oddiwrth yr achos yn yr Amwythig yn gofyn cynghor ynghylch y priodoldeb o godi capel newydd mewn safle gwell, yn lle yr un presennol; ond oblegid rhyw ystyriaethau, cyfeiriwyd yr achos yn ol i sylw yr Henaduriaeth. 6. Barnwyd y byddai yn ddymunol bod sylw y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau yn cael ei alw at yr adroddiadau o'r lleoedd o dan eu gofal, a welir yn *Adroddiad* diweddaf y Genadaeth, i'r dyben iddynt allu cyflenwi unrhyw ddiffygion, a chywiro unrhyw gamsyniadau eill fod ynddynt. 7. Cydolygwyd ar fod i'r golofn yn ystadegau y Genadaeth, sydd yn hysbysu swm y casgliadau at y weinidogaeth ymhob lle, gael ei nodweddu rhagllaw fel hyn:—"Cyfraniadau yr eglwys a'r gynnulleidfa at y Weinidogaeth."—JOSEPH JONES, *Ysgrifenydd.*

Cynnygiwyd gan y Parch. Francis Jones, ac eiliwyd gan Mr. Ezra Roberts, Rhuthyn, a phenderfynwyd,—Fod yr Adroddiad hwn yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo.

VIII. Darllenwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Gronfa Seisonig gan yr Ysgrifenydd, yr hwn oedd fel y canlyn:—

*Gweithrediadau Cyfeisteddfod yr Achosion Seisonig, bore Mercher.*

Yr oedd yn bresennol,—y Parchn. Dr. Edwards, Dr. Thomas, Rees Jones, Lewis Ellis, Griffith Williams, John Thomas, B.A., ynghyda Meistri David Roberts, Tanyrallt, Thomas Rowlands, Robert Rowland, Thomas Lewis, Roger Evans, Richard Owen, T. F. Roberts, Llanidloes; John Jones, Ashlands; Edward Vaughan, Edward Peters, Peter Williams, J. R. Edwards, Ffridd; John Roberts, y Trysorydd, a'r Ysgrifenydd. Dewiswyd Mr. Roger Evans i lywyddu.

1. Ystyriwyd y cynnygiad y rhoddwyd rhybudd o hono yn Mangor gyda golwg ar ddull dewisiad Cyfeisteddfod y Gronfa, a phasiwyd ef yn y ffurf ganlynol:—(1.) Bod Cyfeisteddfod y Gronfa Seisonig yn cael ei ffurfio rhagllaw yn yr un dull, ac yn ol yr un drefn a Chyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol, sef bod un aelod yn cael ei ddewis gan bob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth i'w ffurfio, a bod aelodau Cyfeisteddfod y Gronfa rhagllaw i fod yn aelodau Cyfeisteddfod y Genadaeth, yr un fath ag y mae aelodau Cyfeisteddfod y Genadaeth yn bresennol o Gyfeisteddfod y Gronfa.—(2.) Bod dymuniad yn cael ei anfon at y gwahanol Gyfarfodydd Misol, &c., yn deisyf ar fod iddynt ddewis

pob un eu haelod, yn ddioedi, fel y gellir hysbysu eu henwau yn Nghaernarfon, a bod yr aelodau i'w dewis rhagllaw yn y drefn ganlynol:—Yr aelodau dros Sir Fôn, Henaduriaeth Trefaldwyn, Dwyrain Meirionydd, a Sir Fflint, i gilio ar ddiwedd y flwyddyn 1879; dros Arfon, Liverpool, Gorllewin Meirionydd, Lleyn ac Eifionydd, ar ddiwedd 1880; dros Henaduriaeth Lancashire, Manchester, Trefaldwyn Uchaf, Trefaldwyn Isaf a Sir Ddinbych, ar ddiwedd 1881, ac ar ol hyny fod pob dewisiad a wneir i fod am dair blynedd.

2. Cymerwyd i ystyriaeth sefyllfa isel y Gronfa ar hyn o bryd. Yr oeddid wedi dysgwyl y buasai fod y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau wedi dadgan eu parodrwydd yn Mangor y llynedd i ymgymeryd â gofalu am y casgliad hwn, heb fod brodyr yn cael eu hanfon fel o'r blaen i ddadleu o blaid yr achos, yn foddion i gael ychwanegiad mawr yn y casgliad; ond yn lle hyny ceir fod y diffyg oedd yn y Gronfa y pryd hwnw i gyfarfod y galwadau wedi mwyhâu yn ddirfawr, yr hyn a welir yn y ffaith fod swm y ceisiadau am eleni yn £850, heb gyfrif y *working expenses*, y rhai oeddynt y flwyddyn ddiweddaf yn £84; tra nad oes yn llaw y Trysorydd, fel y gwelir oddiwrth yr Adroddiad diweddaf, ar gyfer hyn, yn bresennol, na gobaith am ddim yn ol trefn bresennol pethau, hyd ddiwedd y flwyddyn, ond £397 5s. 4½c. Awgrymwyd rhai pethau allasai beri fod y casgliad diweddaf mor fychan, megys ei fod yn dyfod mor fuan ar ol yr un blaenorol, a diffyg zel ar ran ambell un o'r swyddogion Sirol, a therfynwyd yr ymddyddan trwy basio y penderfyniadau canlynol:—(1.) Ein bod yn dymuno dadgan ein llawenydd yn y llwyddiant mawr sydd wedi bod ar ein hymdrechiadau gyda'r ysgogiad tuag at sefydlu Achosion Seisonig yn Ngogledd Cymru; wrth weled fod genym, yn ol yr Adroddiad diweddaf, dros ugain o leoedd y cynnelir gwasanaeth yn y Saesoneg yn rheolaidd ynddynt; dros chwe' chant o aelodau eglwysig; a bod eu casgliadau yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, at adeiladu addoldai ac achosion eraill, yn cyrhaedd i dros saith cant ar hugain o bunnoedd; ac, yn neillduol, am fod genym le i obeithio fod y llafur hwn o'r eiddom wedi ei fendithio gan y Duw mawr er daioni ysbrydol a thragywyddol i lïaws o eneidiau. (2.) Ein bod yn cyflwyno gofal y casgliad drachefn y flwyddyn hon i ofal y Cyfarfodydd Misol, &c., gan ddymuno arnynt wneuthur pob ymdrech o fewn eu gallu i gael casgliad o bob cynnulleidfa tuag at y Gronfa, ac fel moddion at hyn ein bod yn annog yn gryf fod rhyw un mis, os nad un Sabboth, yn cael ei enwi fel yr adeg i wneyd y casgliad ymhob lle, fel y gwneir yn barod yn rhai o'r Siroedd, a gofalu rhag i'r adeg a ddewiser fod yn rhy ddiweddar yn y flwyddyn, a hefyd bod cyfran o amser y Cyfarfod Misol fydd yn rhagflaenu adeg y casgliad yn cael ei ddefnyddio i draethu ar yr achos. (3.) Bod llythyr yn cael ei ysgrifenu gan y Parchn. Dr. Edwards, a Dr. Thomas, ynghyd a'r Trysorydd, yn apelio at ein cynnulleidfaoedd a'n cyfeillion am help yn y cyfwng pwysig hwn yn hanes y Gronfa.

3. Cymerwyd y ceisiadau o'r gwahanol Siroedd am *grants* i ystyriaeth; ac ar ol ymddyddan maith ynghylch beth oedd dyledswydd y Cyfeisteddfod gyda golwg ar y ceisiadau hyn yn yr amgylchiadau presennol, pa un ai darostwng y *grants* i'r holl leoedd a wneir, ai ynte peidio *votio* ond cyfran o bob un o honynt ar hyn o bryd, yn ol fel y caniatâ yr arian sydd mewn llaw, i edrych beth fydd cynnyrch y casgliad nesaf. Yn y diwedd, modd bynag, penderfynwyd mai gwell fyddai pasio'r *votes* fel arfer, ac ymddiried y bydd i'r cynnulleidfaoedd sefyll yn gefn i'r Cyfeisteddfod yn hyn; ac os siomir ein ffydd, na fydd dim i'w wneyd wedi hyny ond cwtogi y treuliadau ymhob modd. Yna aed ymlaen i wneyd y *grants* canlynol:—I Machynlleth, £50. Llanidloes, £50. Ffestiniog, £40. Abermaw, £60. Dolgellau, £50. Fflint, £50. Rhosllanerchrugog, £50. Buckley, £50. Colwyn Bay, £50. Dinbych, £50, ynghyd ag ychwanegiad o £20 arall am y flwyddyn, i gyfarfod rhyw amgylchiadau neillduol. Rhyl, £50. Pensarn, £30. Penmaenmawr, £60. Llanfairfechan, £50. Nantgwytheyrn, £50. Beaumaris, £60.—Mewn cysylltiad â'r *grant* diweddaf, annogwyd y brawd sydd ar fyned i ofalu am yr achos, i wneyd pob ymdrech i dalu dyled y capel yno mor fuan ag y byddo modd, a dymunwyd rhoi yr un cynghor i bob lle sydd â dyled arno.

4. Derbyniwyd hysbysiad fod yr eglwys yn Towyn wedi llwyddo i dalu dyled eu capel, a'u bod oblegid hyn, tra yn dadgan eu diolchgarwch am bob cynnorthwy a gawsant o'r Gronfa, yn gobeithio y gallant wneyd heb ddim help rhagllaw, ac y bydd yn hyfryd ganddynt wneyd yn ol eu gallu, o flwyddyn i flwyddyn, tuag at gadw y Gronfa mewn ystâd i estyn cymhorth cyffelyb i sefydlu achosion Seisonig mewn lleoedd newyddion. Yn atebiad i hyn penderfynwyd,—Ein bod yn mawr lawenhâu oblegid y llwyddiant sydd wedi bod ar yr achos Seisonig yn Towyn, fel ag i roi sail iddynt obeithio na fydd yn rhaid iddynt ddyfod at y Cyfeisteddfod rhagllaw am help, ac yn cymeryd y cyfle i ddadgan i'n cyfeillion yn y lle hwn ein diolchgarwch am y ffyddlondeb a'r caredigrwydd y maent wedi ei ddangos at yr achos o'r dechreu, fel ag i'w ddwyn, dan fendith y Nefoedd, i'r sefyllfa foddhaol y mae ynddi.

5. Ail ddewiswyd yr Is-Bwyllgor,—Mri. R. Davies, A.S.; David Roberts, Tan'rallt; R. Evans, Craig Owen; y Trysorydd, a'r Ysgrifenydd.—Joseph Jones, *Ysgrifenydd.*

Ar gynnygiad y Parch. Dr. Edwards, a chefnogiad y Parch. Dr. Thomas, penderfynwyd, Fod Adroddiad Cyfeisteddfod yr Achosion Seisonig yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo yn galonog gan y Gymdeithasfa.

IX. Darllenwyd Adroddiad Trysorfa y Gweinidogion gan yr Ysgrifenydd Cyffredinol, y Parch. Daniel Rowlands, M.A., Bangor, yr hwn oedd fel y canlyn:—

### *Adroddiad Cyfeisteddfod Trysorfa y Gweinidogion.*

**CADEIRYDD,—Y TRYSORYDD CYFFREDINOL, DR. ROBERT GEE.**

Yn bresennol:—Y Cyfeisteddfod: *Môn*—Parch. Joseph Jones a Mr. Roger Evans. *Lleyn ac Eifionydd*—Parch. J. R. Williams a Capt. W. Thomas. *Arfon*—Parch. Robert Ellis a Mr. John Edmunds. *Dinbych*—Parch. William Hughes a Mr. John Roberts. *Fflint*—Parch. Benjamin Jones a Mr. Owen Williams. *Dwyrain Meirionydd*—Parch. Evan Davies a Mr. Robert Roberts. *Gorllewin Meirionydd*—Parch. David Jones a Mr. Hugh Jones. *Trefaldwyn Uchaf*—Parch. D. Ll. Jones a Mr. Richard Owen. *Trefaldwyn Isaf*—Parch. Edward Parry a Mr. Joseph Richards. *Henaduriaeth Trefaldwyn*—Parch. W. H. Jones a Mr. David Jones. *Henaduriaeth Lancashire*—Parch. Evan Williams a Mr. Charles Hughes. *Liverpool*—Parch. Griffith Ellis a Mr. David Roberts. *Manchester*—Parch. Thomas Gray a Mr. William Rowland.

1. Rhoddwyd crynodeb o'r cyfrif arianol, a chaed fod y derbyniadau o'r Siroedd yn ystod y flwyddyn 1877 yn £824 18s. 9c.; benthyg ar eiddo wedi eu talu yn ol, £1000; llogau, £1027 11s. 2c.: yn gwneyd cyfanswm y derbyniadau yn £6077 16s. 6c. Yr oedd y taliadau fel y canlyn: rhoddwyd allan ar eiddo, £2100; ar log *at call*, £1500; talwyd i aelodau a'u teuluoedd, £1293 12s. 4c.; treuliadau, £92 2s. 2c.; gweddill yn y banc, £1092 2s.: yn gwneyd cyfanswm fel o'r blaen o £6077 16s. 6c. Gwerth y Drysorfa ar ddiwedd 1877 ydoedd £24,372 2s.

Yr oedd y cyfrif uchod wedi cael edrych iddo gan yr Archwilwyr, a'i gael yn gywir. Penderfynwyd yn unfrydol fod y Cyfeisteddfod yn ei dderbyn ac yn ei gymeradwyo, ac yn llawenychu yn fawr weled y Drysorfa erbyn hyn wedi cyrhaedd y fath ystâd lwyddiannus.

2. Derbyniwyd cais oddiwrth frawd ydoedd, o herwydd amgylchiadau neillduol, er ys peth amser wedi peidio cadw ymlaen ei daliadau blynyddol i'r Drysorfa, ac felly wedi fforffedu ei hawl i aelodaeth, ond yn awr yn awyddus i ail ymuno. Tra nad allai y Cyfeisteddfod lai na mawr anghymeradwyo pobpeth tebyg i esgeulusdra mewn achos o'r fath, eto penderfynwyd fod y brawd hwn yn cael ei dderbyn yn ol trwy iddo wneyd i fyny ei daliadau am yr amser a gollodd, ac ychwanegu llog ar ei daliadau yn ol £5 y cant.

3. Daeth cais oddiwrth ddau frawd sydd yn ddiweddar wedi eu hadferu i'r weinidogaeth am gael eu derbyn ar y Drysorfa,—un heb fod yn aelod o honi erioed, a'r llall wedi bod am ychydig flynyddoedd: wedi ystyriaeth bwyllog, penderfynwyd eu bod yn cael eu derbyn, y cyntaf trwy wneyd ei daliadau blynyddol o adeg sefydliad y Drysorfa, yn ol Rheol IX., a'r ail trwy wneyd i fyny ei daliadau am yr amser a gollodd.

4. Penderfynwyd fod yr Ysgrifenydd Cyffredinol i gael cyflenwad newydd o lyfrau a phapyrau at wasanaeth y Swyddogion Sirol; a'i fod hefyd, mewn cydymgynghoriad â Mri. Charles Hughes a Jacob Jones, i ddarpar llyfrau pwrpasol i'r Trysoryddion Sirol er hyrwyddo eu hymwneyd â'r Trysorydd Cyffredinol, ac hefyd âg aelodau y Drysorfa a'u teuluoedd wrth wneyd y taliadau allan.

5. Gyda golwg ar Adroddiad Blynyddol y Drysorfa, bernid na fyddai anghen argraffu nifer mor fawr o hyn allan ag a fyddid arferol o wneyd pan olygid yn anghenrheidiol darpar cyflenwad digonol ar gyfer yr holl gyfeillion a gyfranent tuag at wneyd i fyny y casgliad mawr; a phenderfynwyd argraffu digon er sicrhâu un i bob aelod, a nifer digonol ar gyfer y swyddogion eglwysig a chyfeillion eraill a deimlent ddyddordeb neillduol yn ngweithrediadau y Drysorfa, a bod y rhai hyny i'w hanfon gyda'r *post*, yn debyg fel yr anfonir Cylchlythyrau y Gymdeithasfa, i'r aelodau a'r swyddogion eglwysig, a nifer ychwanegol i ofal yr Ysgrifenyddion Sirol, i'w dosbarthu yn y dull a farnont hwy yn oreu er budd y Drysorfa.

6. Cydnabyddwyd yn galonog wasanaeth ffyddlawn y Trysorydd a'r Ysgrifenydd a'r Archwilwyr Cyffredinol, ynghydag eiddo yr Ysgrifenydd Arianol i'r Drysorfa, yn ystod y flwyddyn; a phenodwyd yr un personau i lanw y swyddau uchod am y flwyddyn ddyfodol.

7. Yn gymaint a'n bod bellach ar derfyn yr ail bum' mlynedd o weithrediadau y Drysorfa, pan, yn ol Rheol XIV., y mae ei chyfrifon i gael edrych drostynt gan *Actuary*, ac y gellir gwneyd y cyfryw gyfnewidiadau yn y Rheolau ag a farno efe yn ddiogel ac a olygo y Gymdeithasfa yn ddoeth, cymerwyd llawer o amser i edrych dros y Rheolau, ac i ystyried ymha fodd y byddai yn ddymunol gwneyd cyfnewidiadau ynddynt; a chan nad ydoedd yn bosibl cwblhâu y gwaith yn y Gymdeithasfa hon, penderfynwyd addoedi y cyfarfod hyd adeg Cymdeithasfa Caernarfon, ac fod yr Ysgrifenydd yn y cyfamser i ohebu â Griffith Davies, Ysw., Llundain, yr hwn fel *Actuary* sydd eisoes wedi gwneyd y fath wasanaeth gwerthfawr i ni ynglŷn â'r Drysorfa hon. Dysgwylir y bydd y Cyfeisteddfod yn barod i gyflwyno y Rheolau i'r Gymdeithasfa yn Nghaernarfon mewn ffurf ag y gallo y Gymdeithasfa eu cymeradwyo am y pum' mlynedd dyfodol.—DANIEL ROWLANDS, *Ysgrifenydd Cyffredinol.*

Derbyniwyd a chymeradwywyd Adroddiad Cyfeisteddfod Trysorfa y Gweinidogion, ar gynnygiad Mr. D. Roberts, Hope Street, a chefnogiad Mr. Owen Williams, Bodffari.

X. Yn unol â'r cais o Gyfarfod Misol Môn, cynnygiwyd gan y Parch. Joseph Jones, cefnogwyd gan y Parch. W. James, B.A., a chytunwyd,—Fod y penderfyniad i roddi cadarnhâd y Gymdeithasfa i werthu capel Llanfair P.G., yn cael ei gadarnhâu.

XI. Cadarnhäwyd y penderfyniad,—Fod

caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu hen gapel Llawryglyn, ynghyd a'r eiddo sydd yn perthyn iddo, ac hefyd i werthu darn o dir sydd ynglŷn â chapel y Dderwenlas, ynghyd â chaniatâd hefyd i werthu hen gapel y Derwenlas, a'r tŷ sydd yn perthyn iddo, yr hyn a gynnygiwyd gan Mr. E. Thomas, Birmingham, ac a gefnogwyd gan y Parch. Francis Jones.

XII. Cadarnhäwyd y penderfyniad ar y cais o Henaduriaeth *Lancashire* gyda golwg ar hen gapel Rossett, ar gynnygiad Mr. Peter Williams, Liverpool, a chefnogiad y Parch. John Williams, Caer.

XIII. Cynnygiwyd gan y Parch. W. James, B.A., eiliwyd gan y Parch. David Jones, Llanbedr, a chyttunwyd,—Ein bod wrth alw sylw at y Genadwri o Gyfarfod Misol Manchester yn dymuno cyfeirio sylw tyriaethau swyddogion ein holl eglwysi :—

"1. At y pwys o'n bod yn cadw i fyny yn gyson ddarpariaeth ar gyfer yr ieuenctyd ac eraill yn ein plith a fyddont yn aelodau ar brawf, i'r dyben o'u parotoi o ran gwybodaeth a theimlad ar gyfer cyflawn aelodaeth.

"2. At y fantais o fod ymofyniadau am aelodaeth gyflawn yn dyfod ger bron mewn lleoedd y byddo'r ymofynwyr yn adnabyddus ynddynt, ac hyd y byddo modd ac y bernir fod addfedrwydd, cyn eu symudiad i leoedd mwy dyeithr, pan fyddo hyny yn cymeryd lle.

"3. At y dymunoldeb o fod pob cyfarwyddiadau yn cael eu rhoi i rai fyddont yn ymadael, pa fodd i ddyfod yn ddioed i gysylltiad â'r eglwysi mwyaf cyfleus yn y lleoedd y bwriadant ymsefydlu ynddynt rhagllaw ; a bod pob gofal yn cael ei weithredu ar roddiad a derbyniad Tocynau, er sicrhâu eu bod yn rheolaidd ac awdurdodedig, a hyd y gellir yn unol â'r cynlluniau a gymeradwywyd gan y Cyfundeb."

XIV. Cadarnhäwyd y penderfyniad ar achos yr Ysgolion Gwrth-Babyddol, ar gynnygiad y Parch. Dr. Thomas, a chefnogiad y Parch. D. C. Davies, Llundain.

XV. Cadarnhäwyd y penderfyniad ar yr achos o Apêl ag oedd wedi cael ei ddwyn gerbron.

### Dydd Gwener, Mehefin 14eg.

***Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am ½ awr wedi 8 o'r gloch y boreu.***

I. Cafwyd Adroddiad helaeth a manwl o hanes yr Achos Crefyddol yn Henaduriaeth *Lancashire*, gan y Parch. Edward Jerman.

II. Pasiwyd penderfyniad o gydymdeimlad dwfn y Gymdeithasfa â'r Parch. William Morris, Rhuddlan, yn ei gystudd blin, gyda dymuniad ar ei fod yn y dydd blin yn cael ymguddfa, ac hefyd â'r Parch. Dr. Llugwy Owen yn y brofedigaeth lem o golli ei anwyl briod,—yr hyn a gynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, ac a gefnogwyd gan y Parch. Joseph Jones.

III. Ymdriniwyd â'r mater penodedig :—Y *Sacramentau* yn gyffredinol.

Sylwyd fel y canlyn : Y mae anghen am ordinhadau o'r natur yma mewn Cristionogaeth i'w dynodi a'i gwahaniaethu oddiwrth bob crefydd arall ar y ddaear. Yr oedd yn perthyn i'r grefydd Iuddewig ddefodau a seremonïau, amcan pa rai oedd ei gwahaniaethu oddiwrth holl grefyddau eraill yr amser hwnw; a buasai diffyg mewn Cristionogaeth heb ordinhadau o'r fath yma gyda'r ordinhadau eraill. Y maent yn ateb ychwaneg nag un dyben, fel y ceir yn fynych yn ngweithredoedd Duw; yr un peth yn ateb amrywiol ddybenion. Heblaw eu bod yn gwasanaethu i ddynodi a gwahaniaethu Cristionogaeth oddiwrth grefyddau eraill, y maent yn foddion o ras, ac hefyd yn arwyddol, y naill yn cyfeirio at waith yr Ysbryd, a'r llall at waith Crist. Yn y Bedydd gosodir allan olchiad yr adenedigaeth ac adnewyddiad yr Ysbryd; ac yn Swper yr Arglwydd dangosir marwolaeth yr Arglwydd.

Dywedir mai ein tuedd ni fel Anghydffurfwyr ydyw rhoddi llai o le i'r Sacramentau nag sydd yn gweddu iddynt; ond nid oes dim sydd yn sicrach, tra mae yr Uchel-Eglwyswyr a'r Pabyddion yn hòni rhoddi parch mawr iddynt, na'u bod hwy, beth bynag, yn edrych yn rhy isel arnynt. Beth yw eu hailenedigaeth y dywedant sydd yn cymeryd lle trwy Fedydd? Rhyw enw ydyw—gwaith allanol ydyw gan lïaws o honynt. A'r rhai hyny ag sydd yn ei olygu yn rhywbeth mewnol a grasol, gras ydyw y gall dyn ar unrhyw adeg ei golli. Ond yr ydym ni yn dysgwyl mwy na hynyna drwy y Bedydd. Er nad ydym yn cysylltu ailenedigaeth â Bedydd fel defod, eto yr ydym yn credu y gall hyny trwy yr Ysbryd gymeryd lle, a byddwn yn gweddïo ac yn dysgwyl am hyny. Y geiriau a lefara y Bibl am Swper yr Arglwydd, maent yn cynnwys mwy na'r Traws-sylweddiad gan y Pabyddion. Geilw y Bibl Swper yr Arglwydd yn gymun corff Crist. Mae yr enaid yn dyfod i gymundeb â Pherson yr Arglwydd Iesu Grist yn yr ordinhâd; nid mewn modd cnawdol. Dylem gadw yr ysbrydol yn y golwg, a pheidio ymfoddloni heb ei gael. Y mae dwy ran mewn Sacrament, yn union fel y mae dwy ran yn y gair, sef y geiriau a'r meddyliau y mae y geiriau hyny yn eu cynnwys. Fel y gall dyn gymeryd llyfr mewn iaith ddyeithr i'w ddarllen; mae yn gweled y llythyrenau a'r geiriau, ond nid ydyw yn

dyfod drwy y geiriau at y meddyliau, felly gall dynion ddyfod at y Sacramentau ond heb ddyfod at yr ysbrydol a'r Dwyfol drwyddynt. Megys nad ydyw yr anllythyrenog ddim yn gweled ond y llythyrenau ar bapyr, felly nid yw y di-ffydd yn gweled ond ffurfiau gweledig yn y Sacramentau; mae eu cynnwys mawr yn guddiedig oddiwrtho ef.

Mae rhywbeth yn ddirprwyol mewn crefydd, yn debyg fel y mae yn bod mewn pethau eraill—y rhieni yn gweithredu yn achos y plant, yn gwneyd rhywbeth er eu lles a'u mantais nas gallant hwy ei wneuthur eu hunain. Mae yna ryw gyfleusderau neillduol y maent yn dyfod iddynt ar gyfrif eu perthynas â'u rhieni. A thrwy Fedydd mae y plant yn cael eu dwyn i'r cyfleusdra hwn mewn crefydd. Cyflwynir hwy gan eu rhieni i'r Arglwydd, yr hwn y rhoddasent eu hunain yn flaenorol iddo; ac yn eu cysylltiad â'u rhieni derbynir hwy yn aelodau o eglwys weledig Crist, i fwynhâu ei haddysg a'i rhagorfreintiau. Mae yn anhawdd gwybod beth yw syniadau dynion digrefydd am Fedydd pan y dangosant awydd i fedyddio eu plant. Nid oes dim yn fwy amlwg nad ydynt yn edrych arno yn yr ystyr ddwfn a roddir iddo yn y Bibl. Pa fodd y gall un ddwyn ei blant at y Gwaredwr y mae efe ei hun drwy y blynyddoedd yn aros yn wrthodwr o hono? Pa fodd y gall un feddwl cyflwyno ei blant i Dduw, ag yntau heb erioed gyflwyno ei hunan iddo? Yn lle bod gan y cyfryw achos i gwyno ein bod ni yn gwrthod eu plant, nid y ni sydd yn eu gwrthod, ond hwy eu hunain trwy eu hanghrediniaeth. Credu sydd yn dyfod â dyn a'i deulu i mewn i'r eglwys a'i rhagorfreintiau. Ac am yr ordinhâd arall, Swper yr Arglwydd, mae lle i ofni ei bod yn cael edrych arni yn llawer rhy ddibwys gan lïaws. Nid yw yn beth anghyffredin fod pobl yn y cymundeb ar nos Sabbath, ac yn siarad pob peth yn nrws y capel gyda y byddo hyny drosodd.

Gorfüwyd rhoddi i fyny yr ymdriniaeth â'r mater cyn amser terfynu y cyfarfod o herwydd trwst rhai yn dyfod i mewn.

Y mater sydd i fod dan sylw yn y Gymdeithasfa nesaf ydyw *Bedydd*.

IV. Ar ddiwedd y cyfarfod hwn, o herwydd yr aflonyddwch oedd yn cael ei achosi gan y lliaws oedd yn dyfod i mewn yn anamserol, fel ag i wneyd y cyfarfod yn hollol anfuddiol, cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan y Parch. Joseph Jones, a chyttunwyd,—Fod y cyfarfod hwn o hyn allan i fod yn gyfyngedig yn unig i Swyddogion Eglwysig, oddieithr i ryw foddion gael ei arfer i beri na byddo y lliaws fyddont yn dyfod i mewn ddim yn peri aflonyddwch, ac hefyd y dymunir galw sylw y brodyr yn y lleoedd y cynnelir ein Cymdeithasfäoedd at hynyma.

THOMAS OWEN, *Ysgrifenydd.*

---

TREFN Y MODDION CYHOEDDUS.

Yn nghapel Sïon, nos Fawrth, am 7 o'r gloch, pregethodd y Parch. Rees Jones, Felinheli. Nos Fercher, yn yr un lle, y Parchn. L. Ellis, Rhuddlan, a R. Ellis, Ysgoldy. Nos Iau, y Parchn. D. Rowlands, M.A., Bangor, ac O. Thomas, D.D. Bore Gwener, am 6 o'r gloch, y Parch. D. Jones, Llanbedr. Am 10 o'r gloch, y Parchn. G. Parry, a L. Edwards, D.D. Am 2 o'r gloch, y Parchn. D. Harries, Chicago, a D. C. Davies, M.A. Am 6 o'r gloch, y Parchn. T. J. Wheldon, ac E. Matthews. Am 2 o'r gloch, yn yr un lle, y Parchn. W. James, B.A., a Francis Jones. Yn nghapel yr Annibynwyr, am 2 o'r gloch ddydd Iau, y Parchn. G. Ellis, B.A., Bootle, a T. Gray. Am 6 o'r gloch nos Wener, yn Queen Street, y Parchn. D. Ll. Jones, M.A., a W. Selwyn Davies. Hefyd yn nghapel Hill Street, yn Saesoneg, nos Fercher, y Parch. D. C. Davies, M.A. Nos Iau, yn yr un lle, y Parch. Dr. Edwards. Dydd Gwener, am 2, y Parch. Joseph Jones. Nos Wener, am 6, y Parch. John Thomas, B.A.

---

CENADAETH DREFOL METHODISTIAID CALFINAIDD CYMREIG LIVERPOOL.

IV.

PAN y mae masnach mor isel, gwaith mor brin, ac anghenrheidiau bywyd mor ddrud, buasid yn tybied mai ychydig o arian sydd yn cael eu gwario gan y dosbarth gweithiol am y diodydd meddwol; ond, ysywaeth, nid dyna y ffaith. Y mae llawer gweithiwr o Gymro yn Liverpool, pa fodd bynag, yn mynu gwario cryn lawer am y diodydd meddwol, gan nad beth a ddaw o'i wraig a'i blant. A Duw yn unig sydd yn gwybod gymaint y mae ambell i wraig a phlant yn gorfod ei ddyoddef mewn canlyniad.

Synwyd ni yn fawr yn ddiweddar wrth glywed gwraig barchus yn dyweyd tipyn o'i hanes ei hun. Y mae gŵr y wraig hon yn grefftwr da *(stonemason)*, ac yn ennill o ddwy bunt i ddeg swllt a deugain, ac weithiau dair punt yn yr wythnos, os bydd yn dewis gweithio; ond ni chafodd y wraig yr un wythnos yn ystod y flwyddyn ddiweddaf fwy na phum' swllt ar hugain ganddo tuag at ei gadw ef a hithau, ynghyda thri o blant. A'r wythnos y caffai y swm uchod teimlai yn ddiolchgar iawn; oblegid yr hyn a dderbyniai fel rheol ydoedd o ddeuddeg i bymtheg swllt yn yr wythnos;

a byddai aml i wythnos yn myned heibio heb iddi dderbyn yr un geiniog ganddo. Dywedai y wraig wrthyf ei bod y flwyddyn ddiweddaf wedi cadw cyfrif manwl, yn ddiarwybod i bawb, o'r arian a wariodd ei gŵr am y ddiod feddwol. Dywedai nad oedd yn bosibl iddi hi gael gwybodaeth am bob ceiniog yr oedd efe yn ei ennill, oblegid y byddai weithiau yn gweithio dros amser pan na byddai hi yn gwybod. Ond yr oedd ei chyfrif hi yn dangos ei fod yn y flwyddyn 1877 yn unig wedi gwario un bunt ar ddeg a thriugain (£71) am ddiod feddwol iddo ei hun! Gall hyn ymddangos i ambell un, yn enwedig yn y wlad, fel peth nas gellir ei gredu. Ond tystiolaeth y wraig ei hunan ydyw; ac y mae y wraig yn un sydd wedi cael addysg a dygiad da i fyny, ac yn wraig barchus ymhob ystyr, fel nad oes unrhyw sail dros ammheu gwirionedd ei thystiolaeth ar y pwnc. Y fath drueni, onidê! y wraig a'r plant bron yn methu cael digon o fwyd i gadw corff ac enaid ynghyd, a'r gŵr yn gwario ar gyfartaledd dros saith swllt ar hugain a thair ceiniog a dimai yn yr wythnos am y ddiod feddwol!

Yr oedd y wraig hon a'i phlant yn dyoddef llawer o ddiffyg moddion i gael anghenrheidiau bywyd; ond er cymaint hyny, nid ydoedd yn ddim mewn cymhariaeth i'r hyn y maent wedi ei ddyoddef oddiwrth greulondeb y gŵr pan o dan ddylanwad y ddiod feddwol. Yr oedd ein calon yn gwaedu wrth ei chlywed yn dyweyd eu hanes yn y cyfeiriad hwn. Yr oedd yn ddigon i "yru calon craig i wylo." Mae'r dyn hwn pan allan o gyrhaedd y ddiod feddwol yn ddyn dystaw, tawel, a hynod garedig; ond pan o dan effeithiau y ddiod gadarn, y mae yr hwn oedd o'r blaen megys oen llariaidd yn awr wedi ei drawsffurfio yn llew rhuadwy; ïe, yr hwn oedd ychydig amser yn ol yn ddyn pwyllog yn awr wedi myned yn gythraul mileinig. Y fath alanasdra y mae y ddiod feddwol yn ei wneuthur ar gysuron teuluoedd yn ein gwlad! Y fath nifer o bechodau sydd yn benuchel yn ein gwlad y gellir eu holrhain a'u priodoli i ddylanwad y ddiod feddwol! Er cynddrwg ydyw calon lygredig dyn, pe gellid arllwys y ddiod feddwol o'r byd, a'i chadw allan o hono, fe fyddai gwyneb y byd yma gryn lawer yn fwy tebyg i wyneb y nefoedd nag ydyw. Dyma deulu bychan a allasai fod, ac a fuasai hefyd, yn gysurus iawn oni bae y ddiod feddwol. Gallasai y dyn hwn ennill deg swllt a deugain yn yr wythnos ar hyd y flwyddyn; a phe buasai yn byw yn sobr ac yn rhoddi ei ennill tuag at gadw ei deulu, buasai ei gartref yn fath o nefoedd fach ar y ddaear. Ond och! yn lle nefoedd, uffern sydd yn arfer bod yno.

Tyred gyda ni, ddarllenydd, i dŷ y dyn hwn ar brydnawn Sadwrn. Y mae y tŷ mewn heol barchus, oblegid y mae balchder y wraig hyd yn hyn yn gyfryw ag sydd yn ei symbylu i lynu wrth y tŷ, er fod hyny yn costio yn ddrud iawn iddi hi. Wedi myned i mewn, yr ydym yn cael y tŷ yn drefnus a glân. Mae'r wraig, yr hon nad ydyw ond ieuanc, er fod helbulon y blynyddoedd diweddaf yn dechreu britho ei gwallt, ac aredig ei gwyneb, yn eistedd wrth ochr y tân, yn magu plentyn dau fis oed; ac y mae bachgen bach tair blwydd oed yn eistedd wrth ei hochr, a geneth ddeg oed yn eistedd yr ochr arall i'r tân. Y mae ciniaw y gŵr ar y bwrdd yn ei ddysgwyl; ac er ei bod yn awr yn bedwar o'r gloch y prydnawn, ac yntau yn rhoddi ei waith heibio am hanner awr wedi deuddeg, nid oes dim golwg o hono. Y mae yr eneth yn myned i'r drws yn awr ac eilwaith i edrych a ydyw yn dyfod; ond y mae yn amlwg fod y tri "mewn blys ac ofn" ei weled yn dyfod, oblegid y maent yn gwybod pa bryd bynag y daw bellach y bydd yn feddw. Ond wedi hir ddysgwyl, y mae yn gwneyd ei ymddangosiad; ac os nad ellir agor y drws iddo mewn moment, y mae yn cael ei hyrddio i ganol y tŷ. Y mae yr eneth yn rhedeg am ei bywyd i'r llofft, y bachgen bach yn rhedeg allan i'r cefn, gan waeddi a cheisio dringo dros y wàl i fyned am noddfa i dŷ cymydog. Ond cyn y bydd hanner awr o amser wedi myned heibio, fe fydd bwrdd a chadair neu ddwy wedi eu gwneuthur yn gandryll, y wraig wedi cael ei llusgo ar hyd y tŷ yn erbyn gwallt ei phen, a'r plant wedi cael curo eu penau yn erbyn y mur! Ac wedi iddo gael digon am y tro ar waith o'r natur yma, y mae yn gadael y tŷ, ac fe allai y bydd yn nos Sabbath neu yn fore dydd Llun cyn y bydd iddo ddychwelyd, ac felly y mae y wraig yn cael ei gadael o dan ei chleisiau, ac heb yr un geiniog o arian i gael tamaid o fwyd i'r plant erbyn y Sabbath. Cofier mai nid barddoniaeth ydyw hyn—nid dychymygion y ffugchwedl, ond hanes gwirioneddol; ac nid hanes wedi ei liwio yn uchel ychwaith, eithr hanes na ddywedwyd hanner y trueni sydd yn perthyn iddo. Y mae yr eneth uchod wedi bod yn cerdded yr heolydd am nosweithiau er eu hŷd, gan ormod ofn ei thad meddw i aros yn y tŷ.

Ond y mae yn dda genym fod yn alluog i hysbysu y darllenydd fod y dyn hwn, er ys peth amser, wedi rhoddi heibio y ddiod felldigedig sydd yn arfer ei wneuthur mor wallgof; ac yr ydym yn gobeithio gan Dduw y bydd iddo, er mwyn ei wraig a'i blant bychain, gael synwyr a nerth i ddal. Y mae y teulu hwn yn awr yn ei gweled yn nefoedd arnynt ar y ddaear.

Yr oeddym un diwrnod yn ddiweddar yn teimlo yn ddwys wrth glywed y bachgen bach tair blwydd oed yn dyweyd yr hyn a ganlyn wrthym,—"Nid ydi dada yn myn'd i'r dafarn rwan, ac yn dwad i'r tŷ, ac yn d'eyd d——." Hyfrydwch mawr i ni yw gweled y gŵr hwn yn awr yn ei iawn bwyll yn yr ystafell genadol yn gwrando yr efengyl.

Y mae effeithiau galarus y ddiod feddwol ar ein cydgenedl yn gyfryw ag sydd yn galw yn uchel ar bob gwladgarwr a dyngarwr i wneuthur ei oreu o blaid sobrwydd. Dylem fel gwladgarwyr wneyd ein goreu i geisio cyfyngu ar y fasnach felldigedig hon; a dylem fel Temlwyr Da, fel dirwestwyr, ac fel proffeswyr crefydd, ddyblu ein diwydrwydd mewn ymdrech i geisio sobri ein cydgenedl. Ond wedi'r cwbl, y mae yn ammheus iawn genym a oes unrhyw foddion yn ddigon nerthol i wrthsefyll y llifeiriant hwn heblaw gallu efengyl Duw. Y mae y gelyn wedi tyfu mor gryf fel nad oes ond Ysbryd yr Arglwydd yn unig a all ei ymlid ymaith. Yr hyn sydd arnom ni fel gwlad a chenedl ei fawr eisieu y dyddiau hyn ydyw tywalltiad helaeth a nerthol o'r Ysbryd Glân.

R. C. Owen.

---

## LLUNDAIN.

### HEN EGLWYS JEWIN CRESCENT A JEWIN NEWYDD.

"A chyfnewidier saith amser arno."

Un o hynodion arbenig y byd yma ydyw cyfnewidiadau. "Un genedlaeth a ä ymaith, a chenedlaeth arall a ddaw;" y naill wrthddrych yn myned heibio, a gwrthddrych arall yn gwneyd ei ymddangosiad. "Dydd i ddydd yn traethu ymadrodd, a nos i nos yn dangos gwybodaeth" am rywbeth yn newid yn barhâus. Dyma y gwahaniaeth mawr rhwng amser a thragywyddoldeb: y naill yn un parhâd digyfnewid, uwchlaw hanes, a'r llall yn rhyw gyfres o gyfnewidiadau darostyngedig i hanes. Ac fel y mae amser yn treiglo ymaith, a'i wrthddrychau o anghenrheidrwydd yn myned dan gyfnewidiadau, felly hefyd yr eglwys a enwyd uchod. Fel un o sefydliadau amser, y mae hithau yn ddarostyngedig i ganlyniadau amser, ac felly yn dyfod yn wrthddrych hanes. Ond er na fwriadwn yma ysgrifenu ei hanes, hwyrach nad annerbyniol gan ddarllenwyr y Drysorfa fyddai awgrym am ei bodolaeth, ei symudiadau, a'r hyn a ddygwyddodd iddi yn y dyddiau diweddaf hyn. Sefydlwyd hi ar y cyntaf yn Heol y Ceiliog *(Cock Lane)*, Maes y gofaint *(Smithfield)*, oddeutu 1785; ac wedi treulio blynyddoedd mebyd ac ieuenctyd yno, symudodd i Ffordd yr Anialwch *(Wilderness Row)*; a bu yn ymdaith yno ddeugain mlynedd. Wedi hyny cafodd babell i aros ynddi yn y Cengant Iuddewaidd *(Jewin Crescent)*; a chynnyddodd yno yn eglwys gref a lliosog; a theimlem ar brydiau awydd i adrodd y geiriau hyny, "Rhy gyfyng yw y lle hwn; dod le i mi fel y preswyliwyf." Ond nid oedd amser yn hepian, na'i gyfnewidiadau yn aros. Cynnyddai masnach yn y ddinas, a gwthiai ei thrigolion i'r amgylchoedd; ac felly fe ymgangenodd yr hen eglwys mewn gwahanol gyfeiriadau; ac erbyn hyn y mae iddi saith o gangenau yn ngwahanol barthau y dref. Ond er hyny arosai yr hen fam yn gref a diysgog yn ei hen babell, gan gynnorthwyo ei phlant-eglwysi am flynyddoedd. Gall ddyweyd, "Myfi hefyd a ddysgais i Ephraim gerdded, gan eu cymeryd erbyn eu breichiau; tynais hwynt â rheffynau dynol a rhwymau cariad. Ac oeddwn iddynt megys y rhai a godent yr iau ar eu bochgernau hwynt; a bwriais atynt fwyd." Pan oeddynt heb allu cynnal gweinidog, na thalu am weinidogaeth gyson, gwnaeth yr hen fam hyny iddynt am flynyddoedd; a thalodd swm mawr o ddyled eu capelau, a chadwodd ei drws yn agored bob amser i unrhyw araeth neu bregeth ag y byddai casgliad yn eu dilyn ar eu rhan, y naill neu y llall o honynt. A bu hefyd yn gartref crefyddol i liaws mawr o Gymry dros amser eu harosiad yn y brifddinas, pa rai sydd erbyn hyn mewn amgylchiadau cysurus, gan mwyaf, yn ngwahanol barthau y Dywysogaeth a manau eraill, a thri yn aelodau seneddol, ac nid anenwog fel y cyfryw ychwaith; ac er nad ydynt mewn cysylltiad uniongyrchol â'r Hen Gorff, er hyny yn meddu adgofion cynhes a theimladau caredig at yr enwad, ac yn enwedig at yr hen gartref yn Jewin Crescent, yr hyn a brofwyd ganddynt, nid yn unig mewn siarad, ond hefyd mewn gweithred a gwirionedd, a hyny hefyd ar adeg pryd ag y mae mewn gwirionedd wedi ei dwyn gan gyfnewidiadau amser i gyfyngder, yn gymaint felly fel ag yr ofnwyd unwaith am ei bodolaeth i fod mwy arni ei hun; ac fe benderfynwyd ar hyny unwaith, er nad oedd pawb yn cydolygu ar hyny ychwaith, ond y mwyafrif a orfu ar y pryd. Eithr er hyny nid hir y bu Rhagluniaeth heb ddyfod ymlaen a dyweyd, "Nid eich meddyliau chwi yw fy meddyliau i," a gorchymynodd iddi ddychwelyd i'w thŷ ardrethol ei hun; ac yn fuan wedi hyny cyfeiriodd ei hymofynwyr at lanerch a drefnasid ganddi i'w brynu yn rhyddfeddiant ac i godi ei phabell arno, i aros

bellach, ni a obeithiwn, dros oesau y ddaear. A hyderwn mai ar ganiad yr udgorn diweddaf y bydd y symudiad nesaf. Pan fydd y beddau yn agor, a'r môr yn rhoddi i fyny y meirw, bydd hen eglwys Jewin Crescent hefyd, ni a obeithiwn, ymysg y llïaws yn gallu dyweyd, "Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi."

Ac yn awr dyma yr apêl. Gwyddys yn dda fod amryw o gyhoeddiadau eraill â hyn wedi ei gyhoeddi mewn gwahanol ffurfiau ganddynt; er hyny diau fod y goreuon yn aros yn ffyddlawn i'r DRYSORFA fel prif gyhoeddiad a safon hanesiaeth yr Hen Gorff, ac felly yr ydym yn anturio gosod hyn unwaith eto ger eu bron. Rhag i ni flino neb â gormod meithder, a gormesu ar eich gofod, ceisiwn ei gfynhoi i ychydig o eiriau syml a diaddurn. Fel yr oedd amser yn dirwyn i fyny, felly yr oedd y meddiant o'r hen le yn dyfod yn agosach i'r terfyn bob blwyddyn; a barnwyd yn well cymeryd yr hyn a gynnygid am y gweddill na'i roddi i fyny ymhen ychydig flynyddoedd heb ddim yn gyfnewid am dano. Ond er hyny, yr oedd yr anturiaeth mor fawr fel y diffygiai ffydd rhai; ymwrolai eraill wrth ystyried nad ydym mwy fel yr oeddem gynt yn rhyw gorff o bobl druain dlodion, ond yn hytrach fod i ni feddiannau lawer; ac y mae tri o'n swyddogion eglwysig bellach yn Aelodau Anrhydeddus yn Senedd y llywodraeth, ac y maent hwy wedi ymddwyn yn anrhydeddus tuag atom eisoes. Ac yr ydym hefyd wedi dyfod yn dra llïosog: ac er y bydd y swm uwchlaw deng mil o bunnoedd, eto ond i ni gael cydymdeimlad dyladwy, gallwn ninnau ddyweyd, "Beth yw hyny rhwng cynifer?" Wel, y mae llawer wedi cyfranu yn dda, ac y mae addewidion lawer i'w cyflawni eto. Ond pe byddai yr oll a addawyd wedi dyfod i law, bydd ar ol hyny swm mawr yn aros. Felly ni a adäwn ein cwyn gyda dyweyd yn syml yn iaith ein cymydogion, "*The smallest donation thankfully received.*"

Ond mwy na'r rhodd leiaf fyddai yn well, yr un pryd. Y mae y llanerch yn dygwydd bod o fewn ychydig bellder i'r fan y safai yr hen babell, mewn lle a adnabyddid wrth yr enw *Bridgewater Gardens*, neu yn ol y Gymraeg, Gerddi Pont y Dwfr; a chan ein bod wedi dygwydd bod mor hapus a chael meddiant mewn gardd, ni a hyderwn y bydd yr eglwys, trwy gymhorth a chydymdeimlad brodyr a chyfeillion, ynghyda bendith y Nefoedd, yn gyfryw o ran ei hamgylchiadau tymmorol, ac yn enwedig ei hansawdd ysbrydol, ag y gall ddyweyd yn y geiriau hyny, "Deued fy Anwylyd i'w ardd, a bwytäed o'i ffrwyth peraidd ei hun," ac y bydd yn ffrwytho eto yn ei henaint yn dirf ac iraidd, ac yn mynegu i'r oesau a ddêl mai uniawn yw yr Arglwydd ei Chraig, ac nad oes anwiredd ynddo.

J. H.

---

AT EGLWYSI Y METHODISTIAID CALFINAIDD CYMREIG YN GYFFREDINOL.

FRODYR A THADAU ANWYL A PHARCHEDIG,—Mae eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn y Wladfa Gymreig, Dyffryn y Camwy, Patagonia, yn anfon atoch anerch, gan hyderu eu bod trwy hyn yn cychwyn cymundeb ag a barhäo, fel arwydd o undeb syniadau, a'n hymlyniad yn yr athrawiaethau yr addysgwyd ni ynddynt, wrth ddilyn pa rai yr hyderwn, er bod wedi ein gwahanu ymhell ar y ddaear, y cawn gyfarfod eto yn myddin yr Oen ar fynydd Sïon.

Yr ydym yn anfon fel y gwypoch ein hanes, gan ddymuno eich cynghor a'ch gweddi, a phob cymhorth a deimlwch yn ddoeth ei anfon i ni er cynnal yr achos ymlaen. Er mwyn hyn erfyniwn ar i chwi gyflwyno ein hachos i'r Cyfarfodydd Misol a'r Cymanfaoedd, i'w ystyried yn ol ei haeddiant.

O herwydd bychander nifer y sefydlwyr ar y cyntaf, ymunwyd yn eglwys anenwadol; ac felly y bu y mwyafrif am flynyddau. Yr oedd er hyny rai o bob enwad yn methu cymuno, dan deimlad dros neillduolion eu syniadau. Ar ddyfodiad nifer mawr o sefydlwyr yn y tair blynedd diweddaf, sefydlwyd eglwys o Fedyddwyr, ac un arall o Annibynwyr, yn rhanau mwyaf newydd y Wladfa, yr hyn a osododd aelodau o'n Cyfundeb ni a drigiannent yn y cyrion hyny mewn cyfwng digartref. Yr un pryd yr oedd eraill yma a thraw yn methu ymuno. Gyda hyn, yr oedd tuedd rhai dros droi eglwys arall anenwadol yn Annibynol, nes yr aeth lle y gweddill o honom yn anghysurus.

Dan yr amgylchiadau hyn, wedi ymgynghoriad, ymgasglodd nifer o frodyr mewn lle canolog, ac ymffurfiasom yn eglwys; a chyttunasom i gynnal yr achos ymlaen fel y gwelir yn y Rheolau Darbodol isod.

Yr ydym yn awr yn rhifo oddeutu 30 o gyflawn aelodau, rhai eraill ar brawf, a llïaws o blant. Mae eto rai aelodau mewn parthau anghyfleus yn glynu yn yr eglwysi eraill, hyd nes y bydd genym foddion Sabbothol o fewn cyrhaedd. Mae genym le cryf i gredu fod amryw wedi ymadael oddiyma yn ystod y deunaw mis

diweddaf, am nas gallent deimlo yn gartrefol o ddiffyg eglwys o'n Cyfundeb ni. Am danom ni, yr ydym yn teimlo yn gynhes a chariadus, a gwedd yr achos yn galonogol a chynnyddol.

Mae ein nifer yn rhy ychydig i ni allu cyflawni llawer, ond credwn fod ysbryd gweithio a chyfranu yn fywiog. Mae ein casgliadau yn dda. Yr ydym hefyd ar hyn o bryd yn prysuro i adeiladu addoldŷ yn y parth mwyaf canolog. Mae genym lawer o anghenion i'w diwallu. Ond tra y mae yr Arglwydd yn gwenu arnom yn ei ragluniaeth, yr ydym yn gobeithió ac yn gweddïo y dyry ynom ysbryd i weithio yn ol ein gallu i gyfarfod yr anghenion. Mae rhai anghenion nas gallwn eu cyflenwi, a rhaid i ni edrych at y Cyfundeb am eu symud. O ddiffyg cymundeb, yr ydym mewn prinder llyfrau, megys *Rhodd Mam*, llyfrau Ysgol Sabbothol, gwobrwyon plant, &c. Ychydig iawn o'n cyfeillion sydd yn cofio anfon dim o gylchgronau y Corff i neb yma.

Taer ddymunwn am gefnogaeth y Cyfundeb i unrhyw weinidog ordeiniedig a fyddo yn tueddu i ymfudo tuag yma. Gweinidog o enwad arall sydd yn gwasanaethu i ni yn achlysurol. Hoffem oll gael un o honom yn ein plith.

Pan fo aelod ar ymfudo yma, dymunem i'w eglwys ei galonogi, y caiff heblaw gwlad iach a siarad Cymraeg, hefyd dderbyniad cynhes gan eglwys y Methodistiaid Calfinaidd.

Cyflwynwn ein hachos i'ch sylw fel hyn yn rhwymau cariad efengyl Crist.

Ar benodiad, ac yn enw yr eglwys,

R. J. Berwyn.
Morgan Powell.
John Lewis.
John D. Davies.
John S. Jones.

*Ffurfiad yr Eglwys.*

Yr ydym ni, gynnulliad o aelodau perthynol (trwy dystebau) i amrywiol eglwysi o Gyfundeb y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig, yn ffurfio yn eglwys yn y Wladfa, fel y canlyn :—

Dadganwn ein hymlyniad wrth athrawiaeth a dysgyblaeth *Cyffes Ffydd* y Methistiaid Calfinaidd Cymreig.

Mae llais cyfartal gan yr holl aelodau, pa rai a ddewisant nifer o henuriaid i gario ymlaen drefniadau yr eglwys, yn gymdeithasol a chyhoeddus.

[Rhoddodd yr holl aelodau—30, eu henwau, a dewiswyd pump yn bwyllgor dros dymmor.]

Yn ngwyneb bychander ein nifer yn awr (Ionawr, 1878), yr ydym yn cyttuno ar yr hyn a ganlyn fel trefniadau darbodol :—

I. I gynnal moddion crefyddol o dŷ i dŷ fel y caffom le, hyd nes y cawn adeiladau arbenig i ni ein hunain.

II. Cynnelir moddion mewn amrywiol gyrau o'r sefydliad ar yr un adeg yn ol fel y teimlir gallu i'w cario ymlaen.

III. Gwneir casgliad misol tuag at ddwyn ymlaen dreuliau yr achos.

IV. Hyd nes y delo atom weinidog perthynol i'r Cyfundeb, gofynir am wasanaeth achlysurol rhai o'r gweinidogion sydd yn y lle, i gyflawni yr ordinhadau, ac hefyd ar adegau eraill, yn ol fel y bernir yn ddoeth.

[Ynglŷn â hyn, dymunir am farn a chynghor y Gymanfa, a fyddai yn rheolaidd, neu yn ddoeth, neu yn oddefol, i gyfranogi o Swper yr Arglwydd yn absennoldeb gweinidog.]

V. Cynnelir Ysgol yn y manau cyfleus bob boreu Sabbath. Yn y prydnawn (oddigerth pan geir pregeth), cynnelir cyfarfod gweddi; gogyfer â hwn hefyd, nodir ar frawd i roddi anerchiad, neu esbonio rhan o bennod. Ar ddiwedd y moddion cyhoeddus, cynnelir cyfarfod eglwysig.

VI. Cymerir y trefniadau uchod dan ystyriaeth o dro i dro, i'w diwygio a'u helaethu yn ol fel y gwelir angen am hyny.

[Anfonwyd copi o'r Anerchiad uchod i ni trwy y llythyrfa, yn bapyr argraffedig; ac yr oedd ar ei ddiwedd, *Argraffwyd gan Lewis Jones, Plasheddwch, Dyffryn y Gamwy, Patagonia.*]

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

Ar y 1af o Awst, gosodwyd careg sylfaen capel newydd Hundleton, gerllaw Penfro, gan Mr. Williams, maer Hwlffordd. Llywyddid ar yr achlysur gan y Parch. John Rees Owen, a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan ymron yr holl weinidogion yn y rhan Seisonig. Gwnaed casgliad o £70 at y gronfa adeiladu. Adeiladwyd y capel cyntaf yn y pentref hwn yn 1821, yr hwn a helaethwyd yn 1846. Y tro yma tynwyd yr hen i lawr yn hollol, a bydd y capel yn gwbl newydd. Ar yr 11eg o Awst, yr oedd y fam-eglwys yn Mhenfro yn ail agor eu capel ar ol y gwelliadau diweddar a wnaed ynddo. Sicrhäwyd gwasanaeth y Parch. Thomas Charles Edwards, M.A., ar yr achlysur, ymweliadau yr hwn sydd bob amser yn hynod dderbyniol yn y gongl hon o'r Dywysogaeth er yr amser y bu yn gweinyddu i'r Cymry yn Mhenfro a Thinbych, yn adeg gwneuthuriad y rheilffordd, o bymtheg i ddeunaw mlynedd yn ol.

Gwnaeth eglwys Seisonig Aberystwyth

eleni eto gasglu can' punt, a saith dros hyny, tuag at ddiddyledu'r capel yn y cyfarfod blynyddol a gynnaliwyd ar y 4ydd o Awst, pryd y traddodwyd pregethau gan y Parchn. J. C. Jones, Caerdydd, a T. A. Penry (A.), Aberystwyth. Mae dyled y capel wedi ei dynu i lawr bellach i £380; a bwriedir ei gwbl glirio erbyn 1881, sef ymhen deng mlynedd ar ol y dechreuwyd yr adeilad.

Mae y gynnulleidfa yn Maescapel, Rhaiadrgwy, wedi cyflwyno anrheg o oriawr aur a chadwen o'r gwneuthuriad goreu i'w gweinidog, yr hwn sydd wedi ei gwasanaethu dros y tymmor hirfaith o bymtheg mlynedd ar hugain, sef er y flwyddyn 1843, ac fel y gallesid dysgwyl wedi ennill lle neillduol iddo ei hun yn serchiadau yr holl ardalwyr fel gweinidog parchus ac fel gwladwr defnyddiol. Cyflwynwyd yr anrheg mewn cyfarfod cyhoeddus ar yr 2il, pryd y cafwyd pregeth gan y Parch. David Jones, Machynlleth, ac anerchiadau cynhes gan amryw eraill. Mae yn debyg y bydd Mr. Jones yn ymryddhâu oddiwrth ei ofal am yr achos yn y lle, o leiaf mewn rhan, os nad yn llwyr.

Yr ydym wedi cael adroddiad am gyfarfodydd blynyddol yn y lleoedd canlynol:— Birchgrove, Morganwg, ar yr 28 a'r 29ain o Gorphenaf, y Parchn. Joseph Jenkins, Llanfairmuallt, Edward Edmunds ac Evan Williams, Pîl, yn y gwaith: Llansamlet, ar y 4ydd a'r 5ed o Awst, y Parchn. G. Davies, Llundain, T. James, M.A., Llanelli, John Richards, Llechryd, a W. Morgan, Porthcawl: Trecynon, Aberdâr, ar yr un dyddiau, y Parchn. G. Parry, Llanberis, T. C. Phillips, Mountainash, a Thomas Levi, yn pregethu: yn Abercarn, ar yr 8 a'r 9fed o Awst, y Parch. *Principal* Edwards ac eraill yn gweinyddu: yn Moriah, Llanstephan, ar yr 28 a'r 29ain o Gorphenaf, y Parchn. Morris Morgan, T. R. Lloyd, a W. Curry (W.), yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth: ac yn Pennant, gerllaw Aberaeron, y Parchn. L. Edwards, D.D., a W. Evans, M.A., yn pregethu. Bwriedir adnewyddu y capel yn y lle hwn yn fuan.

Y mae Mr. J. Randell, Llanelli, yn garedig iawn wedi anrhegu Ysgol Sabbothol y capel Seisonig âg organ yn werth tua deugain punt.

Hysbysir ni yn nghofnodau Cyfarfod Misol Brycheiniog, fod amryw o eglwysi wedi dechre y casgliad mawr at Drysorfa'r Gweinidogion, ac amryw eraill yn barod i gychwyn.

Y mae y Parch Dr. Harries Jones yn parhâu yn llwyddiannus yn ei ymdrech i gasglu y gweddill dyledus ar Gapel Coffadwriaethol Trefecca. Mae yn ymddangos fod ganddo ef ddawn neillduol i gasglu, nid yn annhebyg i eiddo y diweddar Barch. John Phillips o Fangor. Pan ddaw yr "awr" i adeiladu y colegdŷ, mae yn ddiammheu mai efe yw y "gŵr" i gasglu yr arian.

Y mae capel newydd Blaenplwyf, Ceredigion, wedi ei ddechreu; ac ar yr 16eg o Awst gosodwyd y ceryg coffadwriaethol gan Mr. a Mrs. Lewis Pugh Pugh, Abermad. Llywyddid ar yr achlysur, yn absennoldeb anocheladwy R. J. Davies, Ysw., Cwrtmawr, gan ei nai, Dr. Robert Davies Roberts, Aberystwyth; a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Parchn. E. W. James, o'r Borth; Griffith Parry, W. Evans, M.A., David Evans, Lledrod; Mri. D. Jacob Davies, Ffynnonhywel; D. Jenkin Davies, a Phillip Williams. Gwnaeth Mr. Pugh anerchiad rhagorol yn annogaethol i frawdgarwch rhwng Eglwyswyr ac Ymneillduwyr, a chydweithrediad yn nygiad ymlaen y gwaith mawr o efengyleiddio'r byd. Cyfeiriodd at Asia Leiaf fel maes newydd wedi ei agor i ni fel teyrnas, a dadganai y gobaith y bydd i'r "canwyllbrenau aur" gael eu gosod i fyny yno eto cyn hir, ac y bydd i Gymru gymeryd ei rhan yn hyn o beth. Traul y capel newydd hwn fydd tua mil o bunnau, a dysgwylir y bydd tua chwe' chant o'r draul wedi eu codi erbyn dydd yr agoriad.

Casglwyd y swm hardd o £165 ar agoriad capel newydd y Pentre, Ystrad Rhondda; ac yr oeddid wedi casglu tua £150 bythefnos cyn hyny yn y capel nesaf ato, sef Treorci, ar achlysur eu cyfarfod blynyddol yno.

Yn nghyfarfod sefydliad y Parch. O. T. Williams, yn ddiweddar o'r Croesor, fel gweinidog yr eglwys a'r gynnulleidfa Seisonig yn Nolgellau, llywyddodd y Parch. Robert Roberts; a chymerwyd rhan yn ngorchwylion y cyfarfod gan y Dr. E. Jones (Ustus Heddwch); Mri. Griffith Davies, o gapel Salem, y diacon hynaf yn Nolgellau, os nad yn holl gylch y Cyfarfod Misol; a R. O. Rees o gapel Bethel; a'r Parchn. D. Evans, M.A., prif-athraw Ysgol Rammadegol Gelligaer, a hen weinidog Dolgellau; a J. Davies, Bontddu. Cafwyd cyfarfod dyddorus a hyfryd.

Yn Nghyfarfod Misol Dysgwylfa, Arfon, yn y gynnadledd gyntaf, rhoes y Parch. Hugh Roberts, Bangor, anerchiad rhagorol ar y mater "Parhâd mewn gras;" ac amlygwyd dymuniad am iddo ei ddwyn allan yn llyfryn, gydag ymrwymiad i wneyd egni o blaid ei ledaeniad.

Mae Mr. J. G. Jones, Beaumaris, wedi derbyn gwahoddiad i weinidogaethu yn Llanfaircaereinion.

Cynnaliwyd yn y Waen Bodffari gyfarfod o groesawiad i'r Parch. E. Jones, yn ddiweddar o Nantglyn, fel gweinidog y lle, pryd y dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. D. Jones, Dinbych, y llywyddwyd gan Mr. Owen Williams, Glânclwyd, yr hwn, ynghyda Mr. Roberts, Pontruffydd, a ddywedasant am unfrydedd yr alwad ar Mr. Jones. Wedi cael gair o deimlad y gweinidog ei hun, cafwyd anerchiadau gan y Parch. Emrys Evans, a Mr. Roberts, Llanelwy, anfonedig gan Gyfarfod Misol Sir Ddinbych, a chan y Parchn. Benjamin Jones a Roger Edwards, fel cynnrychiolwyr Cyfarfod Misol Sir Fflint; a therfynwyd trwy weddi gan Mr. Edwards. Yn ystod y cyfarfod canwyd amryw dônau gan gôr y gynnulleidfa yn rhagorol; ac yr oedd yn amlwg fod yr holl gyfarfod yn cael ei fwynhâu gan y dorf oedd yn bresennol.

Addoldŷ newydd David-street, yr hwn a adeiladwyd gan gynnulleidfa Prince's Road, Liverpool, a agorwyd yn y mis diweddaf, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. Dr. Edwards, D. Saunders, D. Davies o'r Abermaw; Dr. O Thomas, R. Lumley, H. Jones, ac O. Jones, B.A., Liverpool. Mae yn gapel o wneuthuriad ardderchog, ac eisteddleoedd ynddo i 450 o addolwyr. Yr holl draul o'i adeiladu, heblaw cost y tir, a fydd tua £2500.

Y mae eglwys y Methodistiaid yn y Dyserth, perthynol i Gyfarfod Misol Sir Ddinbych, yn ystod y blynyddoedd diweddaf, wedi cael colledion trymion trwy farwolaethau swyddogion galluog; ac yn ddiweddaf oll, ddechreu y mis diweddaf cymerwyd y blaenor ffyddlawn John Pritchard, at ei wobr, ar ol bod yn cyflawni dyledswyddau ei swydd gyda dyfalbarhâd mawr am flynyddoedd lawer. Cafodd gladdedigaeth tywysog; yr oedd agos yr oll o weinidogion y dosbarth yn bresennol ar yr achlysur; gwnaed sylwadau parchus arno yr adeg hono yn gystal ag yn y Cyfarfod Misol diweddaf gan amryw o'r brodyr.

Gofidus genym hysbysu am farwolaeth y Parch. Robert Roberts, Wilton Square, Llundain, gynt o'r Carneddau, Arfon, brawd y diweddar Ieuan Gwyllt, ar ol amryw fisoedd o nychdod, yr hyn a gymerodd le ar y 1af o Awst. Gadawodd dri o blant amddifaid, y rhai oeddynt o'r blaen wedi colli eu mam. Yr oedd Mr. Roberts yn ŵr o feddwl cryf, barn addfed, ac ymhob modd yn weinidog cymhwys y Testament Newydd.

*Y Cyfaill o'r Hen Wlad* am Awst a ddywed, "Ar y 26ain o Mehefin, derbyniodd y Parch. Joseph E. Davies yr urddeb D.D., o Athrofa y *Western Reserve*, Ohio. Credwn y gall ddysgwyl swmbwl yn y cnawd, a chenad Satan i'w gernodio, fel na'i tra-dyrchafer. Gobeithio y caiff ddigon o ras i beidio gwingo yn erbyn y symbylau. Nid ydym yn cenfigenu wrtho; nid oes achos." Nac oes, canys y mae Golygydd y *Cyfaill*, yntau, wedi ei urddebu â D.D. er ys cryn amser bellach.

---

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

JOHN FOULKES JONES, YSW., MACHYNLLETH.

*Gan y Parch.* D. WILLIAMS, *Machynlleth.*

GANWYD Mr. Jones Mawrth 23, 1801, mewn lle a elwir y Frondeg, yn mhlwyf Gwrecsam. Bu ei rieni farw pan oedd yn bur ieuanc. Mewn canlyniad i hyny dygwyd ef i fyny mewn lle yn yr un gymydogaeth a elwir Plas Buckley, gyda Mr. a Mrs. Jones, pa rai a fuont yn ymgeleddwyr (*guardians*) iddo nes iddo allu dyfod i ateb drosto ei hun.

Yr oedd ei rieni yn arfer myned i wrando i gapel Annibynol y Wern. Nid oes sicrwydd pa un a oeddynt yn aelodau yno ai nid oeddynt. Ond y mae hanes ar gael, ddarfod i Mr. Jones, tad ein gwrthddrych, adael yn ei ewyllys y swm o £50 fel rhodd i'r gweinidog cyntaf a ddeuai i weinidogaethu i gapel y [illegible] [illegible]wyddodd hwnw fod [illegible] [illegible]hgofiadwy W. Wil[illegible] [illegible] ef yn gyffredin, [illegible] mae yn dra thebuchod fod tad Mr. Jones yn aelod crefyddol yn y Wern. Ymddengys fod Mr. Jones a'r Parch. W. Williams yn gyfeillion mawr drwy eu hoes. Bob tro y byddai Mr. Williams yn dyfod i Fachynlleth, byddai yn galw gyda Mr. Jones.

Derbyniodd ei addysg mewn ysgol ddyddiol yn agos i Adwy'r Clawdd, gyda'r hen ysgolfeistr nodedig Mr. Evans, tad y diweddar Mr. P. M. Evans, Treffynnon. Dywedir fod yr hen ysgolfeistr yn ddysgyblwr manwl, fel y byddid yn arfer o dan yr hen oruchwyliaeth ddeddfol hono; *ond, pa fodd* bynag, nid oes hanes i Mr. Jones gael un math o gurfa ganddo erioed. Dengys hyn fod y dymher addfwyn a'r ysbryd tangnefeddus oedd mor amlwg ynddo wedi iddo dyfu i fyny, ynddo yn yr hedyn pan yn ieuanc.

"Buan y dengys y dyn
O ba radd y bo 'i wreiddyn."

Yr oedd hyn, fe welir, yn talu yn dda iddo yn yr ysgol. "Gwyn eu byd y rhai addfwyn," a "Gwyn eu byd y tangnefeddwyr," y maent hwy yn bur ddiogel ymhob amgylchiad a

sefyllfa. Ymddengys iddo gael addysg dda pan yn ieuanc, canys yr oedd yn ysgrifenwr rhagorol, yn rhifyddwr hwylus, ac yn ieithyddwr cywir.

Y cam nesaf yn hanes Mr. Jones ydoedd ei symudiad i Gaerlleon, at un o'r enw Mr. Whittle, gyda'r hwn y cafodd ei ddwyn i fyny yn *druggist*. Nis gwyddom beth oedd ei oedran yr adeg yma. Ymddengys ei fod yn lled ieuanc. Wedi myned i Gaer, aeth i wrando i gapel Cymraeg y Methodistiaid Calfinaidd. Hwn oedd yr unig gapel Cymraeg oedd yn y ddinas ar y pryd. Cyn hir cawn iddo fyned i'r *society* yno; a'r diweddar Barch. O. Jones, y Gelli, Sir Drefaldwyn, oedd yn dygwydd bod yno yn pregethu y Sabboth y cafodd ei dderbyn. Hawdd genym gredu mai ychydig o waith (mewn cymhariaeth) a gafodd Ysbryd yr Arglwydd i berswadio Mr. Jones i ddyfod yn gristion; oblegid y mae yn dra sicr ei fod ef yn un o'r rhai mwyaf llednais a diargyhoedd cyn ei ymuniad âg eglwys Dduw. Nid oedd fel llawer o fechgyn ieuainc wedi bod yn euog o "ymadrodd ffol, a choeg ddigrifwch," ac nid oedd ganddo "bechodau rhyfygus" i edifarhâu o'u herwydd. Y mae yn debyg fod hyn i'w briodoli i fesur mawr hefyd i'r dygiad i fyny da a gawsai yn nheulu Plas Buckley. Daeth y brodyr yn Nghaer i ddeall cyn hir mai nid aelod gwan a diffrwyth yr oeddynt wedi ei dderbyn i'w cymdeithas grefyddol wrth dderbyn Mr. Jones. Yn hytrach, daethant i weled yn fuan fod ynddo ddefnyddiau gweithiwr yn y winllan. Ac fel crefyddwyr llygadog a meddylgar, rhoddasant waith iddo i'w gyflawni. Ymddengys mai yr Ysgol Sabbothol oedd maes cyntaf ei lafur yn Nghaer. Bu am tua dwy flynedd yn myned oddiyno i Saughall bob Sabboth a'i giniaw yn ei logell, i gadw ysgol. Trwy hyn cafodd y fraint o fod yn un o sylfaenwyr yr achos yn y lle hwnw.

Yr hanes nesaf a geir am dano ydyw iddo fyned i Lundain at Mr. Bell, fferyllydd enwog yn y ddinas. Ychydig o'i hanes a wyddys tra y bu yn aros yn Llundain; a gresyn na buasai wedi ysgrifenu ychydig o hanes bore ei oes. Ond nid oes ammheuaeth ei fod yn parhâu yn grefyddol a defnyddiol gyda'r achos mawr yn ystod ei arosiad yno hefyd. Yr oedd yn hoff iawn o son am ei gysylltiad â Llundain. Yr oedd ganddo feddwl mawr am yr enwog fferyllydd, Mr. Bell, ac y mae yn ddiammheu fod gan Mr. Bell barch mawr iddo yntau.

Ond wedi bod am ryw gymaint o amser yn y brifddinas, daeth i dalu ymweliad â'i hen ardal a'i hen gyfeillion yn agos i Wrecsam, gan fwriadu ar y pryd ddychwelyd. Ond mewn ymddyddan â'r hynaws a'r parchedig John Hughes o Wrecsam, wedi hyny o Liverpool, annogai Mr. Hughes ef i aros gartref. Teimlai Mr. H. ddyddordeb dwfn yn Mr. Jones fel gŵr ieuanc crefyddol a da; ac yn lle dychwelyd i Lundain, annogai ef i ymsefydlu yn Nghymru. Cyfeiriai ei feddwl at Fachynlleth, gan ystyried y gallai rhyw ddrws agor iddo yno. Gwyddai yn dda am Mrs. Foulkes a'i theulu; a rhoddodd lythyr o gymeradwyaeth i'w gyfaill ieuanc Mr. Jones atynt. Y mae pob lle i gredu fod Mr. Hughes dan arweiniad Rhagluniaeth Ddwyfol wrth gyfeirio meddwl Mr. Jones y tro hwn at Fachynlleth. Fel y bu Mr. Charles o'r Bala yn foddion yn llaw Rhagluniaeth i ddwyn Mr. a Mrs. Foulkes i fyw i Fachynlleth, felly y mae yn dra thebyg fod Mr. Hughes wedi bod yn foddion yn ei llaw i ddwyn Mr. Jones yma wedi hyny. Ond i fod yn fyr, canlyniad ymweliad Mr. Jones â theulu Mrs. Foulkes fu iddo mewn peth amser briodi Miss Lydia Foulkes, merch i Mr. a Mrs. Foulkes. Yr oedd Mrs. Foulkes yn chwaer i'r Parch. Simon Lloyd, B.A., Plas yn dre, Bala, awdwr yr *Amseryddiaeth*, &c., ac i H. Lloyd, Ysw., Caerlleon. Yr oedd hon yn briodas o'r fath fwyaf hapus. Bu Mrs. Jones yn ymgeledd gymhwys iddo ef mewn gwirionedd, ac yntau yn briod tyner a gofalus am dani hithau. Bu iddynt wyth o blant, pedwar o ba rai sydd yn fyw; sef y Parch. J. F. Jones, B.A., Mrs. H. Roberts, Alderley, Manchester; H. Ll. Jones, Ysw., *Manager, N. P. Bank*, o'r dref hon, a Miss Foulkes Jones, yr hon sydd gartref gyda'i mam.

Yn fuan wedi ymsefydliad Mr. Jones yn Machynlleth (daeth yma yn y flwyddyn 1825), gwnaed ef yn ddechreuwr canu. Yr oedd y canu ar y pryd yn lled isel yn nghapel y Maengwyn. Ond os oedd yn isel o'r blaen, adnewyddwyd ef yn fuan trwyddo ef. Nid oedd yr un elfen yn fwy amlwg ynddo na'r elfen gerddorol. Yr oedd canu mor naturiol iddo ag i'r ëos ei hunan. Yr oedd wedi cael ei eni yn gerddor. Mor sicr â bod gwir fardd wedi cael ei eni yn fardd, yr oedd yntau wedi cael ei eni yn gerddor. Yr oedd yn canu mor naturiol ag y mae'r mwg yn esgyn, a'r dwfr yn rhedeg i lawr. Yr oedd yn un o'r dechreuwyr canu mwyaf swynol ac effeithiol. Yr oedd son am dano drwy yr holl Dywysogaeth. Yr oedd holl bregethwyr De a Gogledd yn ei edmygu fel "blaenor y gân." Yr oedd amryw bethau yn cydgyfarfod ynddo i'w wneyd yn gerddor da. Yr oedd yn wir grefyddol o ran ei ysbryd, ac felly yn canu â'r ysbryd. Nid canu fel yr organ heb deimlo'r dôn yr oedd ef; na, yr oedd ei holl enaid yn y mawl. Yr oedd ganddo hefyd lais gorberaidd, meddal, swynol, a chwmpasog. Yr oedd rhywbeth yn ei lais oedd yn treiddio yn dra effeithiol drwy yr holl gynnulleidfa, fel y mae perarogl y rhosyn yn treiddio trwy ac yn ymgymysgu â'r awyr o'i amgylch. Yr oedd ymhellach yn meddu chwaeth dda i gymhwyso y tônau priodol at y geiriau a genid. Pan oedd Cymdeithasfa yn cael ei chynnal yn Machynlleth flynyddau yn ol, clywsom fod y cerddor galluocaf mewn Sîr gyfagos yn synu at ei allu cerddorol. Pan oedd ysgrifenydd hyn o linellau yn hogyn bychan, y mae yn cofio yn dda am ei lafur parhâus gyda'r canu y pryd hyny. Byddai yn cadw cyfarfod canu am bump o'r gloch bob prydnawn Sabboth i ddysgu tônau priodol i'w canu yn yr addoliad cyhoeddus. Ac yr oeddym yn dygwydd bod dipyn yn ei ffafr gyda'r canu, a da genym gael dyweyd iddo fod yn garedig wrthym tra y bu byw. Dodwn yma bennill o'i farwnad (gydfuddugol) a gyfansoddwyd iddo gan y Parch. E. Davies, Llanarmon:—

"Yn y mawl esgynai 'i ysbryd
Uwch anianol dwrf y byd,
A chyrhaeddodd gyffin eilfyd
Yn y capel lawer pryd:
Codai 'r dyrfa 'n hyfryd dawel
I'r uchelder gydag ef,
Nes y tybid yn yr awel
Glywed sain caniadau 'r nef."

Pe buasai wedi myfyrio y gyfundraeth gerddorol fel y gwnaeth rhai, gallasai fod yn un o brif gerddorion yr oes.

Nid hir y bu yr eglwys heb ei ddewis yn ddiacon neu flaenor. "Yr amser a ballai i mi fynegu" am ei holl ragoriaethau fel swyddog eglwysig, a'i weithgarwch dyfal gyda'r achos mawr. Yn wir y mae hyny yn annhosibl; y dydd hwnw yn unig a all ddangos hyny. Arno ef yr oedd agos holl ofal yr achos, yn enwedig y rhan gyntaf o'i oes yma, am fod amryw o'r blaenoriaid a berthynent i'r eglwys yn byw ychydig yn y wlad. Efe oedd yn gofalu am yr holl gyhoeddiadau; ac yr oedd raid iddo chwilio am ddau bregethwr bob Sabboth, am fod y dref a'r cangenau dan ei gofal yn gofyn gwasanaeth dau. Ac yr oedd efe yn gofyn i *bob pregethwr* o fewn cylch Cyfarfod Misol y Sîr a'r Siroedd cyfagos ddyfod i Fachynlleth yn eu tro. Yr oedd yn gwneyd hyny oddiar egwyddor dda; yr oedd yn ystyried, gan fod y Cyfarfod Misol wedi eu dewis yn rheolaidd i bregethu'r efengyl, y dylasai yntau eu derbyn a rhoi lle iddynt weithio fel y cyfryw. Yr ydym yn cofio clywed am hen flaenor parchus oedd yn byw yn Llangurig amryw flynyddau yn ol o'r enw Hugh Llwyd. Hen garictor hynod oedd efe. Pan elai i'r Cyfarfod Misol, ei blan yntau oedd gofyn cyhoeddiad i *bob* pregethwr; ni byddai yn pasio neb. "Nid wyf fi," meddai, "yn ystyried fy hunan yn ddigon o ddyn i *ail ethol y pregethwyr.*" A chan ei fod yn gofyn i bob un, gofynodd i'r Parch. ——, "A roddwch chwi gyhoeddiad i mi, Mr. ——?" meddai. "Yn sicr nid allaf ddim," atebai yntau. "Ddyn," meddai H. Ll., "ni ommeddodd neb erioed mo honof fi o gyhoeddiad, ac ni wnewch chwithau ddim chwaith." A dyna oedd Mr. —— ei hun yn ddyweyd, "Gorfu i mi roi un iddo." Gan fod Mr. Jones mor dyner a chydwybodol a gofyn i bob pregethwr, byddai pob doniau a gallu oedd yn dyfod i pulpud y Maengwyn, o'r "cedrwydd sydd yn Libanus hyd yr isop a dyf allan o'r pared." Ac heblaw hyn yr oedd cymaint o barch a sirioldeb yn cael ei ddangos tuag at yr isop bach syml â'r gedrwydden gryfaf gan Mr. Jones a'i deulu, yn y tŷ yn gystal âg yn y capel. Pe byddai pob eglwys yn gweithredu yn ol yr egwyddor uchod, fe allai yn y pen draw y byddai nid ychydig o lwyddiant yn canlyn; oblegid "nid trwy lu ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd." Ai nid dyma yr egwyddor yr amcenir ati neu y dylid amcanu ati drwy y "Drysorfa Gynnaliaethol," sef cyfartalu mwy ar y weinidogaeth?

Un perl gwerthfawr yn ei goron fel blaenor oedd ei ofal manwl am yr eglwysi bychain, sef y pedair cangen-eglwys oedd dan ofal y fam-eglwys yn y dref, sef Pantperthog, Derwenlas, Forge, a Phenegoes. Yr oedd bob amser yn lledu ei esgyll cynhes dros y rhai bychain hyn, fel yr iar dros ei chywion. Llawer gwaith y bu ei fab hynaf, y Parch. J. F. Jones, B.A., pan yn llencyn bychan, yn cael ei yru ganddo at wahanol bersonau yn y dref i chwilio am rai i fyned i'r cangenau yn y wlad i gadw cyfarfodydd gweddïau, &c. Bu yn swcwr mawr i'r lleoedd bychain drwy ei oes, ac felly hefyd ei gydflaenoriaid, ac yn hyn ni bu eu llafur yn ofer. "Yn gwneuthur daioni na ddiogwn, canys yn ei iawn bryd y medwn oni ddiffygiwn." Oni buasai iddynt fod mor ffyddlawn gyda'r cangenau oddiamgylch, ni buasai yr achos yn y dref mor flodeuog, oblegid y mae symudiadau yn fynych o'r wlad i'r dref.

Bu yn drysorydd y Cyfarfod Misol a'r Fibl-Gymdeithas am lawer o flynyddoedd. Ac yr oedd pob arian yn ddiogel yn ei law ef. Yr oedd yn hynod fanwl a chywir gyda phob cyfrifon. Y gwir ydyw, y buasai yn haws gan lawer hen gristion ymddiried ei arian iddo ef nag i'r *Bank of England* ei hunan. Y mae dwy ffaith ar gof i gadarnhâu hyn. Darfu dau erfyn arno gymeryd eu harian, ac yr oedd un o'r ddau yn weinidog yr efengyl, yn lle eu rhoi yn y banc, gan gredu wrth gwrs eu bod yn fwy diogel ganddo ef. Ufuddhäodd yntau i'w cymeryd, er nad oedd arno ddim o'u hanghen, a thalai log am danynt. Er fod ganddo fasnach ëang, ni fyddai byth yn esgeuluso ei ddyledswyddau ynglŷn â'r achos ac â'i swydd. Na, os oedd yn rhaid i rywbeth roi i fyny, y byd gai wneyd hyny. Byddai rhywrai gydag ef lawer gwaith yn y dydd ynglŷn â rhyw faterion crefyddol. Yr oedd ei dŷ fel rhyw swyddfa gyhoeddus i drin materion crefyddol y dref a'r cymydogaethau. Bu yn hynod o zelog gydag adeiladu y capel newydd prydferth sydd yn y dref, a chyfranodd yn haelionus at y draul.

Cafodd yr Ysgol Sabbothol ei nawddogaeth wresog drwy ei oes. Pwy bynag fyddai yn absennol o honi, byddai efe yn sicr o fod yn bresennol. Bu am lawer o flynyddoedd yn arolygwr, ac am amser maith yn ysgrifenydd. Ac nid oedd yn fwy yn ei elfen gyda dim na chyda'r Ysgol Sabbothol. Yr oedd yn deall pa fodd i'w thrafod yn rhagorol, a gwnaeth waith mawr mewn cysylltiad â hi.

Bu ei dŷ yn agored i weinidogion yr efengyl drwy ei oes. Cyn dyfodiad y diweddar J. Williams, Ysw., a Mrs. Williams ei hynaws briod, i fyw yma yn y flwyddyn 1863, yno yr oedd ymron yr holl bregethwyr yn myned i lettŷa. Ac nid gwaith hawdd oedd ganddo ganiatâu i rai o honynt gael myned at Mr. Williams. Bu prif weinidogion y Methodistiaid yn y Gogledd a'r Dê yn aros yn nhŷ Mr. Jones; oblegid yr oedd ei amser ef yn cynnwys "oes euraidd" y pregethu teithiol yn Nghymru. Ac fel yr oedd yn rhaid myned trwy Samaria i fyned o Judea i Galilea, ac felly yn ol, felly yr oedd yn rhaid myned trwy Fachynlleth, ar y daith o'r Dê i'r Gogledd, ac o'r Gogledd i'r Dê. Ac y mae yn dda genym hysbysu fod Mrs. Jones eto yn fyw, ac yn edrych yn iach a heinyf, ac yn

parhâu i groesawu gweision yr Arglwydd mor ffyddlawn ag y bu erioed; a dymunem i'r Arglwydd estyn pymtheng mlynedd at ei hoes ddefnyddiol. Y mae y pennill canlynol o'r *Farwnad* (gydfuddugol) a gyfansoddwyd i Mr. Jones, gan Mr. R. Davies, Braich yr hegel, gerllaw Machynlleth, yn bur gyfaddas, dybygem, ar ol y sylwadau uchod:—

"Fe gofir yn felus hyd heddyw gan luoedd,
Ei groesaw i gymhwys genadau y nefoedd;
Ei ddrws yn agored, a'i fwrdd o dan arlwy,
A'i wên ar ei wyneb i'w cwrdd ar y trothwy.
Pan elent i'w teithiau yr haf neu y gauaf,
Ar hynt bregethwrol, ei dŷ oedd eu gorsaf."

*(I'w barhâu.)*

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### CREFYDD Y BYMTHEGFED SALM YN NGHYMANFA MINNESOTA.

CYMANFA y Methodistiaid Calfinaidd yn Minnesota (America) a gynnaliwyd yn Foreston, Iowa, yn y mis Mehefin ddiweddaf. Mewn *society* gyffredinol yno, bu y 15fed Salm dan ymdriniaeth. Mae Ysgrifenydd y Gymdeithasfa wedi cofnodi y sylwadau yn y cyfarfod hwnw mewn dull rhydd-ymddyddanol, fel yn adrodd â'i enau yn hytrach nag fel yn ysgrifenu â'i law. Rhoddwn rai dyfyniadau o'i gofnodion, gan eu bod yn fynegiadol yr ochr yma i'r môr hefyd:—

"Dim dyben meddwl fod pob peth yn dda heb fyw y 15fed Salm. Pwnc mawr y byd yma yw crefydd; llawer yn gallu gwneyd ar bur ychydig; ïe, am y lleiaf ac nid am y mwyaf—am yr esmwythaf ac nid am y buraf—am y letaf ac nid am yr uchaf. Llawer un, pe cawsai fyw yn y byd yma byth, ni buasai dim a fyno â chrefydd. Pe na buasai i fyned i un lle (sef oddiyma), ni buasai yn gofalu dim ynghylch crefydd. Ond gan y bydd yn rhaid myned i rywle, mae arno eisieu crefydd i fyned âg ef i'r nefoedd. Rhaid cael peth; ond hynod leied a wna y tro. Ychydig iawn, os dim, a wna'r tro yn y farchnad, ac wrth y *machine* dyrnu; ond byddai ei chael erbyn marw yn burion peth. Ond, gyfeillion anwyl, nid yw honyna werth dim; hebddi, hebddi, os fel yna. Dyna yw y 15fed Salm: byw crefydd pe na byddai na nefoedd nac uffern; egwyddor yn yr enaid.

"Fachgen ieuanc, cymer y 15fed Salm yn lle *watch* yn dy logell, ac edrych faint yw hi o'r gloch ar dy grefydd di. Sylwa ar y marciau: 'Y glân ei ddwylaw, a'r pur o galon, &c.' A ydyw dy grefydd di wedi cyrhaedd y rhai yna? Os nad ydyw, nid yw wedi cael llawn afael ar dy galon di. Cofia y byddi di a minnau yn nhragywyddoldeb yn ddigon neu yn fyr yn wyneb y 15fed Salm. Gofala am ei chael yn y glorian gyda thi, yna 'ni'th ysgogir yn dragywydd.'

"Mae'r salm hon yn rhoi ar ddeall fod gan Dduw ei babell, ei dŷ, a'i fod yn meddwl llawer o'i dŷ—dim yn caniatâu i bob math fod yno. Os dygwydd i rai annheilwng fyned i mewn, nid ydynt i gael aros. Fy syniad i er ys llawer dydd yw, mai campus o le yw ei babell; a dyna syniad Duw hefyd. Posibl fod yma rai heb weled gwerth y babell, er bod ynddi. Os na ddaw yn dro, ni cha y rhai yna aros; collant y lle o herwydd *bad behaviour* cyn hir.

"Yr hen ffasiwn o grefydda yw y 15fed Salm; a chymherwch chwi *style* llawer y dyddiau hyn â *style* y 15fed Salm, a chewch weled mai yr hen yw'r goreu i ddyn, a'r goreu gan Dduw hefyd. Peth *nice* iawn yw crefydda. Nid yw enllib yn perthyn iddi hi. *Reflectio* yn anffafriol iawn y mae hwnw; dengys chwaeth isel.

"Mae yn debyg nad oes yma neb yn hòni perffeithrwydd; ac, fel y dywed Iago, parod iawn i lithro ydym; neb o'r *tribe* perffaith i'w cael. Ond paid a digaloni er dy anmherffeithrwydd; gall Duw, trwy ryfedd rinwedd ei iachawdwriaeth, dy wneyd, nid yn unig yn ol y 15fed Salm, ond yn ol delw ei Fab ei hun. Ein cael yn grefyddwyr y 15fed Salm yw amcan y brodyr; a dyna a ddymunwn innau. Wel, gofyn y gofyniad yn ddifrifol (Pwy a drig, &c.), ac edrych beth a ddywed y *watch*—y papyr yn dy boced."

### LLAWER YN FYR.

Y MAE enw George Gilfillan, y llenor Ysgotig, a gweinidog y Presbyteriaid Unedig yn Dundee, yn adnabyddus trwy'r deyrnas er ys blynyddoedd lawer. Sabboth yr 11eg o Awst, yr oedd efe yn pregethu ar "*Sudden Death*," a'r bore Mawrth canlynol, efe a fu farw o farwolaeth ddisymwth ei hunan. Yr oedd efe yn fab i weinidog gwir efengylaidd, ac yn ieuengaf o ddeuddeg o blant. Pan yn 13 mlwydd oed, aeth i Brifysgol Glasgow, lle y cafodd yn gydysgoleigion yn yr un dosbarth âg ef Archesgob presennol Caergaint, Dr. Hanna, mab yn nghyfraith Dr. Chalmers, a'r diweddar Broffeswr Eadie. Wedi hyny, efe a aeth i Brifysgol Edinburgh, yr un amser ag yr oedd y Parchn. Dr. Edwards a John Phillips yno, ac efe a fu yn cydlettŷa â hwynt yno. Y Doctor, mewn adgofion am Mr. Phillips, a ysgrifena, "Yr oedd efrydwyr eraill yn llettŷa yn yr un tŷ; ac yn yr ystafell nesaf atom yr oedd Gilfillan, yr hwn oedd wedi gorphen ei efrydiaeth, ac yn aros am alwad fel gweinidog, a'r hwn wedi hyny a ysgrifenodd *The Bards of the Bible*, ac amryw lyfrau eraill. Mynych y cawsom ein dau ein rhwystro ar ganol ein gwaith gan swn Gilfillan yn pregethu yn yr ystafell nesaf. Er hyny yr oedd yn hawdd maddeu iddo, oblegid yr oedd yn berffaith ddiymhongar a dirodres. Byddai efe a'n cydefrydwyr o'r ystafelloedd eraill yn dyfod atom i gadw addoliad teuluaidd yn gyson; ac weithiau pan fyddai amser yn caniatâu, caem ychydig

ymddyddan tra buddiol a difyr." Yr oedd y Proffeswr Wilson yn mawr ganmawl traethodau colegol Gilfillan, a gwnaeth hyny iddo benderfynu amaethu ei ddoniau llenyddol yn gystal â phregethol. Yn 1835, ordeiniwyd ef yn weinidog yn Dundee; a chyda yr un eglwys y parhäodd i weinidogaethu tra y bu byw. Ammheuwyd ar amserau nad oedd efe yn "iach yn y ffydd," a dygwyd ei achos o flaen llysoedd eglwysig ei enwad, y rhai a foddlonid gan ei *concessions* a'i egluriadau; ond nid aeth efe byth i *synod* drachefn. Yr oedd ei bregethau, meddir, yn efengylaidd ac effeithiol; ac yr oedd efe hefyd yn ddarlithydd da, yn gystal âg yn awdwr poblogaidd. Oddeutu blwyddyn yn ol, anrhegwyd ef â thysteb o fil o bunnoedd gan ei gyfeillion lliosog. Bernir fod yn agos i hanner can' mil o bobl wedi dyfod ynghyd i anrhydeddu ei gladdedigaeth. Bu farw yn 65 ml. oed.

Mae Ardalydd Lorne, mab yn nghyfraith y Frenines, a mab ac etifedd Duc Argyle, wedi ei benodi yn llywodraethwr Canada, yr hyn sydd yn mawr foddhâu y trefedigaethwyr yno.

Y Gynnadledd gymysg o Weinidogion a Lleygion a gyfarfuant, am y tro cyntaf yn hanes Methodistiaeth Wesleyaidd, yn Bradford y mis diweddaf. Yr oedd yr holl weithrediadau yn unol a hyfryd, a'r ystadegau yn dangos haelioni dirfawr at wahanol achosion y cyfundeb. Ond yn nghanol y gweithgarwch a'r hyfrydwch crefyddol, bydd y gynnadledd yn un a hir gofir yn ddifrifol, am y cyfarfu dau o'r brodyr cynnrychiol, gweinidog a blaenor, â'u marwolaeth mewn cyfarfodydd ynddi.

Mae brenin presennol Abyssinia, Menilek yr Ail, yn dywedyd ei fod ef yn llythyrenol o linach y Frenines Seba a ddaeth i Jerusalem i glywed doethineb Solomon.

Mr. Ynad Keogh, un o farnwyr yr Iwerddon, a syrthiodd i anhwyldeb meddyliol. Aeth efe a'i deulu ar hynt yn agos i Brussels, ac yn yno un noswaith efe a geisiodd am fywyd ei was oedd yn gweini arno, gan wneuthur arno archollion dyfnion âg ellyn. Yr oedd y barnydd Keogh yn hynod o anmhoblogaidd ymysg y Gwyddelod; a mawr yw eu llawenydd yn awr am y gobaith fod ei swyddogaeth farnol bellach ar ben.

Tafarnwr yn Hull a ddirywiwyd hyd bedwar cant o bunnoedd am iddo yn anghyfreithlawn brynu *brandy* a *gin* oddiwrth ddau oedd wedi lladrata'r gwirod.

Y Parch. Morris Hughes, M.A., periglor Pentraeth yn Môn, a fu farw wedi cyrhaedd yr oedran mawr o 95. Bu farw, medd ei feddyg, o wir henaint.

Mynegir fod Mr. Sankey yn dyfod drosodd i'r wlad hon eto i "ganu yr efengyl." Gan na bydd Mr. Moody gydag ef y tro nesaf, dysgwylir i Saeson ei gynnorthwyo â'u hanerchiadau.

Mae y Parch. J. J. S. Perowne, D.D., Canon Llandâf, Caplan Mygedol i'w Mawrhydi, a'r beirniad Biblaidd enwog, wedi ei ddyrchafu i Ddeoniaeth Peterborough.

Dywedir mai'r gweinidog hynaf yn y byd yw'r Parch. Dr. Ingram, gweinidog perthynol i Eglwys Rydd Scotland, yn byw yn Unst, Shetland, yr hwn sydd yn gant a thair blwydd oed. Y mae efe yn mwynhâu iechyd da, wedi bod drwy ei oes yn llwyrymattal oddiwrth wlybyroedd meddwol, ond y mae braidd yn gloff, a'i gof wedi anmharu i raddau. Pan yr aeth gyntaf fel gweinidog i Unst, yr oedd corff y bobl yn nodedig am eu meddwdod a'u hanghrefydd; ond ei ymdrechiadau efengylaidd a dirwestol a fendithiwyd i beri cyfnewidiad hynod a hyfryd arnynt. Mae yr hen weinidog hybarch yn cael ei gynnorthwyo gan ei fab, y Parch. John Ingram.

Cyfarfod blynyddol undeb yr Annibynwyr Cymreig a gynnaliwyd yn Llandeilo Fawr, dan lywyddiaeth y Parch. Dr. John Thomas, Liverpool. Traddododd y cadeirydd anerchiad gwerthfawr ac effeithiol iawn ar "Dduwinyddiaeth yr Enwad," ymha un y dadganodd eu hymlyniad diysgog wrth "yr hen efengyl," yn wrthwyneb i'r ychydigion o'r ysgol newydd yn Lloegr. Yr oedd y terfyniad grymus i'r anerchiad yn ymddangos yn toddi pob teimlad yn y lle.

Yr oedd yn gan' mlynedd Sabboth yr 11eg o Awst, er pan fu farw y Parch. A. M. Toplady, awdwr yr emyn arbenig, "*Rock of ages, cleft for me;*" ac yr oedd lliaws o gynnulleidfäoedd Seisonig, yn yr Eglwys Wladol, ac allan o honi, yn anrhydeddu ei goffadwriaeth y dydd hwnw, trwy ganu yr emyn hono, ac emynau rhagorol eraill o'i eiddo.

Mae Goleudŷ Eddystone yn myned i gael ei ailadeiladu; a bydd, wedi ei orphen, y *lighthouse* mwyaf yn y deyrnas. Nid yw y gôst i fod dros saith mil a thriugain o bunnoedd, ac y mae i'w gwblhâu mewn tair blynedd.

Adroddiad hynod am fwncïod a ddaeth yn ddiweddar o Bengal. Yr oedd *monkeys* mawrion wedi cymeryd meddiant o bentref oddeutu wyth milldir o Calcutta. Yr oedd raid i'r trigolion ffoi rhag yr epäod ysglyfgar, y rhai a ymosodent yn ffyrnig ar y gwragedd a'r plant, ac a aent i ymborthi ar y bwyd a adawsid gan y pentrefwyr.

Y mae gobaith yn bresennol am gaws rhad yn gystal ag am fara rhad. Mae yr Americiaid yn addaw anfon drosodd ddigonedd o gaws da i'w werthu am dair ceiniog y pwys.

Yr hynaf ar y fainc esgobol yn y deyrnas hon yw Dr. Ollivant, esgob Llandâf, yr hwn sydd newydd gyrhaedd ei bedwar ugain mlwydd oed.

Hodel, yr hwn a wnaeth ymgais i lofruddio Ymherawdwr Germany yn mis Mai, a gyfarfu â chosb eithaf y gyfraith yn y mis diweddaf trwy gael tori ei ben.

Mewn cynnadledd grefyddol yn Inverness, adroddwyd am blwyf yn Scotland, lle yr oedd tri swllt ar ddeg y pen yn cael eu gwario am wlybyroedd meddwol, a cheiniog a dimai'r pen at achos crefydd. A oes rhywbeth tebyg i hyn mewn rhai plwyfau yn Nghymru?

# Amrywiaethau.

### PRYDYDDU YN NGHYMRU.

LLAWN o fiwsig a chanu yw bechgyn y Deheu o hyd; a hwyrach eu bod yn tueddu i redeg yn ormodol ar ol cerddoriaeth, ac i esgeuluso pethau eraill. Ond nid wyf yn bwriadu ymhelaethu ar y pen yma, gan mai wrth Ogleddwyr y mae genyf yr anrhydedd o siarad ar hyn o bryd. Eu perygl hwy ydyw addoli yr awen yn rhy fynych. Ond teimlwyf fod hwn yn bwnc sydd yn gofyn medrusder mawr i'w drin. Ar y naill law, ni fynwn er dim ddywedyd gair o duedd i ddigaloni neu ddigio unrhyw lanc a fyddai yn debyg o dyfu i fyny i brofi ei hun yn olynydd teilwng i Oronwy Owain, ac yn un o brif-feirdd Cymru, ac y byddai yn golled i'n llenyddiaeth fod heb gynnyrchion ei athrylith. Ar y llaw arall, mae yn berygl na bydd yma yn fuan afon na nant, na mynydd na thwmpath, wedi eu gadael i feirdd y ganrif nesaf gymeryd eu henwau oddiwrthynt, gan gymaint y gofyn sydd am danynt i ddiwallu uchelgais beirddion bychain dirifedi yr oes hon. Ac ymddengys i mi y gallai geifr, ceiliogod, llwynogod, a lloi Cymru benbaladr ymdaro yn lled gomfforddus am oes yr iaith Gymraeg ar a gawsant eisoes o englynion. Nid yn unig mae lle i ofni fod llawer o'r mân bethau milodaidd hyn heb ryw lawer o deilyngdod barddonol, ond fod llawer o'n cyfansoddwyr yn rhy brysur yn annos a hela cydseiniaid i gael amser i ddarllen a diwyllio eu meddyliau. Gormod o awydd sydd arnynt i osod ar gân yr hyn a wyddant, i gael hamdden i ddysgu yr hyn na wyddant; ac felly parhânt drwy eu hoes, fel ceffyl mewn chwimsi, yn troi byth a hefyd yn eu hunfan. Hwyrach fod pob Cymro yn brydydd ar un adeg yn ei oes, sef pan fydd yn teimlo yr iasau byw sy'n dyrysu bardd, a phan fydd ei galon yn dechre agor yn y cyfeiriad carwriaethol. Ond bydd gan rai ddigon o synwyr cyffredin i ganfod nad ydynt yn debyg o ragori fel beirdd; a byddant yn cael nerth i anghofio yr awen gyda'u cariad cyntaf. Eithr y mae yn eglur fod eraill yn y cyflwr bachgenaidd a difarf yna trwy gydol eu bywyd, er mawr benbleth i feirniaid eisteddfodol, a golygwyr newyddiaduron a chylchgronau Cymreig. Nid oes dim, fe allai, yn peri mwy o ddigalondid i ewyllyswyr da yr Eisteddfod na gweled cân lleied, mewn cymhariaeth, o ymgeiswyr yn ymafael yn y testynau rhyddieithol sydd yn gofyn darllen ac ymchwiliad. Y mae yn gystal genyf fi â neb weled awdl neu bryddest dda; ond ymddengys y mân-farddoni diddiwedd yma i mi yn beth mor ddigrifol a chwithig â gweled lliaws tref yn troi allan i chwythu *soap bubbles*, neu i bysgota penbyliaid.—*Y Proffeswr John Rhys yn Eisteddfod Gadeiriol Môn yn Awst.*

### GWIRIONEDD YR EFENGYL.

Y MAE pob ymosodiad a wneir yn erbyn yr efengyl yn troi allan er llwyddiant iddi. Er holl ddyfeisiau ei gelynion i'w dinystrio, nid ydynt yn tycio dim. Er i byrth uffern ymgynghreirio yn ei herbyn, a chynllunio llawer tuag at ei gorchfygu, nid ydynt yn ennill yn y diwedd ond dinystr llwyrach iddynt eu hunain. Nid ydyw eu holl ymosodiadau ond ystrywiau ynfydrwydd er ceisio dyrysu amcanion y Doethineb tragywyddol—ymhwbiadau gwendid er attal penderfyniadau yr Hollalluog. Byddwn gan hyny yn hyderus yn y gwirionedd. Peidiwn ag arswydo yn wyneb un ymgyrch i'w erbyn. Os ymddengys weithiau fel yn encilio yn y frwydr, nid ydyw ond parotoi at ruthr mwy arswydus. Er ymladd oesoedd lawer, nid yw ond wedi casglu nerth i ymladd oesoedd eto, ac ennill buddugoliaethau mwy ysplenydd fyth. Y mae yn ymdaith yn amlder ei rym heb un arwydd blinder. Yn nghanol y gelynion sydd yn ymosod i'w erbyn, mae yn codi ei law i'r nefoedd, ac yn dywedyd, "Mi fyddaf fyw byth," ac yn edrych yn ddiofn at yr amser y bydd yn llywodraethu yr holl ddaear, a phob anwiredd wedi cau ei safn.—*Y Parch. Owen Thomas, D.D.*

### PREGETH RASUSOL.

DYMA y rhan olaf o bregeth Ficer Dingwall, yn Sir Ross, un Sabboth yn ddiweddar, pryd yr oedd ei holl gynnulleidfa yn gynnwysedig o dair merch, a gŵr, a bachgen: "Fy nghyfeillion cristionogol, rhaid i mi ddyweyd wrthych fod rhyw fileiniaid dichellgar, ystrywiog, a bawaidd yn cerdded oddiamgylch, yn myned i eglwysi, ac yn adrodd pa cân lleied a fyddo yno, ac yn beirniadu pregethau. Fy marn i ydyw, os bydd iddynt gael ysigo eu penglogau ar y ffordd fawr, eu bod yn haeddu hyny. Nid wyf fi fy hun yn bwriadu cymeryd dim mesurau yn eu herbyn, ond yn gadael i Dduw fod yn ddienyddwr arnynt. Fy nghyfeillion cristionogol, er nad oes ond ychydig yn dyfod yma ar y Sabboth, eto ni a allwn wneuthur daioni i'r cannoedd y bydd dyn yn cyfarfod â hwy drwy yr wythnos. Yr Arglwydd a ddilyno â'i fendith yr hyn a ddywedwyd yma yn awr. Amen."

### YMYRGARWCH.

DYLEM ymogelyd rhag ymyraeth yn gywreingar â phethau nad ydynt yn perthyn i ni. Nid yw'r llygad yn ymyryd â'r clyw, na'r glust â'r edrychiad, na'r troed â'r naill na'r llall; ond y mae pob aelod yn adwaen ei swydd ei hun, ac yn gofalu am hyny. Felly na foed i tithau gymeryd i ti dy hun yr hyn nad yw briodol i ti, ond cadw oddifewn i'th derfynau dy hunan. Os syrth brycheuyn i'r llygad, a fyddai'r troed yn aelod cymhwys i gyffwrdd â'r llygad i'w dynu allan? Na, er i'r troed fod yn deimladwy o'r anghysur, eto efe a âd i'r llaw ei wella. Nid yw yn gymhwys na gweddus i'r bobl ymyraeth â swyddogaeth y llywodraethwyr, i'w cyfarwyddo pa fodd i reoli, na chyda galwedigaeth gweinidogion y gair, i'w dysgu pa fodd i bregethu. A chan hyny cymered pawb gynghor yr apostol: "A rhoddi o honoch eich bryd ar fod yn llonydd, a gwneuthur eich gorchwylion eich hunain," gan adael y pethau eraill i'r rhai y perthyna iddynt.—*Nehemiah Rogers, yn y fl.* 1623.

### YR EGLWYS SEFYDLEDIG.

ADRODDWYD i ni gan hen gyfaill ei fod yn gwrando ymddyddan yn Nghaernarfon rhwng y Parch. John Elias a'i hen athraw, y Parch. Evan Richardson, er ys oddeutu hanner can' mlynedd yn ol. Yr oedd Mr. Elias wrth bregethu wedi cyfeirio at yr Eglwys Sefydledig, gan ei gosod allan fel eglwys wedi ymlygru oddiwrth y symlrwydd sydd yn Nghrist, ac yn rhwystr ar ffordd crefydd bur. Felly yr oedd Mr. Elias yn barnu yn mlynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth, er iddo wedi hyny gyfnewid yn ei olygiadau ar hyn; ac un ydoedd efe trwy ei oes a fynai fynegu ei farn gydwybodol, pa beth bynag a fyddai. Ei arwyddair oedd, "Credais, ac am hyny y lleferais." Yn y tŷ ar ol yr oedfa, dywedodd Mr. Richardson yn ei ddull rhwydd a chartrefol wrtho, "Wel, John, yr oeddit yn dyweyd yn arw am yr 'Hen Eglwys;' a gellid meddwl oddiwrthyt ti na ddaw byth ddaioni oddiwrthi. Yr wyf fi yn dysgwyl y caf eto weled diwygiad mawr yn Eglwys Loegr; ac wed'yn, ganddi hi yn fwy na neb y bydd mantais i wneyd daioni." "Na, Mr. Richardson," meddai Elias mewn atebiad, "ni ddaw diwygiad ysbrydol byth ar Eglwys Loegr cyhyd âg y bydd yn Eglwys Wladol. Tra y bydd yn rhwym wrth y byd, bydd corff ei gweinidogion yn rhai o'r byd, ac eglwys y byd a fydd hi, ac nid dyweddi yr Oen." Ac uniawn y barnai Mr. Elias y pryd hyny.—*Y Traethodydd* (1849).

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU CASSIA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN JONES, DYDDIEDIG LAITKYNSEW, MEHEFIN 25AIN, 1878.

Y MAE pum' wythnos er pan y dychwelasom o Shillong. Cyn cychwyn, cawsom yr hyfrydwch o weled ail agor y capel wedi ei adgyweirio a'i helaethu, ar ol y niwed a wnaed iddo gan yr ystorm fawr o wynt a chenllysg yn mis Mawrth diweddaf. Mae gwedd lewyrchus ar yr achos yno, a'r eglwys yn ymroddi i weithio a cheisio dwyn eraill at y Gwaredwr.

Er pan yr ysgrifenais o'r blaen, nid oes dim neillduol iawn wedi cymeryd lle yn y dosbarth hwn, pob peth yn myned ymlaen yn lled gysurus ar y cyfan, er fod ambell i un, fel y mae yn ddrwg genyf orfod dyweyd, yn troi ei gefn ar dŷ Dduw. Dygwyddodd felly yn Shella y mis diweddaf; y mae dau wedi cefnu arnom fel eglwys o herwydd helyntion teuluaidd, ond y maent eto yn dyfod i'r capel ar y Sabbothau. Ond yn ngwyneb hyn y mae genym achos i fod yn ddiolchgar nad yw y gwrthgiliadau yn fwy, a bod ar feddwl rhai i ymuno â'r eglwys ymhen ychydig o amser. Derbyniwyd un yn aelod yr wythnos ddiweddaf o'r enw U Ksan. Y mae yn ŵr ieuanc hawddgar iawn, ac wedi gwneyd ei feddwl i fyny, ar ol llawer o ystyriaeth, i fwrw ei goelbren yn ein plith. Duw a roddo ras yn gymhorth cyfamserol iddo, oblegid y mae y temtasiynau i ddenu dynion ieuainc yn llïosog iawn yn Shella. Y mae yr achos yn dal ei dir yno. Buom yno dair gwaith, ac yn aros ychydig ddyddiau bob tro. Gan fod y tymmor poeth wedi dyfod i fewn, y mae yn dda genym gael noddfa yn Gait am ychydig fisoedd nes i'r gwres mawr fyned heibio. Wedi ein dyfod i Gait y mae yr achos yn dechreu gwisgo gwedd dipyn mwy llewyrchus, ond dyna sydd yn ddigalon yw fod y nifer yn syrthio yn ol drachefn pan y byddwn yn dychwelyd i Shella. Derbyniwyd un o'r newydd i'r eglwys yma yr wythnos ddiweddaf, yr hwn sydd wedi bod yn dilyn y moddion am rai blynyddau; cafwyd atebion da ganddo. Fel arfer, pan yma, y mae Mrs. Jones eleni eto wedi dechreu cadw ysgol gyda y genethod, ac y mae yn addaw yn lled dda ar hyn o bryd. Ceisiwyd cadw ysgol gyda hwynt ar hyd y flwyddyn trwy roddi athrawes i aros yma, ond er pob ymdrech trodd allan yn fethiant.

Buom yn Moostoh ddwy waith yn ddiweddar yn cadw cyfarfodydd eglwysig, ac yn ceisio gwastadhâu rhyw ymrafaelion oedd yno ymhlith y brodyr; a da genyf ddyweyd i ni lwyddo, er fod o dan anghenrhaid i dori un allan am anfoesoldeb. Y mae golwg am lwyddiant ar yr achos yno; y mae amryw o ferched y pentref yn mentro i'r ysgoldŷ ar y Sabboth i wrando y Gair. Nid oedd cymaint ag un o'r rhyw fenywaidd yn y gynnulleidfa flwyddyn yn ol, ond erbyn hyn y mae o bymtheg i ugain yn dyfod bob Sabboth, a dwy o'r rhai mwyaf cyson o honynt yn cynnyg am aelodaeth eglwysig. Y mae yr ysgol ddyddiol hefyd yn gref.

Cawsom golledion trwy angeu mewn tair o'r eglwysi. Yn Nongbah, bu feirw dau o blant yr eglwys hon. Bu farw un o fechgyn eglwys Shella hefyd; ei enw oedd U Stephan, bachgen deng mlwydd oed. A digon rhyfedd hefyd, yr oedd ei weddi olaf ef yn debyg iawn i weddi Stephan y Testament Newydd, "Iesu, derbyn fi, cymer fy ysbryd." Oddiwrth hyn, fe wêl bechgyn a genethod bach Cymru fod rhai o blant bychain melyn-ddu Kassia yn gallu gobeithio yn yr Iesu pan yn marw. Cofiwch am danynt yn eich gweddïau, gyfeillion ieuainc hoff. Y llall fu farw oedd bachgen bach chwe' mlwydd oed o eglwys Nongkroh; fe'i brathwyd gan sarph wenwynig, fel y bu farw oddiwrth yr effeithiau. Os ydym wedi colli yr anwyliaid hyn o'r eglwys ar y ddaear, y mae genym obaith eu bod ar gael yn y nefoedd, trwy waed yr Oen, a'u bod yn berlau yn ei goron. Diolch i chwi am anfon *cards* a llyfrau i blant yr ysgol ac i ninnau hefyd. Da genyf ddeall fod Mr. R. Evans a Dr. Griffiths yn dyfod allan yn fuan. Y mae digon o waith yn eu haros.

## YMADAWIAD Y CENADON NEWYDDION.

YN y Gymdeithasfa a gynnaliwyd yn Llansamlet y mis diweddaf, ordeiniwyd y Parchn. R. Evans a Dr. Griffiths i holl waith y weinidogaeth. Bwriedir iddynt ymadael â'r wlad hon yn mis Hydref nesaf, i fyned i faes eu llafur yn India. Buasai yn dda gan y Cyfeisteddfod Gweithiol pe buasai modd trefnu i'r brodyr hyn ymweled â phob un o'n cynnulleidfaoedd cyn cychwyn allan; ond nid ydynt ond newydd orphen eu hefrydiau, ac ni bydd yn ddoeth iddynt aros ymhellach na mis Hydref cyn cychwyn i ffordd. Dysgwylir y gallant ymweled â phob Cyfarfod Misol, ac âg amryw o'r cynnulleidfaoedd mwyaf canolog.

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 576.] HYDREF, 1878. [LLYFR XLVIII.

## IEUENCTYD CRIST.

PREGETH GAN Y PARCH. PROFFESWR LLEWELYN I. EVANS, D.D., COLEG LANE, CINCINNATTI, AMERICA.

LUC iii. 23: "A'r Iesu ei hun oedd ynghylch dechreu ei ddengmlwydd ar hugain oed."

NEU YN HYTRACH:—

"A'r Iesu ei hun pan yn dechreu [hyny ydyw, ei weinidogaeth], oedd ynghylch den mlwydd ar hugain oed."

Y MAE rhywun wedi sylwi fod ysbrydoliaeth yn nystawrwydd yr Ysgrythyrau. Profir fod y Bibl yn air Duw nid yn unig trwy yr hyn y mae yn ei ddyweyd, ond hefyd trwy yr hyn y mae yn ei adael heb ei ddyweyd. Yr un modd gellir dyweyd fod ysbrydoliaeth yn ei awgrymiadau. Y mae yn dysgu llawer o bethau i ni, nid yn uniongyrchol, ond yn anuniongyrchol; nid yn gyflawn, ac ar unwaith, ond yn raddol ac mewn rhanau. Y mae yn dyweyd tipyn yn y fan yma, a thipyn yn y fan acw; a thrwy grynhoi ei wahanol ddywediadau ynghyd, yr ydym yn dyfod o hyd i'r holl wirionedd.

Felly gyda golwg ar oedran Crist. Yr hyn a wyddom ar y mater yma, yr ydym yn ei ddysgu trwy gymharu gwahanol awgrymiadau ag sydd yn wasgaredig yn yr efengylau. Un o'r rhai hyn yw y testun. Yma fe'n hysbysir mai tua deng mlwydd ar hugain oed oedd Crist pan yn dechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus. Oddiwrth awgrymiadau eraill, yr ydym yn casglu mai ymhen tua thair blynedd ar ol hyny y bu farw, yr adgyfododd, ac yr esgynodd i'r nef. Fel hyn yr ydym yn gweled fod yr hyn oll ag sydd yn hynodi bywyd yr Arglwydd Iesu yn syrthio oddifewn i derfynau tymmor ieuenctyd. Ieuanc oedd yr Iesu pan yn addysgu y bobl, pan yn marw ar y groes, pan yn adgyfodi o'r bedd, a phan yn esgyn i eistedd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd. Ac os ieuanc pan yn ymadael â'r byd, ieuanc yn awr a thros byth. A gallwn fod yn siwr mai ffaith yw hon â rhyw ystyr iddi yn y bywyd dihafal hwn.

Y mae yn deilwng o'n sylw ar yr un pryd nad yw y Bibl yn gwneyd dim ystŵr ynghylch y ffaith hon. Yn gyffredin y mae bywgraffwyr y rhai sydd yn hynodi eu hunain yn moreu eu hoes, yn ofalus i alw sylw y byd at ieuenctyd eu harwyr pan yn cyflawni eu gorchestion, neu yn arddangos eu rhagoriaethau. Felly yr ydym yn cael yn mywgraffiadau dynion fel Pascal, Pitt, a Napoleon. Nid felly y Bibl. Luc yw yr unig efengylwr ag sydd yn gwneyd unrhyw grybwyllion am oedran Crist. Y testun yw yr unig ddadganiad ynghylch oedran Crist mewn cysylltiad â'i weinidogaeth. Nid yw Luc, yntau, yn dyweyd wrthym mewn cynifer o eiriau beth oedd oed Crist pan y bu farw, neu pan yr esgynodd i'r nef. Nid oes un o'r ysgrifenwyr sanctaidd yn gosod pwyslais ar ieuenctyd yr Iesu. Casgliad yw ein gwybodaeth ar y mater.

Ond y mae y gair yr un mor ofalus i beidio a'n gadael mewn anwybodaeth

ynghylch y mater. Y mae yma wirioneddau rhy bwysig i'w cadw o'r golwg. Y mae ieuenctyd Crist yn ei fywyd a'i farwolaeth ar y ddaear, a'i ieuenctyd yn awr a thros byth yn y nef, yn ffaith ag sydd yn rhoi ystyr neillduol a phwysig i bersonoliaeth a gwaith yr Arglwydd Iesu mewn amrywiol gysylltiadau.

I. Y mae ieuenctyd Crist yn taflu goleuni pwysig ar ffynnonell a natur ei wybodaeth a'i ddoethineb.

Pan ond deng mlwydd ar hugain oed, dechreuodd yr Iesu gyhoeddi dirgelion teyrnas nefoedd. Ar unwaith dyna bawb yn synu at ei athrawiaeth. Yr oedd yn dysgu fel un âg awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion. Byddai y tyrfäoedd yn gwrandaw arno yn llawen. Llais y wlad am dano oedd, "Prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith." Tystiolaeth y penaethiaid am dano oedd, "Nyni a wyddom mai dysgawdwr ydwyt ti wedi dyfod oddiwrth Dduw."

O ba le y cafodd Crist y ddysgeidiaeth ryfedd hon? Ai o'r India, neu yr Aipht, neu Groeg? Byddai athrawon yr hen amserau, megys Pythagoras, Socrates, Plato, yn teithio i wledydd tramor, yn eistedd wrth draed eu prif athronwyr, ac yn cyfoethogi eu hunain â'u trysorau meddyliol; ai felly y gwnaeth yr Iesu? Nagê. Nid aeth erioed allan o'i wlad ei hun. Nid oes genym un lle i feddwl ei fod yn hysbys o gymaint ag enw un ysgol athronyddol, neu athraw meddyliol tu hwnt i gyffiniau Palestina.

"Rhaid ynte," meddwch chwi, "ei fod wedi meistroli addysg ei wlad ei hun. Rhaid ei fod wedi graddoli yn ysgol enwog Tiberias, neu Jerusalem. Rhaid ei fod yn ddysgybl i ryw Gamaliel, ac wedi dysgu yr oll oedd ganddo ef i'w gyfranu iddo." Naddo, mo hyny ychwaith. "Onid hwn yw mab y saer?" —nid, "Onid hwn yw yr ysgolor enwog o'r brifysgol?" "Pa fodd y medr hwn ddysgeidiaeth, ac yntau heb ddysgu?"—dyna fel yr holai ei gydgenedl ei hun mewn syndod. Er hyny tystiolaeth y rhai oll a'i clywsant oedd, "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." Erioed ni welwyd doethineb mor ffrwythlawn, mor gyrhaeddgar, mor ddofn ac eto mor glir, mor dyner ac eto mor awdurdodol. Nid oes ynddi ddim aneglur, ddim arwynebol, ddim anmhur, ddim allan o le nac allan o amser. Nid yw y byd erioed wedi myned y tu hwnt iddi; nid yw eto wedi treiddio i'w dyfnderoedd.

O ba le y cafodd Crist y ddysgeidiaeth hon? Nid, fel y gwelwn, mewn gwledydd eraill; nid mewn ysgolion a llyfrau. Nid ychwaith trwy hir oes; nid trwy brofiad maith; nid trwy flynyddoedd o sylwad a myfyrdod; nid trwy gymdeithasu llawer âg eraill. O herwydd pan ddechreuodd synu y byd â'i ddoethineb, nid oedd ond deng mlwydd ar hugain oed. Ië, pan yn ddeuddeng mlwydd oed, yr ydym yn ei gael yn synu doctoriaid y deml â'i ofynion a'i atebion.

Y mae yn debyg na fu ymhlith dysgawdwyr dynol athraw i'w gymharu â Socrates; ac weithiau fe dynir cyffelybiaeth rhwng Crist a Socrates fel dysgawdwyr. Mewn rhai pethau, yn ddiau, y maent yn tebygu i'w gilydd. Yr oeddent, y naill fel y llall, yn meddu ar ddylanwad ëang ac anfarwol, yn sefyll mewn unigedd moesol aruchel yn nghanol eu cenedlaeth; a rhoddasant eu bywyd yn aberth dros eu hathrawiaeth. Ond os oes rhai elfenau o debygolrwydd, y mae elfenau mwy pwysig o wahaniaeth. Yr oedd Socrates yn byw yn Athen, canolbwynt bywiogrwydd a symudiadau meddyliol yr oes. Yr oedd Crist yn byw yn Galilea, gwlad ag oedd "yn eistedd mewn tywyllwch;" ïe, yn Nazareth, lle mor isel fel y byddai hyd yn nôd y Galileaid yn gofyn gyda dirmyg, "A ddichon dim da ddyfod o Nazareth?" Bu Socrates flynyddoedd yn yr ysgol, yn ei wlad ei hun ac mewn gwledydd estronol. Ni fu Crist erioed mewn ysgol. Yr oedd Socrates yn dilyn bywyd a galwedigaeth athronwr. Yr oedd Crist yn dilyn crefft saer, yn byw bywyd dystaw a neillduedig mewn lle anghyhoedd. Yr oedd Socrates yn cymdeithasu yn feunyddiol â meddyliau mwyaf diwylliedig y byd, ac "fel yr hoga haiarn haiarn, felly gŵr wyneb ei gyfaill." Yr oedd cymdeithion Crist, fel ef ei hun, "heb fedru dysgeidiaeth," yn wŷr "anllythyrenog ac annysgedig" (Act. iv. 13). Bu Socrates yn addysgwr cyhoeddus am fwy o flynyddoedd nag y bu Crist fyw yn y byd yma. Tair blynedd oedd mesur helaethaf bywyd cyhoeddus Crist. Bu Socrates farw yn ei henaint, ar ol cael oes faith i gasglu

gwybodaeth a phrofiad. Bu yr Iesu farw cyn cyrhaedd hanner oedran Socrates. Ac er hyny, fel y dywedodd Rousseau: "Bu Socrates farw fel athronydd, ond Iesu Grist fel Duw." Dynol oedd doethineb y Groegwr; Dwyfol oedd doethineb y Nazarëad. Canwyll yn goleuo un llanerch o'r tywyllwch oedd y naill; haul yn goleuo y byd yw y llall. Nid oedd gan Socrates, na holl athronwyr y byd ynghyd, ddim goleuni sicr i'w daflu ar ddirgelion pechod, iachawdwriaeth, ac anfarwoldeb. Y mae Crist yn ddadguddiad perffaith o ddyn, o Dduw, ac o dragywyddoldeb.

O ba le ynte, gofynwn unwaith eto, y cafodd Crist ei ddysgeidiaeth? Nid oes ond un ateb i'r gofyniad hwn. Rhaid ei fod wedi ei derbyn oddiuchod, ei bod wedi dyfod gydag ef i'r byd. Ffrwyth ei undeb perffaith â'r Tad ydoedd. Gwir a ddywedodd, "Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo yr Hwn a'm hanfonodd i." "Megys y dysgodd fy Nhad fi, yr wyf yn llefaru y pethau hyn." "Y geiriau a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy." Ac un prawf nodedig o gywirdeb y dystiolaeth hon yw mai yn ei ieuenctyd y rhoddodd Efe y geiriau Dwyfol hyn i'r byd.

II. Y mae ieuenctyd Crist yn taflu goleuni pwysig ar ei gymeriad—ar ddilysrwydd a pherffeithrwydd ei sancteiddrwydd.

Cydnabyddir fod Crist yn rhagori mewn purdeb moesol; ond nid yw pawb yn cyttuno o berthynas i natur a helaethrwydd y purdeb hwn. Gadewch i ni ymholi ynte, yn fyr, pa fath yw purdeb yr Arglwydd Iesu?

Y mae ambell un weithiau yn ymddangos i eraill yn dda yn unig am ei fod wedi colli y gallu i fwynhâu pechod fel ag y dymunai. Y mae fel yr Ymherawdwr Charles V. wedi blino ar rwysg a gofalon y byd, neu fel lliaws o *devotees* y mynachdai wedi diflasu ar bleserau y cnawd, ac yn ymneillduo yn ei henaint i roi gweddillion ei ddyddiau i Dduw. Ond nid dyna fel yr oedd gyda Christ. Yr ydym yn ei ganfod ef yn arddangos ei berffeithrwydd moesol yn mlodau ei oes, yn anterth ei gynneddfau, cyn iddo prin ddechreu gwneyd prawf ar fywyd yn ei fywiogrwydd ac yn ei fwynhâd.

Y mae eraill ar hyd eu hoes yn ymddangos yn lled ddifai a dichlynaidd, ond negyddol yw eu rhinwedd wedi y cwbl; rhyw Nid a Nage, yn hytrach nag Ië ac Amen. Ond y mae purdeb yr Arglwydd Iesu yn burdeb cadarnhäol, grymus, gydag Ië tragywyddol ac Amen Dwyfol ynddo.

Y mae rhai eto yn dyfod yn saint gwirioneddol, yn cyrhaedd gradd uchel o burdeb cadarnhäol, ond nid ar unwaith—nid heb frwydro am flynyddau maith gyda'u tueddiadau a'u nwydau pechadurus, ac fel Dafydd a Phedr yn aml yn colli y dydd. Ond yn Nghrist, nid oes un arwydd o frwydr mewnol—o'r fath ymrysonfa rhwng yr hen ddyn a'r dyn newydd ag a ddesgrifir gan Paul yn y seithfed bennod o'r Rhufeiniaid.

Ac ar ol ennill y dydd, ar ol cyrhaedd safle uchel a chadarn, yr ydym yn cael fod y goreu o ddynion yn parhâu i arddangos yr ymwybodolrwydd o ryw wendid. Rhaid iddynt ddysgyblu eu hunain yn barhâus, rhaid iddynt gaethiwo eu nwydau, rhaid iddynt ofalu am eu rhinweddau, eu gwarchodi a'u gwylio, eu dyfrhâu a'u gwrteithio, fel blodau tyner o'r *tropics* pan eu dygir i hinsawdd oer y gogledd; a gorchwyl caled a hirfaith yw eu cael i flaguro, ac i roi allan sawyr nefolaidd.

Ond nid felly yr oedd gyda Christ. Ynddo ef yr ydym yn cael y grasusau mwyaf Dwyfol yn ymflaguro ar unwaith, ac heb ddim ymdrech. O ddechreu i ddiwedd ei oes, y mae yn arddangos purdeb tawel, digyffro, digyfnewid, anorchfygol. Pan yn blentyn, yr ydym yn ei gael yn ymwneyd â phethau ei Dad. "Oni wyddech fod yn rhaid i mi fod ynghylch y pethau a berthyn i'm Tad?" Pan yn fachgen, yr ydym yn ei ganfod yn "cynnyddu mewn doethineb a chorffolaeth, a ffafr gyda Duw a dynion." Pan yn ddyn ieuanc, yr ydym yn cael golwg arno yn gorchfygu y temtasiynau cryfaf, er iddynt ymosod arno pan oedd yn fwyaf agored i'w nerth. Pan yr oedd ei holl deimladau yn fwyaf bywiog, pan yr oedd pob greddf a thueddfryd yn fwyaf grymus, pan yr oedd ei ddymuniadau yn gryfaf at y gwrthddrychau sydd yn denu bryd calon dyn, at ddedwyddwch, a chlod, a gallu, a dylanwad, ei fwyd a'i ddiod ef oedd gwneuthur ewyllys ei Dad nefol.

A thrwy y cwbl yr ydym yn ei gael yn hòni bod yn berffaith. Y mae yn herio ei elynion i'w brofi yn euog o un

bai. "Pwy o honoch a'm hargyhoedda i o bechod?" Tystiolaeth ei gyfeillion agosaf oedd: "Ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." "Ynddo ef nid oes bechod." Gyda gwylder gostyngedig, ac eto gyda mawrhydi goruchel, yr ydym yn ei glywed yn dyweyd wrth rai a ymffrostient yn eu cyfiawnder, "Chwychwi sydd oddi-isod, minau sydd oddiuchod: chwychwi sydd o'r byd hwn; minnau nid wyf o'r byd hwn."

A dyma rywbeth ag sydd yn *stampio* Crist fel person heb ei ail yn hanes y ddynoliaeth. Y "peth sanctaidd" a anwyd o'r wyryf, y plentyn, y bachgen, y llanc sanctaidd o Nazareth, y prophwyd ieuanc pur, dihalog, o Galilea, yn y byd heb fod o'r byd, nad oedd gan dywysog y byd hwn ddim ynddo Ef—dyma rywbeth na welwyd ei gyffelyb erioed ond yma. Gwyrth ydyw ag sydd yn gwneyd pob gwyrth arall yn bosibl, ac yn selio Cristionogaeth fel y wyrth fwyaf a welodd ein byd ni erioed.

III. Y mae ieuenctyd Crist yn ystyriaeth o bwys mewn cysylltiad â'i ddyoddefiadau.

Daeth Crist i'r byd i ddyoddef. "Ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu." "Dirmygedig yw a diystyraf o'r gwŷr, gŵr gofidus a chynnefin a dolur." Pa ddyoddefaint fel dyoddefaint Crist? Gethsemane, ei chwys a'i chwpan! Calfaria, ei chroes a'i thywyllwch! erioed ni fu chwys mor waedlyd! erioed ni fu cwpan mor chwerw! erioed ni fu croes mor drom! erioed ni fu nos mor ddu! "Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio oddiwrthyf!" "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Dyna "dristwch hyd angeu!" Dyna Ing yr Oesau!

Yn awr, os oedd raid i Grist ddyoddef y fath loes, onid dymunol oedd i'r pwysau gael eu dodi ar ei natur tra yn feddiannol ar rym ieuenctyd? Ac os oedd i fyw bywyd y groes, yn gystal ag i farw angeu y groes, onid yw yn gysur i feddwl na ddarfu i'r fath dristwch marwol barhâu trwy oes faith? Onid ydych yn teimlo awydd diolch, os bu raid iddo ddyoddef cymaint, na bu raid iddo ddyoddef yn hir; nad oedd ond ychydig o flynyddoedd mewn cymhariaeth yn ofynol er cyrhaedd y gair "Gorphenwyd?"

Ar yr un pryd, y mae meddwl am ei ieuenctyd pan yn dyoddef yn ychwanegu at y syniad o lymder a chwerwder ei ddyoddefiadau. Pan yn fwyaf galluog i fwynhâu bywyd, dyna yr amser y bu iddo Ef ddyoddef y loesion mwyaf arteithiol. Pan yr oedd bywyd yn ymagor yn fwyaf llawn o obaith, a mwyniant, a melusder, dyna'r pryd yr oedd y cwmwl tywyllaf yn cysgodi ei fywyd Ef; dyna'r pryd yr oedd ei enaid yn drist hyd angeu.

Ond, bendigedig a fyddo Duw! dyna'r cwmwl du yn chwalu, dacw'r nefoedd yn ymagor, ac wele Arglwydd y gogoniant, wedi ei wisgo â dysgleirdeb bywyd, ac âg ieuenctyd anfarwol, yn esgyn i'r orsedd, i eistedd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd. Ac y mae hyn yn fy arwain i sylwi

IV. Fod ieuenctyd anfarwol Crist yn ei gyfaddasu mewn modd arbenig i ymddangos i'r byd fel cynnrychiolydd y nefoedd a'r bywyd anfarwol.

Crist sydd yn dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni. Yr oedd hyn yn rhan bwysig o'r neges ar ba un y daeth i'r byd. Onid cymhwys ynte oedd iddo Ef, yr hwn sydd yn ddadguddiad mewn cnawd o'r nef ac o dragywyddoldeb, yr hwn sydd yn arddangosiad mewn dynoliaeth o'r bywyd tragywyddol yn ei ragoriaeth a'i ogoniant, ymddangos o'n blaen wedi ei wisgo âg ieuenctyd anfarwol?

Heb Grist, pa beth a fyddai bywyd, y bywyd sydd yr awrhon a'r bywyd yr hwn a fydd? Pa wybodaeth a fyddai genym am yr ochr draw? Pe collem Grist, pe cymerid ef ymaith oddiarnom, beth a fyddai yn aros? "Fe fyddai'r ddaear yn aros," meddwch, "yn ei phrydferthwch; fe arosai'r ffurfafen yn ei gogoniant; fe barhäai y sêr i belydru eu purdeb a'u tynerwch nefolaidd, a'r cymylau i chwyfio uwchben yn eu gwychder annaearol, fel godre gwisg y Goruchaf pan yn eistedd yn ei deml; fe fyddai y môr o hyd yn rhuo ei anthemau tragywyddol, a'r mynyddoedd yn gosod eu swyn oesol ar ein heneidiau; fe fyddai y tymmorau yn para i ddilyn eu gilydd, gan ddadblygu eu hamrywiaeth diderfyn o harddwch ac arddunedd." Ond pan ddaw y diwedd ar hyn oll i ni, beth wed'yn? Beth a fydd yr holl weledigaethau swynol hyn i chwi ac i minnau, pan y bydd ein llygaid wedi cau yn y bedd? Ah, y mae angeu yn taflu ei gysgod du dros y cyfan. Nid allwn ni ddim gweled y tu draw i'r llèn. Arholnod yw di-

weddnod bywyd. "Gŵr a fydd marw, ac a dorir ymaith; a dyn a drenga, a pha le y mae?" "*Pa le* y mae?" Ië, a yw yn bod o gwbl? Heb Grist i oleuo o'n blaen, beth yw angeu ond naid yn y tywyllwch? Beth yw y dyfodol ond rhyw Os anfeidrol—rhyw Fe allai tragywyddol? Ond wele Grist yn ymddangos, a dyma'r tywyllwch yn ffoi. Y mae cysgod marwolaeth yn troi yn oleu dydd. Y mae'r llèn yn cael ei thynu ymaith, ac y mae bryniau anfarwoldeb yn ymddyrchafu o'n blaen, wedi eu coroni â gogoniant na fachluda mohono byth. Y mae Crist wedi dyfod fel y caem fywyd, ac y caem ef yn helaethach. Y mae yn dyfod o'r nefoedd i'r ddaear, ac yn dwyn y nefoedd gydag ef. Y mae yn rhagflaenu, yn cynnrychioli y gogoniant sydd i ddyfod. Y mae yn sefyll o'n blaen wedi ei wisgo âg ieuenctyd anfarwol, â phrydferthwch anllygredigaeth. Pan yn ei weled Ef, yr ydym yn gweled Anfarwoldeb. Ei gael Ef ydyw cael y Bywyd Tragywyddol. Bod gydag Ef—dyna y nefoedd. Yn Nghrist yr ydym yn gweled nad oes dim marw, dim adfeiliad corff nac ysbryd, dim henaint yn y nef. Ieuenctyd diddiwedd—dyna ydyw tragywyddoldeb gyda Christ; ieuenctyd yn derbyn adnewyddiad parhâus trwy gymundeb perffaith â'n Brawd Hynaf.

V. Y mae ieuenctyd Crist yn rhoi ystyr neillduol i'r enw "Mab Duw," a roddir iddo yn yr Ysgrythyrau.

Pan yn myfyrio ar Dduw yn ei fywyd anfeidrol, y mae yn naturiol i ni synio am dano fel yn bodoli o dragywyddoldeb. Dyma brif neillduolrwydd ei fodolaeth fel Duw, ei fod heb ddechreu. "Yr hwn yn unig sydd ganddo anfarwoldeb" fel priodoledd hanfodol, anneillledig. Y mae dechreu ac achos i anfarwoldeb pob bôd arall. Am Dduw yn unig y gellir dyweyd ei fod yn ddiddechreu yn gystal ag yn ddiddiwedd. "Cyn gwneuthur y mynyddoedd, a llunio o honot y ddaear a'r byd, ti wyt Dduw, o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb." Ei enw yw "YDWYF YR HWN YDWYF." "Cyn bod Abraham *yr wyf fi,*" medd Crist, yn llefaru o ddyfnder ei ymwybodolrwydd fel Mab Duw. Cyn bod y bydoedd, cyn bod y defnydd o ba un y lluniwyd y bydoedd, "yr wyf fi!" Cyn bod angylion, cyn bod y nefoedd fawr ei hun, "ti wyt Dduw!"

"Anfeidrol, annherfynol Fôd,
A'i hanfod ynddo ei hun!"

Nid rhyfedd fod Daniel yn ei alw "YR HEN DDIHENYDD!" Ond a ydych yn tybio fod Duw yn hen fel ag yr ydym ni yn cyfrif henaint? A yw henaint yn tywyllu ei lygad, yn trymhâu ei glust, yn gwanhâu ei fraich, yn cymylu ei ddeall, yn prinhâu ei lawenydd, yn oeri ei galon? O na, ieuenctyd diddiwedd yw oes y Duwdod. O herwydd gwelwch yr hwn sydd yn galw ei hun yn "uniganedig Fab" Duw, yr hwn y mae y Tad yn ei alw yn "anwyl Fab." A oes ynddo ef arwyddion o lesgedd, o adfeiliad, o henaint? Na, nid oes mo'r cysgod lleiaf o ddim o'r fath beth. Wel, y cyfryw ag yw Ef, y cyfryw ydyw Duw. O herwydd pa beth ydym yn ei feddwl pan yn galw Crist yn Fab Duw? Ai meddwl yr ydym ei fod yn llai na Duw—ei fod yn ieuengach na Duw—fod ei dragywyddoldeb yn fyrach na thragywyddoldeb Duw? Dim o'r fath beth; a'r neb sydd yn synio felly, y mae eto heb ddirnad un o'r gwirioneddau prydferthaf yn y dadguddiad a rydd Crist o'r Tad. Ond y meddwl yw, fod Crist yn perffaith gynnrychioli y Tad, ei fod yn ddysgleirdeb ei ogoniant ac yn wir lun ei Berson; ei fod yn ddelw gywir o holl berffeithiau Duw, yn etifedd i'w holl gyflawnder, yn meddu hawl i gyfarch y Tad gan ddyweyd, "Yr eiddot ti oll sydd eiddo fi." "Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad." Yn Nghrist yr ydym yn gweled yr Anweledig. Yn mywyd Crist yr ydym yn gweled bywyd y Tad. Yn ieuenctyd Crist yr ydym yn gweled ieuenctyd oesol y Tad. Yn Nghrist yr ydym yn gweled fod Duw yn dragywyddol ieuanc; fod deall twriaeth Duw yn dragywyddol ieuanc; fod gallu Duw yn dragywyddol ieuanc; fod calon Duw yn dragywyddol ieuanc; mai ieuenctyd tragywyddol yw tragywyddoldeb Duw. Ydyw! yn ngwyneb yr Arglwydd Iesu y mae dirgelwch ofnadwy tragywyddoldeb Duw yn gwenu arnom gyda dengarwch prydferth ieuenctyd, ac yn ennill ein hyder serchog arno ei hun.

VI. Y mae ieuenctyd yr Arglwydd Iesu o werth anghymharol yn y cymhorth a rydd i ni synio am dano fel Brawd i ni.

Mor hawdd i ni synio am Grist fel ein Brawd wrth gofio mor ieuanc oedd

pan yn cymdeithasu â'i ddysgyblion, a phan yn cymeryd ei ymadawiad oddiwrthynt! "Yr wyf yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw i a'ch Duw chwithau," oedd ei eiriau pan ar fin ymadael â'i ddysgyblion. Dyna fel yr ymadawodd â hwynt, fel brawd oddiwrth ei frodyr. A'r hyn oedd Crist pan yr ymadawodd â'i frodyr ddoe, dyna ydyw heddyw, ac yn dragywydd—ein Brawd. Y mae yn eistedd ar yr orsedd fel cyntafanedig teulu Duw. Efe yw y rhwymyn sydd yn uno holl aelodau y teulu yn un frawdoliaeth fawr, ac yn uno y frawdoliaeth â'u Tad yn y nefoedd. Megys ag yr oedd ar y ddaear yn cynnrychioli Tadoliaeth Duw, felly y mae yn y nefoedd yn cynnrychioli brawdoliaeth dyn. O dragywyddoldeb Mab Duw, i dragywyddoldeb Mab y dyn, wedi ei wneyd ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr, ac nid yw gywilyddus ganddo eu galw yn frodyr. Ynddo Ef yr ydym yn gweled y ddynoliaeth yn ei chyflwr uchaf o brydferthwch, a bywyd, a nerth, a gogoniant. Efe yw y Cynllun, y Patrwm Dwyfol, yn unol â pha un y llunir ei frodyr mewn gogoniant. "Oblegid y rhai a ragwybu, a ragluniodd efe hefyd i fod yn un ffurf â delw ei Fab ef, fel y byddai efe yn gyntafanedig yn mhlith brodyr lawer." Yr un modd gan hyny ag y mae bywyd diddiwedd y Duwdod yn ieuenctyd tragywyddol, felly ieuenctyd diddiwedd yw bywyd tragywyddol y saint. "Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd eto beth a fyddwn; eithr ni a wyddom pan ymddangoso efe y byddwn gyffelyb iddo." Ië, yn gyffelyb iddo mewn dynoliaeth berffaith, mewn bywyd anllygradwy, mewn ieuenctyd anniflanedig; yn ieuainc byth fel Efe! Dim henaint mwy i neb; dim nychu mewn corff, dim pylu ar y synwyrau, dim gwendid mewn deall, na chof, nac ewyllys, na serch; dim colli calon, dim diffygio, na diffrwytho; bywyd tragywyddol, nerth tragywyddol, ieuenctyd tragywyddol, yn cyfranogi yn oes oesoedd o gyflawnder annherfynol yr Hwn yw ffynnonell y bywyd anfarwol.

Sylw neu ddau cyn terfynu o natur ymarferol. O herwydd fy amcan wrth osod Crist o'ch blaen yn y goleuni hwn ydoedd, nid difyru eich meddyliau â rhyw bortread dymunol i edrych arno fe allai, a dim yn ychwaneg. Fy amcan ydoedd yn hytrach dwyn Crist, os yw yn bosibl, yn nês at eich calonau, yn nês yn enwedig atoch chwi ag sydd eto yn ieuainc. Dyna'r fath un y mae'r efengyl yn annog i'w garu, i'w wasanaethu, i ymddiried ynddo! Nid rhyw ddyeithrddyn, o agwedd oeraidd, yn cadw draw oddiwrthych, ac yn peri i chwi gadw draw oddiwrtho yntau; nid un ydyw na fedr mo'ch deall, na fedr ddyfod yn agos atoch, a chydymdeimlo â chwi. Nid bôd o ryw ddosbarth arall mohono, mor wahanol i chwi, mor bell oddiwrthych, fel ag y mae mynydd yn ymgodi rhyngoch âg Efe pan yn meddwl am dano. O na, un o honoch chwi eich hunain ydyw, asgwrn o'ch asgwrn, cnawd o'ch cnawd, Brawd yn meddu ar dynerwch a chydymdeimlad y tu hwnt i dynerwch brawd. Pa beth bynag sydd yn hawddgar, yn swynol, yn ddeniadol mewn personoliaeth dynol, y mae i'w gael yn Nghrist. Pa beth bynag sydd yn ddymunol, yn hyfryd, yn adgyfnerthol mewn cymundeb âg arall, y mae i'w gael mewn cymundeb â Christ. Nid oes neb a all ddyfod mor agos atoch â'r Iesu, neb a all gymeryd meddiant mor llwyr o honoch, neb a all eich llenwi mor lawn âg Ef ei hun.

Yn awr, fe allai pan yr annogir chwi i anrhydeddu, i garu, i wasanaethu Duw, eich bod yn teimlo anhawsder i wneyd hyny. Yn eich syniadau am Dduw, dichon fod rhywbeth mor anferth, mor dywyll, mor anelwig, mor ofnadwy, fel y mae eich meddyliau yn cael eu llethu wrth geisio meddwl am dano. Y mae yn Fôd mor aruthr, mor ddiderfyn, mor ofnadwy mewn mawredd, fel ag yr ydych yn ofni nas gall fod dim cymdeithas wirioneddol a serchog rhyngoch chwi âg Ef. Os fel yna y mae, gadewch i Grist gymeryd lle y fath syniadau am yr Anfeidrol. Y mae Duw yn dyfod atoch yn ei Fab. "Y neb a'm gwelodd i," medd yr Iesu, "a welodd y Tad." "Yr hwn sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn yr Hwn a'm hanfonodd i." Edrychwch ar Grist, uniganedig y Tad, yn llawn gras a gogoniant. Nid oes bosibl fod yma ddim i'ch cadw draw, nid oes yma ddim i beri braw ac arswyd, fel tân a tharanau Sinai, ag oedd mor ofnadwy nes peri i'r bobl ddyweyd, "Na lefared Duw wrthym, rhag i ni farw." Yr Iesu, yr addfwyn, a'r gostyngedig o galon, yr hwn y mae ei wynebpryd—"gwyneb siriol Adda'r

ail"—yn gwenu arnoch gyda thynerwch brawd, gyda'r hawddgarwch ag sydd yn perthyn i ieuenctyd nefol — nid oes yma ddim tebyg i ormeswr creulawn. Nid gelyn, nid bôd nas gellir ei garu, sydd yma. O na, nid oes un esgus dros beidio caru hwn, ag sydd yn rhagori ar ddeng mil, ac oll yn hawddgar. Ac ond unwaith gael golwg ar hawddgarwch Crist, fe fydd hawddgarwch a gogoniant Duw yn llanw yr enaid, nes denu ein bryd yn anwrthwynebol ar ei ol.

Y mae yn bosibl eto eich bod yn rhyw dynu yn ol oddiwrth y syniad am dragywyddoldeb. Y mae ei annherfynolrwydd yn eich llethu. Y mae ei ddychrynfeydd yn peri i chwi arswydo. Y mae yn wir fod rhywbeth yn y syniad am dragywyddoldeb ag sydd yn difrifoli yr enaid. Y mae dirgelwch anfeidrol yn ei gysgodi. Y mae ynddo uchelderau anamgyffredadwy o ogoniant. Y mae ynddo ddyfnderoedd annhraethadwy o dywyllwch. Ond wedi y cwbl, nid oes yn nhragywyddoldeb ddim i beri gwir ddychryn ond i gydwybod euog. I bechod yn unig y mae tragywyddoldeb yn ofnadwy. O herwydd gwelwch yr adlewyrchiad o'i ogoniant yn ngwyneb Iesu Grist. Y mae Crist, meddaf eto, yn cynnrychioli, yn dadguddio, tragywyddoldeb. Yr hyn yw tragywyddoldeb yn y nefoedd, yr hyn ydyw yn ngwên Duw, y mae i'w weled yn amlwg yn Nghrist; o herwydd Crist ydyw bywyd y byd a ddaw. Efe ydyw enaid anfarwoldeb. Efe ydyw canolbwynt y nefoedd. Efe ydyw yr haul mawr, ag sydd yn goleuo ffurfafen tragywyddoldeb. "A'i goleuni hi ydyw yr Oen." Ac y mae Crist yn goleuo tragywyddoldeb â'i brydferthwch ei hun, â llewyrch ieuenctyd tragywyddol. Ond i ni gael ein dwyn i adnabod a charu Crist, ni fydd dim achos i ni ofni tragywyddoldeb mwy. Fe ddaw yn ffrynd i ni; bydd yn hyfrydwch i ni feddwl am dano; ïe, byddwn yn hiraethu ar ei ol, ac yn awyddu myned i mewn i'w ogoniant.

Y mae yn bosibl eto fod crefydd yn ymddangos i rai yn rhywbeth prudd-aidd, anhawddgar, rhywbeth ag sydd yn gweddu yn well i ddiwedd bywyd, i brydnawn yr oes, pan y mae'r cysgodau yn ymddangos o'n hamgylch, pan y mae pobpeth yn troi yn dywyll ac yn farwaidd. Ni fu erioed gamgymeriad mwy. Y mae duwioldeb yn fuddiol i bob peth, yn gymhwys i bob oed ac amgylchiad; ond y mae cymeriad Crist yn profi ei fod yn neillduol o gymhwys i dymmor ieuenctyd, i deimladau a thueddiadau boreu yr oes. O'r braidd nas gallem ddyweyd fod y naill wedi ei wneyd gogyfer â'r llall: crefydd gogyfer âg ieuenctyd, ac ieuenctyd gogyfer â chrefydd. O na! pechod—dyna sydd mewn gwirionedd yn anghyson âg ieuenctyd perffaith. Pechod sydd yn edwino tynerwch boreuol y galon. Pechod sydd yn sychu i fyny ffynnonellau bywiogrwydd a mwynhâd y ddynoliaeth. Pechod sydd yn addfedu hadau llygredigaeth a marwolaeth, ac yn gwneyd dyn yn hen cyn ei amser. Nid siarad yr ydwyf am effeithiau pechod ar y corff yn unig, ond am y gwywiant, y melldith ag y mae yn ei ddwyn ar yr enaid.

A ydych yn cofio fel ag yr oedd Byron yn canu am dano ei hun pan yn 36 mlwydd oed, heb fod prin yn hŷn na'r Iesu pan y gadawodd ein byd?

"My days are in the yellow leaf,
The flowers and fruits of love are gone;
The worm, the canker, and the grief
Are mine alone."

Yr oedd yr hydref wedi dyfod i'w enaid cyn prin gorphen y gwanwyn; yr oedd y dail wedi troi yn felyn, y blodau a'r ffrwythau oll wedi ymadael, dim yn aros ond y pryf, y rhwd, y pydredd, y cnoi tragywyddol yn y gwagle dilanw oddimewn.

Dyna waith pechod! Ac nid oes yr un galon mor ieuanc, mor dyner, mor fywiog, nas gall pechod ei gwneyd yn hen. Gellir myned ymhellach, a dyweyd, nid oes dim ond pechod all wneyd y *galon* yn hen. Gall treigliad y blynyddau wneyd i geidwaid y tŷ grynu, tywyllu y rhai sydd yn edrych trwy y ffenestri, gwneyd y ceiliog rhedyn yn faich, a'r chwant i ballu; ond nid oes dim ond pechod a all ddwyn ymaith ieuenctyd yr enaid. Pechod sydd yn gwneyd diwedd, ïe canol yr oes, yn hydref, yn auaf yn wir, yn adeg ddiffrwyth a phruddaidd, pan y mae gogoniant y bywyd yn syrthio fel dail gwywedig, pan y mae llawenydd y bywyd yn ehedeg ymaith fel caneuon yr haf, pan y mae swn troed angeu i'w glywed yn mathru i'r llwch adfeilion gobaith, a gweddillion dedwyddwch. Ac os awn y tu draw i'r

llen, dyna fel y mae hi fyth. Yn y wlad dlawd, dywell, nad yw Crist yn ei goleuo â'i wên, nid oes yno ddim ieuenctyd. Dyna ydyw tragywyddoldeb yn uffern: henaint oesoesol, ymddattodiad diddiwedd, y farwolaeth nad yw byth yn marw o herwydd ei bod yn marw byth. Os mynit ochel y wlad yna, cymer ofal rhag dilyn y ffordd sydd yn arwain iddi. Na chaffed pechod hau cnwd llygredigaeth oddifewn. "Pechod, pan orphener, a esgor ar farwolaeth." Mŷn ran yn Nghrist, ac yn y bywyd tragywyddol sydd trwyddo. "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd."

Yr oedd gan yr hen bobl chwedl fod yn rhywle ffynnon ryfedd, yr hon, pwy bynag a yfai o'i dyfroedd, adnewyddid ei ieuenctyd, pa mor hen a methiantus bynag a fyddai, ac ond para i yfed fe gadwai ei ieuenctyd heb ei golli. Ond chwedl wag ydoedd wedi y cwbl. Fe deithiodd rhai y byd adnabyddus o'r bron yn chwilio am y ffynnon heb erioed ei chael. Ond y mae yn y Bibl ddadguddiad o ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol. "A'r hwn sydd yn ewyllysio, cymered o ddwfr y bywyd yn rhad." A dyma'r newydd sydd yn dyfod o'r wlad well. "Yr Oen, yr hwn sydd yn nghanol yr orseddfainc a'u bugeilia hwynt, ac a'u harwain hwynt at ffynnonau bywiol o ddyfroedd." "Fy enaid, bendithia JEHOFAH......yr hwn sydd yn iachâu dy holl lesgedd; yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o ddystryw, yr hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thosturi; yr hwn sydd yn diwallu dy enau â daioni, fel yr adnewydder dy ieuenctyd fel yr eryr."

---

## PERAROGL CRIST.

CYNGHOR GWEINIDOGAETHOL, GAN Y PARCH. EDWARD MATTHEWS.

*(Parhad o tu dal.* 327.)

MOR bell ag y mae ffurf grefyddol yn myned, bydd y neillduad heddyw yn eich rhoi o'r neilldu oddiwrth bob peth, gan eich cyfeirio yn llwyr at waith mawr y weinidogaeth. Pwy bynag sydd yn teimlo hon yn rhy fach o waith, ac yn cysylltu rhywbeth arall â hi, pan nad oes gwir anghenrheidrwydd, nid yw yn deilwng o honi. Gwn fod llawer wedi bod o dan anghenrheidrwydd felly, a llawer iawn eto am hyny, ac yn dwyn beichiau trymion a phrofedigaethau mawrion mewn cysylltiad â'r ddau; ac y mae un yn sicr o fod yn effeithio yn ddirfawr ar y llall. Ond o dan amgylchiadau felly, nid oes dim i'w wneuthur ond goreu byth y gellir. Eto, ni a welwn yn amlwg fod Duw wedi cynnorthwyo llawer o'i weision ffyddlawn i fyned drwy y rhwystrau mawrion hyn, ac ymryddhâu i fesur mawr oddiwrth ormod o helyntion bydol. Peidiwch a meddwl y bydd eich einioes chwi yn fêl mewn cysylltiad â'ch bywyd gweinidogaethol; peidiwch dysgwyl na fydd arnoch bryder a gofalon teuluaidd ac amgylchiadau; nid yw yn beth tebyg y diengwch rhag y pethau hyn. Eithr y peth yr ydym yn amcanu ei gyflwyno yw, Na fydded i chwi ymgymeryd â mwy na mwy o bethau mewn cysylltiad â'r weinidogaeth i ddybenion masnachol, rhag i hyny rwystro eich gweinidogaeth, a'ch taflu i brofedigaeth. Y cyfryw rai ag oedd gynt, ac sydd eto, yn gorfod gwneuthur rhyw ychydig o ymdrafodaeth fydol er mwyn eu cynnorthwyo i fyned yn y blaen gyda'r weinidogaeth, eu hanes sydd fendigedig, yn arogl peraidd i Dduw ac i ddynion. Yr oedd yr Apostol Paul yn foddlawn i *fod* yn bob peth, a *gwneuthur* pob peth er mwyn Crist. "Yr ydym ni yn ffyliaid er mwyn Crist, a chwithau yn ddoethion yn Nghrist; nyni yn weiniaid, a chwithau yn gryfion; chwychwi yn anrhydeddus, a ninnau yn ddirmygus. Hyd yr awr hon, yr ydym ni yn dwyn newyn a syched, ac yr ydym ni yn noethion, ac yn cael cernodiau, ac yn grwydraidd; ac yr ydym yn llafurio, gan weithio â'n dwylaw ein hunain." O dan anghenrheidrwydd yr oedd yr Apostol yn gwneuthur felly, ac yr oedd yn anrhydedd iddo ei gynnal ei hun wrth weithio â'i ddwylaw, er mwyn ei gynnaliaeth at wasanaethu yr efengyl. Y mae yr ysbryd a'r llafur cariad hwnw yn arogli yn beraidd yn awr; ac fe arogla yn beraidd tra y pregethir yr efengyl yn yr holl fyd hyd y diwedd. Eithr, o dan amgylchiadau presennol ar eglwys Dduw, yr ydys yn eich galw chwi, digon tebyg, i waith y weinidogaeth yn gyflawn a hollol, ac yn eich gosod ar dir i gyfeirio eich amser a'ch

talentau at weinidogaeth yr efengyl. Os byddwch chwi yn camddefnyddio y cyfleusderau a'r manteision hyn—os byddwch yn byw yn segur a diofal, gwae chwi.Ië, o dan yr amgylchiadau manteisiol hyn, gwae *chwi* o *bawb*, os na "phregethwch yr efengyl." Beth bynag, mor bell ag y mae galwad eglwysig ar y ddaear yn myned, yr ydych chwi, o hyn allan, yn cael eich neillduo i ddyben gweinidogaeth yr efengyl. Eto, yr ydym yn ystyried fod rhywbeth mawr anweledig mewn cysylltiad â'r ymdrafodaeth hyn; y mae ysbrydol—y mae o fewn y llèn, lle nad ydym ni yn gallu treiddio; rhyngddoch chwi â Duw y saif y mater hwnw. "I'w Arglwydd y mae efe yn sefyll, neu yn syrthio." Mater yw hwn fydd yn cael ei egluro i'r byd yn eich gwaith yn gweithio allan eich iachawdwriaeth dros eich bywydau mewn cysylltiad â gweinyddiad eich swydd, a chyflawniad eich gweinidogaeth. Gobeithiaf fod cydsyniad rhwng Duw â'i eglwys heddyw yn eich galwad chwi, a'ch bod chwi wedi eich rhoi o'r neilldu, nid yn unig gan yr eglwys weledig, ond hefyd gan Ben yr eglwys ei hun. Felly, bydd eich arogl yn bêr, ac yn pereiddio yr awyrgylch foesol ymhob dinas, ac ymhob lle. Os na fydd Duw yn gosod ei sêl ar y neillduad gweledig hwn, nid ydyw yn ddim; canys, mewn gwirionedd, Duw yn unig sydd â gallu i osod dynion yn y weinidogaeth. Wel, fy nghyfeillion, os ydych o dan gysegriad Dwyfol, byddwch yn werth rhywbeth i Dduw, ac i ddynion hefyd, a byddwch yn debyg o adael y byd yn well, o ryw gymaint o'ch plegid, a chwi eich hunain yn well dragywyddol yn y nefoedd.

Yr ydych heddyw yn yr alwad hon yn myned o dan gysegriad, neu neillduad, at waith cysegredig a neillduol—i fod yn berarogl Crist i Dduw yn y cyfeiriad yna. Yr ydych yn cael eich rhoi ar wahân at ddybenion sanctaidd, a Duw yn gorchymyn o'r nefoedd, "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." "Yn llestri i barch ac yn gymhwys i'r Arglwydd." Pan y bydd Duw yn neillduo rhywbeth at ei waith, neu rywun, bydd yn ei neillduo oddiwrth yr hen wasanaeth, a'i gymhwyso at yr amcan newydd. Yr hen golofn a eneiniodd Jacob, oedd yn gyffredin o'r blaen, a dröwyd i fod yn Bethel, tŷ Dduw, porth y nefoedd. Luz a fuasai enw y ddinas ar y cyntaf, eithr aeth Luz heibio, i roi lle i Bethel, a phorth y nef. Yn eich gweinidogaeth, eich buchedd, a'ch holl ymlwybriad yn y byd, yr ydych chwi i fod yn borth y nef i filoedd, yn gallu dyweyd, Dilynwch ni, yr ydym ni yn dilyn Crist, ac yn cyfeirio i'r man lle y mae efe yn eistedd ar ddeheulaw Duw. Beth oedd eich enwau a'ch galwedigaethau gynt, nis gwn i; ond pa fodd bynag, o'r dydd hwn allan, gweinidogion Crist ydych; ac wrth yr enw hwn y byddwch yn cael eich adwaen, ac yn y cymeriad hwn y rhaid i chwi ymddangos yn y farn. Bydd eich hymddangosiad wrth ddrws y frawdle, eich derbyniad i mewn yn groesawus, neu eich anghymeradwyaeth a'ch gwrthodiad tragywyddol, yn y cymeriad o rai wedi bod yn prophwydo yn enw Crist. O Dduw, hyn sydd ofnadwy! myned i'r farn yn bregethwr! Och, pwy a ddichon sefyll! "Llawer a ddywedant wrthyf yn y dydd hwnw, Arglwydd, Arglwydd, oni phrophwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni wnaethom wyrthiau yn dy enw di? Ac yna yr addefaf wrthynt, Nis adnabûm chwi erioed; ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr anwiredd." Och o'r diwrnod! Diwedd truenus i brophwyd! Eto, fy nghyfeillion, os yn arogl peraidd Crist, na ddigalonwch; eithr, "gobeithiwch yn berffaith am y gras a ddygir i chwi yn natguddiad Iesu Grist;" canys bydd diwedd gogoneddus yn eich haros yn ei ymddangosiad a'i deyrnas. Ni a gawn Paul yn ymhyfhâu, ac yn diolch i Grist, er ei holl helyntion mewn cysylltiad â'r weinidogaeth, am roi y swydd iddo, sef ei osod yn y weinidogaeth. Yr oedd yn cael digon ynddi yn y presennol i orbwyso yr holl ofidiau mewn cysylltiad â hi, ac yn dysgwyl dyfodol bendigedig. "Yr wyf yn diolch i'r hwn a'm nerthodd i, sef Crist Iesu ein Harglwydd, am iddo fy nghyfrif yn ffyddlawn, gan fy nghosod yn y weinidogaeth." Bydd dynion yn gosod eu cyfeillion yn y weinidogaeth yn aml, ac y maent o dan eu melldithion am hyny; ni bydd gan neb ddiolch am eu rhoi yn y weinidogaeth, ond y sawl a osodwyd gan ein Harglwydd Iesu Grist. Bydd y cyfryw yn cael testynau i ddiolch, hyd yn nôd mewn gorthrymderau, os

bydd y gorthrymderau hyny mewn cysylltiad â gweinyddiad ffyddlawn eu gweinidogaeth. Beth bynag, yn wirioneddol nid oes neb ond Duw â hawl i roi neb yn y weinidogaeth; ac os ydyw efe yn eich rhoi chwi yn y pulpud, bydd efe ei hun yn dysgwyl cael lle mawr yn y pulpud gyda chwi, ïe, cymaint o le, fel y byddo efe ymhob peth yn flaenaf ac yn weledig. Nid lle yw'r pulpud i ddangos dyn, eithr i egluro Duw a'n Harglwydd Iesu Grist yn nhrefn achub pechadur. Golwg hyll yw gweled y pulpud heb ddim ond dyn ynddo; dim arwydd fod un cysylltiad rhyngddo âg awdurdod a gallu anweledig. Ah! dyn, dim ond dyn! Ië, dim ond dyn! Arwyddion dynol sydd ar bob peth, heb fod Dwyfol yn agos i'r lle. Byddai yr Apostol Paul yn dwyn tystiolaeth o ddwyfoldeb yr efengyl gydag ef i bob lle, ac felly yn berarogl Crist i Dduw. Yr ydoedd yn rhoi lle mawr i Dduw, ïe, y lle i gyd iddo, er, meddir, ei fod ef yn ddyn mawr ymhlith dynion, eithr yn ymyl Duw nid ydoedd yn ddim—Crist yn "bob peth." "Canys yr awrhon," meddai, "ai peri credu dynion yr wyf, ynte Duw? neu a ydwyf fi yn ceisio rhyngu bodd dynion? canys pe rhyngwn fodd dynion eto, ni byddwn was i Grist. Eithr yr ydwyf yn hysbysu i chwi, frodyr, am yr efengyl a bregethwyd genyf fi, nad yw hi ddynol; canys nid gan ddyn y derbyniais i hi, nac y'm dysgwyd, eithr trwy ddadguddiad Iesu Grist." Gwelir fod yr apostol yn dadgan yn eglur mai nid gan ddyn y derbyniodd efe yr efengyl, a chan hyny nad oedd hi ddynol, eithr Dwyfol; "nid o ddyn, na thrwy ddyn, eithr trwy ddadguddiad Iesu Grist." Felly, gyda phob rheswm, bydd Iesu Grist yn dysgwyl lle mawr yn y pulpud; efe, yn wir, yn bob peth, a chwithau yn offerynau. Cofiwch mai Duw bïau'r pulpud, ac nid chwychwi. Nid at wasanaeth dyn, a'r byd hwn, y codwyd y pulpud, hyny yw, nid at ddybenion y bywyd hwn, eithr at egluro gogoniant trefn achub, ac fel yr achubid y byd drwy bregethu. Mae y weinidogaeth, neu y trysor hwn, yn cael ei roi mewn llestri pridd, fel y byddo godidogrwydd y gallu o Dduw, ac nid o honom ni. Y mae hwn yn bwnc mawr o hunanymholiad i bregethwr: A ydyw Duw wedi rhoi lle iddo yn y pulpud, neu ynte, a ydyw efe wedi rhuthro yno yn anystyriol? Os ydyw efe wedi rhoi lle i chwi yno, fy nghyfeillion, bydd yn dda genych yn wastad roi lle mawr iddo yntau yno. Ië, byddwch yn dywedyd, Os na ddeui di gyda mi yno, nid äf fi yno. Os felly yr ydych yn teimlo, clywch beth a ddywed yr Arglwydd, "Fy wyneb a gaiff fyned gyda thi, a rhoddaf orphwysdra i ti." "Drwy Dduw," nid drwoch eich hunain, y gwnewch rymusder. "Drwy Dduw dy dad, grymus Dduw Jacob."

Yr ydych wedi myned drwy arholiad; yr ydych wedi llwyddo yn yr holl bethau hyn, ac wedi dyfod i'r fan hon yn rheolaidd i gael eich ordeinio; eto, nid yw hyny, er yn angheurheidiol, yn ddigon er cyrhaedd amcan gweinidogaeth yr efengyl. Y maent yn gymhwysderau, ac yn fanteision, yn addurniadau, ac yn wisgoedd cymdeithasol; rhaid eu cael; eto, er eu cael, os yn ddiffygiol o hanfod gweinidogaeth, nid ydynt ond porthiant nwydau a hunanddybenion. Yr oedd Paul i fesur anghyffredin yn feddiannol ar y pethau hyn, pan yn erlidiwr, ac yn fwy galluog fel erlidiwr o'u plegid; eithr rhaid oedd derbyn y weinidogaeth gan yr Arglwydd Iesu, cyn y gallesid ei wneuthur yn weinidog cymhwys y testament newydd. Wedi hyny, Duw, Iesu Grist ei Fab ef, a chymmod yr aberth ar y groes, oedd sylwedd ei weinidogaeth. Yr oedd yn rhoi lle mawr i'r pynciau hyn yn ei weinidogaeth; ïe, yn rhoi y lle i gyd; nid ydoedd ef yn ceisio lle iddo ei hun, ond yn unig am iddynt roi lle i Iesu Grist. Fy nghyfeillion, y mae yn bwysig i'w ddyweyd, yr wyf yn ofni nad yw Duw yn cael ond lle bach iawn mewn llawer pulpud yn Nghymru, a Lloegr hefyd y dyddiau hyn, ïe, rhy fach iddo ef allu preswylio yno. Y dyn sydd mor fawr; bydd arno eisieu y lle i gyd iddo ei hun, i wneuthur hunanymddangosiad; ac felly y mae yn ei gael, am ryw dymmor, beth bynag. Pulpud gwag, serch hyny, yw pulpud heb Dduw; pulpud aneffeithiol i ddybenion iachawdwriaeth dynion. Gwelir llon'd y pulpud o ddyn, pe bae bosibl ei lanw hefyd â'r cyfryw beth. Dyn beirniadol, dyn philosophaidd, dyn ffraeth, dyn athrylithgar, dyn doniol, dyn areithyddol, dyn campus, a llawer o bethau gwych eraill; eithr os na fydd

dyn Duw yno, pulpud gwag ydyw, ac aneffeithiol i ddybenion anfeidrol iachawdwriaeth. Dyn sydd yno, dim ond dyn wedi'r cwbl, yn ceisio codi ystorm, ond nid yw Duw yno—yn ymdrechu gwneuthur gwynt cryf, eto nid yw Efe yno. Llef ddystaw fain Duw a adwaenir yn union; ei heffethiau sydd yn dynerwch bendigedig yn y galon, yn nesâu dyn at borth y nef, ac yn peri iddo ddywedyd, Da yw i ni fod yma. Cofier nad yw dyn heb Dduw yn gallu gwneuthur hyn. Yn sŵn Duw y mae achub, a chysuro, a thynu â thrugaredd.Ië, dyma'r perarogl mwyaf hyfryd a arogl-wyd erioed ymysg holl bêrlysiau ein byd ni, beth bynag am y byd a ddaw. Yn wir, y mae yn arogl hyfryd i Dduw a dynion, pan y bydd efe yn "ymlonlonyddu yn ei gariad ac yn achub dan ganu."

Fy nghyfeillion, pan yr ewch i'r pulpud, ac at fwrdd yr Arglwydd bellach, rhowch le priodol i Dduw yno; peidiwch rhoi eich hunain yn gymylau rhwng Duw â'i bobl; onidê y diwedd a fydd iddo eich symud oddiar ei ffordd rywdro. Y mae yn beth posibl beirniadu Duw allan o'r pulpud; gormod o gywreinrwydd, nes cuddio y groes o olwg y cyffredin; treiglo y llythyrenau am draws pob peth, fel esgyrn sychion, heb gïau, cnawd, na bywyd, nes peri i Dduw gasâu y lle, a gadael a chilio oddiwrth yr ymdrafodaeth. Pan na bydd ond arogl dyn balch, hunandybus, meistrolgar, a chwyddedig, nis gall yr Arglwydd ei sefyll yn hir; rhaid i'r naill neu'r llall gilio draw. Arogl anhyfryd yn ffroenau ei Fawredd, ac annyoddefol hefyd, yw dyn yn trin ei eiriau ef yn ysgafn—y geiriau sydd tuag at achub dynion yn cael eu darostwng o dan feirniadaeth rheswm; ac os na fydd rheswm yn gallu eu mesur a'u pwyso, yn taflu ammheuaeth i feddyliau dynion am eu hanffaeledigrwydd. Bydd awgrymiadau yn cael eu taflu allan a fydd yn gwanhâu crediniaeth yn eu hysbrydolrwydd, ond yn unig o bob llyfr mai y Bibl yw'r llyfr nesaf at eiriau anffaeledig, neu yr ysbrydoliaeth uchaf i'w gael. "Pregetha'r gair," medd Paul, "bydd daer;" gair Duw fel y mae, croes Crist heb ei darostwng at safon dyn gwael, a gwanhâu ei hawdurdod yn ystyriaeth y cyffredin. Pregethwch y gair, neu ynte ewch at rywbeth arall. Nid ei wisgo â blodau celfyddydol; ynddo ei hun y mae gogoniant gwirionedd Duw, "y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu," ac nid fel y mae yn dyfod o dan law dyn celfydd. Bydd eisieu i chwi ymddyosg i bregethu'r gair, oblegid nid yw y gair Dwyfol yn cael cyfleusdra i ddyfod i'r golwg yn iawn gan swyddogaethau, gwisgoedd, ffurfiau, a chlemiau o bob math yn y byd. Y dynol, ar hyn o bryd, sydd fel yn cuddio'r Dwyfol mewn crefydd; ymddangosiadau allanol wedi eu rhoi i fyny yn lle adenedigaeth a gorchwylion mewnol yr Ysbryd Glân. Marwolaeth ysbrydol yw crefydd wedi myned yn ffurf, ac yn ddrygsawr a budreddi aflan o dan ffroenau yr Arglwydd, fel nas gall breswylio yno. Yn marwolaeth ysbrydol a gweinidogaethol y gwelir magwraeth i bob aflendid a budreddi mewn buchedd. Nis gall y weinidogaeth gondemnio pechod pan y bydd y gweinidog ei hun yn byw ynddo. Pa fodd y gall alw sylw meddwon at sobrwydd ag yntau yn byw yn eu canol, neu yn llymeitian ymhob man y bydd yn myned? Felly hefyd mewn cysylltiad â phob pechod arall; nis gall neb fod yn gryf i alw pechaduriaid oddiwrth eu pechodau â byw ynddynt eu hunain. Cyn y bydd effeithioldeb mewn galw pechadur i adael ei ffordd, rhaid dyfod allan o'u canol hwynt ac ymddidoli. O bob sawyr, crefydd fudr yw y ffieiddiaf yn ffroenau y Nefoedd. Yr oedd yr hen fyd, a'r byd sydd yr awr hon hefyd, yn ffiaidd; eithr pydredd crefydd yw y mwyaf annyoddefol o bob peth. Yn fynych yr ydym yn darllen am yr Arglwydd yn cilio rhag hyn, a'i adael yn domen ffiaidd i bydru ynddi ei hun. Gwyddoch pan y bydd y drygsawr yn dyfod agosaf at ddyn, mai gwaethaf oll ydyw; a bydd yn brysio oddiyno càn gynted byth ag y gallo i awyr iachus a hyfryd. Gall Duw, yntau, oddef meddwdod mewn tafarn; y mae hwnw yn y pellder, yn gymhariaethol; neu buteindra mewn puteindŷ, neu ysgafnder a chellwair mewn ffair, fe allai, hyd ddydd marwolaeth dynion, heb un cerydd nac anfoddlonrwydd gweledig yn y byd hwn. "Nid ydynt mewn blinder fel dynion eraill," ac nid ydynt yn aflwyddo, eithr yn hytrach yn llwyddo, a chysuron yn amlhâu. Eto y mae dydd drwg ar gyfer y bobl yna. Eithr os bydd

ffieidd-dra felly mewn pulpud, nis gall ei oddef yn hir iawn heb ymadael â'r lle hwnw yn ei bresennoldeb grasol, neu ynte adael i'r cyfryw ddyn redeg yn y blaen, a pheri i ryw oleuni egluro ei weithredoedd, nes y bydd yn adgas i bawb. Bydd y Mawredd yn dadguddio cymeriadau felly cyn hir iawn, canys nis gellir byw mewn pechod a byw mewn pulpud am lawer o flynyddoedd. Gellir byw mewn tafarn, eithr y domen sydd yn dyfod yn rhy agos at Dduw, a'r drygsawr yn codi i'w ffroenau yn annyoddefol, pan mewn cysylltiad â swydd uchaf y cysegr. I'r dyben o gael y ffieidd-dra o'r lle sanctaidd, yn fynych gwelir yr Arglwydd yn gollwng dynion i syrthio yn gyhoeddus i'r pechodau y buont yn eu harfer yn ddirgelaidd, ac felly yn glanhâu ei gysegr; y pulpud wedi myned yn rhy frwnt ac aflan, a dynion yn cydoddef, er mewn gofidiau, ond o'r diwedd y Llywodraethwr Dwyfol yn cymeryd y mater i'w law ei hun, gan egluro y gweithredoedd. "Nid oes gymundeb rhwng goleuni a thywyllwch, na chysondeb rhwng Crist a Belial." "Yr hyn yr wyt ar fedr ei wneuthur, gwna ar frys," medd yr Arglwydd Iesu wrth Judas, a bydd y bradwr yn eglur i bawb; bydd y deg ar hugain arian, pris gwerthiad Crist, yn eglurhâd i bawb o ddirgelion calon y cybydd, ac mai nid cariad at y tlodion oedd yn peri iddo rwgnach yr olew i eneinio traed yr Arglwydd Iesu.

Rhith addoliad, rhith pregethu, ïe, rhith bob peth sydd ffiaidd eilunaddoliad; eich gweddïau, eich pregethu, eich holl arferion crefyddol sydd ffiaidd gan yr Arglwydd. Ië, pa beth bynag nad yw yn cael ei berarogli â grasusau yr Arglwydd Iesu, nid ydyw yn berarogl i Dduw, eithr yn ffieidd-dra drygsawrus yn ei ffroenau ef. Byddai yr Arglwydd yn dwyn cŵyn yn erbyn Israel, a'r holl swyddogaeth, nid am nad oeddent yn arfer crefydd, ond am fod crefydd yn yr arferiad yn ffieidd-dra ac yn ddrewedig o herwydd byw mewn pechodau, yn nghanol yr arferiad o ddyledswyddau crefydd: "O genedlaeth bechadurus, pobl lwythog o anwiredd, had y rhai drygionus, meibion yn llygru: gwrthodasant yr Arglwydd, digiasant Sanct Israel, ciliasant yn ol! Oni buasai i Arglwydd y lluoedd adael i ni ychydig iawn o weddill, fel Sodom y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomorrah. Beth yw lliosogrwydd eich aberthau i mi? medd yr Arglwydd; llawn ydwyf o boethaberthau hyrddod, ac o fraster anifeiliaid breision; gwaed bustych hefyd, ac ŵyn, a bychod, nid ymhyfrydais ynddynt. Pan ddeloch i ymddangos ger fy mron, pwy a geisiodd hyn ar eich llaw, sef sengi fy nghynteddau! Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer; arogldarth sydd ffiaidd genyf; ni allaf oddef y newydd-loerau na'r sabbathau, cyhoeddi cymanfa, anwiredd ydyw, sef yr uchel-wyl gyfarfod. Eich lleuadau newydd a'ch gwyliau gosodedig a gasäodd fy enaid; y maent yn faich arnaf; blinais yn eu dwyn. A phan estynoch eich dwylaw, mi a guddiaf fy llygaid rhagoch; hefyd pan weddïoch lawer, ni wrandawaf; eich dwylaw sydd lawn o waed. Ymolchwch, ymlanhêwch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger bron fy llygaid." Os na fydd i chwi fwrw ymaith ddrygioni eich gweithredoedd, gwna yr Arglwydd eich bwrw chwi ymaith yn fuan iawn; canys fel y gwelsom yn y geiriau a nodwyd, nis gall efe oddef addoliad â "dwylaw yn llawn o waed." Arswydwch wrth weled cwympiadau ofnadwy o'r pulpud; crynwch yn eich lle; a thra yr ydych yn sefyll, edrychwch na syrthioch. Cwymp mawr, cofiwch, yw cwymp o'r pulpud i ddyfnder llygredigaeth, a chwymp nad oes iddo yn gyffredin adferiad i anrhydedd a defnyddioldeb. Gwneir ymdrech weithiau i godi y cyfryw; eto, y mae yn ymddangos yn ymdrech yn erbyn Duw; nid yw braidd byth yn llwyddiant cysurus, nac yn anrhydeddus i grefydd. Edrychwch ar bregethwr wedi ymdrochi mewn pechodau gwarthus, wedi pechu ei ddefnyddioldeb ymaith, a dyweyd y lleiaf; a gweddïwch ar Dduw, a gwyliwch yn gyson, am eich cadw o dan orchwyliaethau ysbrydol, ac yn arogl peraidd i Dduw ac i'r byd.

*(I barhâu.)*

---

## CEISIO A CHAEL Y COLLEDIG.

SYLWEDD PREGETH GAN Y DIWEDDAR BARCH. CADWALADR ROBERTS, RHYDLYDAN.

LUC XV. 3—7: "Ac efe a adroddodd wrthynt y ddammeg hon, gan ddywedyd, Pa ddyn o honoch, a chanddo gant o ddefaid, ac os cyll un o honynt, nid yw yn gadael yr amyn un pum' ugain yn yr

anialwch, ac yn myned ar ol yr hon a gollwyd, hyd oni chaffo efe hi? Ac wedi iddo ei chael, efe a'i dŷd hi ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen. A phan ddêl adref, efe a eilw ynghyd ei gyfeillion a'i gymydogion, gan ddywedyd wrthynt, Llawenhewch gyda mi, canys cefais fy nafad a gollasid. Yr wyf yn dywedyd i chwi, mai felly y bydd llawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhâo, mwy nag am onid un pum' ugain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch."

Yr ydym yn cael yma y publicanod a'r pechaduriaid yn nesâu at yr Arglwydd Iesu, ac yn tyru o'i amgylch i wrando arno. Yr oeddynt hwy yn teimlo yn nghymeriad a dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu gyfaddasder neillduol ar gyfer eu cyflyrau a'u hamgylchiadau hwy, yr hyn nas gwelsent mewn neb arall. Cawn y Phariseaid a'r Ysgrifenyddion, hwythau, yn ol eu harfer, yn grwgnach yn erbyn yr Iesu, gan awgrymu nas gallai yr hwn a ganlynai y fath gwmni â'r publicanod a'r pechaduriaid fod nemor well na hwythau, oddiar y gosodiad fod dyn i'w adnabod wrth ei gymdeithion. Nid oddiar ofal am yr Iesu na'i gymeriad yr oedd y rhai yma yn grwgnach fel hyn, ond oddiar elyniaeth ato. Pes adwaenasent hwy ef yn briodol, hwy a welsent mai nid ei suddo ei hun yr oedd efe wrth ymgymysgu â'r fath ddosbarth, ond eu puro a'u codi hwy. Yr oedd yn ei Berson ef gyflawnder cariad, cyfoeth, a dylanwad i godi y cyfryw bechaduriaid o'r llwch, eu dyrchafu o'r domen, a'u gosod gyda phendefigion ei bobl. Y mae yn ddiammheu hefyd fod y Phariseaid a'r Ysgrifenyddion hunangyfiawn hyn yn tybied mai gwastraff hyd yn nôd ar ras Duw a fuasai ei roddi i bublicanod a phechaduriaid. Ag iddynt ganiatâu fod gan yr Iesu ras Duw i'w gyfranu, tybient mai nid ei iawn wrthddrychau a fuasai y rhai hyny. Ond y mae'r Iesu yn profi mewn hunanamddiffyniad mai hwy y pechaduriaid, ac nid rhai cyfiawn, oedd gwrthddrychau neillduol cariad a gras trefn yr efengyl. A hyny a ddangosir yn nammegion nodedig y bennod hon.

Yn y dammegion hyn yr ydym yn cael desgrifiad o bechadur mewn gwahanol agweddau, neu o wahanol gyfeiriadau. Yn y ddammeg gyntaf, darlunir ei ynfydrwydd diamddiffyn—yn yr ail, ei ddideimladrwydd, fel y mae yn analluog i ymdeimlo â'i gyflwr colledig—ac yn y drydedd, ei ymadawiad a'i bellder gwirfoddol o dŷ ei Dad nefol. O'r tu arall, gosodir allan ynddynt fawredd cariad Duw tuag at bechadur, a'r gwerth y mae yn ei osod ar ei gadwedigaeth. Yn y ddwy flaenaf, dangosir ef yn defnyddio pob moddion, heb arbed unrhyw draul, er ceisio a chael y colledig; ac yn yr olaf, portreiadir ei barodrwydd i dderbyn yn ol yr afradlawn ar ei edifeirwch. Mae y ddau wirionedd mawr yn gorwedd yn gyfochrog: gras Duw yn ceisio nes cael ar y naill law, a dychweliad edifeiriol y pechadur ar y llaw arall.

Oddiwrth ddammeg y testun, ni a sylwn ar fawredd cariad y Ceidwad at bechadur colledig.

I. Gwelwn fawredd cariad Crist oddiwrth y draul a gymer efe i geisio'r colledig.

Sylwer ar osodiad y ddammeg: dyn â chanddo gant o ddefaid, ac un o'r cant yn myned ar goll, ac yntau yn gadael y cant ond un, ac yn ceisio y ddafad gyfrgolledig nes ei chael. Y bugail ydyw y meddiannydd yma; a dangosir ef yn ŵr o gryn gyfoeth, gan ei fod yn berchen cant o ddefaid. Nis gallasai colli un allan o'r fath nifer achosi pryder mawr i'w feddwl, nac effeithio ond ychydig ar ei amgylchiadau mewn ffordd o golled; ond yr oedd raid fod ganddo ofal cariadlawn am y ddafad a aethai ar goll. Cymhwyser y ffigiwr at y Gwaredwr, ac fe welir ar unwaith haelfrydedd ei ras. Heb i ni geisio penderfynu yn fanwl pwy yw yr amyn un pum' ugain o rai cyfiawn yn eu perthynas â Mab Duw, digon yw dyweyd fod ganddo ef gyflawnder na ddichon neb eu rhifo o'r cyfryw gyfiawnion. Felly pa golled iddo ef mewn gwirionedd a fuasai colli yn gyfan ein byd ni a'r holl genedloedd ynddo? dim ond megys colli defnyn o gelwrn yn llawn dwfr. Yn wir, pa golled iddo ef a fuasai chwythu i ddihanfodiad holl deulu Adda syrthiedig? O Dduw mawr! "pa beth yw dyn i ti i'w gofio, a mab dyn i ti ymweled âg ef?"

Dyma yr un hwn o gant wedi myned ar gyfrgoll. Colledigaeth pechadur, beth ydyw? nid colledig yn gymaint allan o le, megys crwydro o baradwys i anialwch, ond colledig o ran cyflwr a natur, colli oddiwrth bob daioni i bob drygioni, colli o bob glendid a diniweidrwydd gwreiddiol i bob aflendid a thrueni. Ond er fod y Bugail mawr yn gyfoethog mewn deadelloedd gwynion a glân a gadwasent eu dechreuad, eto o herwydd ei fawr gariad y mae wedi gosod ei galon ar un byd bychan colledig, ïe, ac ar un pechadur yn bersonol ynddo, yn fwy nag ar yr un pum' ugain a gadwasant y gorlan glyd a'r borfa fras, megys pe na buasai ganddo ond yr un golledig i feddwl am dani.

Mae'r Bugail "yn myned ar ol yr hon a gollwyd." Oddiar ei fawr ofal a'i deimlad yn ei hachos, mae yn gadael ei ddeadelloedd mawrion a hawddgar ar fryniau a gwastadeddau gwlad well paradwys Duw, ac yn myned—yn myned ei hunan yr hyn nad ydoedd, yr hyn na raid i'r un bugail arall, a hyny er ymgyfaddasu i fyned yn effeithiol ar ol y golledig. Dedwydd ydoedd yn bugeilio ei ddeadelloedd

yn hyfryd ar fryniau tragywyddoldeb, yn gwneuthur iddynt orwedd yn mhorfeydd gwelltog gwynfyd, a'u harwain gerllaw dyfroedd tawel mwyniant perffaith; ond er mwyn cael yn ol y ddafad golledig, mae yn wynebu ar anialwch daear a'i holl beryglon. Dacw efe yn canfod oddiar fryniau Caersalem holl daith yr anialwch o'i flaen, ac yn rhoddi desgrifiad yn iaith prophwydoliaeth o beryglon y daith. Dyma ei brofiad yn nghanol yr anialwch: "Teirw lawer a'm cylchynasant; gwrdd deirw Basan a'm hamgylchasant. Agorasant arnaf eu genau fel llew rheibus a rhuadwy. Cŵn a'm cylchynasant; cynnulleidfa y drygionus a'm hamgylchasant; trywanasant fy nwylaw a'm traed. Achub fi rhag safn y llew, canys o blith cyrn unicorniaid y'm gwrandewaist." Ond er rhagweled y daith ar ei hŷd cyn ei chychwyn, nis gallodd dim ei attal rhag myned ar ol yr hon a gollwyd, na pheri iddo droi yn ol wedi iddo gychwyn nes ei chael, neu ei berswadio i anfon un neu fwy o'r gweision cyflog yn ei le. Pan yr oedd Mab Duw yn myned ar wedd angel, yn nghwmni dau angel creuedig, i roddi ar dân ddinasoedd drygionus y gwastadedd, yr oedd yn ymddangos yn hwyrfrydig iawn i gyflawni y cyfryw orchwyl. Ar y ffordd, fe drodd heibio i Abraham, ac yno yr oedd yn aros i adnewyddu ei gyfammod âg ef, ac i ryddymddyddan fel gŵr â'i gyfaill, tra yr oedd yn anfon y ddau was cyflog ymlaen hebddo ef i losgi Sodom. Ond mor wahanol yw ei ymddygiad yn y cymeriad o Geidwad pechadur! y mae yn neidio ar y mynyddoedd, ac yn llamu ar y bryniau; yn myned ar ei redeg wedi cael trac y ddafad a gollodd.

Mae yn myned ar ei hol "hyd oni chaffo efe hi." Y mae yn benderfynol yn ei amcan, yn ddiflino yn ei lafur a'i ymdrech i'w chael. "Ni phalla efe ac ni ddigalona;" nid oes a'i hattalia yn yr hynt hon. "Efe a ŷf o'r afon ar y ffordd," megys y gwna'r bugail dwyreiniol gan ei syched yn ngwres yr hinsawdd a lludded y daith; "am hyny y dyrcha efe ei ben," tua bryn Calfaria, a phren y groes, lle y dŷd ei einioes i lawr dros y defaid; canys yr oedd raid iddo eu prynu â'i fywyd ei hun, mewn trefn i'w cael iddo ei hun. Dyma beth newydd: nid y defaid yn colli eu bywyd er ymborth i'r bugail, ond y Bugail da yn rhoi i lawr ei einioes ei hunan i gadw y defaid! Ac y mae yma fwy na bod yn ffyddlawn hyd angeu: myned ymlaen trwy angeu, ac wedi angeu, "hyd oni chaffo efe hi." Nis gall yr hwn a garodd mor fawr, ac a brynodd mor ddrud, edrych ar gyfiwr pechadur colledig gyda difaterwch yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Tra byddo y rhai colledig ar y ddaear, â efe ar eu hol nes eu cael. Y mae yn ceisio publicanod a phechaduriaid fel y maent, ac yn y lle y maent; efe a â ar eu holau i'w tai, ac at eu byrddau, ac i'r cylchoedd lle yr amlhâ eu pechodau fwyaf; ni âd heibio ddim moddion a all ddenu pechaduriaid ato. Efe a dŷn sylw eu meddyliau, a gyffwrdd â'u cydwybodau, ac a ddwysbiga eu calonau; canlyna ar ol pechadur nes ei gael yn ddrwg ei gyflwr ac yn frawychus ei ysbryd mewn dyryswi, ac felly yn barod i ddychwel gydag ef o'r anial llwm tua'r hen gartref llawn.

II. Gwelwn fawredd cariad Crist oddiwrth yr hyn a ddygwydd wedi iddo gael y colledig.

"Wedi iddo ei chael, efe a'i dŷd hi ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen." Nid ei cheryddu a'i fflangellu—nid ei gyru o'i flaen yn llidiog am iddi gyfeiliorni, ac achosi iddo y fath draul—ac nid ei gadael ychwaith i ymlwybro ar ei ol goreu y gallo yn ei nerth ei hun, a wna'r Bugail. Nid yn ol ei haeddiant y mae Duw yr Achubwr yn ymddwyn at bechadur. Dyma hi y ddafad yn wael a drwg ei chyflwr; prin, gellid tybied, y mae yn werth ei chychwyn ar hyd càn belled ffordd tua chartref. Ond y mae efe yn ei dodi ar ei ysgwyddau ei hun; nid ar ysgwydd un o'i weision cyflog. Ac y mae yn gwneuthur hyny yn llawen, megys un wedi cael trysor lawer. Wele hi yn awr allan o gyrhaedd bwystfilod rheibus, yn cael ei chynnal yn ei gwendid, gan fod nerth y Bugail yn cael ei berffeithio ynddi; nis gall hi weithian golli'r ffordd adref; y mae mor sicr o gyrhaedd cartref âg ydyw'r Bugail ei hun, gan mai ar ei ysgwyddau ef ei ceir. Mor brydferth y desgrifiad a roddir o Grist fel Bugail gan y prophwyd Esaiah; efe yn ymgeleddu y praidd, hen ac ieuanc, gweiniaid a chryfion, yn ol eu gwahanol gyflyrau! "Fel bugail y portha efe ei braidd." Efe a wna waith bugail "*fel* bugail"—fel un hollol gynnefin â'r gwaith, gofalus a medrus ynddo. "A'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes;" yr ieuanc tyner, egwan; bydd yn wir ofalus o honynt ac yn garuaidd atynt, gan eu gwasgu at ei fynwes gynhes ei hun. "Ac a goledda y mammogiaid;" y rhai hen, trymion, lluddedig; efe a'u harwain yn hynaws; *gently lead*, medd y Saesoneg. Cymhelliad cryf yw hwn i bechaduriaid roddi eu hunain i'r Gwaredwr; cânt ganddo ef yr ymgeledd dyneraf, a mwyaf rheidiol a chyfaddas i'w hachos.

"A phan ddêl adref, efe a eilw ynghyd ei gyfeillion a'i gymydogion, gan ddywedyd wrthynt, Llawenhewch gyda mi, canys cefais fy nafad a gollaswn." Gyda'r ddafad a gollasai ac a geisiasai wedi ei chael, mae mynwes ei Bugail a'i pherchen megys yn fwy na llawn; nis gall lai na dadgan ei lawenydd wrth eraill, a'u galw hwythau i

gymeryd rhan ynddo. Megys y mae tristwch, felly hefyd y mae llawenydd ar brydiau, yn myned yn fwy na llon'd y fynwes —yn gryfach nag y gellir ymgynnal dano; ac ysgafnheir y baich trwy alw a chael eraill i gydymdeimlo neu gydgyfranogi. Dyna'r drychfeddwl sydd yma. Yr un peth sydd yn cymhell y wraig yn y ddammeg nesaf. Wedi iddo chwilio a cheisio yn ddyfal am y darn arian a aethai ar goll, nid yw hi ar ol ei gael yn petruso cymeryd rhan fawr o werth y dryll i wneuthur gwledd, wrth fwrdd pa un y bydd ei chyfeillesau a'i chymydogion yn cydlawenhau â hi. Yr oedd yn rhaid rhoddi gollyngdod i deimladau llawen y galon.

"Yr wyf yn dywedyd i chwi," medd ein Harglwydd Iesu, "mai felly y bydd llawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhao, mwy nag am onid un pum' ugain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch;" mwy llawenydd yn y nef am gael yr hyn a gollwyd nag am gadw yn ddiogel yr hyn oedd eisoes mewn meddiant. Ië, meddir, bydd llawenydd helaeth a rhyfedd yn y byd nefol pan welir tyrfa fawr y gwaredigion wedi eu cael adref oll. Na, y mae yn myned yn llawenydd trwy'r dedwydd fyd ysbrydol am *un* pechadur a edifarhäo. Cyffelyb yw diweddglo dammeg y dryll arian: "Felly, meddaf i chwi, y mae llawenydd yn ngwydd angylion Duw am un pechadur a edifarhäo." Maent hwy yr angylion yn llawenhâu. Ydynt, ac y mae llawenydd hefyd *yn eu gwydd* hwynt, ger eu bron. Mab Duw, ïe, y Drindod Sanctaidd, sydd yn cychwyn y llawenydd yn y nef ger bron yr angylion a'r saint am un pechadur a edifarhäo; a chânt hwythau gyfranogi gyda Christ a'i Dad a'r Ysbryd yn y llawenydd annhraethadwy. Enaid anfarwol wedi ei ennill oddiar ddiafol ac uffern, i ogoneddu ei Dduw, ac i'w gydogoneddu gyda Mab Duw, yn dragywydd,—nis gall Brenin y nefoedd, a'r holl nefolion, ond bod yn hyfryd a llawen o'r herwydd. Llawenydd mawr oedd hwnw pan y sicrhäwyd sylfeini'r ddaear, yr estynwyd llinyn mesur arni hi, ac y gosodwyd ei chonglfaen. Y pryd hwnw "y cydganodd ser y bore, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw." Ië, y sêr oedd yno yn cydganu, heb haul yn eu plith; meibion Duw yn gorfoleddu heb Uniganedig yn eu mysg. Ond llawer mwy gogoneddus yw'r llawenydd a amlygir ar ddychweliad pechadur at Dduw yn Nghrist. Wele yma Haul y cyfiawnder ac Uniganedig Fab Duw yn cychwyn y gorfoledd; ac oddiyno mae yn ymledu trwy holl sêr y nefoedd a meibion y gogoniant.

Mae yma galondid ac annogaeth o'r math mwyaf cryf i bechadur droi ac edifarhâu: bydd ei gadw ef yn fywyd iddo ei hun, ac ar yr un pryd yn fwynhâd i'r holl nefoedd.

Cofier fod y llawenydd yn gyffelyb ar sail egwyddor y codi a'r myned adref yn nammeg y mab afradlawn, yn gystal âg ar sail yr egwyddor o geisio a chael yn nammeg y testun, a dammeg y dryll arian. Lle y mae tynu â thrugaredd oddiuchod, y mae yno hefyd afael gan ffydd oddimewn. Ac fe welir fod yma yn y ddammeg hon edifarhâu o du y pechadur yn gystal â cheisio a chadw o du Crist. Y mae llawenydd yn y nef am un pechadur a achubir; oes! ond y "pechadur a edifarhäo" yw hwnw. Gorfoledda'r nefoedd am dduwiol dristwch ar y ddaear. Pan ddelo pechadur ar y llawr i alaru am ei bechod, bydd llawenydd yn y nef o'i blegid; galar yw hwnw a dry yn orfoledd nad ydd diwedd iddo byth.

## Hanesynau ac Adroddiadau.

### ADGOFION Y DIWEDDAR RICHARD MORRIS, LLANARMON.

*Gan y Parch.* JOHN EVANS, *Garston.*

YR ydym yn anfon yr "adgofion" hyn i ddarllenwyr y DRYSORFA, gan gredu y bydd yn dda ganddynt eu cael. Adroddwyd hwy wrthym gan y diweddar Richard Morris, Llanarmon Dyffryn Ceiriog, ynghyd a llawer o rai cyffelyb y darfu i ni esgeuluso eu rhoddi i lawr, a thrwy hyny eu colli. Yr ydym yn teimlo erbyn hyn mai buddiol a fuasai eu bod wedi eu cadw.*

Byddai Mr. Jones, Llangan, yn ofalus iawn am ei geffyl; ac arferai fyned i'r ystabl ymhob man i edrych a fyddai yr anifail yn cael y driniaeth briodol. Rywdro yr oedd efe yn y Bala, ac yr oedd yno hen ŵr yn gofalu am geffylau y pregethwyr, o'r enw William Jones. Yr oedd William Jones uwchlaw pob ammheuaeth am ei ffyddlondeb yn nghyflawniad y gwaith hwn oedd wedi ei ymddiried iddo. Er hyny nis gallai Mr. Jones deimlo yn gysurus heb gael gweled yr anifail. Sicrhâi Mr. Charles wrtho fod William Jones yn hynod ofalus, ac yn sicr o wneyd pob peth yn iawn; ond nid oedd dim yn tycio; yr oedd y pregethwr nodedig hwnw yn benderfynol o fynu gweled â'i lygaid. Aeth rhyngddo â'r

* Nis gallwn wneuthur yn well mewn cysylltiad âg enw Richard Morris nag annog ein holl ddarllenwyr i ddarllen yr erthygl ddyddorus am dano yn y *Traethodydd* am Ionawr y flwyddyn hon.—*Golygydd y* DRYSORFA.

ystabl. Erbyn cyrhaedd yno, clywai siarad mawr oddifewn. Arosodd wrth y drws am enyd, a chlywai William Jones yn dywedyd fel hyn, "Cwyd dy droed i'r bwced, 'y ngwas bach i. Tyr'd, tyr'd gael i mi olchi dy draed di. Mi fu amser pan y gallaswn i gael golchi traed y Meistr mawr, pan oedd ef yma yn y byd; ond mi ga' ine olchi dy draed di 'rwan, i gario ei genad i ddyweyd am dano." Wedi clywed y geiriau hyn, aeth Mr. Jones yn ol i'r tŷ heb deimlo fod anghen iddo fyned gam ymhellach, na gweled dim o ddarpariaeth yr ystabl.

Pan yr oedd William Williams, Pantycelyn, yn y Bala, unwaith yn myned ar gefn ei geffyl o flaen ystabl y capel, dywedai wrth William Jones, "Wyddost ti beth, Wil? yr wyt ti càn unioned â saeth, a chàn syched â checsen. Mae dy fendith di i gyd yn yr ystabl; 'does dim cymaint âg Amen i'w chael genyt yn y capel." Yr oedd William Jones yn drwm ei glyw, ac felly ar ben y grisiau i'r pulpud, yn ochr y pregethwr; ac fel hyn buasai ei Amen ef yn glywadwy iawn gan ŵr y pulpud.

Yr oedd Cymdeithasfa yn cael ei chynnal yn yr Wyddgrug tua'r flwyddyn 1820, a mater un o'r cyfarfodydd oedd "ieuo anghymharus." Yr oedd sylw yn cael ei alw at y mater o herwydd rhyw ysgrifau a gyhoeddid y pryd hwnw yn *Seren Gomer*. Ar yr ymdriniaeth, dywedai yr hen glerigwr, Simon Llwyd o'r Bala, "Yr wyf fi yn barnu mai peth anghymharus iawn yw i neb â *fortune* ganddo briodi rhywun heb ddim. Dylai plant ufuddhâu i'w rhieni yn y peth yma fel mewn pob peth arall." Ar ei ol, dywedai John Jones o Dremadog, "Hwyrach fod hyny, syr, yn anghymharus yn eich golwg chwi: ond fe briododd Boaz gyfoethog Ruth dlawd; ac nid wyf fi yn meddwl fod yr Ysbryd Glân ddim yn ddig wrtho am hyny." Yna dywedai John Jones o Dreffynnon, "Y mae yn wir y dylai plant, fel yr oedd Mr. Lloyd yn dyweyd, ufuddhâu i'w rhieni gyda'r priodi hyd y byddo modd. Ond y mae yn rhaid cofio diwedd yr adnod sy'n gorchymyn eu hufudd-dod: '*yn yr Arglwydd*.' Cyn y mae yn bosibl i'r plant ufuddhâu i'w rhieni yn yr Arglwydd, y mae yn rhaid iddynt hwythau eu llywodraethu yn yr Arglwydd."

Richard Jones, o'r Wern y pryd hwnw, a sylwai, "Y mae y gair *priod* yn esbonio y cwbl. Nid priod dim ond sydd *briodol*, ac nid oes dim priodoldeb rhwng gwir a chelwydd. Nid oes dim priodoldeb rhwng goleuni a thywyllwch. Nid oes dim priodoldeb rhwng dafad a mochyn, rhwng aderyn a thwrch, na rhwng Crist a Belial." Dywedai Lewis Morris, "Byddai yn dda iawn cynghori y bobl ieuainc gyda golwg ar hyn. Y mae lle i ofni ein bod yn ddiffygiol iawn yn y peth yma: annog a chynghori er mwyn eu dysgu pa fodd y dylent ymddwyn." "Y mae hyny yn dda iawn," ebe John Jones, Treffynnon; "yr yden ni am ddal at y cynghori; ond beth sydd i'w wneyd â'r rheol? Gadewch i ni gael rheol ar y mater. A ydyw yr hen reol a osododd y tadau i gael ei gadael, ai nid ydyw?" "Ië," atebai Richard Jones o'r Wern, "ond y mae eisieu cynghori a bod wrthi yn annog o hyd, gan eu dysgu pa fodd i ymddwyn yn y mater hwn. Yr ydych yn cofio pa fodd y gwnaeth Esau. 'Ai eisieu gwraig grefyddol sydd, ai ïe? Mi wnaf fi hyny i fyny yn union. Mi briodaf fi wraig o ferched Ismael. Y mae cystal crefydd yn nhŷ Ismael ag sydd yn nhŷ Isaac.' Y mae yn rhaid i ni geisio eu hattal rhag ymuno â thŷ Ismael."

Yr oedd Lewis Morris yn amseroedd yr anwybodaeth wedi bod yn nghwmni Mr. Corbett, o Ynys Maengwyn, Towyn Meirionydd, y boneddwr mwyaf yn y gymydogaeth, wrth ddilyn hen gampau yr ymladd ceiliogod, rhedegfeydd ceffylau, &c.; ac unwaith mewn *cocking*, fel y dywedid, neu *cock-match*, bygythiodd Lewis Morris ei daflu o'r *ring* dros benau y bobl oedd oddiamgylch, o herwydd rhyw ymryson rhyngddynt ynghylch y ddau geiliog ymladdol; a hawdd y gallasai Lewis, o herwydd ei faint a'i nerth, wneuthur hyny. Ac y mae yn ymddangos i'r boneddwr ddigio yn dost wrtho, ac na faddeuodd efe iddo byth. Wedi i Lewis Morris gael tröedigaeth, a dechreu pregethu, Mr. Corbett, yr hwn oedd ustus heddwch, a anfonodd ddau geisbwl i'w ddal, am bregethu heb *license;* ond wedi i'r ddau fyned i olwg y dyn mawr, barnasant mai gwell oedd ei adael yn llonydd, gan faint ei gadernid. Wedi hyny llwyddodd y boneddwr i gael myntai o filwyr, y rhai a gynniweirient drwy Sir Feirionydd i chwilio am dano. Yr oedd Lewis Morris yn pregethu yn Machynlleth un Sabboth, ac yn bwriadu dychwelyd yn ol trwy y Bala. Mawr oedd pryder Mr. Charles rhag i'r milwyr gael gafael ynddo. Anfonwyd i'w gyfarfod, a llwyddwyd i'w gael yn ddirgelaidd i mewn i dŷ Mr. Charles. Cadwyd ef yno hyd yr hwyr, a rhoddwyd arian yn ei logell, gan ei gychwyn ar ffo i'r Deheudir. Rhoddwyd llythyr iddo hefyd at Mr. Bevan, yn ei gyfarwyddo i'w gadw yn ddiogel hyd ŵyl Mihangel, pan y gellid cael trwydded iddo i bregethu, yn ol y gyfraith. Erbyn hanner nos y noson hono yr oedd Lewis Morris wrth dollborth dinas Mawddwy. Safodd yno a bloeddiodd "*Gate*" yn awdurdodol iawn. Cododd y dyn oedd yn cadw y dollborth, a gofynodd wrth agor—"I ble ddrwg yr ydych ch'i yn myn'd yr amser yma ar y nos?" "Ymlaen," ebe Lewis Morris. "Y mae yn helynt garw yn Sir Feirionydd, onid ydyw!" meddai y dyn. "Wn i ddim" ebe yntau, "beth sydd yn bod!" "'Roedd yma lot o *soldiers* bore heddyw yn chwilio am Lewis Morris," ebe y dyn. "O aiê," meddai Lewis Morris; "pa ddrwg y mae ef wedi wneyd? dwyn gyr o ddefaid, y mae yn debyg?" "Na, chwareu teg i'r dyn," ebe y llall, "wnaeth o ddrwg yn y byd am wn i. Cynghori pobol y mae." "Ho, felly yn wir," ebe Lewis Morris, gan brysuro yn ei flaen. Pan ddychwelodd adref, yr oedd efe wedi cael trwydded i bregethu, a'r Sabboth cyntaf pregethodd ar yr heol yn Nhywyn, ac ni feiddiai neb aflonyddu arno.

Yn y cyfarfod pregethu cyntaf a gynnaliwyd erioed gan y Methodistiaid yn Ngwyddelwern, yr oedd yn bresennol John Roberts o Langwm, Morris Roberts, David Jones, Dolyddelen y pryd hwnw, ond wedi hyny o Dreborth), a Chadwaladr Owen. Yr oedd y

ddau ddiweddaf heb eu derbyn i'r Cyfarfod Misol; ac yr oedd caniatâd John Roberts wedi ei ofyn, yn ostyngedig iawn, er mwyn iddynt gael dyfod i'r cyfarfod o gwbl. Wedi i'r cyfarfod fyned drosodd, gofynodd Robert Evans, blaenor yn y lle i John Roberts, "Pa faint a ddylwn i roddi iddyn' nhw, dywedwch?" "Pa faint sydd gen ti?" ebe ynte. "'Does gen' i ddim ond punt rhyngoch chi'ch pedwar," oedd yr ateb. "Wel, wel, dyro goron i bob un ynte," meddai John Roberts, yr hwn, er ei fod yn ymddangos yn gryn feistr mewn Cyfarfod Misol, oedd, fel y dywed yr hen air, â'i gyfarthiad yn waeth na'i frathiad.

Yr oedd gŵr ieuanc yn Sir Ddinbych yn awyddus i gael caniatâd i ddechreu pregethu. Yr oedd wedi bod yn pregethu yn flaenorol, ond wedi pechu ei fraint oddiwrtho. Pan yn cael ymddyddan yr ail waith âg ef yn y Cyfarfod Misol, yr oedd John Llwyd o Lansannan yn teimlo fod golwg lled hunanol arno. Pwyntiodd ato â'i fys, a dywedodd, "Yn îs i lawr y mae'r glicied."

Yr oedd John Llwyd yn nghanol rhyw fyfyrdod neu rywbeth, ryw ddiwrnod, yn chwilio am rywbeth y tybiai oedd wedi ei golli, ond yr hyn oedd yn dygwydd bod yn ei ymyl. Wedi bod yn chwilio am beth amser, estynodd ei hen wraig ef iddo, gan ddywedyd, "Hwdiwch, yr hen hurtyn." Y noson hono ar y ddyledswydd deuluaidd darllenodd John Llwyd, "Megys yr ufuddhäodd Sarah i Abraham, gan ei alw ef *yn hen hurtyn*, merched yr hon ydych chwi, &c., Nage, nage," meddai eilwaith, "*gan ei alw ef yn arglwydd.*"

Yr oedd yr hen Ismael Jones, Llandinam, wedi prynu caseg newydd. Pan aeth ar ei chefn am y waith gyntaf, aeth y greadures bedwar troed yn afreolus, a bygythiai ei daflu, "Wel, 'y Nhad anwyl!" meddai yntau, "ai dyma y gaseg newydd a roist ti i mi? Os na edrychi di ar ei hol hi dy hunan, mi fyddaf yna gyda thi cyn pen pum' mynyd."

Pan yr oedd *Geiriadur* Mr. Charles yn dyfod allan gyntaf, yr oedd son anghyffredin am dano, a chredid gan lawer ei fod yn cynnwys pob gwybodaeth. Un diwrnod daeth gwraig at Mr. Parry, Caer, a dywedodd, "Yr ydw' i wedi clywed fod genych chi ryw *greadur* newydd, sydd yn gallu d'eyd pob peth; ac yr oeddwn yn meddwl gofyn i ch'i ei roi i dd'eyd yn mhle mae 'machgen i; 'rwyf wedi ei golli er's tair wythnos."

Yr oedd John Jones, Beddgelert, a Daniel Jones, Llandegai, yn ymddyddan â dyn o'r enw Huw, gyda golwg ar ei dderbyn i'r eglwys. Yr oedd Huw wedi ei ddiarddel fwy nag unwaith; a chan hyny yr oedd Daniel Jones yn dyweyd yn llym iawn wrtho, ac yn dangos beth mor ddifrifol oedd bod yn aelod o eglwys Dduw. "Y mae yn rhaid i ti gael dy aileni," meddai wrtho, "cyn y byddi yn deilwng i fod yn aelod o eglwys Dduw." "'Rydw i yn cydwel'd a ch'i yn hollol, Daniel Jones," meddai Huw, "ac 'rydw i wedi fy aileni er's blynyddoedd. Wrth glywed Mr. Richards, Caernarfon, yn pregethu yn y Cae Coch, mi deimles fy nghalon yn troi yn fy mol." Nis gallodd Daniel Jones ymattal rhag eistedd i chwerthin, er ei fod yn gwneyd hyny mor ddirgel âg y gallai; a chododd John Jones i fyny, a dywedodd, "P'run bynag am hyny, Huw, nid wyt ti ddim yn deilwng i fod hefo ni, ac ni fedrwn ni mo dy ddyodde' di." "Wel, beth sydd genoch ch'i yn f' erbyn i?" gofynai Huw. "Ma' nhw yn dyweyd nad wyt ti ddim yn cadw dyledswydd yn dy deulu." "Ho, a oes rhywbeth arall?" "Y ma' nhw yn dyweyd dy fod di weithiau yn tyngu." "Felly yn wir, a oes genoch ch'i rywbeth eto?" "Ma' nhw yn dyweyd nad wyt ti ddim yn cyttuno â dy wraig." "Oes genoch ch'i rwbeth arall?" "Mae hyna yn ddigon," ebe John Jones; ac am y rhesymau yna 'dallwn ni mo dy dderbyn di." "Wel, gwrandewch bobol," meddai Huw: "am gadw dyledswydd mi fydda yn gwneyd y bore; ac nis gwn i yn mhle y cai dyn ddigon o ddoniau i wneyd hwyr a bore. Am dyngu, ni fydda i ddim yn wir, os na fydda i wedi gwylltio yn ofnadwy; ond am gyttuno â Doli, mi ddyffeia i yr un dyn yn y byd i wneyd hyny."

Y mae yn rhaid gadael ar hyn yn awr, rhag i'n hysgrif fyned yn rhy faith. Dichon y teimla rhai nad oedd y cyfryw adgofion yn werth eu cadw; ond yr ydym yn barnu mai y fath ydyw hanes y byd, fel ag y gellir eu hystyried yn engreifftiau o'r pethau oedd genym i'w cadw o'r pethau yr oedd eisieu eu cadw, a phethau hefyd pe buasent wedi eu cadw a fuasent yn gwneyd ein hadnabyddiaeth o'r tadau yn fwy perffaith, a'r adgof o honynt yn fwy dyddorol.

---

## ADGOFION AM DDIWYGIAD BEDDGELERT.

*Gan y Parch.* Robert Ellis, *Ysgoldy.*

"Diwygiad Beddgelert" y galwai yr hen bobl yr adfywiad crefyddol grymus a dorodd allan ac a ymdaenodd dros Sir Gaernarfon, a rhanau eraill o'r Gogledd, yn y blynyddoedd 1817—18. Dyna yr amseriad a rydd *Methodistiaeth Cymru* iddo. Ond yr oedd argraff ar ein meddwl bob amser mai yn y fl. 1818 y dechreuodd. Eithr nid oes dim pwys yn hyny, gan iddo barhâu yn ei wres am fwy na dwy na thair blynedd. Gelwid ef yn ddiwygiad Beddgelert am mai yno y dechreuodd. Dywedai yr hybarch Robert Jones, Rhoslân, mai hwn oedd yr adfywiad mwyaf grymus ac ëang o ddim a brofwyd yn Ngogledd Cymru yn flaenorol iddo. A gwyddom ninnau na bu dim yn gyffelyb iddo mewn *grymusder* ar ei ol.

Dichon na fethem wrth sylwi nad oes yr un genedl wedi ei ffafrio yn fwy, os yn gymaint, â'r hyn a elwir yn ddiwygiadau crefyddol, â nyni fel cenedl, yn enwedig er cyfodiad Methodistiaeth. Byddai yr adfywiadau hyn weithiau yn ymdaenu dros ranau helaeth o'r wlad, gan gren deffröad

a chyffro yn y ffordd yr elent. Bryd arall byddent yn fwy lleol; Duw yn tywallt ei Ysbryd ar un ardal, ac ardaloedd eraill cyfagos heb deimlo dim o hyny. Rhaid i ras Duw o hyd gael dangos ei benarglwyddiaeth. Mewn adeg o adfywiad, byddai gwaith mawr yn cael ei wneyd mewn byr amser, cenedl yn cael ei geni megys mewn un dydd, eglwys lesg a gwan ar unwaith yn dyfod yn un lïosog a chref, y capel gwag yn troi yn rhy fychan, y weinidogaeth yn cael ei gwisgo â nerth o'r uchelder, annuwioldeb mewn dychryn gan nerthoedd y byd a ddaw, dynion difraw yn cael eu deffroi, a'r dewr yn gwaeddi yn groch; y balch wedi ei ddarostwng i'r llwch, y gwyllt wedi ei ddal, a'r gwamal wedi ei sobri; y rhai fyddai yn ymdroi "o fewn ychydig" yn dyfod yn gwbl oll, a'r afradloniaid yn troi adref. Mewn adeg o adfywiad, byddai yr eglwys yn cael ei hadnewyddu a'i bywhâu; yr hen saint oedd fel llestri wedi glynu yn y traeth yn cael top llanw ac yn nofio ymaith—hen delynau yn cael eu tynu oddiar yr helyg—Sïon yn llawen fam plant, a sain cân a moliant yn llenwi ei phyrth. Pethau fel hyn a'u cyffelyb fyddai i'w cael yn ffrwyth toreithiog ar adegau y tywalltiadau grasol hyn ar ein cenedl. Mor briodol i ni ar adeg y mae difrawder ysbrydol yn mallu ein cenedl, yw geiriau y Salmydd, "Eto cofiaf flynyddoedd deheulaw y Goruchaf, ïe, cofiaf ei wyrthiau gynt." Do, do! gwnaeth y Goruchaf bethau i ni fel cenedl teilwng o'u "cofio." Attolwg, a ydym i ofni fod adegau y tywalltiadau grasol hyn wedi myned heibio arnom? A fu ar ein cenedl, ar ryw adeg arni, fwy, os cymaint, o anghen am bethau nerthol âg yn y tymmor presennol arni? Ein hamcan gyda'r adgofion hyn yw ceisio codi hiraeth ac awydd am danynt. Da iawn i ni gofio fod "deheulaw y Goruchaf" eto yr un mor nerthol a medrus, a'i glustiau yr un mor agored i weddïau ei bobl.

Nid yn unig byddai yr adfywiadau hyn yn gwahaniaethu cryn lawer yn eu nodwedd, ond byddent yn gwahaniaethu mwy na hyny yn y modd y dechreuent. Dechreuent weithiau trwy foddion digon annhebyg i'w cynnyrchu. Unwaith, fel mae genym hanes, yr oedd nifer o bobl ieuainc mewn ardal yn dyfod ynghyd i ddysgu canu, ac, fel arfer, maent yn llon a difeddwl. Cyn ymadael, maent yn rhoi tro ar yr hen anthem fwyaf addolgar, "Pâr i mi wybod dy ffyrdd." Ac wrth ddyblu a threblu y geiriau, "Tro ataf a thrugarhâ wrthyf. O cadw fy enaid, ac achub fi," maent, er eu llonder, yn cael eu meddiannu â difrifwch, yn tori allan i wylo, ac o wylo i lefain am drugaredd. A dyna ddechreuad adfywiad bendigedig yn yr ardal hono. Daeth y bobl ieuainc hyn yn ddynion gwerthfawr i grefydd; ac y maent, y rhai sydd yn fyw o honynt, yn parhâu felly hyd henaint. Mewn ardal arall yn Arfon, yr oedd William Roberts, Clynnog, i bregethu yn y capel ar fore Sabboth. Yr oedd efe yn un o'r pregethwyr mwyaf sylweddol ac ysgrythyrol; yn wir, ni welsom neb yn fwy deheuig yn trin yr ysgrythyrau ond Michael Roberts. Eto yr oedd ei ddawn a'i lais, a'i feithder, yn ei wneyd y mwyaf annhebyg i gynnyrchu cyffro mewn cynulleidfa. Perthynai i'r eglwys hon hen chwaer hynod o grefyddol. Gydag iddi ddeffro y bore Sabboth hwnw, meddyliai mor oer a diafael fyddai gweinidogaeth William Roberts ar y gynnulleidfa. Dechreuodd weddïo am i'r Arglwydd roddi "eglurhâd yr Ysbryd a nerth" trwy bregethiad ei air, a gorchfygodd. Aeth at y capel â'i meddwl yn siriol, a dywedodd yr helynt wrth ryw hen chwaer arall o gyffelyb ysbryd iddi. Ac erbyn deall, yr oedd yr hen chwaer hono hefyd wedi teimlo a gweddïo yn gyffelyb. A chyn bod William Roberts wedi hanner pregethu y bore hwnw, yr oedd Duw yn llon'd y lle! Bu y tro yn achubiaeth i laweroedd, ac yn adfywiad i'r achos drwyddo yn y lle hwnw. Mewn ardal arall, nid ymhell o droed y Wyddfa, yr oedd y pregethu yn dwysâu teimlad y gynnulleidfa er ys rhai wythnosau, a rhai yn dyfod i'r eglwys, eto dim yn gyffrous. Yr oedd yn yr ardal ŵr ieuanc hardd a balchaidd, a'r gwirionedd yn aflonyddu ei gydwybod, ac yntau yn gwingo ei oreu yn erbyn y symbylau. Ryw hwyr Sadwrn, penderfynodd fyned gyda'i gymdeithion i'r dafarn, i foddi yr argyhoeddiad â diod feddwol. Ond yn hytrach nag i'r dafarn foddi'r argyhoeddiad, fe foddodd yr argyhoeddiad y dafarn am y tro, o leiaf. Aeth y llanc yn ddychryn iddo ei hun, ac i bawb o'i gwmpas. Dechreuodd gynhyrfu a llefain, fel y tybiwyd ei fod ar wallgofi, a gwelai ei gymdeithion mai y goreu oedd ei gael adref. Ond nid gwaith hawdd oedd hyny; yr oedd iddynt ddwy filldir o ffordd, ac yntau yn ymgynhyrfu, yn llefain ac yn llesmeirio. Ac nid rhyfedd hyny, am y credai ei fod ar ddiphwys colledigaeth, ac mai yn uffern y byddai yn ebrwydd. Pa deimlad mor echrys â'r teimlad o anobaith? Caed ef adref yn hwyr y nos, ac yr oedd ei lefain yn cyffroi y fro. Ceisiwyd brodyr a dybid a allent weinyddu rhyw ymwared iddo; a da iawn fod y cyfryw i'w cael gerllaw. Erbyn goleu y dydd dranoeth, yr hwn ydoedd Sabboth, yr oedd goleuni gobaith efengyl Crist wedi tori i mewn i'w gydwybod derfysglyd, a'i llonyddu mewn Iawn! Bu y tro hwn yn achlysur i'r difrifwch oedd er ys rhai wythnosau bell-

ach yn ymweithio yn ddystaw yn meddyliau llaweroedd, dori allan yn gyffro byw trwy yr ardal. Mae yr ychydig sydd eto yn fyw ag oedd yn y cyfarfod eglwysig hwnw pan ddaeth y gŵr ieuanc hwn, ei dad a'i fam a'i frodyr, yn deulu cyfan, i'r eglwys am y tro cyntaf, yn ei chofio yn dda, er anghofio llawer un ar ei hol. Gofynwyd i'r hen ŵr i ddywedyd gair yn gyntaf, pryd y dywedai, "Frodyr anwyl, gadewch i mi gael gweddïo ychydig yn gyntaf." Yna syrthiodd ar ei liniau wrth y fainc ar lawr y capel, a gweddïodd; yna codai, ac eisteddai, a dywedodd, "Wel, dowch yrŵan." Troes y gŵr ieuanc hwn allan yn hynod o grefyddol, ond bu farw yn gynnar.

Goddefer un hanesyn eto. Mewn ardal y gwyddom am dani yn dda, yr oedd eglwys ac achos llwyddiannus wedi bod. Ond adeiladwyd Llan newydd yn yr un ardal, a daeth yno offeiriad newydd i wasanaethu. Yr oedd y gŵr hwn yn meddu llawer mwy o ddawn a medr na'r cyffredin o'i frodyr, ac yr oedd yn orzelog dros ei blaid, ac yn elyn calon i Ymneillduaeth; ac yr oedd ganddo hefyd bob gallu a dylanwad bydol yn gefn iddo. A bu yn fedrus i ennill a phroselytio i'w eglwys. Yr oedd y Llan newydd yn llenwi, a'r capel yn gwaghâu. Dechreuodd y brodyr yn y capel deimlo yn ddwys o herwydd y peth dyeithr hyn; gwelent, oni ddeuai ymwared, y darfyddai am yr achos yn y capel. Yr oedd eu cyfarfod pregethu blynyddol yn nesâu, a dechreuasant weddïo yn daer, ac oddiar deimlad byw, am i'r Arglwydd gadw ei amddiffyn drostynt, a pheidio eu gadael. Y cyfarfod pregethu a ddaeth, ac nid anghofir mo hono hyd byth. Disgynodd yr Ysbryd Glân ar y gynnulleidfa mewn modd rhyfeddol. Nis gallasai dim dylanwad arall gynnyrchu y fath effeithiau. Yr oedd teimladau y lliaws wedi myned yn rhy gryfion i'w cadw i mewn; yr oeddynt yn tori allan, rhai mewn llef gorfoledd am fod Duw wedi gwrando eu gweddïau, eraill yn llefain am eu bywyd. Yn wir, yr oedd yma lefaru â "thafodau dyeithr;" dyeithr iawn i ddim a lefarwyd gan eu tafodau erioed o'r blaen. Ac nid rhyfedd os byddai i rai yn eu cyffro lefaru pethau lled hynod, megys un wraig yn gwaeddi, "Gwerthu fy enaid am ddarn o wlanen! na wnaf byth!" Parhaes yr ymweliad bendigedig hwn i fyned rhagddo, ac ychwanegwyd nifer mawr at yr achos yn y lle. Cafodd yr achos yn y capel fuddugoliaeth lwyr, a tharäwyd y cablwyr â mudandod. Bu y diwygiadau hyn yn ddiweddarach ac yn fwy lleol na'r un yn Beddgelert. Er i ni fyned ychydig o'n ffordd i wneyd coffhâd o honynt, eto tybygem mai nid anfuddiol ein gwaith, gan fod iddynt eu gwersi.

Yr oedd i ddechreuad y diwygiad yn Beddgelert hefyd ei hynodion. Er y byddid yn arfer pregethu mewn tri lle yn y plwyf, eto nid oedd yma cyn y diwygiad ond un capel bychan yn y pentref, ac un eglwys o'r holl blwyf yn ymgynnull i hwnw; a rhifai yr eglwys hon oddeutu 40 o aelodau. Ac yr oedd ei rhif wedi bod rywbeth yn debyg, fe ddywedir, er ys mwy nag ugain mlynedd. Yr oedd rhywbeth wedi bod yn ystwyth yn y pregethu a'r cynnulliadau crefyddol, er ys rhai misoedd yn flaenorol i doriad allan y diwygiad, a rhyw ddau neu dri wedi dyfod i'r eglwys, yr hyn oedd beth dyeithr iawn yn Beddgelert. Ond er fod dysgwyliad y cyfeillion wedi bywiogi, eto nid oedd neb yn breuddwydio fod pethau mor fawrion wrth y drws. Drwg genym i ni oedi ysgrifenu yr adgofion hyn, hyd onid aeth yr hen frodyr oedd yn cofio y manylion o'n cyrhaedd. Hyd yr ydym yn cofio, yn ol yr hyn a glywsom gan yr hen frodyr hyny, yn yr Ysgol Sul yn nghapel y pentref y disgynodd y dafnau cyntaf o'r gawod fras a mawr hon. Yr oedd yno ferch ieuanc grefyddol yn athrawes ar ddosbarth o ferched ieuainc. Wrth ddarllen y penodau diweddaf yn Efengyl Ioan, daeth rhyw wylo rhyfedd arnynt oll; nis gallent fyned ymlaen gyda'u darllen gan wylo. Peth go hynod, onidê, mewn dosbarth o ferched ieuainc yn yr Ysgol Sul! Yn y diwedd yr oedd brawd, Richard Roberts, Cae y gors, wrth ei enw, yn holi yr ysgol. Yr oedd gan y brawd hwn deimlad gwresog a dawn ystwyth. Ar ddiwedd yr holi, yr oedd yn rhybuddio y bobl ieuainc i ymddwyn yn weddaidd mewn rhyw ffair oedd i fod yn rhywle yr wythnos ganlynol. Ac wrth ddyweyd a dyweyd, disgynodd rhywbeth rhyfedd arno ef a'r holl ysgol. Daeth ar draws y linell hono o ryw hen bennill, "Mae'r afael sicraf fry." Ac â'i ddawn ystwyth a'i deimlad gwresog, chwareuai ar y gair "fry." "Oddi *fry* y daw pob peth o werth i ni—oddi *fry* y daw y goleuni, y gwres, a'r gwlaw—oddi *fry* y daw bendithion iachawdwriaeth i'r ddaear—o'r uchelder y mae Duw yn tywallt ei Ysbryd; dyma obaith am ddynion caled Beddgelert. Os ydyw yn dywyll yma, mae yn oleu *fry*; os yn wan yma, mae yn gadarn *fry*." Gyda'i eiriau yr oedd rhywbeth mor ddwys, mor rymus, yn disgyn ar yr holl ysgol, yn hen ac ieuanc, fel y gwelid pawb yn tori allan i wylo. Mor rymus oedd y dylanwad, nes yr oedd y plant mewn dychryn; rhedai un bachgen bychan at ei dad, a llefai, "'Nhad anwyl, dyma ddydd y farn wedi dyfod." Wylo dwys a dystaw oedd yn llenwi'r lle. Dywedir na thorodd neb allan mewn llef gorfoledd ar y pryd ond y llances a nodwyd.

I fyny o du y dwyrain o bentref Beddgelert, dan lethrau ysgythrog y Wyddfa, yr ymegyr Nant Gwynnant, ynghyda'r nentydd sydd yn ymagor o honi. Ac o bob man, hyd y gwelsom ni, yma y bu natur fel yn ymorchestu i gymysgu yr aruthrol â'r prydferth. Tair milldir i fyny o'r pentref yn y cyfeiriad hwn y saif hen ffermdŷ Hafod y Llain, neu yn ol y dafodiaith gyffredin, Hafod y Llan. Bu yr hen ffermdŷ dan adgyweiriad ar ol hyny. Pa un ai yr un Sabboth ag y bu y tro hynod yn yr Ysgol Sul yn y pentref, ai y Sabboth drachefn y bu y tro hynotach fyth yn yr hen ffermdŷ hwn, nid ydym yn sicr. Pa fodd bynag, Richard Williams, Brynengan, oedd yn pregethu yn y daith. Pregethai mewn tŷ annedd yn Nantmor y boreu, ac yn groes i'r arfer, yn y capel yn y pentref y prydnawn, ac yna i fyny i Hafod y Llan at yr hwyr. Dygwyddai fod Mr. Elias yn pregethu y noswaith hono yn Tremadog, o fewn rhyw saith milldir i Beddgelert. Ond beth oedd hyny o ffordd i redeg i wrando John Elias? Ac er mwyn i bobl y pentref, a'r rhan isaf o'r ardal, gael ffordd rydd i fyned i wrando Elias, trefnwyd i Richard Williams fyned i Hafod y Llan. Cyfrifid yr hen frawd hwn yn gristion cywir, yn ddyn hynod o ddiniwed, ond yn un o'r brodyr lleiaf fel pregethwr. Eto yr oedd ei ddawn bychan yn naturiol ac ystwyth, heb ddim ynddo yn boenus i'w wrando. Richard Williams o bawb fyddai cyfaill teithio Mr. Lloyd, Bala. Er fod y pellder mwyaf rhyngddynt o ran dygiad i fyny, dysg, a chyrhaeddiadau, eto dywedir fod y naill mor ddiniwed â'r llall, ac y mwynhäent gyfeillach eu gilydd yn rhagorol. Mor gydunol oeddynt, fel y safent weithiau ar eu ceffylau ar y ffordd, tra fyddai Mr. Lloyd yn egluro i'w gyfaill ryw fater fyddai yn dywyll iddo—yn llyfr y Datguddiad, fe allai—a gwrandawai y llall mor ddiniwed, fel yn deall ac yn yfed y cwbl.

Y nos Sabboth dan sylw, dyna drigolion y nentydd a'r cymoedd cyfagos, a rhai o'r pentref, yn cyfeirio tua hen ffermdŷ Hafod y Llan. Gan fod yr hin yn hyfryd, mae pawb yn hen ac ieuanc yn codi allan; nid yn gymaint er clywed yr hen frawd o Brynengan yn pregethu, o herwydd meddwl cyffredin iawn oedd ganddynt o'r pregethwr ac o'i bregethu, eithr peth dymunol gan drigolion cymoedd anghysbell a fyddai cyfleusdra fel hyn i weled eu gilydd. Mae yr hen ffermdŷ yn llawn; ciliai y rhai ieuainc a difeddwl i'r siamber a'r tŷ llaeth, ac i rywle o'r golwg. Safai Richard Williams ar fainc wrth y bwrdd mawr yn y gegin, a bwrdd bychan crwn ar hwnw, ei ffurfio math o bulpud at ddal y Bib.. Mae yn dyfod drwy y dechre yn fyr a hwylus; mae y canu a'r gweddïo yn gafael. Mae yn darllen ei destun mewn tôn sydd braidd yn gwynfanus. Pa un o ddau air oedd hwnw, mae ein hadgof yn pallu, er i ni glywed fwy nag unwaith: naill ai "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog," neu, "Yr hwn a ddêl ataf fi nis bwriaf ef allan ddim." Mae pob peth yn addaw y caiff yr hen frawd bregeth rwydd. Ond cyn pen y chwarter awr y mae yma rywbeth rhagor na rhwydd. Mae nerthoedd y byd a ddaw—"*y peth yma*" y galwai Pedr ef—yn ymdywallt ar y pregethwr a'i wrandäwyr—mae yn ddifrifol! mae yn ofnadwy! Ei ddesgrifio nis gellir. Er mai Richard Williams sydd yn llefaru, eto rywfodd nid ei leferydd ef ydyw; nid ei lais ef yw y llais, na'i ddawn ef yw y dawn, ac nid ei bregeth ef chwaith yw y bregeth! Yr oedd gan yr hen bregethwr ei bregeth ar y testun; yr oedd wedi ei phregethu, mae yn debyg, lawer gwaith o'r blaen. Yr oedd ei sylwadau yn hyddysg i'w feddwl; a'r hen bregeth hono a fwriadai bregethu y tro hwn. Ond nid yr hen bregeth hono sydd yn dyfod allan, eithr rhyw bregeth newydd hollol nad oedd ganddo ddim o honi o'r blaen, ac nas gallodd gael gafael ar ddim o honi drachefn. Cenadwri Duw am y tro ydoedd. Mae rhyw UN ARALL yn llefaru wrth gydwybod y gynnulleidfa, ac mae yr hen bregethwr wedi colli ei hun yn hwnw! Dywedai Richard Williams ar ol hyn, ei fod yn petruso ar y pryd, pa un ai efe oedd yn pregethu, ynte gwrando yr ydoedd ar ryw un arall. Wel, mae pawb wedi eu meddiannu gan ddifrifwch a dychryn. Mae y bobl ieuainc a gwamal oedd wedi cilio i'r siamber a'r tŷ llaeth wedi eu dal gan ddychryn y farn; tybient mai angel ac nid dyn sydd yn llefaru. A'r hyn oedd yn hynod, yn ol fel ein hysbyswyd: yr oedd y lliaws wedi eu meddiannu gan ormod o ddychryn i wylo. Ac ni waeddodd neb chwaith, ond un gŵr ieuanc, William Roberts y Clogwyn, fel yr adwaenid ef wed'yn. Ac o'i enau ef yn benaf y cawsom yr hanes, a hyny ragor nag unwaith. Addefodd iddo yn ei ddychryn waeddi yn groch, ond ni ddywedodd wrthym pa beth. Mae yr hen bregethwr, er wedi colli ei hun, yn diweddu trwy ryw lun o weddi. Mae yn rhoddi pennill allan i'w ganu; ac os yw ein hadgof yn gywir, dywedodd William Roberts fod y lliaws wedi eu meddiannu gan ormod o ddifrifwch i ganu, ond pawb yn prysuro ymaith mewn dystawrwydd a dychryn. Ni ddywedai neb air y naill wrth y llall ar hyd y ffyrdd a'r llwybrau wrth fyned adref, nac ar ol myned, ond a fyddai raid. Nos Sabboth ddigwsg a fu y noswaith hon i amryw. A'r un dystaw-

rwydd prudd oedd i'w gael hyd y cymoedd hyn drannoeth. Dydd Llun tywyll ydoedd i lawer; mater enaid wedi llyncu pobpeth iddo ei hun, a'r wawr eto heb dori.

Rywbryd yn yr wythnos ganlynol, cynnelid cyfarfod eglwysig yn y capel yn y pentref. Er fod yma dri lle i bregethu, nid oedd ond un cynnulliad eglwysig, a chynnelid hwnw y pryd hyny yn y dydd. Yr oedd y byd hwn eto heb lwyddo i hel yr hen "seiat brofiad" i'r nos. Eisteddai y ddau hen flaenor, Rhys Williams, Hafod y Llan, a William Williams, Hafod y rhisgl, yn y tŷ capel i aros y dechre; yr oedd eu ffordd hwy ymhell, ac felly deuent yn brydlawn. Ac yn wir, felly y ceir hyd heddyw; y rhai pellaf a fydd y rhai prydlonaf. Yr oedd William Williams yn ddyn prysur. Mae yn myned, ac yn brathu ei ben i'r capel i weled a ddaethai y cyfeillion ynghyd, er mwyn cael dechre y cyfarfod. Mae yn dyfod yn ol yn sydyn, ac yn dywedyd wrth ei frawd, "Yn siŵr dda, mae y bobl wedi camgymeryd; maent yn dysgwyl am bregeth; mae'r capel yn llawn, mae pobl y plwyf i gyd yna," gan olygu, mae yn debyg, pob math ar bobl, a phobl nad oedd neb wedi meddwl eu gweled mewn *seiat* byth. Bid a fo, aeth y ddau flaenor i mewn, a mawr eu syndod; yn lle rhyw ddyrnaid wedi ymgasglu, fel y byddai arferol drwy'r blynyddoedd, yr oedd y capel yn rhwydd lawn. Nid oedd dim i'w wneyd ond hwylio rhyw frawd i ddechre'r cyfarfod. Caed hamdden i ddarllen rhyw gyfran o'r Bibl, yna rhoed pennill allan i'w ganu. Gyda llaw, mae rhywbeth mwy toddiadol a swynol wedi bod o oes i oes yn nghanu Beddgelert nag un man y gwyddom am dano. Pa un oedd y pennill a genid ar ddechreu y cyfarfod hynod hwn, ni chlywsom. Ond tybiwn mai rhyw bennill llawn o efengyl ydoedd, fel y mae genym gyflawnder yn ein hiaith. Wrth ganu y pennill, mae yr argae yn tori yn un floedd fawr! Erbyn deall, llon'd capel o ddynion ar ddarfod am danynt oedd yno. Nid oedd ar y teimladau cynhyrfus a derfysgai oddifewn ond eisieu rhyw agorfa i dori allan; a rhoes y syniad o obaith, a geid yn y pennill a genid, y rhyddid hwn iddynt. Rhyfeddol fu y canlyniad! rhai yn llefain am drugaredd—rhai yn gorfoleddu wedi derbyn ymwared—rhai yn gweddïo—rhai yn canu—pob peth yn blith draphlith—neb yn gofalu—neb yn meddwl am drefn! *Trefn* yn wir dan ddylanwadau mor nerthol â hyn! rhaid i Meistar Trefn gadw draw am dro. Aeth y newydd am y cyffro yn y capel yn ebrwydd drwy y pentref, ac o dŷ i dŷ—o gwm i gwm trwy y fro, a phawb yn prysuro i'r lle, a phawb yn syrthio i afael yr un dylanwad cyffrous. Yn hwyr y dydd, neu yn hytrach yn hwyr y nos, mae y rhai mwyaf pwyllog yn llwyddo i hwylio eu cyfeillion mwy cynhyrfus tuag adref. Bellach mae y gorfoleddu oedd yn y capel yn ymdaenu i wahanol gyfeiriadau, hyd y ffyrdd, a thrwy y cymoedd. Mae adsain y gorfoleddu yn cael ei gymeryd i fyny hefyd gan hen greigiau oesol yr Wyddfa, y naill graig yn ymryson i ymateb i'r llall. Gwaith newydd a dyeithr iawn i'r hen greigiau tragywyddol hyn oedd cael y cyfle hwn i gymeryd rhan yn nghlodforedd eu Creawdydd! O na chaent ei gyffelyb drachefn!

Buwyd am yspaid heb gael nemawr i drefn ar na chadw *seiat* na phregethu, am y byddai y gweddïo neu ganu yn y dechre yn rhoddi y cwbl ar dân. Ac os ceid hamdden i ddechre pregethu, os na byddai y pregethwr yn wyliadwrus o oer, ni chai lonyddwch i orphen ei bregeth, gan mor danllyd fyddai teimladau y gynnulleidfa. Da y sylwai y diweddar Mr. Jones, Treborth unwaith, y byddai cael mesur o wresogrwydd yn nhymher y gynnulleidfäoedd yn iechyd i gnawd ac esgyrn pregethwyr. Ac, yn wir, fe fyddai felly, yn lle bod fel yn bresennol, gorfod rhwyfo yn galed o Sabboth i Sabboth yn erbyn y llanw cryf o ddifaterwch, a'r weinidogaeth yn clecian ar galon-galedwch y genedl, fel olwynion cert ar balmant o'r ceryg caletaf. "Oddi fry," ys dywedai Richard Robert, Cae y gors, y mae ein gobaith am yr hyn a wna y callestr yn llyn dwfr.

*(I'w barhâu.)*

---

Y TRI CHYMRO YN NEW ZEALAND.

*(Parhâd o tu dalen* 334.)

BYDDAI gobeithion rhai yn ngostyngiad yr afon, ar ol hir ddysgwyl, yn diflanu; ac o ganlyniad, hwy a aent ar grwydr dros y mynyddau yma ac acw, i chwilio am y trysor cuddiedig. Rai prydiau byddai yr ymgyrch yn llwyddiannus. Wedi i'r cyfryw rai gael sicrwydd fod aur yn y lle, agorent gloddfa newydd; ac ymhen pedwar neu bum' niwrnod, byddai rhai cannoedd o bobl wedi ymgyrchu i'r lle. Felly y dygwyddodd pan yr oedd y tri Chymro ar lân yr afon; a barnasant yn ddoeth anfon un o honynt eu hunain dros y mynyddau i edrych ansawdd y lle y dywedid fod y mwnglawdd auraidd, ac i hwnw gymeryd rhywun arall ato fel y gallai dau wedi hyny aros ar lân yr afon i'r dyben o weled gostyngiad y dwfr. Syrthiodd i ran yr ysgrifenydd, a Chymro arall o'r enw Owen Davies, gŵr ieuanc dewr a

Sir Gaernarfon, fyned dros y mynyddau; a gadäwyd John Parry a Lewis Jones ar làn yr afon.

Yr oedd y lle y bwriedid myned iddo ryw ddeuddeng milldir o daith. Yr oedd y camrau cyntaf tuag yno yn esgyniad i fyny i fynydd; ac wedi dringo i ben un mynydd, ymgodai mynydd arall oddiar ben hwnw; ac wedi esgyn i ben yr ail, rhaid oedd cripio i fyny un arall, nes o'r diwedd gyrhaedd coryn uchaf y mynyddau. Buont yn teithio fel hyn tua'r nefoedd o naw y gloch y bore hyd ddau o'r gloch brydnawn, gyda beichiau trymion ar eu cefnau, o herwydd yr hyn rhaid oedd iddynt orphwyso yn fynych ar y daith fynyddig. Dywedai Owen Davies nad oedd y Wyddfa fawr yn Arfon ddim i'w chymharu mewn uchder â chopa'r mynydd hwnw. Ar ol gorphwys yno ryw gymaint o amser, yr oeddynt wedi hyny yn myned i lawr y goriwaered. Gyda eu bod wedi myned ychydig o ffordd, cododd yn wynt sydyn ac anghyffredin o nerthol, nes yr oedd agos yn ormod o orchwyl iddynt ymgynnal rhag eu cael yn gydwastad â'r llawr; ond oblegid rhwyddineb y mynediad ar y goriwaered, ni pharhäodd y cyfryw helbul yn hir, gan eu bod yn myned yn awr ar eu rhedeg o gyrhaedd grym yr ystorm. Tua phump o'r gloch brydnawn y dydd y cychwynasant, yr oeddynt wedi cyrhaedd eu nôd, sef y lle a elwid yn Tomyhook. Yr oedd nifer gymedrol wedi perchenogi y lleoedd mwyaf manteisiol i godi aur cyn eu dyfodiad hwy yno. Bore drannoeth, aeth y ddau Gymro i chwilio am y trysor gwerthfawr, ond yn aflwyddiannus; eithr wedi myned ati yr ail ddydd, ddaethant i afael ychydig o'r peth melyn gwerthfawr. Buont yn y lle am ryw bedwar diwrnod, yn ymdrechu goreu y gallent am gaffaeliad cymaint o aur ag a droai yn ennill iddynt; ond ofer a fu eu cais, er eu bod yn deall am eraill oedd yn gallu codi aur yn lled dda yno. O herwydd eu haflwyddiant, a phrinder ymborth, barnasant yn ddoeth fyned yn eu holau ar hyd yr un ffordd ag y daethant; ac yr oedd yno chwech neu saith yn dyfod yn ol gyda'r ddau, gan gyfeirio oll i'r un man, sef at làn yr afon Molanux, ymha le yr oedd eu gwersyllfa.

Cychwynasant yn galonog oddeutu dau o'r gloch yn y prydnawn, ac aethant i fyny y mynyddau yn lled rwydd am ran go fawr o'r ffordd. Ond, yn hollol ddisymwth ac annysgwyliadwy, cododd cymylau o niwl dudew, nes yr oeddynt bron a methu gweled eu gilydd, yr hyn a barodd ddyryswch annesgrifiadwy. Teithiasant am ryw gymaint o amser gyda'u gilydd trwy'r niwl trwchus; ond cyn hir cododd amheuaeth yn eu meddyliau a oeddynt yn hwylio yn yr iawn gyfeiriad; ac aeth yn ddadl rhyngddynt. Yr oedd Owen yn wahanol ei farn i'r lleill, a'r ysgrifenydd a'i dilynodd ef, gan fod ganddo yr ymddiried llwyraf yn ei farn a'i arweiniad. Yr oeddynt ill dau bellach wedi ymwahanu oddiwrth y mwyafrif, a'u cyfeiriad yn hollol wahanol i'r eiddynt hwy. Aent ymlaen gan ymbalfalu trwy'r niwl caddugol; ac wedi ychydig amser, nis gallent lai na dwys ystyried eu hunigrwydd dan y fath amgylchiadau arswydlawn; a daliwyd hwy â gradd o edifeirwch o herwydd iddynt adael eu cymdeithion. Gwaeddasant nerth eu penau, yn ol arfer y wlad yno, *Cwi!* Gwnaent hyny i edrych a oeddynt o fewn clywedigaeth rhywrai neu rywun o blant Adda. Do, hwy a waeddasant *Cwi* gryn chwe' gwaith yn olynol; ond er eu tristwch a'u gofid, nid oedd ond dystawrwydd prudd yn teyrnasu; neb, neb yn eu hateb; a bellach yr oedd eu hedifeirwch am y cwrs a gymerasant yn un rhy ddiweddar.

Wedi iddynt eu dau gerdded yn eu blaen am ryw awr o amser, daethant i gyfarfyddiad â mynydd, pa un, fel y tybient, a esgynai yn unionsyth i'r ëangder; a deallasant ar unwaith eu bod wedi myned i rywle ymhell o'r iawn gyfeiriad. Ac er mor ddewr oedd bachgen Sir Gaernarfon, yr oedd yntau, fel ei gydymaith, yn awr wedi ei lethu gan ddychryn yn y rhagolwg ar eu sefyllfa ddigysur. Yr oedd eu hymwybyddiaeth am rai teithwyr yn y cyffelyb amgylchiad wedi cyfarfod â'u hangeu, yn mwyhâu angerdd eu dychryn. Wedi dyfod at gyfryw fynydd, newidiasant eu cyfeiriad, a cherddasant mor gyflym âg y medrent drwy'r niwl, yn wysg eu penau, heb y wybodaeth leiaf i ba le yr oeddynt yn myned, na pha beth a fyddai eu tynged. Caent eu hunain rai prydiau at eu canol mewn siglenydd neu gorsydd, a phryd arall mewn aberoedd ac afonydd oedd heb fod yn ddwfn iawn. Yn y wedd yma y cerddasant am o bedair i bump o oriau. Ac erbyn hyn, i chwanegu at eu dychrynfëydd, yr oedd tywyllwch y nos wedi eu dal, ac anobaith yn dechre fferu eu calonau. Gorweddasant i lawr ar ben y mynydd heb olwg ar ymwared, fel y tybient hwy, a'u nerth wedi pallu gan ludded y daith, heb help iddynt o unlle ond o'r nefoedd. Ac, yn wir, wele nefoedd weledig yn y fan yn goleuo eu tywyllwch. Pan yr oedd digalondid wedi eu gorchfygu, dyma'r niwl yn chwalu yn sydyn, a ser y ffurfafen yn gwneuthur eu hymddangosiad, yr hyn a roes radd o adfywiad i'w hysbrydoedd.

Owen, gan gasglu ei holl nerth, a ddywedai yr elai efe ychydig ymlaen i edrych a oedd yno unman neu unpeth a wein-

yddai iddynt ddiddosrwydd ac ymwared; ac felly yr aeth, tra yr oedd yr ysgrifenydd yn aros yn y man lle yr oeddynt, â'i galon eto ar dori yn anobeithiol. Ond wedi ychydig eiliadau, dyma waedd orfoleddus nes yr oedd y mynydd yn diaspedain, "Goleuni! goleuni! O y mae gobaith, gyfaill! Oes, oes, diolch i Dduw!" Gan anghofio ei flinder, neidiodd ar ei draed, a rhedodd mor chwim â'r ewig at ei gyfaill Owen, tra yr oedd yntau yn rhedeg i'w gyfarfod; a dyna lle buont am beth amser fel rhai wedi dyrysu gan faint eu llawenydd yn yr olwg ar waredigaeth megys o safn marwolaeth. Ymaith â hwy i gyfeiriad y goleuni, heb wybod na gofalu pa un ai pobl wareiddiedig, ai ynte brodorion anwar y wlad, oedd i'w cael yno. Yr oedd y goleu mewn pantle dwfn; ac wedi iddynt ddyfod yn gyfagos ato, rhoisant eu paciau i lawr, ac aeth Owen ar lechwedd y mynydd, ac a waeddodd *Cwi, cwi, cwi!* Wedi dywedyd felly y drydedd waith, atebwyd ef yn ol, pryd y gofynodd yntau yn yr iaith Saesoneg beth oedd enw'r lle yr oeddynt yn bresennol ynddo; a'r ateb ydoedd "*Tomykook.*" Tarawyd hwy â syndod mudanol am enyd, ac nid heb ystyr ac achos; canys dyma hwy, ar ol cerdded yn flinderog o ddau o'r gloch y prydnawn hyd wyth o'r gloch yr hwyr, yn y diwedd yn eu cael eu hunain yn gymhwys yn yr un man ag y cychwynasent o hono, ac felly heb fyned un gronyn nês i ben eu taith.

Yr oedd hyn ar un olwg yn annymunol iawn; ond o'r ochr arall, yr oedd eu hymwybyddiaeth o'r man lle yr oeddynt wedi adfywio eu hysbryd yn fawr. Yr oedd yn noson hynod oer, a'u dillad hwythau, o herwydd y corsydd a'r aberoedd yr oeddynt wedi dyfod trwyddynt, mor wlybion â phe trochesid hwynt yn y môr. Aethant ar unwaith i chwilio am danwydd, a buont yn ffodus i gasglu digon i wneyd coelcerth fawr o dân; ac aeth un i lawr i lechwedd y mynydd i gyrchu dwfr, er mwyn cael *tea* gyda rhan o deisen fach oedd ganddynt, gan adael y rhan arall hyd y bore. Wedi i hyny o arlwyad fyned heibio, yr oedd yn llawn bryd myned i orphwys. Nid oedd yn y lle hwnw goed priodol tuag at godi i fyny yr un *tent;* ac, yn wir, pe cawsid wrth law goed cymhwys i hyny, yr oedd tywyllwch y nos yn gwneyd y cyfryw babell-wneuthuriad yn anmhosibl. Ond yr oedd careg fawr gerllaw, a thaenasant eu gwrthbanau o dan y gareg, gan ymlapio ynddynt oreu y gallent. Byr amser a fu eu harosiad yn y wedd hono oblegid yr oerfel. Codasant ac aethant at y tân; tynasant eu hosanau er mwyn ceisio eu sychu, eithr aflwyddiannus yn hyny a fuont. Yr oedd eu dannedd yn curo y naill yn erbyn y llall gan ryndod. Noswaith hir i'w teimlad oedd hon; ac y mae yn ddiau na bu gwylwyr erioed yn dysgwyl mwy am y bore nag yr oeddynt hwy ill dau ar y noswaith gofiadwy hono.

Ceisiaf ddwyn hanes y tri Chymro i ben yn fy llythyr nesaf.

W. JONES.

*Rhôs.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

## Y CYFARFODYDD EGLWYSIG.

SYR,—Amlwg ydyw fod cwyno yn dra chyffredin yn herwydd y cyfarfodydd eglwysig. Cwynai yr hen bobl fod eisieu mwy o brofiad ynddynt, a chwyna yr ieuainc fod eisieu mwy o athrawiaeth ynddynt. Y mae y ddau ddosbarth yn rhy barod o lawer i feïo a chondemnio y swyddogion. Dywed yr hen bobl nad ydyw y cyfarfodydd hyn y peth oeddynt yn y blynyddoedd gynt,—nad ydyw y blâs a fu arnynt i'w gael yn awr; adroddant hanesion am brofiadau tanllyd a hwyliog nad oes eu cyffelyb i'w cael yn bresennol. Onid oedd amgylchiadau y cyfnod hwnw yn rhoddi nodwedd arbenig ar brofiadau pobl yr Arglwydd, ac felly ar y cyfarfodydd eglwysig—y cyfryw nodweddau nas gellir dysgwyl eu gweled yn yr eglwys heb yn gyntaf droi y byd yn ol i'r hyn ydoedd yntau y pryd hwnw? Dywedai hen ŵr unwaith fod y bobl er ys talm yn cerdded yn llawer dystawach yn eu clocsiau nag y gwna pobl y dyddiau hyn mewn esgidiau. Diammheu hyny, o herwydd lloriau pridd oedd i'w tai hwy. Y mae arnaf ofn mai lled debyg ydyw llawer o feirniaid y cyfarfodydd eglwysig,—pobl un tu i'r ddalen, pobl nad ydynt yn cymeryd i ystyriaeth amgylchiadau gwahanol y cyfnod yr ydym ni yn byw ynddo. Y mae dull y byd yn myned heibio yn sicr o beri i *ddull* y cyfarfodydd eglwysig fyned heibio. Fel ag y bu i athroniaeth y byd ddylanwadu ar ffurf y Dadguddiad Dwyfol, felly yn sicr y bydd i ddadblygiad deallol yr oesau hyn ddylanwadu i raddau mawr ar ffurf y cyfarfodydd eglwysig.

Nid ydwyf yn gallu gweled fod diffyg mynegiad neu ddiffyg *arddangosiad* o deimladau crefyddol yn ddigonol i brofi absennoldeb y teimladau hyny. Meddwl eiddil sydd gan y dyn a arfera ddadguddio ei deimladau ar bob achlysur. Fel y cynnydda ac y cryfhâ meddwl tan ddylanwad addysg a diwylliant, felly y lleihâ ac y cilia yr amlygiadau parod o deimlad. Gwna careg o law hogyn gynhwrf trwyadl yn y llyn bychan, ond rhaid wrth nerthoedd gwynt y nefoedd i gynhyrfu yr eigion dwfn. Fel yr effeithia diwylliant i eangu a dyfnhâu y meddwl, bydd yn an-

hawddach cynnyrchu arwyddion cyffro ar wyneb y dyn.

Y mae yr hyn a adnabyddir yn gyffredin wrth brofiad crefyddol, bron yn gwbl, yn gyfyngedig i amlygiadau o deimlad crefyddol; a'r amlygiadau hyny a fyddont yr ymollyngiadau rhwyddaf a llwyraf o deimladau, fel rheol, a ganmolir ac a werthfawrogir fwyaf. Y mae hyny wedi bod, cyn hyn, yn achos i aml un wneyd profiad twyllodrus—ffug-brofiad. Y mae yn ddiammheu fod y rhan lïosocaf o honom yn gwybod am engreifftiau o hyny; ac y mae rhith-brofiadau yn sicr o arwain i rith-dduwioldeb, a dybenu yn nghobaith gau y rhagrithiwr. Yr ydwyf yn ofni fod swyddogion eglwysig, trwy bwyso am brofiadau, wedi bod yn un achos cynnyrchiol o'r llysiau nos yma sydd wedi tyfu yn yr eglwysi.

Fel y cynnydda addysg a diwylliant yn y wlad y cilia eiddilwch o'r wlad, ac y cilia hefyd amgylchiadau eiddilwch o'r eglwys; a rhaid ydyw i'r amlygiadau tymherog o deimladau crefyddol leihâu. Y mae teimladau coethedig yn sicr o ymguddio yn nghysgod deall coethedig.

Os ydym yn gywir yn y casgliad yma, y mae yn canlyn nad ydyw y prinder profiadau hwyliog y cwynir cymaint o'i herwydd trwy yr holl wlad, mewn un modd yn profi adfeiliad crefyddol. Yn hytrach o lawer, y mae yn awgrym i ni i geisio am ddull mwy cydweddol a chydfynedol â chynnydd gwybodaeth yn y cyfnod yr ydym yn byw ynddo. Yn ofer y dysgwyliwn i feirch y tadau barhâu yn ystwyth a heinyf i ni i'w marchogaeth. Y mae yn gofyn i ni fod fel meibion Issachar "yn deall yr amseroedd, pa beth a ddylai Israel ei wneuthur," ac fel doethion Media a Phersia "yn gwybod cyfraith a barn" i ddeall iaith a lleferydd ein Brenin. Onid ein doethineb a'n dyledswydd ydyw ymegnïo i gadarn-seilio yr eglwysi yn egwyddorion ac athrawiaethau crefydd? Swyddog tra annheilwng ydyw hwnw a gyfyd yn y cyfarfodydd eglwysig i gweryla â'r defnyddiau sydd ganddo am na byddant yn well,—i erlid yr anffyddloniaid wrth y rhai ffyddlawn. Curo y byw âg esgyrn y meirw ydyw hyny. Os mynwn brofiad crefydd, mae yn rhaid i ni yn gyntaf wrth athrawiaeth crefydd; os mynwn ni fod yn feddiannol ar brofiad y Gair, mae yn rhaid i ni ddysgu athrawiaeth y Gair.

Fy mrodyr, yr ydwyf yn ofni nad ydyw y *pumpio* profiadau ag sydd yn arfer adnabyddus yn perthyn i rai o honom, yn ddim amgen na chochl i guddio ein diogi a'n tlodi ni ein hunain. Y mae cynghorion rhai o honom yn adnabyddus yn yr eglwysi, megys y dywedai y diweddar John Hughes, Pont Rhobert, fel *universal pills*, y mynegir eu bod yn gwellhâu pob clefyd a phob afiechyd ymysg y bobl. Nid ydwyf yn credu fod gan un swyddog eglwysig hawl i fyned i mewn i gysegr sancteiddiolaf calon neb, heb yn gyntaf fod y wahanlen wedi ei chyfodi iddo. Y mae myned i mewn trwy drais i hylldremu ar arwydd y Presennoldeb Dwyfol yn sicr o fod yn bechod yn erbyn Duw.

BLAENOR O'R WLAD.

### GAIR AT THADDEUS.

ANWYL SYR,—Gan eich bod yn y llythyr cyntaf a gyfeiriwyd genych ataf wedi rhoddi darnodiad mor dda o'r gair cyfrifiad a saif wrth awdurdod duwinyddion hen a diweddar, nid wyf am chwyddo fy ysgrif gyda'r un arall yn fy ngeiriau fy hun, nac ychwaith gyda'r eiddoch chwithau; ond dymunaf arnoch sylwi arnynt i wasanaethu eich cais i'r pwrpas o dan sylw.

Canfyddaf eich bod yn awyddus am gael llinell wahaniaethol wedi ei thynu genyf rhwng cyfrifiad o bechodau y natur ddynol a chyfrifiad o wendidau y natur hono ar Grist. Fel yr awgrymwyd yn flaenorol, y mae yn bur naturiol i ni gredu fod y gwendidau y sonir am danynt yn bod yn yr Adda cyntaf, fel creadur yn ddarostyngedig i ddeddfau. Wrth reol deddf cynnelid ei einioes trwy fwyta ac yfed, gweithio a chysgu. Tra yr oedd y naill yn faeth, yr oedd y llall yn bleser ac yn adloniant. Gan nad ydoedd Adda wedi ei gyfaddasu i fywyd uwch na'r daearol, nis gallai y pethau hyn fod yn ddarostyngiad arno yn y sefyllfa hono. Ond gan fod Crist, fel yr Ail Adda, wedi ymddangos yn nghyflawnder yr amser, fel y dygai i oleuni trwy ei ymgnawdoliad sefyllfa uwch a helaethach o fywyd, y mae efe yn cymeryd ein natur yn y perffeithrwydd hwnw â'i gwnai ymhob peth yn gydymaith cyfaddas i'r bywyd uwch. Nid ei ddyben ef yn ymgnawdoli ydoedd dwyn y ddynoliaeth yn ei Berson i hawl barhäol eilwaith o'i sefyllfa ddaearol. Pe felly, priodol fuasai iddo fod yn gwbl ddarostyngedig i lywodraeth deddfau y sefyllfa hono, ac ni byddai eu dwyn yn un math o ddarostyngiad yn eu cwrs naturiol. Ond gan ei fod yn dwyn bywyd i'r byd na pherthynai i'r byd hwn yn ei holl ddeddfau ei lywodraethu, ond yn ol rhagdrefniant ysbrydol Duw i'w amcan ei hun, yn rhinwedd hwn y gallai ei berchen herio pob awdurdod yn y ddau fyd, a dywedyd, "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Tybiodd un fod ganddo awdurdod ar ei fywyd; ond wrth hwnw yr Iesu a atebodd, "Ni byddai i ti ddim awdurdod arnaf fi oni bae ei fod wedi ei roddi i ti oddiuchod." Wrth hyn gwelwn nad oedd y ffaith fod hawliau dynoliaeth yr Arglwydd Iesu uwchlaw awdurdod a deddfau y byd hwn, yn ei wneyd yn anmhrofedig o honynt yn ei sefyllfa o ddarostyngiad, gan ei fod yn cymeryd yr holl ddarostyngiad hwnw ynddo yntau trwy oddefiad am amser penodol ac i ddybenion neillduol. Gan fod yn rhaid ei berffeithio yn Archoffeiriad trwy ddyoddefiadau, nid ei berffeithio yn ddyn, fe ddyoddefodd, gan gael ei demtio ymhob peth. Perffeithrwydd anghenrheidiol ei ddynoliaeth ar gyfer ei sefyllfa ddyfodol ydoedd, ei fod uwchlaw gwendidau a phechodau, yn naturiol felly. Ond yr oedd raid iddo, yn ol y trefniant, eu dwyn trwy gyfrifiad. "Ac wedi ei berffeithio, Efe a wnaethpwyd yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo."

Ond rhag i'ch cwestiwn diweddaf ddianc heb atebiad pendant iddo, dymunaf ddyweyd mai yr unig amcan mewn golwg gan yr Ar-

glwydd Iesu pan yn goddef gwendidau naturiol ydoedd bod yn brofedig o honynt. Fel y dygodd ddyoddefaint pechod yn ei gorff ei hun, heb fod yn bechadur, trwy gyfrifiad o bechodau, yr un modd hefyd y goddefodd i holl wendidau y natur hono gael eu dwyn i'w ran, tra heb fod o ran ei gorff yn berthynol i'r byd hwn. Nid ei berffeithio o radd i radd yn gorff cymhwys i fyd uwch a gafodd efe, a dwyn y perffeithrwydd hwnw i ben yn ei adgyfodiad neu ei esgyniad, ond efe a ymaflodd yn y ddynoliaeth yn ei ymgnawdoliad, yr hyn ar unwaith a'i gwnaeth yn dragywyddol berffaith a chymhwys i'r byd ysbrydol. Ond fel na byddai efe yn unig, syrthiodd y gronyn gwenith i'r ddaear, ac a fu farw. Ac i ba beth y bu hyn? Fel y dygai feibion lawer i ogoniant a fyddai yr un ffurf â'i gorff gogoneddus ef. Yn awr, pe golygem fod y gwendidau yn cael eu dwyn gan yr Arglwydd Iesu yn ol cwrs anghenrheidiol ei natur, a'i fod o'u plegid mewn sefyllfa anghyfaddas i'r byd ysbrydol, yr oedd yn rhaid felly fod ganddo i fyned trwy ryw orchwyliaethau er eu diddymu—rhyw bethau yn ei fywyd neu ei farwolaeth, ei adgyfodiad neu yr esgyniad.

Yr ydym yn gweled ei fod o ran ei awdurdod yn drech nag angeu cyn marw. Dyma ei dystiolaeth ar hyd ei fywyd, "Nid oes neb yn dwyn fy einioes oddiarnaf." Ond yn ei adgyfodiad y galluogwyd ef i ddyweyd ar ran ei saint oeddynt o dan y gollfarn, "O angeu, pa le mae dy golyn?" Os oedd Crist yn oruchaf ar angeu yn ei fywyd, onid ydyw yn bur naturiol i ni gredu ei fod hefyd yn oruchaf ar holl wendidau y natur ddynol, pa rai sydd yn hadau marwolaeth? Pan y bu efe farw, pwy yn y nef neu ar y ddaear a fuasai yn gallu cyflawni gwasanaeth yn ei angladd, a dywedyd, "Rhaid i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth; efe a heuir mewn gwendid ac a gyfodir mewn nerth?" Yn ei farwolaeth cawn ef yn amddifad o bob gwendid, ac yn gryfach nag angeu yn llefain â llef uchel, "Gorphenwyd." Nid y bwyd a'r diod oedd ei nerth ef, nid dim o'r tu allan iddo a'i cyfnerthai, ond yn hytrach o lawer yr hyn oedd ynddo, sef nerth bywyd annherfynol, yr hwn oedd ei eiddo fel dyn ac i'w roddi i ddyn. Y cam cyntaf yn ei ddarostyngiad ef ydoedd ei ymgnawdoliad; a'r ail ydoedd rhoddi y ddynoliaeth hono yn gydstad â'i chyflwr pechadurus, ond nid yn bechadurus—yn gydstad â'i holl wendidau, ond yn Awdwr perffeithrwydd ei saint.

Gan ddysgwyl y bydd i fy anwyl frawd Thaddeus daflu goleuni chwanegol ar y llwybrau dyrys a deithiwyd genym, dymunaf iddo dderbyn fy nghofion mwyaf serchog.

LEVI.

O.Y. Ai nid ar natur y pethau a gyfrifir i Grist, ac nid ar ystyr y gair "cyfrifiad," y mae y gwahaniaeth barn rhyngom yn troi? O berthynas i natur cyfrifiad o wendidau naturiol y ddynoliaeth, cyfrifwn eu bod yn cael eu dwyn ar Grist i amcanion neillduol trefn iachawdwriaeth, fel y sylwyd, yn hollol ar yr un tir ag yr ydys yn cyfrif pechodau y natur hono. Nid ydyw y gwahaniaeth ynddynt yn bodoli ond yn yn unig yn ein natur—y naill yn bechadurus a'r lleill heb fod felly. Tra yr ydych yn addef y naill, yr ydych yn gommedd y llall ar dir cyfrifiad.—L.

---

# Barddoniaeth.

## "AR LAN IORDDONEN DDOFN."

EISTEDDAIS ar lân yr Iorddonen ryw ddydd,
A gweled ei hymchwydd wnai'm hysbryd yn brudd;
A d'wedais, â'm bron yn llawn braw,—
'Mor ddofn y mae 'n edrych! mor chwyrn yw ei lli'!
Trwy dònau mor enbyd pa fodd yr af fi?
I gynnal fy mhen pwy a ddaw?'

A'm pryder ddwyseiddiai wrth wel'd y fath lu,
'R ol d'od at yr afon chwyddedig a du,
Yn suddo'n y dyfroedd fel plwm;
Pa ryfedd fod rhai yn frawychus eu gwedd,
A hwythau heb Geidwad, heb obaith, heb hedd,
A baich eu hanwiredd mor drwm?

Daeth amball un yno yn hoew a hyf,
Gan feddwl, er bod y llifeiriant mor gryf,
Mai trwodd yn esmwyth yr 'ae;
Ond och! ei ysgubo yn ebrwydd ga'dd ef,
Yn llawn dychrynfeydd, ac yn athrist ei lef,
I gefnfor anobaith a gwae!

Tra 'n holi 'n ddifrifol—'Pa le, O! b' le 'r aeth?'
Genethig fach, brydferth, dan wenu a ddaeth,
A d'wedai, pan welodd y lli',
'Gollyngwch fi, mam, 'd oes arnaf ddim ofn,
Yn ddiogel yr af drwy yr afon ddu, ddofn,
Mae'r Iesu ei hun gyda mi!'

Yn nesaf ddaeth llencyn hawddgarol ei fryd,
Gan gefnu yn llon ar bleserau y byd,
A'r mwyniant addawsai efe;
Aeth drwodd dan ganu, "R wy 'n myn'd i fwynhâu
Anrhydedd a gwynfyd sydd byth i barhâu,
Eu bath ni cheir byth îs y ne'.

I'w ddilyn daeth gweddw oedranus a gwan,
Ac ofnodd am enyd, pan sangodd hi lân
Y dyfroedd aflonydd, oer, du;
Ond d'wedai'n y man—'Pa'm yr ofnaf y dŵr?
Af drwyddo'n ddiangol yn ngofal y Gŵr
A'm dygodd hyd yma mor gu.'

Ac yna daeth un oedd yn uchel ei stâd,
Mewn dysg a doethineb yn addurn i'w wlad,
A'i barch ymysg dynion yn fawr;

A d'wedai wrth groesi—'Nid ydwyf fi ddim;
Crist Iesu 'n ddoethineb a bywyd fu im',
A'm hymffrost a'm nerth yw yn awr.'

Wel, minnau a roddaf fy hun yn ei law;
Pwy ŵyr na chaf fyned drwy'r afon heb fraw,
Ië, canu uwch ymchwydd y don?
A chanu *wnaf* hefyd, ond profi ei hedd,
A'm nefoedd fydd syllu dros byth ar ei wedd,
A chanmol ei gariad yn llon.

MINIMUS.

*Edinburgh.*

---

### TWYLL Y BYD.

GWEL fi, bechadur gwael ei lun,
Yn dysgwyl wrthyt ti dy hun,
Wedi fy siomi gan y byd,
A cholli 'ngobaith ynddo i gyd.

Trôdd pob addewid wnaeth yn dwyll;
Ystyriais hyn, cymerais bwyll:
Dyma lle 'r wyf, yn dlawd a noeth,—
Yn glaf i gyd gan wäew poeth.

Gwäew euogrwydd ydyw hwn,—
Clefyd pechadur dan ei bwn:
Pa le mae 'r Meddyg enwog, mawr,
All ladd ei rym mewn mynyd awr?

Llesg yw fy natur drwyddi i gyd,
Gan haint a fagodd twyll y byd,
Pa le mae 'r cordial uwch pob gwerth,
Sy 'n adfer bywyd,—adfer nerth?

O na chawn deimlo rhin y gwaed,
All roi euogrwydd dan fy nhraed,
A dofi f' awydd am y byd,
A dwyn fy serch i'r nef i gyd!

Pa le mae'r wisg a guddia 'r noeth,
A'r dwfr a dyr fy syched poeth?
O na chawn hawl i'r cyfoeth drud,
Sy 'n fwy ei werth na chyfoeth byd!

Dy bresennoldeb, Iesu cu,
Yn unig leinw f' enaid i;
Rho brawf o'th gariad dirfawr drud,
Nes llanw 'nghalon ganddo i gyd.

Cadw fy ngolwg, Arglwydd cu,
Yn wastad ar dy angeu di;
Yna nis gallaf ddewis mwy
Na 'r cariad lifodd o dy glwy'.

E. FOULKES JONES.

*Ty'n y groes,*
*Conwy.*

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA CAERNARFON,

AWST 20, 21 A'R 22AIN, 1878.

LLYWYDD,—Y Parch. EMRYS EVANS, Dinbych.

DYDD MAWRTH, AWST 20FED.

***Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch prydnawn.***

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Darllenwyd y Cenadwriaethau canlynol oddiwrth y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau:—

Cafwyd yn genadwri o Gyfarfod Misol *Sir Ddinbych*:—"Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Llanelwy, Mehefin 27 a'r 28ain, bu sylw ar y cynnygion o berthynas i Gyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol, a phenderfynwyd ein bod yn cymeradwyo pob un o honynt."

O Gyfarfod Misol *Sir Fflint*:—"Derbyniwyd *Frogkall* i undeb ein Cyfarfod Misol, a dymunir am barhâd y *Grant* tuag at iddynt yno gael pregethu mwy cyson."

O Gyfarfod Misol *Dwyrain Meirionydd*:—"(1.) Ein bod yn cymeradwyo yr oll o'r Cynnygion o Gyfeisteddfod Machynlleth gyda golwg ar y Gymanfa Gyffredinol. (2.) Fod y Parch. Dr. Edwards a Mr. Edward Vaughan i barhâu yn aelodau o Gyfeisteddfod yr Achosion Seisonig."

O Gyfarfod Misol *Gorllewin Meirionydd*:—"(1.) Penodwyd y Parch. D. Roberts, Rhiw, yn aelod o Gyfeisteddfod yr Achosion Seisonig. (2.) Y cynnygion o berthynas i'r Gronfa Gynnaliaethol wedi bod dan sylw, a'r ymdriniaeth arnynt wedi ei gohirio hyd y Cyfarfod Misol nesaf."

O Gyfarfod Misol *Sir Drefaldwyn* (y Rhan Uchaf):—"Penderfynwyd anfon i'r Gymdeithasfa ein bod wedi bod yn analluog i ddyfod i benderfyniad gyda golwg ar y cynnygion ynglŷn â'r Gronfa yn y cyfarfod hwn, a bod yr ymdriniaeth wedi ei gohirio hyd y Cyfarfod Misol nesaf."

O Gyfarfod Misol *Liverpool*:—"Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Mount Pleasant, Liverpool, Awst 7fed, 1878, penderfynwyd,—'Ein bod yn cymeradwyo yn hollol, ac yn teimlo yn gryf yn mhlaid yr amcan sydd mewn golwg yn Adroddiad y Pwyllgor ar Gynnaliaeth y Weinidogaeth, a gyflwynwyd i'r Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf, ac yn edrych ar y Rheolau ar y cyfan gyda chymeradwyaeth, ond yn barnu y byddai yn well tuag at effeithiolrwydd yr amcan i'r drysorfa gael ei chyfyngu i Ogledd a Deheudir Cymru ar wahan.'"

O Gyfarfod Misol *Manchester*:—"Y mae y Parch. W. James, B.A., wedi ei ddewis ar Bwyllgor yr Achosion Seisonig am y tair blynedd dyfodol."

O Henaduriaeth *Lancashire*:—"The Rev. John Thomas, Liverpool, has been elected on the Home Mission Committee, and the Rev. Edward Jerman on the Chapel Deed Committee, and Committee of Fund for English causes."

III. Hysbyswyd gyda golwg ar Gynnygion Cyfeisteddfod Machynlleth o berthynas i'r Gymanfa Gyffredinol, nad oedd ond pump o Gyfarfodydd Misol wedi anfon eu syniad arnynt i'r Gymdeithasfa; a rhoddwyd annogaeth i'r Cyfarfodydd Misol eraill a'r Henaduriaethau roddi ystyriaeth i'r Cynnygion hyn, ac i ddwyn eu barn arnynt i'r Gymdeithasfa nesaf.

IV. Darllenwyd y Cenadwriaethau canlynol o'r Gymanfa Gyffredinol:—

Ein bod yn dymuno annog ein Swyddogion Eglwysig ac Arolygwyr ein Hysgolion Sabbothol, i arfer moddion i feithrin ysbryd Cenadol yn ein heglwysi, trwy drefnu i gynnal cyfarfodydd Cenadol blynyddol mewn cysylltiad â phob cynnulleidfa, ac i fabwysiadu rhyw gynlluniau i ddwyn y plant yn enwedig i deimlo dyddordeb yn y gwaith Cenadol.

Dymunir awgrymu y priodoldeb a'r buddioldeb fod i'r Gymanfa Gyffredinol gael ei chynnal yn ei thro yn y gwahanol Gyfarfodydd Misol yn y De a'r Gogledd, mor bell ag y gwel y Cyfarfodydd Misol eu ffordd i gydsynio â hyn; a bod annogaeth yn cael ei roddi ar fod i'r eglwysi yn y Siroedd gyfranu at ei chynnal fel y gwneir yn bresennol gyda'r Gymdeithasfa Chwarterol.

Fod annogaeth yn cael ei rhoddi, yn yr amser priodol, i fwy o ymdrech er ychwanegu nifer derbynwyr y *Drysorfa*, *Trysorfa y Plant*, a'r *Treasury*.

Cyflwynwyd Adroddiad y Pwyllgor ar Gynnaliaeth y Weinidogaeth gan Mr. R. Rowland. (Gwelir yr adroddiad hwn yn rhifyn Awst, tu dal. 304.)

V. Penderfynwyd fod yr holl gynnygion uchod i gael eu cyflwyno trwy y Gymdeithasfa hon i ystyriaeth y gwahanol Gyfarfodydd Misol.

VI. Cafwyd ymdrafodaeth lled faith ar y cynnygion am gynnaliaeth y Weinidogaeth. Ystyrid fod cael ymddyddan ar hyn yn fanteisiol i ddeall a oes teimlad o anghen ar gynnydd am wneyd rhywbeth yn y cyfeiriad hwn. Teimlid nad ydoedd y sefyllfa bresennol ar bethau yn un dda, a bod galwad arnom i wneyd rhywbeth nas gwnaed hyd yn hyn. Bernid y dylai cyfundeb o'r fath ag yw ein Cyfundeb ni ddangos mwy o gefnogaeth i'r Weinidogaeth nag ydym wedi ddangos hyd yma. Canfyddwyd yn nghwrs yr ymdriniaeth uchod nad oedd dim ammheuaeth gyda golwg ar yr anghen am hyn, er fod gwahanol farnau ynghylch y llwybr goreu i ddwyn hyn oddiamgylch.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa* (parhâd) *am ½ wedi 6 o'r gloch.*

I. Cafwyd ychydig ymddyddan yn mlaenaf ynghylch y moddion goreu i feithrin ysbryd cenadol yn ein heglwysi, seiliedig ar un o'r Cenadwriaethau oddiwrth y Gymanfa Gyffredinol. Ymhlith awgrymiadau eraill, galwyd sylw at y dymunoldeb o gadw golwg ar amcan neillduol y Cyfarfodydd Gweddïau Cenadol ar y nos Lun cyntaf yn y mis, ac mai dymunol fyddai darllen rhyw gyfran o'r Cronicl Cenadol, neu alw ar frodyr cymhwys i draddodi anerchiadau byrion yn y cyfarfodydd hyn, ac ar adegau eraill. Cyttunwyd ar fod i'r genadwri uchod gael ei chyflwyno mewn ffurf o benderfyniad yn y cyfarfod prydnawn ddydd Mercher.

II. Gwnaed yr un modd gyda'r cenadwriaethau eraill oddiwrth y Gymanfa Gyffrednol.

III. Treuliwyd y gweddill o'r cyfarfod hwn i ymdrin ar "Rwymedigaeth yr eglwys tuag at yr Ysgol Sabbothol."

DYDD MERCHER, AWST 21AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr, Cyfeisteddfod y Blaenoriaid am* 10 *o'r gloch y boreu.*

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am* 2 *o'r gloch.*

I. Hysbyswyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn y Bala, Rhagfyr 10, 11, a'r 12fed; Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa i ddechreu am ddau o'r gloch dydd Mawrth y 10fed.

II. Darllenwyd yr Adroddiad canlynol o Weithrediadau Trysorfa y Gweinidogion gan yr Ysgrifenydd, y Parch. D. Rowlands, M.A.:—

*Adroddiad Cyfarfod Gohiriedig Cyfeisteddfod Trysorfa y Gweinidogion.*

CADEIRYDD,—MR. DAVID ROBERTS.

1. Derbyniwyd cais oddiwrth frawd yn Nghyfarfod Misol Arfon am gael ymuno â'r Drysorfa yn ol yr adran olaf o Reol IX., a phenderfynwyd cydsynio â'i gais.

2. Mewn canlyniad i ymofyniad a wneid gan Swyddogion y Drysorfa o Drefaldwyn Uchaf, penderfynwyd fod blwydd-dâl brawd a adferwyd i aelodaeth o'r Drysorfa yn Nghymdeithasfa Wrexham, i ddechreu o'r dydd cyntaf o Orphenaf diweddaf.

3. Darllenwyd llythyr oddiwrth Griffith Davies, Ysw., *Actuary*, Llundain, yn yr hwn, wedi derbyn oddiwrth yr Ysgrifenydd hanes manwl am sefyllfa bresennol y Drysorfa, yn ol penderfyniad y Cyfeisteddfod a'r Gymdeithasfa yn Wrexham, y rhoddai ei farn gyda golwg ar y doethineb a'r diogelwch o wneyd cyfnewidiad yn y taliadau allan o'r Drysorfa. Penderfynwyd yn unfrydol ein bod yn diolch yn galonog i Mr. Davies am y sylw gofalus a galluog a dalasai i'r achos y tro hwn, ac am y cynnorthwy parod ac ewyllysgar y mae bob amser yn ei roddi i ni pan osodwn ger ei fron achos y Drysorfa.

4. Wedi rhoddi ystyriaeth bwyllog i awgrymiadau Mr. Davies, a sylwi ar gyfartaledd y taliadau allan yn y blynyddoedd a aethant heibio, penderfynwyd, fel yr unig gyfnewid-

-iad ag y byddai yn ddoeth ei wneuthur yn bresennol gyda golwg ar y budd i'r Aelodau, &c., fod y cymhorth a roddir mewn afiechyd (Rheol V. 1) yn cael ei godi o Ddeuddeg Swllt i Un Swllt ar Bymtheg yn yr wythnos,—y cyfnewidiad i ddechreu o Ionawr 1, 1879.

5. Yn wyneb yr annybendod a ddangosir gan yr Aelodau mewn rhai manau mewn talu eu *premiums* blynyddol, yr hyn sydd yn peri llawer o drafferth ofer i'r brodyr ffyddlawn sydd genym yn gofalu am yr achos hwn, yn gystal a cholled i'r Drysorfa, penderfynwyd, ein bod yn annog y Swyddogion Sirol i alw enwau yr holl Aelodau yn eu Cyfarfod Misol neu eu Henaduriaeth yn misoedd Ionawr a Gorphenaf, gan roddi ar ddeall mai dyna yr adegau i dderbyn eu taliadau, ac y gweithredir ymhob man gyda'r cyfeillion a fo yn ddiofal yn hyn yn ol Rheol X.

6. Wedi rhoddi ystyriaeth faith a phwyllog i'r holl Reolau yn Wrexham, ac wedi hyny yn Nghaernarfon, penderfynwyd ein bod, ar ddiwedd yr ail bum' mlynedd yma (Rheol XIII.), yn cymeradwyo y cyfnewidiadau canlynol:—

Rheol III. Fod y Trysorydd a'r Ysgrifenydd Cyffredinol, ynghyda'r Ymddiriedolwyr, i fod, wrth eu swydd, yn aelodau o'r Cyfeisteddfod, ac fod y Cyfeisteddfod i gynnwys y Trysorydd a'r Ysgrifenydd ymhob Cyfarfod Misol neu Henaduriaeth, ynghydag un brawd o weinidog neu flaenor yn ychwanegol.

Rheol V. 1. Yn lle Deuddeg Swllt, fod y cymhorth mewn afiechyd i fod yn Un Swllt ar Bymtheg yn yr wythnos.

4. Fod y £5 yn cael eu rhoddi at gladdu gweddw aelod. Dan y Rheol hon, ychwanegir:

5. Os bydd i aelod briodi wedi cyrhaedd 65 mlwydd oed, na fydd i'w weddw dderbyn, yn ol Rheol V. 3, yr Ugain Punt yn y flwyddyn ar ol ei farwolaeth.

Rheol VI. Newid y geiriad i ddangos fod y rhybudd i'w arwyddo "gan swyddogion yr eglwys y perthyna iddi, a chan feddyg, os bydd dan ofal meddyg."

Rheol VIII. Yn lle "symud o gylch Cymdeithasfa y Methodistiaid Calfinaidd yn y Gogledd," rhoddi, "ymadael o'r deyrnas."

Rheol IX. Yn lle, "ac o hyny allan rhaid i bob un a ordeinir ymuno â'r drysorfa yr un modd o fewn chwe' mis ar ol ei ordeiniad," rhoddi, "ac o hyny allan rhaid i bob un a ordeinir ymuno â'r drysorfa ar adeg y taliad cyntaf, pa un bynag ai Ionawr ai Gorphenaf (Rheol X.), ar ol ei ordeiniad."

Penderfynwyd hefyd gadael allan o Reol IX. y geiriau: "Os dangosir gan unrhyw frawd ar adeg ddiweddarach fod rhyw rwystr neillduol ar ei ffordd i wneyd hyny, gall y Cyfeisteddfod ei dderbyn trwy iddo, y pryd hyny, *ddechreu ei daliadau* o'r amser a benodir yn y rheol hon."

Rheol X. Ychwanegu: "Danfonir rhybudd o fewn mis Tachwedd i bob un a allo fod ar ol gyda'i daliadau."

Rheol XI. Diddymu y rheol hon, gan ei bod yn awr wedi ei chorffori yn Rheol III., a gosod yn ei lle, fel Rheol XI.—

"Ni wneir y taliadau allan ond yn nechreu y misoedd Chwefror, Mai, Awst, a Thachwedd."

Rheol XIII. Tynu allan y paragraph arweiniol, ynghydag adran 1, a 8.

Rheol XV. Y rheol hon i ddechreu fel y canlyn, "Fod ein brodyr a ddaw o fewn cylch Cymdeithasfa y Gogledd," &c.

DANIEL ROWLANDS,
*Ysgrifenydd Cyffredinol.*

Cynnygiwyd gan Mr. R. Rowland, cefnogwyd gan y Parch. R. Lumley, a phenderfynwyd — Fod yr Adroddiad hwn ynghyda'r cyfnewidiadau a gynnygir ynddo yn cael ei gyflwyno i sylw y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau.

III. Darllenwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Blaenoriaid:—

CADEIRYDD,—MR. JACOB JONES, BALA.

Darllenwyd a chadarnhäwyd cofnodau y cyfarfod diweddaf.—Dymuna Trysorydd y Gymdeithasfa ar i'r Siroedd anfon iddo yn ddioed y gyfran ddyledus oddiwrthynt at dreuliadau y Gymdeithasfa, yn unol â'r daflen a basiwyd yn Nghymdeithasfa Llanrhaiadr.—Penderfynwyd fod y "Gronfa Gynorthwyol" i fod yn destun trafodaeth yn y Gymdeithasfa nesaf.—Pasiwyd ein bod fel Cymdeithasfa, wedi gwrando yr adroddiadau am yr hyn a wnaed yn y gwahanol Siroedd gyda'r mater, "Cysylltiad a chydweithrediad yr eglwys â'r Ysgol Sabbothol, &c.," yn dymuno ar yr eglwysi gario hyn allan yn fwy effeithiol rhagllaw, a bod sylw mwy arbenig o'r Ysgol a'i gweithrediadau mewn annog a chynghori yn yr eglwys ac o'r pulpud, i ffyddlondeb a llafur gyda'r sefydliad hwn, a bod sylw mwy neillduol o'r athrawon a'r athrawesau, yn enwedig yr ieuenctyd a benodir i'r swydd, ynghyd a swyddogion eraill yr Ysgol yn yr eglwys, ac mai buddiol fyddai cael ambell i gyfarfod eglwysig i wrando profiadau swyddogion yr Ysgol, ac i'w hyfforddi a'u calonogi yn y gwaith.

R. ROWLAND, *Ysgrifenydd.*

IV. Darllenwyd llythyr cyflwyniad y Parch. R. Vaughan Griffith o Gymanfa Ohio, America, i'r Gymdeithasfa, ac ar gynnygiad y Parch. Dr. Hughes a chefnogiad y Parch. Dr. Thomas, penderfynwyd,—Ein bod yn rhoddi derbyniad croesawgar iddo i'n plith, gan ddymuno fod pob sirioldeb yn cael ei ddangos iddo gan ein cynnulleidfaoedd tra fyddo yn y wlad hon, ac ar fod amddiffyn Rhagluniaeth drosto yn ei ddychweliad yn ol, a'n bod yn anfon ein cofion gwresog at ein brodyr yn America.

V. Darllenwyd yr Adroddiad canlynol o Weithrediadau Unedig y Genadaeth Gartrefol a Chronfa yr Achosion Seisonig gan yr Ysgrifenydd, y Parch. Joseph Jones. (Rhoddir y tro hwn y rhan o'r gweithrediadau perthynol i'r Gronfa yn unig.)

Dros y Gronfa, y Parchn. J. Richard Hughes, David Roberts, Rhiw, Edward Jerman, W. James, B.A.; Mri. John Price, College; Thomas Roberts, Dinbych; David Roberts, Liverpool; J. R. Edwards, Ffrith; Richard Williams, Drefnewydd. Dewiswyd Mr. Roberts, Liverpool, i lywyddu.

1. Hysbyswyd fod y brodyr canlynol wedi eu dewis gan y Siroedd a'r Henaduriaethau i ffurfio Cyfeisteddfod y Gronfa, yn unol â phenderfyniad Gwrecsam:—

Am un flwyddyn:—Dros *Sir Fôn*, Y Parch. John Richard Hughes. *Henaduriaeth Trefaldwyn*, Mr. Richard Williams, y Drefnewydd. *Dwyrain Meirionydd*, y Parch. Dr. Edwards. *Sir Fflint*, Mr. J. R. Edwards, y Ffrith.—Am ddwy flynedd:—Dros *Arfon*, Mr. Price, College, Bangor. *Liverpool*, Mr. David Roberts, Liverpool. *Gorllewin Meirionydd*, y Parch. David Roberts, Rhiw. *Lleyn ac Eifionydd*, Mr. R. Rowland, Portmadoc.—Am dair blynedd:—Dros *Henaduriaeth Lancashire*, y Parch. Edward Jerman. *Sir Ddinbych*, Mr. Thomas Roberts, Dinbych. *Trefaldwyn Uchaf*, Mr. Charles Morris, Llanidloes. *Trefaldwyn Isaf*, Mr. John Jones, Ashlands. *Manchester*, y Parch. W. James, B.A.

2. Ystyriwyd mai priodol fyddai galw sylw unwaith eto at sefyllfa isel cyllid y Gronfa, yn enwedig am fod yr adeg yn ymyl pan fydd y cyffredin o'r Siroedd yn myned i wneyd eu casgliadau blynyddol at yr achos.

Dadganwyd y gobaith y byddai i'r brodyr a enwyd i ffurfio Cyfeisteddfod y Gronfa, heblaw cynnrychioli yr achos yn y Pwyllgor Gweithiol, yn ei gynnrychioli hefyd mewn undeb â'r Trysorydd a'r Ysgrifenydd Sirol, n y Siroedd y perthynant iddynt.

Cydolygwyd ar fod i'r adranau canlynol o benderfyniadau Gwrecsam gael eu hailargraffu yn nghofnodau y Gymdeithasfa hon:—

Cymerwyd i ystyriaeth sefyllfa isel y Gronfa ar hyn o bryd. Yr oeddid wedi dysgwyl y buasai fod y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau wedi dadgan eu parodrwydd yn Mangor y llynedd i ymgymeryd â gofalu am y casgliad hwn, heb fod brodyr yn cael eu hanfon fel o'r blaen i ddadleu o blaid yr achos, yn foddion i gael ychwanegiad mawr yn y casgliad; ond yn lle hyny ceir fod y diffyg oedd yn y Gronfa y pryd hwnw i gyfarfod y galwadau wedi mwyhâu yn ddirfawr, yr hyn a welir yn y ffaith fod swm y ceisiadau am eleni yn £850, heb gyfrif y *working expenses*, y rhai oeddynt y flwyddyn ddiweddaf yn £84, tra nad oes yn llaw y Trysorydd, fel y gwelir oddiwrth yr Adroddiad diweddaf, ar gyfer hyn yn bresennol, na gobaith am ddim yn ol trefn bresennol pethau, hyd ddiwedd y flwyddyn, ond £397 5s. 4½c. Awgrymwyd rhai pethau allasai beri fod y casgliad diweddaf mor fychan, megys ei fod yn dyfod mor fuan ar ol yr un blaenorol, a diffyg zel ar ran ambell un o'r swyddogion Sirol, a therfynwyd yr ymddyddan trwy basio y penderfyniadau canlynol:—

(1.) Ein bod yn dymuno dadgan ein llawenydd yn y llwyddiant mawr sydd wedi bod ar ein hymdrechiadau gyda'r ysgogiad tuag at sefydlu Achosion Seisonig yn Ngogledd Cymru, wrth weled fod genym, yn ol yr Adroddiad diweddaf, dros ugain o leoedd y cynnelir gwasanaeth yn y Saesoneg yn rheolaidd ynddynt, dros chwe' chant o aelodau eglwysig, a bod eu casgliadau yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, at adeiladu addoldai ac achosion eraill, yn cyrhaedd i dros saith cant ar hugain o bunnoedd, ac, yn neillduol, am fod genym le i obeithio fod y llafur hwn o'r eiddom wedi ei fendithio gan y Duw mawr er daioni ysbrydol a thragywyddol i lïaws o eneidiau.

(2.) Ein bod yn cyflwyno gofal y casgliad drachefn y flwyddyn hon i ofal y Cyfarfodydd Misol, &c., gan ddymuno arnynt wneuthur pob ymdrech o fewn eu gallu i gael casgliad o bob cynnulleidfa tuag at y Gronfa, ac fel moddion at hyn ein bod yn annog yn gryf fod rhyw un mis, os nad un Sabboth, yn cael ei enwi fel yr adeg i wneyd y casgliad ymhob lle, fel y gwneir yn barod yn rhai o'r Siroedd, a gofalu rhag i'r adeg a ddewiser fod yn rhy ddiweddar yn y flwyddyn, a hefyd bod cyfran o amser y Cyfarfod Misol fydd yn rhagflaenu adeg y casgliad yn cael ei ddefnyddio i draethu ar yr achos.—*Cofnodau Cymdeithasfa Gwrecsam.*

Mewn trefn i gario allan amcan yr annogaeth ddiweddaf, penderfynwyd fod cais taer yn cael ei gyfeirio at y brodyr a enwir isod, yn deisyf arnynt ymweled â'r Cyfarfodydd Misol yn y drefn a nodir, a hyny, hyd y byddo modd, yr adeg pan fyddys yn traethu ar yr achos yn flaenorol i wneuthuriad y casgliad nesaf, i'r dyben o gefnogi yr hyn a ddyweder; a theimlir yn fwy calonog i gymhell hyn arnynt oddiar yr hyder a deimlir y bydd i'r Cyfarfodydd Misol eu croesawu yn gynhes ar eu dyfodiad; a bod dymuniad hefyd ar fod i Ysgrifenyddion y Cyfarfodydd Misol, ac Ysgrifenyddion y Gronfa ymhob Sîr, wneyd y cwbl fydd yn anghenrheidiol i gario hyn i weithrediad.

I ymweled â Chyfarfod Misol *Mon*, y Parch. R. Lumley, a D. Roberts, Ysw., Liverpool. *Arfon*, y Parch. Dr. Edwards, a R. Davies, Ysw., A.S., Treborth. *Lleyn ac Eifionydd*, y Parch. Emrys Evans, a Mr. E. T. Jones, Dinbych. *Sir Ddinbych*, y Parch. Dr. Thomas, a D. Roberts, Ysw. *Sir Fflint*, y Parch. R. Lumley, a J. Roberts, Ysw., A.S. *Gorllewin Meirionydd*, y Parch. Dr. Edwards, a Mr. Jacob Jones, Bala. *Dwyrain Meirionydd*, y Parch. D. Davies, Abermaw, a Mr. Griffiths, Dolgellau. *Trefaldwyn Uchaf*, y Parch. Dr. Hughes, a Mr. J. Jones, Ashlands. *Trefaldwyn Isaf*, y Parch. Joseph Thomas, a D. Davies, Ysw., A.S., Llandinam. *Liverpool*, y Parch. Roger Edwards, a D. Davies, Ysw., A.S. *Manchester*, y Parch. Owen Owens, Liverpool, a Mr. J. Williams, Moss Bank. *Henaduriaeth Lancashire*, y Parch. R. Lumley, a Mr. Peter Williams. *Henaduriaeth Trefaldwyn*, y Parch. J. Williams, Caer, a Mr. Charles Hughes, Gwrecsam.

3. Penderfynwyd fod i ddiolchgarwch y Gymdeithasfa gael ei gyflwyno i wahanol frodyr a chyfeillion am yr haelioni mawr y maent wedi ei ddangos yn ddiweddar at achos yr efengyl, mewn cysylltiad â chyfodiad dim llai na thri o gapelau Seisonig at wasanaeth y Cyfundeb; a threfnwyd dwyn ymlaen gynnygion ffurfiol ar hyn yn y Gymdeithasfa.

4. Dewiswyd Mri. Thomas Lewis a J. Price, Bangor, yn *auditors* y Gronfa am y flwyddyn hon.

5. Ei fod yn cael ei anfon yn annogaeth i'r Siroedd y mae lleoedd yn derbyn cymhorth o'r Gronfa o dan eu harolygiaeth, sef Môn, Arfon, Lleyn ac Eifionydd, Gorllewin Meirionydd, Trefaldwyn Uchaf, Fflint, a Dinbych, fod iddynt ddewis is-bwyllgor, dyweder o dri o'u haelodau, i gymeryd gofal uniongyrchol y cyfryw leoedd, yn gystal ag i'w cynnorthwyo i ymofyn am *supplies* cymhwys lle y gwelir anghenrheidrwydd am hyny, a bod yr adroddiad blynyddol am ansawdd yr achos ynddynt yn cael ei anfon rhagllaw i'r Ysgrifenydd Cyffredinol trwy y brodyr hyn.

JOSEPH JONES, *Ysgrifenydd.*

Cynnygiwyd gan y Parch. Joseph Thomas, cefnogwyd gan Mr. R. Rowland, a phenderfynwyd — Fod yr Adroddiad uchod yn cael ei gymeradwyo, a'i dderbyn gan y Gymdeithasfa.

VI. Oddiar yr hysbysrwydd oedd wedi cael ei roddi i'r Gymdeithasfa am yr haelfrydedd a'r caredigrwydd a ddangosasid gan bersonau neillduol mewn rhoddi tir tuag at, ac mewn adeiladu capelau at wasanaeth yr efengyl yn yr iaith Saesoneg, cynnygiwyd fod y penderfyniadau canlynol o ddiolchgarwch yn cael eu cyflwyno:—

Fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i Mrs. Foulkes Jones, Mrs. Williams, Bodlondeb, a'r Parch. J. F. Jones, B.A., am eu caredigrwydd a'r cynnorthwy pwysig a roddwyd ganddynt tuag at adeiladu Capel Seisonig Machynlleth, trwy brynu a rhoddi yn rhad y tir yn y man mwyaf cyfleus yn y dref, a chyfranu yn dra haelionus heblaw hyny at yr adeilad.

Hefyd penderfynwyd, Fod y diolchgarwch gwresocaf yn cael ei gyflwyno i Capten T. Williams, Parciau, Criccieth, am yr ymdrech a'r haelioni mawr a ddangosodd mewn codi capel newydd yn y lle, at wasanaeth achos yr efengyl yn yr iaith Saesoneg, gan ei gyflwyno yn ddiddyled yn eiddo i'r Cyfundeb, ac hefyd i Mr. W. Watkin, Muriau, am ei haelfrydedd yntau yn rhoddi y tir yn rhad ac am ddim i adeiladu arno.

Drachefn, Fod diolchgarwch gwresocaf y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i Mr. David Roberts, Tan'rallt, a'i fab Mr. John Roberts, A.S., Bryngwenallt, am eu caredigrwydd yn adeiladu capel helaeth a gwych at wasanaeth yr Achos Seisonig yn Pensarn, ger Abergele.

Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan Mr. E. Griffith, Dolgellau, a chyttunwyd yn unfrydol, fod y penderfyniadau hyn yn cael eu cadarnhâu a'u cyflwyno.

*Yr Arholiad Cymdeithasfaol.*

Hysbysodd y Parch. Daniel Rowlands, M.A., y bydd yr Arholiad uchod yn cymeryd lle eleni yn Mhenrhyndeudraeth, Tachwedd 13, 14, a'r 15, ac nid Hydref 21, 22, a'r 23, fel yr hysbysasid yn Nghymdeithasfa Conwy. Newidir yr amser am na buasai yn gyfleus i'r tri Arholwr fod yn bresennol ar yr adeg a nodasid gyntaf. Cymer yr eisteddiad cyntaf le am 5 o'r gloch prydnawn Mercher, y 13eg. Bydd yn ofynol i enwau pawb a fwriadant sefyll yr Arholiad fod yn llaw Mr. Rowlands erbyn Hydref 1af; a dysgwylir hysbysrwydd hefyd yr un pryd os bydd neb o'r ymgeiswyr yn dewis cael eu harholi yn yr iaith Saesoneg.

VII. Cadarnhäwyd y penderfyniad i gyflwyno cenadwriaethau y Gymanfa Gyffredinol (y rhai a welir yn flaenorol) i'r Cyfarfodydd Misol.

VIII. Dymunai y brodyr yn Arfon wneyd yn hysbys mai y dydd a benodwyd ganddynt yn Ddydd Diolchgarwch am y Cynauaf ydyw y 7fed o Hydref; ac annogai y Gymdeithasfa i bob Cyfarfod Misol i ofalu am hyn ar y cyfryw ddydd ag fyddo yn fwyaf cyfleus iddynt hwy.

Mewn cysylltiad â hyn, cyttunwyd ar y penderfyniad canlynol:—"Ein bod fel Cymdeithasfa yn dymuno galw ystyriaeth ein gwlad at ein rhwymedigaeth adnewyddol mewn modd arbenig i Roddwr pob daioni am ei ffafrau a'i wenau i ni yn ei Ragluniaeth eleni eto, nid yn unig drwy lwytho ein meusydd â chnydau toreithiog a ffrwythlawn, ond hefyd oblegid trefnu o'r Arglwydd i ni heddwch a gwaredigaeth rhag rhyfel a'i ganlyniadau echrydus, ac yn gobeithio y bydd y doniau hyn yn cael eu defnyddio i wasanaeth a gogoniant enw yr Arglwydd: a'n bod hefyd yn cymhell ein gwahanol gynnulleidfaoedd i wneuthur casgliad ar y Dydd o Ddiolchgarwch tuag at ryw achos a fernir yn deilwng." Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan Mr. R. Rowland, a chafwyd cyfarchiad gan Mr. R. Davies, A.S., Treborth Hall, a phenderfynwyd.

IX. Darllenwyd Adroddiad Cyfeisteddfod Gweithredoedd y Capelau gan yr Ysgrifenydd, Mr. Jacob Jones, Bala, yr hwn oedd fel y canlyn:—

*Cyfeisteddfod Gweithredoedd y Capelau, nos Lun, Awst* 19*eg*.—Yr oedd yn bresennol, D. Roberts, Ysw., Hope Street, Liverpool, Cadeirydd; y Parchn. Emrys Evans, Cotton Hall, Dinbych; H. Hughes, Gellidara; B. Jones, Bagillt; T. Owen, Portmadoc; B. Hughes, Llanelwy; ac E. Jerman, Gwrecsam; Mri. E. Griffith, Dolgellau; R. Williams, Drefnewydd; a J. Jones, Bala.—Cafwyd adroddiadau helaeth o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau am nifer, sefyllfa, ac arolygiaeth y Mynwentydd perthynol i'r Cyfundeb. Tra y mae arolygiaeth ganmoladwy mewn nifer mawr o leoedd, yn benaf gan bersonau penodedig, neu swyddogion eglwysig y capelau y mae mynwentydd yn perthyn iddynt, teimlid y byddai yn fantais er dwyn hyny ymlaen yn fwy cyffredinol ac effeithiol, pe gallai y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau (fel y mae yn bod eisoes mewn rhai) ddethol ychydig reolau cyffredinol syml, a gadael y manylion i'w trefnu yn ol amgylchiadau pob lle.—Penderfynwyd—Fod D. Roberts, Ysw., Hope Street, Liverpool; Mri. E. Griffith, Dolgellau; R. Williams, Drefnewydd, a'r Ysgrifenydd, yn *Sub-committee*, i argraffu nifer o'r Rheolau sydd eisoes yn cael eu harfer mewn rhai manau, ynghydag Awgrymiadau,

a'u hanfon i'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau i'w cynnorthwyo i ddethol o'u plith ryw nifer tuag at sicrhâu arolygiaeth gan y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, a chael mwy o unffurfiaeth yn y trefniadau hyn.—Cafwyd Adroddiadau fod nifer da o'r Capelau, Tai, &c., perthynol i'r Cyfundeb yn cael eu hyswirio rhag tân. Penderfynwyd,—Ein bod yn llawenhâu fod cynifer o'n Capelau, &c., wedi eu hyswirio; ac wrth ystyried fod y pris mor isel na raid talu mwy na swllt a chwe' cheiniog y cant, awgrymid y dymunoldeb o yswirio Capelau, &c., nes cyrhaedd swm o dair rhan o bedair o werth yr eiddo a yswirir. Dymunir annog y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau i dalu sylw i ddwyn hyny oddiamgylch yn fwy cyffredinol.—JACOB JONES, *Ysgrifenydd.*

X. Cyflwynwyd i sylw y Gymdeithasfa gan y Parch. J. Thomas, M A., Ysgrifenydd y Genadaeth, y brodyr a anfonir allan i'r maes Cenadol i Fryniau Cassia, sef y Parchn. Dr. Griffith Griffiths a Robert Evans. Cafwyd gair gan y naill a'r llall yn mynegu eu teimlad yn wyneb eu mynediad allan i'r gwaith mawr a phwysig; dywedent eu bod yn cael nerth yn y meddwl eu bod yn myned allan yn enw yr Arglwydd Iesu, a therfynent gan erfyn gweddïau yr holl frawdoliaeth drostynt.

Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Thomas, cefnogwyd gan Mr. R. Davies, A.S., Treborth Hall, a phenderfynwyd yn unfrydol,—Fod y Gymdeithasfa hon yn mawr lawenhâu wrth weled y ddau gyfaill ieuanc hyn yn ein plith cyn ymadael am faes eu llafur, gan obeithio y bydd iddynt gael eu haddurno â'r holl ddoniau angenrheidiol ar gyfer y gwaith y maent yn wynebu arno, ac y bydd iddynt gael amddiffyn Rhagluniaeth ar eu teithiau, ac yn meusydd eu llafur, ac y cânt ddoethineb a gras i fod yn ffyddlawn a doeth hyd y diwedd.

Hefyd ein bod fel Cymdeithasfa yn cydlawenhâu â Mrs. Phillips yn yr anrhydedd yr oedd hi yn ei gael o fod ei merched yn ymgyflwyno i'r gwaith Cenadol, ac yn dymuno ar iddi gael mwynhâu llawer o gysur yr Efengyl yn ei meddwl ei hunan yn wyneb yr amgylchiad.

Mewn cysylltiad â hyn, cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Hughes, cefnogwyd gan y Parch. J. R. Hughes, a chyttunwyd ar y penderfyniad a ganlyn,—"Ein bod yn dymuno annog ein Swyddogion Eglwysig, ac Arolygwyr ein Hysgolion Sabbothol, i arfer moddion i feithrin ysbryd Cenadol yn ein heglwysi, trwy drefnu i gynnal Cyfarfodydd Cenadol Blynyddol mewn cysylltiad â phob cynnulleidfa, ac i fabwysiadu rhyw gynlluniau i ddwyn y plant i deimlo dyddordeb yn y gwaith Cenadol."

DYDD IAU, AWST 22AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 8 o'r gloch y boreu.*

I. Cafwyd Adroddiad dyddorol o hanes yr Achos Crefyddol yn Arfon, gan y Parch. David Morris.

II. Coffâwyd yn barchus a theimladol am y diweddar Barchedig Robert Roberts, Llundain, yr hwn hefyd oedd wedi bod am flynyddoedd yn llafurio yn y weinidogaeth yn Arfon.

III. Ymdriniwyd â'r mater penodedig, sef *Bedydd.* Testyn yr ymdriniaeth yn y Gymdeithasfa nesaf fydd, — *Swper yr Arglwydd.*

THOMAS OWEN, *Ysgrifenydd.*

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

CYNNALIWYD cyfarfodydd blynyddol Trinity, Llanelly, a Thaibach Margam, ar y 25 a'r 26ain o Awst. Y Parchn. J. Hughes, Carneddau, W. S. Davies, a D. Saunders oedd yn gweinyddu yn y lle blaenaf; a'r Parchn. Dr. Harries Jones, J. Cynyddylan Jones, a B. D. Thomas, Gwastad, Sir Benfro, yn yr olaf.

Y mae Adroddiad Trysorfa Sirol Rhan Ogleddol Sir Aberteifi newydd ymddangos. Amcanion y sefydliad hwn ydyw cynnorthwyo i godi capelau newyddion ac i gynnal yr achos mewn lleoedd gweiniaid. Mae yn cyfuno gwasanaeth Cronfa Adeiladu a Thrysorfa Gynnorthwyol. Cyfanswm ei chyllid yn 1877 ydoedd £170. Talwyd allan amrywiol symiau fel llogau dros dri o leoedd, a thuag at gynnorthwyo i gynnal yr achos mewn deg o fanau, a thalwyd £77 o ddyled, sef arian wedi eu benthyca tuag at adeiladu. Deallwn fod rhai ugeiniau o bunnoedd o'r cyfryw ddyled eto yn aros, wedi gorphen clirio yr hyn bydd gan y Cyfarfod Misol swm da i'w gyfranu yn flynyddol tuag at gynnal yr achosion gweiniaid. Y Tabernacl, Aberystwyth, fel arfer, sydd yn blaenori gyda'r casgliad hwn; y swm oddiyno y llynedd ydoedd £25 1s. 2½c. Y mae Penygarn yn dilyn yn deilwng gyda £13 16s. Nid oes ond tri lle yn yr holl gylch na chyfranodd yn 1877. Gwnaed y casgliad am 1878 yn y mis a basiodd.

Mae yr eglwys yn y Porth Rhondda wedi ymgymeryd â chodi ysgoldŷ yn nghymydogaeth yr Ynyshir, ardal weithfaol yn nyffryn y Rhondda Fach neu Ferndale. Yr ydys wedi bod yn cadw Ysgol Sabbothol mewn tai yn y lle dros amryw o flynyddoedd.

Yn nechre Awst, cynnaliwyd cwrdd blynyddol capel Burnetshill, Sir Benfro, a thraddododd y Parch. E. Meyler, y gweinidog, ddarlith ar yr achlysur. Y testun oedd, "Rowland Hill a'i amserau." Llywyddid gan y blaenor parchus, Mr. Henry Davies, Burton.

Boreu dydd Sadwrn, y 7fed o Medi, "hunodd yn dawel yn yr Iesu yr anwyl frawd Mr. William Morgan (y Bardd), Aberdâr," un o flaenoriaid yr eglwys yn nghapel Bethania, a brawd i'r ddiweddar Mrs. Williams, Ynyscynon, yn 59 mlwydd oed. Yr oedd yn gymeriad hynod ddymunol, yn llawn o ysbryd crefydd, ac yn swyddog eglwysig medrus, a bu am flynyddoedd yn un o brif golofnau yr achos Methodistaidd yn Aberdâr. Cymerodd y claddedigaeth le y dydd Mawrth canlynol.

Mae yr eglwys yn Brynaman, Swydd Gaerfyrddin, wedi talu ymaith dros gan' punt o ddyled eu capel yn ystod y flwyddyn bresennol. Cynnaliwyd yno gyfarfod pregethu yn nechre Awst, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. J. Davies, Llanfynydd; J. Walters, Nantgaredig; a John Lewis, Caerfyrddin.

Ychydig amser yn ol, ymddangosodd pregeth o eiddo y Parch. John Hughes, M.A., Dowlais, yn y *Christian Echo*, ar y caledi diweddar yn y Deheudir. Darllenasom hi y pryd hwnw gyda hyfrydwch mawr. Ar annogaeth cyfeillion, y mae Mr. Hughes wedi cyhoeddi y bregeth yn bamphledyn. Yr argraffydd yw Mr. Cartwright, Dowlais. Yr ydym yn teimlo y gallwn yn galonog iawn annog ein cyfeillion i ddanfon am gopiau o'r bregeth hon. Dim ond ceiniog yw'r pris. Yr ydym yn dysgwyl llawer oddiwrth yr awdwr yn y dyfodol.

Yr ydys wedi ffurfio ail eglwys yn Blaenllechau, Morganwg, yn y capel newydd a adeiladwyd yr ochr orllewinol i'r afon, y Rhondda Fechan.

Y mae capel newydd yn awr yn cael ei godi yn mhentref Llangammarch, Swydd Frycheiniog. Mae'r eglwys yn y lle hwn gyda'i dwy gymydoges, Llanwrtyd a Gorwydd, wedi mabwysiadu cynllun sydd yn troi allan yn hynod hapus. Y mae'r tri gweinidog, y Parchn. Joseph Jenkins, Llanfair; John Watkins, Gorwydd; a Rees Evans, Llanwrtyd, yn pregethu bob un Sabboth yn y mis yn y tri lle hyn.

Yr ydym wedi cael ar ddeall y cynnelir Cymdeithasfa'r Gwanwyn y flwyddyn nesaf yn Blaenanerch. Ac y mae enw'r lle yn dwyn i'n cof y gweinidog anwyl wnaeth y lle yn enwog. Fel y sylwa Gohebydd yn ein rhifyn diweddaf, nid yn Llanrwst, ond yn Llangefni, yn ngwanwyn 1864, yr oedd y diweddar Barch. John Jones, pryd y cafodd y fath hwyliau wrth bregethu ac yn nghyfarfod neillduol y Gymdeithasfa. Mae genym gof da am yr amgylchiad. Mae'r adgofion yn yr Adolygiad y cyfeirir ato gan Ohebydd y Rhidyll yn berffaith gywir.

Ar y Sul a'r Llun, yr 8 a'r 9fed o Medi, cynnaliwyd cyfarfod blynyddol capel Loudoun Square, Caerdydd. Pregethodd y Parch. D. Charles Davies, M.A., Llundain, dair gwaith y Sabboth "yn nerthol, gwresog, a chynhyrfiol;" a chynnorthwywyd ef ddydd Llun gan y Parch. David Saunders, Abertawe. Methodd yr hybarch dad o Donyrefail a bod yn bresennol o herwydd llesgedd, yr hyn oedd yn gryn siomedigaeth. Gwnaed casgliadau da at gynnaliaeth yr achos. Mae'r capel allan o ddyled.

Yn Llanrhaiadr Mochnant, cyflwynwyd tysteb i'r Parch. Hugh Jones, yr hwn a fu yn ffyddlawn a chymeradwy yn gwasanaethu yr eglwys yn y lle uchod, a'r eglwysi cylchynol, am y chwe' blynedd diweddaf, ac sydd yn awr wedi ymadael i fugeilio eglwys Llanllechid, Arfon. Rhoddwyd iddo 22 o gyfrolau gwerthfawr, yn cynnwys gweithoedd Biblaidd gan Dr. Alexander, Archesgob Trench, Dr. J. Brown, Stier, Dr. W. Smith, ac eraill, ac yn werth £14 10s., gyda £4 yn weddill mewn arian; a rhoddwyd hefyd awrlais prydferth goreuredig, gwerth £5, i Mrs. Jones ei briod.

Ar y 4ydd o Fedi, yn Mhen y garnedd, Môn, priodwyd y ddau genadwr i'r India, y Parchn. Robert Evans a Dr. Griffiths, â dwy chwaer, merched i'r diweddar Barch. John Phillips, gynt o Fangor; y cyntaf yn priodi ei ail ferch, Margaretta, a'r ail ei drydedd ferch, Annie. Gweinyddwyd ar yr achlysur dyddorol gan y Parchn. Rees Jones a Josiah Thomas, M.A. Ar yr un dydd, priodwyd yn Wrexham y cenadwr, y Parch. Hugh Roberts, yn ddiweddar o'r India, ac yn awr o Lydaw, â Mary, unig ferch Mr. R. Brunt, Bellevue, Wrexham, a'r diacon hynaf yn yr eglwys yno. Gweinyddwyd gan y Parchn. Roger Edwards, a H. Barrow Williams.

Yn Nghyfarfod Misol Rhan Isaf Sir Drefaldwyn, gwnaed coffhâd caruaidd am y diweddar Mr. Roger Evans, Tregynon, yr hwn, meddid, oedd yn un hynod ymhlith y diaconiaid o herwydd ei weithgarwch a'i zel gydag achos crefydd. A gwnaed cyffelyb goffhâd yn Nghyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd am y brodyr ymadawedig Mr. D. Roberts, Ebenezer, a Mr. Jones, medd-

yg, Dolyddelen. Yr oedd Roberts yn wir ofalus am holl achosion yr eglwys yr oedd yn swyddog ynddi, ac yn un mawr mewn gweddi; ac yr oedd y Dr. Jones yn flaenor gweithgar, yn ddirwestwr zelog, ac yn llanw ei le yn yr holl gylchoedd yr oedd yn troi ynddynt. Yn Môn hefyd, coffheid yn barchus am y diweddar Mr. George Maiten, blaenor yn eglwys Armenia, Caergybi.

Derbyniwyd llythyr cyflwyniad Mr. William H. Roberts, pregethwr ieuanc, oddiwrth Gyfarfod Deufisol Siroedd Oneida a Lewis, America, gan Gyfarfod Misol Môn; a rhoddwyd iddo dderbyniad croesawgar.

Cynnaliwyd cyfarfod pregethu blynyddol y Methodistiaid yn Stockton on Tees ar y Sul a'r Llun, Medi 15 a'r 16, pryd y pregethwyd gan y Parch. Lewis Ellis o Ruddlan, Mr. Hughes o Spennymoor, yr hwn sydd adnabyddus gan Gymry Gogledd Lloegr wrth yr enw o Esgob Durham, a Mr. J. Gwynoro Davies, yn awr o Brifysgol Aberystwyth. Cafwyd cyfarfodydd odiaeth; ac mewn caredigrwydd brawdol, darfu i'r Annibynwyr, y Bedyddwyr, a'r Wesleyaid, roddi i fyny eu holl wasanaeth Sabbothol hwy eu hunain am y tro, a dyfod oll i'r Gymanfa Fethodistaidd.

Mewn cysylltiad â'r capel newydd Seisonig yn Nglân yr afon, gerllaw Wrexham, a agorwyd yn Mai diweddaf, cynnaliwyd yno *tea-party* ar yr 2il o Fedi, pryd y daeth lliaws o wahanol eglwysi y Goror ynghyd i'r *Temperance Hall* i fwynhâu yr arlwy oedd dda ynddi ei hun, ac yn ddaionus yn wir yn nghynnyrch ei helw. Y noswaith hono yn y capel, traddodwyd darlith ragorol ar *George Whitfield* gan y Parch. John Roberts, Waverton, pan yn ffodus y caed yn gadeirydd y boneddwr haelfrydig a thalentog, G. Osborne Morgan, Ysw., y Q.C., a'r M.P., yr hwn a lefarodd yn barchus am y Cyfundeb Methodistaidd Cymreig, gan gyfeirio yn effeithiol at amryw o'r hen dadau y mae eu coffadwriaeth yn fendigedig yn ein mysg, a therfynai ei anerchiad trwy anrhegu y gweinidog, y Parch. Isaac Jones, â *cheque* am bum' punt tuag at yr achos yn y lle. Yr oedd Mrs. Morgan hefyd yn wyddfodol, ac yn amlygu ei boddhâd ar yr achlysur.

Ar ddiwedd noson y cyfarfod eglwysig yn Nhreffynnon yn ddiweddar, arosodd tri o'r swyddogion perthynol i'r eglwys ar ol am ychydig amser; ac meddai un wrth y lleill, "Mae rhywbeth ar fy meddwl am geisio talu y ddyled sydd yn aros ar y capel. A wnaech chwi gymeradwyo fy ngwaith yn myned at rywrai i geisio cael hyn oddiamgylch?" "Da iawn; gwnewch; a gobeithio y llwyddwch," oedd yr atebiad parod a roddwyd iddo. Ac ymhen tair wythnos a thri diwrnod, yr oedd y ddyled wedi ei thalu. Tri chant o bunnoedd oedd y swm.

Wele nodyn a dderbyniwyd o'r America: "Eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn Bangor, Pa., America,—Anwyl frodyr a chydgenedl yn Nghymru,—Dymunem eich hysbysu drwy y wasg ein bod wedi derbyn swm o'r casgliad a wnaethoch at ein capel, £63 0s. 8c., drwy law Mr. Henry Lewis, Bangor. (Dealler mai C. M. Arfon oedd wedi casglu y rhai uchod.) Daeth y rhai canlynol drwy law Mr. Williams, Cable St., Liverpool: Meirionydd, £46 4s. (derbyniodd Evan Roberts yn flaenorol i hyn £21 o Feirionydd). Dinbych, £26 6s. 10c. Fflint, £3 8s. 8c. Gweddill o Arfon, £4 5s. Yr oll yn £164 5s. 2c. Yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar i bawb sydd wedi ein cynnorthwyo yn ein caledi presennol. Mae'r Duw yr ydych yn ei wasanaethu yn sicr o'ch gwobrwyo. Gobeithio y gwna y rhai sydd heb gasglu eto, ein cofio yn fuan. Mae dros £400 yn aros eto.—Ydwyf, dros yr eglwys,—THOMAS O. JONES."

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### MR. THOMAS MILLWARD, LLANELWY.

*Gan* MR. PETER ROBERTS, *Llanelwy.*

NID annheilwng o gofnod serchog a pharchus yn y DRYSORFA ydoedd yr hen bererin syml a diymhongar uchod, am yr hwn y tystiai pawb a'i hadwaenent ei fod yn un o "rai rhagorol y ddaear. Cafodd oes faith, yr hon a dreuliodd yn dawel, mewn "ysbryd addfwyn a llonydd," gan geisio, "nid yr eiddo ei hun, ond yr eiddo Crist Iesu." Nid oedd efe o ran ei amgylchiadau bydol ond llafurwr cyffredin; ac eto bu "Thomas Millward" yn enw teuluaidd ymysg pob dosbarth yn ninas esgobol Llanelwy am ysbaid hanner canrif, a hyny o herwydd ei gymeriad dysglaer a'i grefydd ddiammheuol.

Yr oedd efe yn enedigol o ardal Llanefydd; ond yn Llanelwy, pan yn llencyn ieuanc, y gwnaeth broffes o grefydd. Bu yn aelod o'r eglwys Fethodistaidd yno am yn agos i ddeng mlynedd a thriugain, ac yn ddiacon ffyddlawn a chymeradwy am flynyddoedd lawer.

Yr oedd Thomas Millward fel dyn yn wr hynaws a charedig. Er nad oedd ond llafurwr, yr oedd er hyny yn foneddwr. Nid ei dymher naturiol yn gwbl a'i gwnaeth felly ychwaith, eithr yfed a ddarfu yn helaeth o'r ddoethineb hono oddiuchod, yr hon sydd yn "foneddigaidd." Bu am dymmor maith o'i oes yn dal cysylltiad â theuluoedd lled uchel

mewn cymdeithas; a dichon i hyny effeithio rhyw gymaint i foneddigeiddio ei ddull a'i ymddygiad, fel ag y darfu i'w foneddigeidd-rwydd crefyddol yntau yn sicr effeithio ar amryw o honynt hwythau. Bu yn gwasanaethu am yn agos i hanner can' mlynedd fel garddwr yn Bronwylfa, hen a hoff gartref yr enwog farddones Mrs. Hemans; ac yn ystod yr amser hwnw bu amryw o wahanol deuluoedd yn preswylio yno; ond pwy bynag fyddai yn symud, yr oedd Thomas Millward yn aros gyda phawb, ac mewn parch ac ymddiried ganddynt oll. Bu rhai o'r boneddigion hyn yn garedig iawn wrtho am flynyddoedd wedi iddynt ymadael o'r ardal i fyw. Derbyniodd hyd ei fedd garedigrwydd mawr oddiar law un gweinidog perthynol i'r Eglwys Sefydledig, a'i deulu hynaws, yr hwn a fuasai, flynyddau yn ol, yn byw am yspaid yn Bronwylfa. Yr oedd syniad yr offeiriad hwn am grefydd ein hen gyfaill yn uchel iawn. Bu y diweddar Mr. John Williams, yr hwn oedd ar un adeg yn Aelod Seneddol dros Macclesfield, yn byw am dymmor yn Bronwylfa, ac yno y bu farw. Yr oedd yntau yn coledd yr un meddwl uchel am Thomas Millward, ac yn arfer cymdeithasu mewn dull rhydd a chyfeillgar âg ef. Yr oedd Mr. Williams ar un adeg yn bur wael, a byddai yn galw ar Thomas Millward ato i'w ystafell yn awr ac yn y man. Yr oedd yntau ar yr adegau hyny yn awyddus iawn i allu dyweyd gair am grefydd, a hyny yn y fath fodd ag a weddai i weinidog wneyd gyda'i feistr, rhwng y rhai yr oedd y fath wahaniaeth yn eu sefyllfa gymdeithasol. Un diwrnod, pan alwyd am dano, penderfynodd y ceisiai ddyweyd rhywbeth i alw sylw ei feistr at y pethau mwyaf eu pwys. Wedi cyrhaedd yr ystafell, "Wel, Millward," ebe Mr. Williams, "sut yr ydych chi heddyw?" "Yr ydw i yn iach, *thank you, sir*," ebe Millward; "sut yr ydych *chi*, meistr bach?" "Sal iawn ydw i," meddai yntau; "sal iawn ydw i." "Mae'n ddrwg iawn gen' i glywed, syr," meddai Millward, "yn ddrwg iawn gen' i; ond gobeithio hefyd mai nid dyma y tro ola' i chwi fod yn sal iawn." "Pam yr ydych chi'n deud fel ene, Millward?" meddai y meistr, yn bur synedig. "Wel, meddwl a ddarfu mi, syr," atebai yntau, "am fachgen bach a gyfarfum i y dydd o'r blaen. 'Sut y mae dy dad, 'y machgen i,' meddwn i wrtho. ''Nhad!' ebe'r bachen, 'y mae 'nhad wedi marw!' 'Y mae o, yn wir, 'y ngwas i,' meddwn innau; 'pa bryd y bu o farw?' Ac ebe'r bachgen, '*Y tro ola' y bu o yn sal!*'"

Hynodrwydd mawr Thomas Millward fel crefyddwr oedd ei *ffyddlondeb*. Yr ydys wedi arfer clywed cymaint am ffyddlondeb cyfeillion ymadawedig, ac wedi gweled cymaint o ddefnyddio ar y geiriau, 'Da, was da a ffyddlawn, &c," fel yr ydym braidd yn myned i dybied yr edrychir arnynt fel rhai cyfleus i'w defnyddio am bawb; ond y maent mor briodol i'n hen gyfaill hwn, fel pe na buasent mewn bod o'r blaen, y buasai yn rhaid eu cael cyn y gallesid gwneyd cyfiawnder âg ef. Ni welsom erioed ei ffyddlonach. Yr oedd yn ffyddlawn ymhob peth—y pethau bychain yr un ffunud a'r pethau mawrion. Yn wir, nid oedd dim yn fychan yn ei gyfrif ef os byddai rhyw gysylltiad rhyngddo â'r deyrnas fawr. Bu am oddeutu hanner can' mlynedd yn athraw yn yr Ysgol Sabbothol, a dosbarth o fechgyn oedd ganddo bob amser; a phwy bynag a soniai am roddi ei ddosbarth i fyny, ni chlywid byth mo hono ef yn gwneyd, a buasai yn rhyfeddu nid ychydig pe buasai rhywun yn awgrymu peth felly iddo. Llawer bachgen dirieidus a fu yn ei ddosbarth o dro i dro; ond byddai efe, trwy amynedd a mwyneidd-dra doethineb, yn gallu dofi y mwyaf gwyllt. Un o ddeddfau ei ddosbarth ydoedd, fod yn rhaid i bawb a ddelai iddo ddysgu a chadw mewn cof yr adnod hono, "Gwylia ar dy droed pan fyddech yn myned i dŷ Dduw, a bydd barotach i wrandaw nag i roddi aberth ffyliaid; canys ni wyddant hwy eu bod yn gwneuthur drwg." Aeth to ar ol to o ieuenctyd trwy ei ddosbarth, llawer o'r rhai a hunasant o'i flaen ef, ond y mae llawer o honynt eto yn aros, gan ddwyn yn eu mynwes adgofion melus am eu hen athraw mwyn. A chyda yr un ffyddlondeb difwlch y gwasanaethodd swydd diacon. Yn llythyrenol, "yr hyn a allodd hwn efe a'i gwnaeth." "Bu ffyddlawn ar ychydig;" "ychydig" o fanteision a gafodd; "ychydig" o ddysg—dim dysg ysgol ond yr Ysgol Sabbothol; "ychydig" o ddawn; "ychydig" o amser; ond *bu* ffyddlawn. Do! efe "yn wir a fu ffyddlawn yn yr holl dŷ."

Pe na buasai ei ffyddlondeb mor amlwg ymhob peth, buasai ei *brydlondeb* yn tynu mwy o sylw. Fe dyfodd oes i fyny o febyd hyd henaint heb un amser weled Thomas Millward yn anmhrydlawn yn y moddion crefyddol. Cofus genym hefyd ei weled *unwaith* yn dyfod i'r addoliad ryw dri mynyd wedi yr amser. Yr oedd ei awrlais wedi ei dwyllo. Ond yr oedd efe wedi myned yn fath o awrlais iddo ei hun yn y peth hwn; fe wyddai ynddo ei hun am adeg y moddion, yr hyn a barodd iddo ddeall mor fuan fod yr awrlais o'i le. Yr oedd golwg ddigrifol arno yn dyfod i'r addoldŷ y tro hwnw; a dywedai ei fod yn teimlo yn llawn cywilydd ac euogrwydd, a'i fod yn meddwl fod pawb oedd yn bresennol yn edrych arno, fel yn ddiau yr oeddynt, gan mor ryfedd ydoedd iddo ef fod dri mynyd ar ol. Nid peth bychan mewn swyddog eglwysig ydyw prydlondeb gwastadol a difwlch. Yr oedd efe yn gallu cael hamdden, nid yn unig i fyned i'r addoliad rai mynydau cyn amser dechreu, ond byddai hefyd cyn cychwyn yno, yn enwedig ar y Sabbath, yn arfer cyflwyno y gwasanaeth crefyddol mewn gweddi ddyfal i ofal ei "Dad nefol," fel y byddai yn hoffi dyweyd. Tra y bu efe byw, gallasai pob pregethwr a ddelai i'r daith deimlo yn sicr fod o leiaf un o'i wrandäwyr wedi bod yn erfyn am bob cymhorth a llwyddiant iddo ger bron gorsedd gras. Ac O fel y byddai yn dysgwyl ac yn hiraethu am weled llwyddiant ar weinidogaeth y gair! Clywsom ef am ddeng mlynedd yn y cyfarfod eglwysig ar nos Sabboth yn ymofyn "a oedd neb o'r newydd wedi aros yn ol?" ac ni theimlasom erioed ei fod yn gofyn felly o ffurf ac arferiad. Yr oedd y fath *freshness* yn ei ddull o ofyn â phe na buasai wedi gofyn

y cwestiwn erioed o'r blaen. Yr oedd yn amlwg ei fod ef yn dysgwyl i'r bobl aros, a byddai weithiau mor siomedig fel y byddai braidd yn barod i'w dwrdio am beidio. A byddai ganddo yn fynych ryw sylw eithaf tarawiadol wrth ofyn y cwestiwn. Un tro, ar ol pregeth afaelgar, gofynai fel hyn:—"Wel, oes yma neb wedi *enlistio* heno? mae'r *bounty* yn bur uchel heddyw; 'can' cymaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.'"

Pan yn ei bedwar ugeinfed flwydd, gwnaed iddo dysteb fechan gan nifer o'i gyfeillion, a chyflwynwyd hi iddo mewn cyfarfod cyhoeddus. Ar ei ddymuniad ef ei hun, yr oedd rhan o'r dysteb yn y ffurf o Fibl, wedi ei rwymo yn dda. Wrth dderbyn hwnw, dywedai iddo, pan yn ddyn ieuanc, fod ar daith yn Arfon, ac iddo weled yno yn rhywle mewn llythyrenau amlwg, "*A Guide to Snowdon.*" "Ond," meddai, gan ddal y Llyfr yn ei law grynedig, "dyma *guide* i le uwch na *Snowdon!*

'Dengys hwn y ffordd i'r bywyd,
Trwy adnabod Iesu Grist.'"

Cafodd gystudd lled faith, yn yr hwn, er hyny, pan y byddai ei feddwl yn cael mesur o lonyddwch a seibiant, y byddai yn mwynhâu yn helaeth o gysuron crefydd, ac yn meddu profiad uchel a hyderus iawn. Soniai lawer am gartref y saint, ac ni flinai yn adrodd y geiriau hyny: "Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau; yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi." Ac un o lawer o'i hoff bennillion, yr hwn a adroddai yn fynych ydoedd:—

"Esgyn a wnaeth i entrych ne'
I eiriol dros y gwan;
Fy enaid innau a dŷn efe,
I'w fynwes yn y man."

Un bore, dywedai yn sydyn, "Yr ydw i gael myn'd adre yn y *first class!*" "Beth ydych yn ei feddwl?" "O wel, y mae y Gwr ei hun yn dyfod i fy nol i, ac y mae o yn siŵr o fynu *first class:* 'Mi a ddeuaf drachefn ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun.'"

Ni chafodd ddyweyd dim yn awr ei ymddattodiad; ac nis gallasai ddyweyd dim i roddi mwy o sicrwydd nag oedd eisoes yn bod yn meddwl pawb a'i hadwaenent fod iddo "fynediad helaeth" i mewn i'r dragywyddol deyrnas. A phe cawsai ddyweyd ychydig eiriau wrth y byw, buasai yn anhawdd iddo ddyweyd dim nad oedd eisoes wedi ei ddyweyd gyda ffyddlondeb diarbed lawer gwaith o'r blaen. Cafodd oes faith i "ddyweyd," ac fe ddywedodd yn dda, mewn geiriau ac mewn buchedd; ac y mae efe "wedi marw yn llefaru eto." Claddwyd ef gyda galar a pharch gan nifer lïosog o'i gymydogion ac o'i hen ddysgyblion. Ymgeleddodd eglwys Llanelwy ei feddrod ef a'i briod, a dodasant ar ei gareg-fedd yr ysgrifen hon,—"*Yma y claddwyd Thomas Millward, yr hwn wedi gwasanaethu ei genedlaeth fel Athraw llafurus, ac fel Diacon ffyddlawn, am dymmor maith, a fu farw Awst* 11, 1875, *yn* 87 *mlwydd oed. 'Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig.'*"

---

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### Y DAMWEINIAU TRYCHINEBUS.

Heblaw lliaws o ddamweiniau llai a ddygwyddasant yn ddiweddar ynglŷn â rheilffyrdd, a phethau eraill, er coll-bywydau lliaws o bobl, y mae y trychineb mawr ar afon Tafwys (*Thames*), a'r llall yn nghymydogaeth Abercarn mor ebrwydd ar ei ol, wedi taflu y lleill i'r cysgod, a pheri y teimlad dwysaf trwy yr holl deyrnas. Mae ein darllenwyr yn ddiau wedi clywed a darllen yr adroddiadau helaethaf a ellir eu cael am y naill a'r llall, fel nad oes achos i ni roddi yma ddim manylion am danynt. Mae'r meddwl fod yn agos i fil o eneidiau yn ddisymwth wedi eu hanfon i dragywyddoldeb trwy y ddwy ddamwain hon, yn feddwl aethus yn wir. Yr oedd tua saith gant o'r rhai oedd yn ymbleseru ar ac yn y llestr, y *Princess Alice*, yn cyfarfod yn ddisyfyd â'u hangeu dyfrllyd, a thros ddau cant a thriugain yn colli eu bywydau trwy y danchwa arswydlawn yn y gwaith glo. Trwy'r boddiadau echrys, collwyd rhai teuluoedd cyfain, rhieni yn colli eu plant, a phlant eu rhieni, tair cenedlaeth ar unwaith mewn teulu yn cael eu hyrddio ymaith, ac aneirif rwygiadau eraill wedi eu gwneuthur na chyfanir ar y ddaear. A thrwy golli'r gwŷr yn y pwll glo, y mae dros bum' cant o bersonau wedi eu hamddifadu o foddion eu cynnaliaeth beunyddiol. Mae yn dda genym weled fod yr holl deyrnas, yn cael ei blaenori gan ein Brenines, yn dyfod allan yn haelfrydig i estyn cynnorthwy i'r gweddwon a'r amddifaid. A oedd rhyw esgeulusdra neu gam-drefn i raddau yn achlysur y naill drychineb neu'r llall, sydd fater i chwilio iddo, mae yn ddiau; ond rhaid cofio mai yn llaw'r Duw byw y mae einioes pob math ar ddyn; "ei freniniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth;" ac y mae efe yn awr yn llefaru yn uchel wrth Loegr a Chymru, "Gwelwch bellach mai myfi, myfi yw efe, ac nad oes Duw ond myfi; myfi sydd yn lladd ac yn bywhâu; myfi a archollaf ac a feddyginiaethaf." Bydded i ni oll ei gydnabod yn ymarferol fel Duw ein heinioes trwy weddïo arno, ymddiried ynddo, ac ufuddhâu ac ymostwng iddo.

---

### LLAWER YN FYR.

Dywedir am y Pab presennol, ei fod ef yn bersonol yn awyddus am symud ei orsedd o Rufain i rywle arall, gan ymadael âg Italy; ond wedi iddo roddi 'r cwestiwn i'w ystyried mewn cydymgynghoriad gan gynnulliad o gardinaliaid, eu penderfyniad hwy ydoedd, fod arosiad y Pab yn Vatican Rhufain yn

fater o egwyddor a chrefydd, ac na ddylai efe fudo oddiyno oddigerth y daw amgylchiadau anghyffredin i wneuthur hyny yn angenrheidiol.

Mae y Proffeswr Levi, o Brifysgol Llundain, ar ol gwneuthur ymchwiliad trwyadl, yn dywedyd fod ennillion y gweithwyr yn Lloegr a Chymru, yn y cyfanswm, yn cyrhaedd i dri chan' miliwn o bunnoedd, o ba swm y gallent yn awr gynnilo pymtheng miliwn, tra mewn gwirionedd nad ydynt, cydrhyngddynt, yn cadw ond pedair miliwn, a'r rhelyw gan mwyaf yn cael ei afradu am ddiod feddwol.

Yr oedd Ysgotiad llawgauad yn ddiweddar yn taeru y dylasai efe gael myned i gylcharlunfa *(panorama)* am hanner pris, o herwydd nad oedd ganddo ond un llygad.

Adroddir fod ysgolaig Chinëaidd o'r enw Ho yn myned ymlaen gyda'r gorchwyl o gyfieithu Shakespeare i iaith y Chinëaid, a'i fod eisoes wedi cyfieithu rhanau helaeth o *Blackstone's Commentaries* i'r Chinëaeg.

Y mae hen ŵr yn Sir Jefferson, Alabama, America, o'r enw Isaac Brown, wedi aredig yr un maes am 62 mlynedd yn olynol.

Rywbryd tua dechre'r mis diweddaf yn Llandrindod, pan y ceid fod yno ar y pryd gryn lïaws o feirdd, llenorion, a chantorion, y rhai a ddaethent i yfed o'r dyfroedd iachusol, meddyliwyd am gynnal "gorsedd" neu "gylch Derwyddol," a hyny a wnaed, pan yr oedd tua phum' cant o bobl yn wyddfodol. Yn eu mysg yr oedd Clwydfardd, Gutyn Padarn, Pedr Mostyn, Rhydderch Ardudwy, Eben Mynwy, Eos Alun, Gutyn ap Rhydderch, Iago Maldwyn, Maifab, Vulcan, Iago Tegeingl, Raffaelle (canys felly yr oedd y gwŷr da hyny yn eu galw eu hunain), Mri. Brinley Richards, R. Rowlands o Bortmadog, O. Daniel o Dowyn, T. Lloyd Jones o Lerpwl, ac E. Watkin o Dolgellau, a'r Parchn. J. R. Kilsby Jones, N. Cynhafal Jones, a D. Owen o Landrinod. Penderfynwyd cael Eisteddfod yn Llandrindod yn mis Awst y flwyddyn nesaf; ac ymrwymodd amryw oedd yn bresennol i wneyd eu goreu tuag at ei dwyn ymlaen yn llwyddiannus. Mae yn debyg y cynnygir hefyd ar gynnal Sasiwn neu Gymanfa undebol o fewn cylch yr un tymmor.

Mae cyfraith newydd yn cael ei gweinyddu ar grwydriaid cardotgar yn Erie, Philadelphia yn America, sef eu cadw yn gaeth am ddeng niwrnod ar hugain, gan eu gorfodi yn y cyfamser i dori ceryg ar yr heolydd. Yn ebrwydd wedi cael eu rhyddid, bydd y crwydriaid yn hwylio ymaith yn chwim; ac y mae eu brodyr cardodol sydd wedi clywed am y driniaeth yn Erie yn cadw mor bell ag y medront o'r ddinas hòno.

Bachgen bach pum' mlwydd oed, yn yr olwg ar ddyn meddw, a ofynodd, "'Mam, ai Duw a wnaeth y dyn acw?" "Iё, fy machgen," ebe hi. "Pe buaswn i yn lle Duw, ni wnaethum i mo hwnacw ddim," meddai'r diniwed bychan.

Cafodd pendefig, sydd yn arfer siarad mewn dull rhydd a dirodres â phobl gyffredin a thlodion, ei ddifyru yn fawr yn ngwaith dyn iselradd yn dyweyd wrtho, "Mae yn dda iawn genyf am danoch, fy arglwydd, am nad oes dim o'r gŵr boneddig yn perthyn i chwi."

Yr oedd efrydydd o Japan, newydd ddyfod i'r wlad hon, yn meddwl fod pawb yma yn feddygon, am fod yr holl rai yr oedd efe yn dyfod i gydnabyddiaeth â hwy yn gafael yn ei law, ac yn gofyn am ei iechyd.

Nis gallwn adrodd ychwaneg y tro hwn am yr Eisteddfod Genedlaethol yn Birkenhead na'i bod yn llwyddiannus ymhob rhyw fodd.

Yr Anrhydeddus Thomas John Wynn, mab hynaf Arglwydd Newborough, a fu farw yn Glynllifon tua diwedd mis Awst diweddaf, pan yn agos i 38 mlwydd oed. Mawr yw y galar am golli boneddwr mor hynaws ac addawol yn mlodau ei ddyddiau.

Mae boneddwr haelfrydig wedi rhoddi pum' mil ar hugain o bunnoedd i Gymdeithas Genadol Eglwys Loegr, tuag at hyrwyddo gweithrediadau y genadaeth yn yr India Ddwyreiniol.

---

## BASGED Y GWIREBAU.

*Yr Wythfed Fasgedaid.*

### LXXXV.

Gellir dysgwyl i nefoedd a daear ymddwyn yn wahanol at ddynion o wahanol dymherau a nodweddiadau. Pan yr oedd rhywun gwresog ei deimladau, a sydyn ei feddwl, yn dywedyd wrth yr Iesu ar y ffordd, "Arglwydd, mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych," ateb ein Harglwydd iddo ydoedd, "Y mae gan y llwynogod ffauau, a chan adar yr awyr nythod; ond gan Fab y dyn nid oes le y rhoddo ei ben i lawr." Ond am ddyn clauar a gohiriol, ar yr hwn yr oedd eisieu dychwelyd i gladdu ei dad, gorchymyn Crist oedd i hwnw fyned yn ddioedi at waith ei deyrnas ef: "Dos di a phregetha deyrnas Dduw." Yr oedd anghenrheidrwydd am arafu a phrofi y dyn poethlym a phrysur, ac am gynhyrfu a chymhell y dyn araf ac oediog i fyned rhagddo.

### LXXXVI.

Nid y lleoedd hyny ar y ddaear sydd yn ymddangos hyfrydaf yw y lleoedd mwyaf daionus bob amser. Yn fynych y mae gwlad yr olew-wydden a'r winwydden yn wlad y segurdod a'r pleserau cnawdol. Y wlad oreu am ddysgu diwydrwydd a dyfalbarhâd, gyda rhinweddau teuluaidd, a phurdeb moes, yw gwlad niwl a chymylau, a thir yr hon sydd yn nacâu rhoddi ei ffrwyth ond i ddygn-lafur. Ai nid cyffelyb i hynyna ydyw gyda golwg ar hawddfyd ac adfyd?

### LXXXVII.

Y rhai hyny a wnaethant bethau mawrion, nid dynion oeddynt yn cwyno am nas ganesid hwynt mewn lle arall neu oes arall, ond dynion yn ymroddi i wneyd eu gwaith eu hunain dan yr amgylchiadau y cawsant eu hunain ynddynt. Peidiwn ninnau ag aros am amser gwell tuag at wneuthur daioni; eithr cymerwn ein hamser fel y mae, ac edrychwn am wneuthur y goreu o hono.

LXXXVIII.

Nid gwiw dysgwyl am un caffaeliad na mantais heb dalu'r pris gofynol. Tuag at gyrhaedd enwogrwydd llênyddol, mae yn rhaid dyoddef anhunedd, a myned drwy lafur dirfawr. Os ceir dyn yn amlhâu cyfoeth, odid na welir ef yn llawn o bryder, heb nemawr neu ddim mwynhâd o dangnefedd meddwl. Ac ar gyfer fod y byd ar ei ennill mewn medr meddygol, y mae wedi colli y dull syml o fyw oedd i fesur mawr yn gwneyd meddygiaeth yn afreidiol. Yr hwn a fyno farchogaeth, rhaid iddo estyn tâl am fyned trwy'r tollborth; a'r hwn a fyno fyned trwy'r tollborth yn rhad, rhaid iddo fyned i'w daith yn gerddedwr ar draed.

LXXXIX.

Gellid tybied oddiwrth iaith ffrom, ysgogiadau hyfion, a gweithrediadau trahâus rhyw ddosbarth o ddynion, eu bod yn credu yn eu calonau fod pawb oddigerth hwy wedi dyfod i'r byd megys â chyfrwyau ar eu cefnau, a ffrwyni yn eu penau, tra yr oeddynt hwy eu hunain i ymwisgo mewn botasau ac âg yspardunau i farchogaeth y lleill yn ol eu hewyllys.

XC.

Mae dyn gwagsaw a dioglyd yn afradu ei foreuau mewn dysgwyl am ei brydnawniau, ac yn afradu ei brydnawniau mewn ocheneidio ar ol ei foreuau.

XCI.

Er i ddau gael eu gosod yn gymhwys yn yr unrhyw sefyllfa, gall fod rhywbeth fel hedyn byw yn y naill yn sicrhâu ei ragoriaeth ar y llall. Rhoddwch y fesen a'r ffäen yn y ddaear yn ymyl eu gilydd, ac er nad oes yn awr nemawr wahaniaeth ynddynt o ran maint, fe gyfyd y naill yn raddol nes myned yn frenin y goedwig, tra na bydd y llall, ar ol tyfiant buan, yn ddim ond llysieuyn digon cyffredin.

XCII.

Yr hwn y mae ei dreuliadau yn myned dros ben ei dderbyniadau, pa gymaint bynag a fyddont, sydd ŵr tlawd; ond yr hwn a erys gyda ei dderbyniadau dros ben ei dreuliadau, hwnw sydd ŵr cyfoethog.

XCIII.

Os ydym yn teimlo yn anghysurus ac annedwydd, cofiwn mai nid yn Nuw, ond ynom ein hunain, y mae yr achos o hyny. Nid bai yr haul ydyw fod y diwrnod yn ddwl; y mae efe yn llewyrchu yn ei gylchdro mawr ei hun yn mis Tachwedd fel yn Mehefin; ond y mae y tywyllni yn codi oddiar darth a thawch y ddaear hon.

XCIV.

Hunangarwch heb gymydog-garwch neu ddyngarwch yw llygredigaeth a melldith y byd. Mae yn naturiol, yn rhesymol, ac yn ofynol i ddyn ei garu ei hun; ond os na bydd efe hefyd yn caru ei gymydog *fel* efe ei hun, mae ei gariad yn hannerog a diddaioni. Dyn salw a thruenus yw yr hwn a'i gesyd ei hunan yn ganolbwynt i'w holl fwriadau a'i weithredoedd; a thlawd iawn yw ei gyfundrefn foesol, gan mai ei holl bynciau sylfaenol yw elw a cholled iddo ei hun.

XCV.

Wrth ymddyddan am bobl absennol, byddwn ofalus nad elom ddim ymhellach nag yr elem pe byddent hwy eu hunain yn bresennol. Penderfyniad da oedd yr eiddo Esgob Beveridge, na siaradai efe am ragoriaethau dyn yn ei wyneb, nac am ei feïau yn ei gefn. Cadw at y rheol hon a fyddai yn feddyginiaeth effeithiol rhag ffalsder gweniaith a rhag bryntni enllib.

XCVI.

Nid oes dim bendith ar gyfoeth wedi ei gadw yn lle ei ddefnyddio. Yr oedd yr Israeliaid hyny na wrandawent ar Moses, ond a gasglent lawer o fanna er mwyn cadw cyfran o hono yn weddill, yn eu cyfrif eu hunain ar y dechre yn bobl gall a glew; ond buan y cawsant na thyciodd iddynt bentyru'r manna, canys efe a fagodd bryfed ac aeth yn ffiaidd ei arogl.

## Amrywiaethau.

PA BRYD I BRIODI.

Y MAE yn amlwg fod eisieu ystyried nid yn unig pwy ond hefyd pa bryd i briodi. Dylai pawb fod am rai blynyddau yn gwneyd prawf o'r byd ac o hono ei hun wedi tyfu i fyny cyn priodi, fel y caffo weled a all efe lywodraethu ei hun cyn myned i lywodraethu teulu, a gweled pa faint sydd ganddo yn ngweddill o'i gadw ei hun cyn addaw cadw neb arall. Nid yw priodi, er ei fod yn osodiad Duw, ond dirieidi heb fod rhyw olwg resymol am fywioliaeth heblaw dywedyd fod y plwyf yn ddigon cryf, a bod hwnw i bawb. Cynnildeb yn more oes am ddeng mlynedd yn y pâr priodasol a fyddai ymron yn ddigon i'w diogelu rhag llawer o eisieu wedi priodi. Ond yn lle hyny, nid oes ond ychydig o'n pobl ieuainc yn gwybod gwerth arian hyd oni phriodant; ac erbyn hyny deallant y dylesid gwybod yn gynt. Cânt eu hunain mewn llyn dwfn yn dysgu nofio pan y gallasent ymarfer mewn dwfr basach lle nad oedd berygl boddi.—*Y diweddar Barch. Richard Humphreys.*

PREGETHU YN EGLUR.

DYLAI pregethwr draddodi ei bregethau mewn iaith briodol, buddiol, a gweddus; a pha eiriau mwy cymeradwy i bregethu yr efengyl na geiriau yr efengyl ei hun? Clywir rhai ag ydynt dipyn o ysgoleigion, ac yn arfer darllen gwaith ysgoleigion, yn ceisio defnyddio geiriau mawrion Cymraeg fel cyfieithiad o eiriau mawrion ac ucheldysg y Saeson; ond ofer yw eu gwaith, gan nad yw y bobl yn eu deall. Geiriau mawr, chwyddedig, neu anarferedig, maent yn burion yn ngenau beirdd; ond nid ydynt yn weddus nac yn fuddiol yn ngenau efengylwr; ac nid oes gan Grist ddiolch i'r cyfryw am anharddu ei efengyl â'r fath eiriau clogyrnaidd.—*Y diweddar Barch. James Hughes, Llundain.*

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU JAINTIA.

### JIWAI.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. G. HUGHES, DYDDIEDIG JIWAI, AWST 7FED, 1878.

Y MAE yn ddrwg genyf fod amgylchiadau wedi fy attal i ysgrifenu atoch yn gynt y tro hwn am ansawdd y gwaith yn Jaintia. Nid oes dim neillduol iawn wedi cymeryd lle er pan anfonais o'r blaen, ond fod y gwaith yn llwyddo yn gyson, a chymeryd golwg gyffredinol arno; ïe, wedi llwyddo mwy yn yr eglwysi pellenig yn ystod y tri mis diweddaf na'r un amser er pan wyf fi yn Jaintia.

Am JIWAI, mae yn ddrwg genyf ddyweyd nad yw mewn sefyllfa foddhäol. Rhyw dymmor nithio yw hi wedi bod yn yr eglwys hon er dechreu y flwyddyn. Y tro o'r blaen yr oeddwn yn adrodd am ddiarddeliadau, a'r tro hwn rhaid i mi hysbysu gyda gofid ein bod wedi gorfod diarddel dau hen aelod am anweddeidd-dra, os nad peth gwaeth, mewn rhag-gyfeillach. Er fod hyn yn peri poen mawr i ni, y mae yn dda genyf ddyweyd fod y gynnulleidfa yn parhâu yn llïosog a chyson, a rhai o'r newydd wedi dechreu dyfod i wrando o'r pentref. Gobeithio y cânt nerth i barhâu i ddyfod; o herwydd tipyn o groes yw dal gwawd a gwrthwynebiad eu cymydogion. Hefyd y mae yma deulu yn gofyn am dderbyniad i'r eglwys. Bydd eu hachos yn cael ei ystyried yn y cyfarfod eglwysig nesaf. Dealler nad ydym ni, ar y maes cenadol, yn derbyn neb heb gael barn yr eglwys ar ei achos yn gyntaf.

Bydd genyf gyfarfod bob Sadwrn cyntaf yn y mis gyda'r athrawon o bob lle, pan y byddant yn dyfod i ymofyn eu cyflog, i ddarllen ac esbonio yr Ysgrythyrau, ac yn y prydnawn i dderbyn eu hadroddiad ar yr achos yn y gwahanol bentrefi yn ystod y mis, ac i weddïo. Derbyniwyd adroddiad cysurus o'r holl fanau agos: Nungtalang, 4 wedi ymuno â'r eglwys, a rhai merched o newydd yn dyfod i'r ysgol ddyddiol, ac i'r moddion ar y Sabbath; Sohkha, dau o Padduah wedi ymuno â'r eglwys, a nifer o ferched yn dyfod i wrando o newydd; Shangpung, yr ysgol ddyddiol yn cynnyddu—dau wedi ymuno â'r eglwys, a naw wedi rhoddi cais am dderbyniad; Jangkiat, teulu o wyth o bersonau wedi gadael eilunaddoliaeth, a dyfod i fyw at y Cristionogion. Wrth hyn gwelwch fod rhai eglwysi, oeddynt yn lled ddifywyd a digynnydd y dwy flynedd o'r blaen, yn dechreu adfywio. Y mae yn ofid mawr i ni nas gallaf fyned i ymweled â hwy y tymmor hwn o herwydd y gwres, pan fo yn hindda, a'r gwlaw sydd mor drwm yn y wlad hon hyd Hydref.

## BRYNIAU CASSIA.

### SHILLONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, 15FED AWST, 1878.

#### CAPEL NEWYDD SHILLONG.

FEL y crybwyllais wrthych fwy nag unwaith o'r blaen, darfu i'r ystorm a ysgubodd dros ranau o'r Bryniau hyn yn mis Mawrth wneyd dinystr mawr ar ein capel yma yn Shillong; cariodd ymaith ran fawr o'r tô yn goed ac yn wellt, a'r cyfan, gan ei godi i fyny ac hefyd ei ysgaru yn ddwy ran, a'u taflu dros dalcen arall y capel yn glir i'r ffordd. Craciodd mur talcen y capel o'r pen uchaf hyd y gwaelod, a hyny yn y ddwy gongl ac yn y canol. Gwelwyd y byddai raid i ni ddechreu ei adgyweirio ar unwaith, ac y byddai i'r draul gyrhaedd swm lled fawr. Daeth Capt. Willans, Peiriannydd *(Engineer)* y Llywodraeth, gyda dau neu dri o swyddogion eraill, i wneyd archwiliad arno, a dywedent oll fod yn rhaid tynu mur y talcen oll i lawr, a'i ailadeiladu o'r sylfaen. Pan ddeallwyd fod yn rhaid myned i'r draul o ailadeiladu y mur o'r gwaelod i fyny, daeth Mr. John Roberts (yr hwn oedd yma ar y noswaith fawr hono) a minnau i'r penderfyniad mai gwell fyddai ei helaethu, gan na byddai y draul o'i helaethu ryw 8 neu 10 troedfedd, ond ychydig yn ychwaneg na phe yr ailadeiladasid y mur yn yr un fan ag o'r blaen. Wedi penderfynu y mater hwn, ac nad oedd dim galw yn ol i fod, dechreuwyd meddwl a meddwl o ba le y ceid arian i gwblhâu y gwaith. Pa fodd bynag, dechreuwyd gweithio heb oedi dim,—tori y sylfaen a chario ceryg, a pharotoi coed; a thra yr oedd y gweithwyr yn brysur yn

adeiladu, yr oeddym ninnau yn brysur yn casglu tuag at ddwyn y draul. Cyfranodd Ewropëaid yr Orsaf £24 10s.; a chasglasom ninnau yn ein plith ein hunain, £28 12s., yr hyn oedd yn gwneyd £53 2s. Ond yr oedd y draul ychwanegol, rhwng pobpeth, yn cyrhaedd y swm o £87; a bydd eisieu tua £10 eto cyn y gorphenir ef yn gyflawn. Nid ydym eto wedi llorio y rhan a ychwanegwyd at y capel, ond yr ydym yn bwriadu gwneyd hyny yr wythnos nesaf, ynghyda gwneyd meinciau i eistedd yn y darn hwn. Bydd tipyn o ddyled yn aros arno pan orphenir ef, ond yr ydym yn credu y bydd y cyfan wedi ei glirio ymhen ychydig fisoedd. Mae yn awr yn adeilad helaeth, cadarn, a hynod gyfleus, yn hŵy o agos i 13 troedfedd nag ydoedd o'r blaen. Mesura oddifewn 60 troedfedd wrth 25; ac y mae wedi ei doi oll â *corrugated iron;* a *porch* 10 troedfedd ysgwâr wedi ei adeiladu o flaen y drws, a'i doi â haiarn. Mae yn edrych yn dda iawn. A diolch fil i'r cyfeillion caredig gartref a roisant help llaw i ni i ddwyn hyn i ben. Yr ydym agos a chyrhaedd pen y bryn gyda'r gorchwyl.

Agorwyd ef yn mis Mai, er nad ydoedd agos a'i orphen yr adeg hono. Ni gawsom Sabboth teg yn nghanol y gwlaw, a chynnulleidfäoedd da ar hyd y dydd. Am 10 y bore, pregethodd U Ngor a minnau; am un, pregethodd Mr. John Jones, a phregethais innau yn Saesoneg; am 4, pregethodd U Ramjom, a Mr. John Jones; ond darfu i U Ramjom ddal ati hi yn hir iawn, mor hir nes yr aeth yn dywyll, fel na chafodd Mr. Jones ddyweyd dim y tro hwn. Yr ydym yn gobeithio ac yn credu hefyd y caiff llawer o bechaduriaid eu goleuo a'u troi at yr Arglwydd ynddo, fel y byddo iddo gael ei lenwi âg addolwyr Duw mewn ysbryd ac mewn gwirionedd.

Mae y gwaith yn parhâu i fyned rhagddo, er nad yn gyflym, eto rhagddo y mae yn myned, ac y mae rhai yn dyfod i gofleidio Cristionogaeth, yn gadael addoliad cythreuliaid, ac yn troi eu gwyneb at Iesu Grist. Ychydig yn ol yr oeddem yn derbyn i'r eglwys yma ar brawf ddwy ferch o bentref Mowphlang. Gallai un ddarllen yn lled weddol yn y Testament, ac y mae y llall yn dysgu, ac fe ddaw cyn hir yn alluog i ddarllen geiriau Duw, y rhai ydynt yn fywyd tragywyddol. Yr ydym wedi dechreu cynnal moddion crefyddol yn y pentref, a bydd yno ychydig yn dyfod ynghyd i wrando; ac yr wyf yn credu wedi i Dr. Griffiths ymsefydlu yn y lle, y ceir yno gynnulleidfa dda, ac y ceir ffrwyth llafur enaid y Gwaredwr.

Tua Khadsawphra mae y gwaith yn myned yn ei flaen yn gysurus. Yn mis Mehefin bum yn ymweled â'r holl bentrefi hyn. Er fod yno un neu ddau wedi tynu yn ol, cefais yno olwg gysurus a gobeithiol; arosais yno gyda hwynt naw neu ddeg diwrnod. Os gallaf fodd yn y byd, yr wyf yn bwriadu ymweled â'r rhan hon eto cyn diwedd y mis hwn, er ceisio eu calonogi a'u cadarnhâu yn y ffydd. Buasai yn dda genyf allu aros gyda hwynt am fis cyfan am unwaith; yr wyf yn gobeithio y gellir gwneyd hyny wedi dyfodiad y cenadon newydd allan i gymeryd rhan o'r gwaith. Mae newyddion gobeithiol yn dyfod o Mawdem; y brodyr oll yn heddychol ac unol, ac amryw wedi ymuno â'r eglwys. Daeth teigr i'r pentref yma a lladdodd ddau o ddynion; bwystfilod ofnadwy yw y rhai hyn i ddyfod yn agos i anneddau dynion.

Diolch yn garedig iawn i ryw gyfaill hael ei galon a meddylgar am anfon sypyn o gyhoeddiadau bychain a darluniau ynddynt i fod yn wobrau i'r plant. Gobeithio fod yna amryw eraill a wnant yr un modd. Byddant yn dderbyniol iawn yr ochr yma.

---

## LLYDAW.

Mewn llythyr dyddiedig Medi 13eg, dywed Mr. Braud fod dau o angladdau wedi cymeryd lle yno yn ddiweddar, a'i fod yntau wedi cael cyfle ar yr adegau hyny i wneuthur yr Efengyl yn adnabyddus i rai nad ydynt byth yn cael mantais i'w chlywed. "Mae ein cyfleusderau mor brinion yn Llydaw," meddai Mr. B., "i gyfarch cynnulliadau mawrion o bobl fel y byddai yn feius i ni adael i fantais o'r fath fyned heibio pan y byddo yn cynnyg ei hunan." Mae ein cynnulleidfa ar y Sabboth wedi lleihâu ychydig, o herwydd fod rhai o'r aelodau wedi myned i Paris, lle y mae yr arddangosfa yn denu llawer o bobl. Mae Le Groignec, yn ystod y tair wythnos diweddaf, wedi bod yn myned o amgylch gororau Morbihan a Finistere. Mae ei adroddiadau am ei deithiau yn foddhaol; yn gyffredin bydd yn cael derbyniad croesawus, ac ymhob man o'r bron y mae yn cael casineb cynnyddol at yr offeiriaid. Bu yn alluog i gynnal rhai cyfarfodydd bychain, yn y rhai y gwrandewid arno gyda dyddordeb; ond nid ydyw hyd yn nod y rhai sydd yn teimlo oreu tuag ato ef a'i genadwri, ond yn unig yn gwrandaw a chymeradwyo; petrusant fyned ymhellach na hyny, a pharhânt i fod mewn ymddangosiad yn gaethion i'r Babaeth. Ofn "pa beth a ddywedai pobl," ac y mae yn rhaid addef, y diffyg o bob teimlad gwir grefyddol, ydyw achosion y

difrawder gresynus hwn. Yma pan yr ymddyddenir â Phabyddion ynghylch y mater pwysig hwn, addefa pawb agos mai ni sydd yn iawn a'u bod hwythau o'u lle; ond yna arosant. Yn eu golygiad hwy mae newid crefydd, hyd yn nod gadael un a gydnabyddir yn gau, ac un y dibrisir ei defodau a'i ffurfiau, yn drosedd mawr. "Rhaid i ddyn farw mewn cysylltiad â chrefydd ei henafiaid," ydyw yr atebiad a geir gan bawb, a therfyn pob dadl.

Yr wyf wedi derbyn llythyr oddiwrth Raglaw y Rhandir yma, cynnwys yr hwn ydyw gofyn i mi ymgymeryd â'r gwaith o weinyddu i'r rhai hyny o'r carcharorion ag sydd yn Brotestaniaid yn ngharchar Belle-Ile-en-Mer, a'r rhai ydynt yn amddifaid o bob manteision a chysuron crefyddol. Hysbysais y Rhaglaw fy mod at wasanaeth y Llywodraeth yn yr achos, os na byddai i'r dyledswyddau a ofynid genyf *ymyraeth mewn un modd â'm gwaith yn Lorient.* Gyda'r dealltwriaeth hwn, yr ydys wedi trefnu fod i mi fyned i Belle-Ile ar y dydd Mawrth olaf o bob mis yn unig. Gwnaethum fy ymweliad cyntaf â'r carcharorion truenus bythefnos yn ol. Mae yno ddeunaw o honynt; nis gallaf anturio darlunio eu llawenydd wrth fy ngweled, oblegid nis gallai unrhyw eiriau a fedrwn ddefnyddio gyflwyno drychfeddwl am y gwirionedd. Gweddïais gyda hwy, darllenais ranau o'r Ysgrythyr, a thraddodais anerchiad byr ar Esaiah lxi. 1, 2, "Ysbryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf," &c. Gwelwn eu bod yn teimlo fod Duw yn rasol yn eu cofio trwy fy mhenodiad i ymweled â hwy. Hyderaf y teimla y Cyfarwyddwyr foddhâd o herwydd yr ymddiried a ddangosir fel hyn yn un o'u goruchwylwyr gan weinyddiaeth y Rhaglawiaeth hon, ac yr edrychant arno hefyd fel prawf o deimlad da tuag atom. O'm rhan fy hunan, addefaf fy mod yn bersonol yn edrych ar y peth fel calondid mawr, am yr hyn yr wyf yn ddiolchgar iddo Ef oddiwrth yr Hwn y deillia pob peth da. Saif Belle-Ile allan gryn bellder yn y môr; cymer y fordaith chwe' awr, ac, ar amserau, bydd y môr yn gynhyrfus iawn. Telir fy nghostau teithio gan y Weinyddiaeth, ac y mae y cyflog yn £16 y flwyddyn. Chwi welwch mai llafur cariad ydyw.

Aethum i Quimper y Sabboth cyntaf o'r mis. Pregethais ddwywaith i'n cyfeillion yno, y rhai oeddynt yn llawen iawn i'm croesawu i'w haddoldŷ bychan. Dywedais wrthynt y byddai i mi, os rhyngai bodd i'r Arglwydd, fyned rhagllaw yn rheolaidd i Quimper unwaith y mis. Dichon y gallaf drefnu i fyned bob tair wythnos; ond pe byddai i mi fyned bob pythefnos, mae arnaf ofn yr effeithiai yn niweidiol ar y gwaith yn Lorient.

## SYPYNAU I'R GENADAETH YN INDIA.

DEALLWN fod amryw gyfeillion yn awyddus i anfon anrhegion at wasanaeth y Genadaeth yn India. Ni raid i ni hysbysu y derbynir gyda diolchgarwch bob rhoddion pwrpasol, ac y gofelir am eu hanfon allan gyda'r cenadon. Ymhlith y pethau a ystyrir felly, gellir nodi, llechi ysgrifenu, *pencils*, &c., at wasanaeth yr ysgolion dyddiol, offerynau a defnyddiau cymhwys i'r dosbarthiadau gwnïo yn ysgolion y menywod, llyfrau i wobrwyo yr ysgoleigion, llyfrau at wasanaeth y pregethwyr brodorol ac i'r llyfrgelloedd cenadol, *carpenters' tools*, &c. Gan ein bod yn awr ar ddechreu cenadaeth feddygol, bydd pobpeth gwasanaethgar mewn *Dispensary* neu Ysbyttŷ yn dra derbyniol. Da genym gydnabod fod Dr. Gee, Liverpool, wedi rhoddi un set o offerynau gwerthfawr i'r Genadaeth; dymunol fyddai gweled eraill o garedigion ein cyfundeb sydd yn yr alwedigaeth anrhydeddus yn gwneuthur yn gyffelyb. Dymunir i sypynau gael eu cyfeirio:

"The Khasia Mission,
Care of Messrs. P. Williams & Co.,
12 Price Street,
Liverpool."

Dylai y sypynau gael eu hanfon i'r cyfeiriad uchod erbyn tua'r 14eg o Hydref, gan fod y cenadon i hwylio o Liverpool ar y 19eg. Anfoner hysbysrwydd am gynnwys pob sypyn i'r Ysgrifenydd.

---

Derbyniwyd £1 tuag at gapel Shillong oddiwrth Mr. Edward Jones, Lombard Street, Liverpool.

D.S. Mae blwyddyn y Genadaeth yn awr yn terfynu ar yr 31ain o Ragfyr, a rhaid i'r holl gasgliadau y dysgwylir iddynt ymddangos yn nghyfrif y flwyddyn hon fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol erbyn y diwrnod hwnw. Er mwyn i'r Trysoryddion Sirol allu anfon y symiau o'r Siroedd o fewn yr amser penodol, dymunir ar i'r cyfeillion ymhob lle ofalu am i'r casgliad cenadol gael ei wneuthur yn brydlawn.

D.S. Derbynir rhoddion at y Genadaeth Dramor gan y Trysorydd Cyffredinol, PETER WILLIAMS, *Esq.*, 17, *Percy Street, Liverpool.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. Peter Williams, Treasurer of the W. C. M. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63, *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 577.] TACHWEDD, 1878. [LLYFR XLVIII.

## PERAROGL CRIST.

### CYNGHOR GWEINIDOGAETHOL GAN Y PARCH. EDWARD MATTHEWS

(*Parhâd o tu dalen* 372.)

COFIWCH bob amser fod ymroddiad llwyr a hollol i waith y weinidogaeth, mor bell ag y mae amgylchiadau yn caniatâu, yn anhebgorol anghenrheidiol; hyny ydyw, nid yw gweinidogaeth yr efengyl, os cymerir ati, i fod yn ail i ddim. Ni fyn Duw roddi ei "ogoniant i eraill, na'i fawl i ddelwau cerfiedig." Gwelwyd, lawer gwaith, pan y byddai pregethwyr yn syrthio yn ddwfn i fasnach, ac yn teimlo cryn ddyddordeb yn hyny, ïe, yn fwy nag mewn pregethu yr efengyl, fod y cyfryw yn sychu i'r weinidogaeth, ac o'r diwedd yn marw iddi, er wedi cychwyn yn weddol obeithiol. Nid ydyw yr Arglwydd yn rhanu ei ogoniant a'i fawl â dim arall; rhaid i'r cwbl fod yn ddarostyngedig i'r dyben uchaf; ac os nad felly y bydd, rhaid yw, cyn nemawr amser, i'r cwbl sydd yn gwrthsefyll yn erbyn rhoi y flaenoriaeth i'r efengyl, gael ei ddarostwng yn droedfainc i'w thraed hi. "Rhaid yw i Grist deyrnasu." Rhaid iddo fod felly yn eich meddyliau; yna, bydd yn sicr o fod yn weledig felly yn eich holl symudiadau. Gwirionedd eglur i bawb ydyw mai anmhosibl yw "gwasanaethu dau arglwydd; canys naill ai efe a gasâ y naill, ac a gâr y llall; ai efe a ymlŷn wrth y naill, ac a esgeulusa y llall. Ni ellwch wasanaethu Duw a mammon." Beth bynag fydd yn galw eich sylw yn y byd hwn, na wasanaether hyny, fel eich dyben penaf, eithr gwasanaether Crist, "yr unig Arglwydd, a'n Iachawdwr Iesu Grist, yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom." Y dyben hwn fyddo yn oruchaf, a phob peth arall yn ddarostyngedig iddo. Os na bydd Crist yn eich calonau, bydd yn sicr o fod o dan eich traed. Deliwch gymundeb a chyfeillach agos a chyson â'r Arglwydd Iesu; ymrwbiwch ynddo, fel y dywedir, a bydd eich harogl yn beraidd i'r Arglwydd yn y nefoedd, ac i bob cylch cymdeithasol ar y ddaear. Bydd Duw yn caru eich cwmpeini, yn ymhyfrydu byw gyda chwi, "a rhodio yn eich plith."

Pregethwyr yn byw mewn llygredigaethau, ydynt, nid yn unig yn arogl anhyfryd i Dduw yn y nefoedd, ond hefyd i ddynion ar y ddaear; ac nid yn unig i'r saint ar y ddaear, eithr i bechaduriaid hefyd, y rhai sydd yn ymhyfrydu byw eu hunain yn yr un pethau. Nid ydyw pregethwr hanner meddw yn gwmni hapus mewn tafarn. Gwell gan feddwon gael meddwon digrefydd i'w cyfeillach na meddwon crefyddol, ac yn enwedig meddwon gweinidogaethol. Bydd gweled dyn yn y pulpud ddydd Sul, yn nghanol llestri sanctaidd teml Dduw, a gweled yr un dyn ddydd Llun, neu rhyw ddydd arall, yn nghanol llestri aflan teml Bacchus, ac o dan effeithiau eu cynnwysiad, yn arogl yn terfynu ar fod yn

annyoddefol i addolwyr Bacchus eu hunain. Hyd yn nôd yn meddyliau y cyfryw teimlir gwrthwynebiad, a bydd y gydwybod, er yn aflan, yn condemnio, gan ddywedyd na ddylai y pethau hyn fod felly. Y drygsawr trymaf a mwyaf annyoddefol mewn tafarn yw pulpud y capel wedi ei ddwyn yno yn fudreddog. Meddwdod sydd yn fudreddi ymhob lle; eto nid yn arogl mor ffiaidd ac annyoddefol yn ffroenau Duw a dynion â phan mewn cysylltiad â "llestri tŷ yr Arglwydd." Wrth gwrs, po agosaf y deuir at furgyn, mwyaf annyoddefol yr arogl, nes y bydd yn rhaid o'r diwedd redeg heibio i gael anadl mewn awyr iachus. Pan y dygir anwiredd y pethau sanctaidd, halogedigaeth y cysegr, a dwylaw yn llawn o waed, i ormod o agosrwydd at Dduw yn ngwasanaeth ei dŷ, bydd rhywbeth yn sicr o ddygwydd i'r dyben o garthu gwaed Jerusalem allan o'i chanol. Fy nghyfeillion, y mae Duw yn bod. Cofiwch hyn ymhob man a chyda phob peth. Peidiwch a meddwl oblegid eich bod yn bregethwyr y gellwch anghofio hyn; na, yr anghenrheidrwydd sydd yn fwy oblegid hyny. "Ymgedwch yn nghariad Duw," a chwi a lwyddwch; ac er pob gwaeledd ynoch, ni lwydda yr un offeryn a luniwyd i'ch dinystrio; eithr os pechwch yn erbyn yr Arglwydd, "gwybyddwch y goddiweddа eich pechod chwi." Y mae y gwledydd Dwyreiniol yn ffrwythlawn iawn, yn gynnyrchiol y tu hwnt braidd i'n hamgyffred ni, y rhai ydym yn byw yn yr hinsawdd ogleddol hyn: yr haul yn tywynu arnynt bron yn gyson, y gwlaw cynnar a'r diweddar yn ffrwythloni y tir nes y bydd y gwinwydd, yr olewydd, y ffigys, yr haidd, y gwenith, y blodau, y glaswellt, a'r dail breision, yn doreithiog dros yr holl wledydd. O herwydd segurdod y trigolion, yn nghanol y trugareddau mawrion hyn, bydd holl fraster y cynnyrch yn pydru arni, ac yn achosi clefydau marwol i redeg fel tân mewn gwellt. Dywedir am y gwynt dwyreiniol yn ein gwlad ni, ei fod yn cynnyrchu afiechyd os bydd yn chwythu yn hir o'r cyfeiriad hwnw. Y rheswm am hyny ydyw, meddir, fod y clefydau a achosir gan bydredd y byd llysieuog yn dyfod gyda'r awelon dwyreiniol, ac yn llenwi ein hawyrgylch âg afiechyd. Os felly, gwelir fod pydredd y trugareddau brasaf mewn natur, o ddiffyg triniaeth briodol, yn troi i fod yr afiechyd trymaf. Crefydd wedi myned yn rhith, a phydrni sydd yn cerdded yn felldith ac yn afiechyd ffiaidd a marwol. Nid yw Duw yn gallu ei goddef, a bydd dynion yn glaf ac yn marw o dan yr effeithiau marwol. "Gwybydd hyn hefyd, y daw amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf; canys bydd dynion â'u serch arnynt eu hunain, yn ariangar, yn ymffrostwyr, yn feilchion, yn gablwyr, yn anufuddion i rieni, yn anniolchgar, yn annuwiol, yn angharedig, yn tori cyfammod, yn enllibaidd, yn anghymesur, yn anfwyn, yn ddiserch i'r rhai da, yn fradwyr, yn waedwyllt, yn chwyddedig, yn caru meluschwant yn fwy nag yn caru Duw; a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi; a'r rhai hyn gochel di." Fel rheol, gweinidogaeth o'r natur hyn sydd yn arwain i ddull o fyw o'r fath yma. Os bydd crefydd yn bwdr yn y pulpud, bydd yr awelon a'r effeithiau oddiyno yn debyg o drosglwyddo yr afiechyd marwol a'r sawyr annyoddefol i bob man. Blodau y bore sydd yn ffiaidd erbyn y prydnawn, os na fydd cysylltiad rhyngddynt â'r gwreiddyn, er derbyn defnydd bywyd yn barhâus o'r ddaear ac o'r awyr. Y blodeuyn gwywedig! mor hawdd yw ei daflu i'r clawdd y prydnawn, er ei holl brydferthwch yn y bore! Bydd marwolaeth o bob natur yn gwaeddi yn uchel am y bedd i'w gladdu o'r golwg, a'r byw hefyd yn cydsynio â'r dymuniad, ac yn brysio dwyn i'r bedd bob peth marw, fel yr unig le cymhwys iddo bellach. Yr adfeiliad cyntaf yn y blodeuyn yw colli ei arogl hyfryd mewn sefyllfa wywedig; yna ceir arogl anhyfryd yn codi o'i bydredd. Mae yn bosibl i weinidogaeth, er bod yn flodeuog a thlws dros amser, eto fod fel yn gwywo, a myned yn ddiarogl; neu yn ol cymhariaeth arall, heb fod yn oer nac yn frwd; neu, yn ol un arall, fel halen wedi myned yn ddihallt, nad yw yn gymhwys i ddim, nac i'r tir nac i'r domen. Ond bydd perarogl blodeuyn nid yn unig yn colli ei arogl mewn gwywedigaeth, ond yn myned ymhellach, yn troi yn ddrygsawr mewn pydredd. Pregethu yr efengyl, a byw ar yr un pryd mewn pechodau, sydd yn gosod cymundeb â Duw allan o'r cwestiwn; bydd hyny yn fwy na chyfiyg

arogl o gwbl—bydd yn ddrewedig, fel Sodom, yn ffroenau yr Arglwydd. Nis gall efe oddef pulpud o'r fath hyn; bydd raid iddo gilio rhag y domen, neu ynte garthu allan yr afiechyd o hono. Gwelir yn aml, pan yr â drygsawr y pulpud yn drwm, yn rhy wrthwynebus i Dduw drigo yn y lle, y bydd efe cyn hir yn trefnu moddion i wneuthur y pregethwr yn rhy wrthwynebus i ddynion hefyd. Bydd yn ei ollwng o dan draed y pechodau y bu yn cellwair â hwynt, yn ei ddynoethi yn ngolwg pob dyn, ac yn ei fflangellu yn gyhoeddus ar hyd ystrydoedd y ddinas

Fy nghyfeillion, e lrychwch ar gwympiadau mawrion yn y Bib', a'r wylo chwerwdost ynglŷn â hwy am yr oes, a'r rhai presennol sydd yn ormod o waith i efengyl eu hadferu byth. Byddai yr adferiadau yn milwrio yn erbyn anrhydedd yr efengyl yn ngolwg pob dyn, ac felly yn ddinystr ar ei heffeithiolder. Os byddwch byw yn agos at yr Hollalluog, chwi a adeiledir, a symudir anwiredd ymhell oddiwrth eich lluestai. Nis gellir byw yn agos at y ddau: os yn agos at anwiredd, yna ymhell oddiwrth yr Hollalluog; eithr os yn agos at yr Hollalluog, byddwch ymhell oddiwrth anwiredd. Nis gellwch, meddaf eto, "wasanaethu dau Arglwydd." Gofalwch, gan hyny, am ddefnyddiau pereiddi i'ch myfyrdodau. Os byddwch yn teimlo y meddwl yn ymbleseru mewn defnyddiau aflan a drygsawrus, bydd yr hen gristionogion yn debyg iawn o arogli rhywbeth, a Duw yn sicr o'i chwydu allan o'i enau. Ymborth iachus yn naturiol sydd yn gwneuthur cnawd iachus ar ddyn ac anifail. Ceir llawer o ddynion yn dew, eithr hwnw heb fod, fel y dywedir, yn dewder iachus, ond gwynt a chnawd afiach, wedi ei wneuthur gan fwyd a diod anghymhwys i ddynoliaeth. Felly bydd y dyn, er edrych yn gryf, yn pydru ac yn marw cyn hanner ei ddyddiau. Gwelir yn y Llyfr Dwyfol fod yr Arglwydd yn addaw bendithion natur yn helaeth er cysur a chynnydd pob peth, dyn ac anifail; ac yn y mwynhâd cymedrol o'r bendithion hyn y mae prif ddedwyddwch natur: iechyd, cysur, a hir oes. "Ac efe a rydd wlaw i'th had pan hauech dy dir, a bara cnwd y ddaear, ac efe a fydd yn dew ac yn aml; a'r dydd hwnw y pawr dy anifeiliaid mewn porfa helaeth. Dy ychain hefyd a'th asynod, y rhai a lafuriant dy dir, a borant ebran pur, yr hwn a nithiwyd â gwyntyll ac â gogr." I wneuthur cnawd pur, rhaid bwyta ebran pur. Rhaid i'r ŷch sydd yn dyrnu gael ei safn yn rhydd, fel y gall fwyta o'r hyn a ddyrnir; ac wrth fwyta felly y bydd yn parhâu mewn cryfder i wneuthur ei waith. Os na fydd y pregethwr yn bwyta yr ebran pur y bydd yn ceisio ei ddyrnu a'i gyfranu i eraill, bydd yn fuan yn rhy wan ac yn rhy salw i ddyrnu o gwbl. Bwyta ysbrydol yw myfyrdod, yn ymhyfrydu mewn mwynhâd hapus yn ngwirioneddau yr efengyl. "Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros, fel y byddo dy gynnydd yn eglur i bawb. Gwylia arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth; aros ynddynt, canys os gwnei hyn, ti a'th gedwi dy hun a'r rhai a wrandawant arnat. Eithr aros di yn y pethau a ddysgaist, ac a ymddiriedwyd i ti am danynt, gan wybod gan bwy y dysgaist. Ac i ti er yn fachgen wybod yr Ysgrythyr Lân, yr hon sydd yn abl i'th wneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth, trwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu. Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw [am hyny yn lân], ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder, fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Cadw y pethau hyn yn dy fyfyrdodau; dyma ebran pur; ymbortha arnynt, treulia hwynt yn dda yn dy feddwl, byddant yn debyg o fagu cyfansoddiad ysbrydol iach, cryf, a hoenus. "Eithr chwantau ieuenctyd, ffo oddiwrthynt; a dilyn gyfiawnder, ffydd, cariad, tangnefedd, gyda'r rhai sydd yn galw ar yr Arglwydd o galon bur."

Os cedwir purdeb yr efengyl, neu yr Ysgrythyr lân, yn y myfyrdodau, bydd fel ffynnon groew, yn gyru ei dyfroedd iachusol ar hyd pob man. Y pur o galon sydd yn gweled Duw; eithr "heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd." Calon bur sydd yn cadw gwefus bur. Y mae'r anghysondeb mwyaf yn y dybiaeth fod yn bosibl meddiannu calon bur, ac eto y wefus yn aflan; geiriau bryntion, geiriau yn tueddu, nid i beri gras i'r gwrandäwyr, eithr i gario eu meddyliau i lygredigaeth ac aflendid. Dylid cadw

y galon beunydd mewn ymdrafodaeth â phethau pur yr efengyl, onidê bydd y burgyn a goleddir yno yn sicr o ddyfod allan yn ddrygsawr dros y gwefusau, yn annyoddefol i'r saint, ac yn cynnyrchu llygredigaeth yn meddyliau yr annuwiol. Tafod budr sydd yn arwydd o galon fudr; canys o'r galon y mae meddyliau drwg yn dyfod, y rhai sydd yn eiriau drwg yn llifo dros y gwefusau. "Chwant, wedi ymddwyn, a esgor ar bechod; pechod hefyd, pan orphener, a esgor ar farwolaeth. Na ddeued un ymadrodd llygredig allan o'ch genau, ond y cyfryw ag a fyddo da i adeiladu yn fuddiol, fel y paro ras i'r gwrandäwyr." Cedwch ebran pur i'r myfyrdodau; cedwch y galon yn dra diesgeulus, a chedwch ffrwyn yn eich genau, yn enwedig pan y bydd yr annuwiol yn eich golwg. Na ddeued dim o'ch genau a fyddo yn peri i neb gymeryd mwy o hyfder yn eich gwydd i fod yn ysgafn, ac yn fwy llygredig eu hymadroddion. Nid yw dwfr hallt a chroew i ddyfod o'r un ffynnon; ni thyf ffigys ar ddrain; ac felly nid yw bendith a melldith i ddyfod o'r un genau. Ar ol agweddau annuwiol, ac i amser y Bibl ddyfod i'r bwrdd, caledwaith fydd ei ddarllen, a cheisio myned at Dduw o ganol agweddau felly: ac ni bydd yn peri gras i'r gwrandäwyr chwaith. Bydd pawb yn teimlo rhywbeth fel euogrwydd wrth geisio myned i addoli o agweddau mor eithafol. "Byddwch sanctaidd," medd yr Arglwydd, "canys sanctaidd ydwyf fi." Mae'r efengyl yn galw am wefus bur gan bwy bynag sydd yn ei thraethu; nis gall Duw oddef i fendith cenadwri yr efengyl a melldith a dinystr dynion ddylifo o'r un genau.

Athrawiaeth iachus yw yr efengyl; ac os bydd yn achub dynion, yr effeithiau sydd yn canlyn yw eu puro oddiwrth eu pechodau. "Bydded genyt ffurf yr ymadroddion iachus, y rhai a glywaist genyf fi, yn y ffydd a'r cariad sydd yn Nghrist Iesu." Nid yn unig ymadroddion iachus yn y pulpud, eithr ymhob man; ymadroddion na fyddo yn effeithio i lygru dynion, eithr y cyfryw a "baro ras i'r gwrandäwyr." "Chwiliodd y pregethwr am eiriau cymeradwy," nid yn unig i'r pulpud, ond hefyd geiriau a fyddo yn gweddu i'r pulpud pan allan o hono. Y mae Paul yn myned rhagddo i ddywedyd wrth Timotheus beth yw athrawiaeth iachus—yr addysg hyny sydd yn iachâu dynion oddiwrth bob anhwyldeb ysbrydol a moesol. "Gan wybod hyn, nad i'r cyfiawn y rhoddwyd y gyfraith, eithr i'r rhai digyfraith ac anufudd, i'r rhai annuwiol a phechaduriaid, i'r rhai disanctaidd a halogedig, i dadleiddiaid a mamleiddiaid, i leiddiaid dynion, i buteinwyr, i wryw-gydwyr, i ladron dynion, i gelwyddwyr, i anudonwyr; ac os oes dim arall yn wrthwyneb i athrawiaeth iachus; yn ol efengyl y bendigedig Dduw, am yr hon yr ymddiriedwyd i mi." Yn ol hyn, i bwy bynag yr ymddiriedwyd gweinidogaeth yr efengyl, y mae yn y pulpud, a phob man arall, mewn gair a gweithred, yn wrthweithredydd yr holl anhwylderau a nodwyd gan yr apostol yn y geiriau a ddyfynwyd uchod. Ac os ymddiriedwyd yr efengyl iddo, ac os yw yn ymhyfrydu yn ngwaith y weinidogaeth, nid yw bywyd duwiol, yr hyn sydd yn gweddu i'r weinidogaeth, yn fater o gosb, eithr yn fater o bleser. Os teimla rhywun sydd yn pregethu'r efengyl fod byw yn weddus i'r athrawiaeth iachus yn drais ar dueddiadau, yn hytrach na'i phregethu hi, a dilyn bywyd condemniedig ganddi, gwell yw ei gadael, fel Demas, a throi at y byd presennol.

Y pethau sydd yn gweddu i athrawiaeth iachus yw y byw iachus a noda yr apostol rhagllaw: "Bod o'r hynafgwŷr yn sobr, yn onest, yn gymesur, yn iach yn y ffydd, yn nghariad, mewn amynedd; bod o'r hynafwragedd yr un ffunud mewn ymddygiad fel y gweddai i sancteiddrwydd; nid yn enllibaidd, nid wedi ymroi i win lawer, yn rhoi athrawiaeth o ddaioni; fel y gallont wneuthur y gwragedd ieuainc yn bwyllog, i garu eu gwŷr, i garu eu plant, yn sobr, yn bur, yn gwarchod gartref, yn dda, yn ddarostyngedig i'w gwŷr priod, fel na chabler gair Duw. Y gwŷr ieuainc yr un ffunud cynghora i fod yn sobr, gan dy ddangos dy hun ymhob peth yn esiampl i weithredoedd da." Cofia hyn, fod yn rhaid i'r geiriau fod yn iachus, a'r gweithredoedd yn iachus, ymhob peth, fel y byddo yn iechyd i bawb o'th gwmpas. Bydd dy ddangos dy *hun* ymhob peth yn esiampl i weithredoedd da, yn berarogl Crist i Dduw ac i ddynion; yn ddyn Duw ac yn ddyn dynion, ei berarogl yn esmwyth

yn ffroenau y nefoedd, ac yn iechyd i anhwylderau y ddaear.

Heblaw arogli yn hyfryd mewn pulpud, cofier mai rhaid yw i'r arogl fod yn bêr ymhob man. Mae pregethwr, o anghenrheidrwydd, yn ymwelydd cyson ac yn llettŷwr mewn teuluoedd o wahanol nodweddau ac amgylchiadau; a bydd yn ofynol iddo feddwl y peth cyntaf ymha le y mae yn sefyll, a pha beth sydd yn gweddu i dduwioldeb yn y fan hono. Os bydd llettŷ ac arlwy yn gyffredin, y maent y pethau goreu sydd yno, ac am hyny ni ddylid ddangos sarugrwydd ac anfoddlonrwydd, eithr yn hytrach mwy o foddlonrwydd a mwyneidd-dra er mwyn cysuro y teulu caredig, a'u gadael o dan yr argraff eu bod wedi rhoi boddlonrwydd; ac felly bydd yn dda iawn ganddynt gael cwmpeini pregethwr yn fuan eto, yn gymaint a'u bod wedi cael budd yn ei ymddyddanion a'i weddïau. Bernir nad yw pob ymddygiad mewn teuluoedd yn arogli yn hyfryd—nad ydyw wedi perarogli y tŷ, serch peri chwerthin ar y pryd. Yr oedd y plant ac eraill yn mwynhâu adroddiad dynwaredol o'r hen bregethwr: cymeryd y testun a'i ddarllen fel yntau, efelychu ei lais a'i agweddau, ac yn enwedig yr holl bethau oedd yn arwyddo anwybodaeth ac anmhrydferthwch a ddygid i'r golwg yn llawn, ac felly dal y gŵr duwiol yn wrthddrych difyrwch a chrechwen i'r holl dŷ, yn rhieni a phlant, ac yn weision a morwynion, tra y gadewid yr holl rinweddau a'r doniau ysbrydol o'r golwg. Pa effeithiau y bydd y cyfarfod yna nos Sadwrn yn ei gael ar feddyliau y teulu bore Sabbath wrth wrando y pregethwr yn pregethu ei hun, nid ydwyf yn gwybod; a pha argraff a roddwyd ar eu meddyliau am gymeriad y pregethwr, nis gallaf ddywedyd; ond bydd llawer o'r bobl fwyaf difrifol yn lled awgrymu mai gwell fyddai peidio parhâu pethau felly, er mwyn lles y pregethwr a'r rhai a wrandawant arno, ac nad yw yn berarogl Crist yn y teulu, eithr yn hytrach yn ddrygsawr, nid yn unig yn bresennol, ond mewn adgof dyfodol. Os na bydd cydweddiad rhwng y pregethwr â'r hyn a bregetha ymhob man, bydd yr effeithiau yn gryfach tuag at wneuthur y plant a'r ieuenctyd sydd yn codi yn anffyddwyr nag yn gristionogion.

Goddefwch, fy nghyfeillion, i mi alw eich sylw at bethau a elwir yn gyffredin yn "bethau bychain," eto yn fwy yn eu heffeithiau, fe allai, nag y meddylir gan lawer. Nid ydyw gwibed ond pethau bychain iawn, eto byddent hwy yn gwneuthur enaint peraroglaidd yr apothecari i ddrewi; a'r llwynogod bychain a geir yn aml yn difwyno'r gwinllanoedd mawrion. Ac os bydd rhywbeth rhinweddol, er yn fychan, dywedir wrthym am beidio ei ddiystyru, canys y bach sydd mewn amser yn myned yn fawr. Os drwg bach, neu tebyg i ddrwg, yw rhywbeth nas gellir ei restru ymhlith y pechodau, eithr i fod yn foneddigaidd, a elwir yn anweddeidd-dra, eto, gan fod yr anweddeidd-dra yn terfynu ar y pechodau, gwell, gallem feddwl, yw ymosod arno yn ei wendid, na gadael iddo ymgryfhâu a myned yn bechod ystyfnig, anhawdd i'w roi i lawr. Haws lladd deg sarph drwy ddinystrio yr wyau na lladd un wedi myned yn fawr, heblaw fod y peryglon yn llai.* Ydyw, y mae pethau bychain gydag amser yn myned yn bethau mawrion; ac nid annaturiol yr ymddengys y casgliad mai haws dyfetha y bach na'r mawr, y gwan na'r cryf, y fesen na'r dderwen, yr hedyn mwstard na'r pren mawr. Gwelir fod llawer o bethau heb fod yn gweddu i dduwioldeb nad ydynt, fel y dywedwyd, yn dyfod dan yr enw pechodau, eto, er hyny, wrth eu harfer a'u goddef heb alw sylw atynt, dichon y byddant ryw bryd wedi tyfu a chryfhâu nes dyfod yn adnabyddus fel pechodau amlwg.

* Yr ydym yn barod i blygu yn wastad i arch-olygydd y papyr teuluol-enwadol, yn gymaint a'i fod ef yn ddysgawdwr ac yn ddoethawr; ond braidd yr oeddym yn credu ei fod yn ddifrifol pan yn ein beïo am ddyweyd rhyw bethau mor gyhoeddus wrth draddodi y Cynghor, yn gymaint ag iddo ef eu gwneyd trwy ei bapyr yn fwy cyhoeddus. Gan mai mewn capel yn unig yr oeddynt yn cael eu dywedyd, pe buasai yr arch-olygydd yn peidio eu rhoi i mewn o gariad at y gwirionedd, mae yn debyg iawn y gallesid felly eu cyfyngu i gylch bychan mewn cymhariaeth. Ond dyma'r gŵr doeth yn cwyno oblegid cyhoeddusrwydd, ac ar yr un pryd yn ychwanegu y cyhoeddusrwydd hwnw, ac nid hyny yn unig, ond yn gwneuthur hyny er i ni ddymuno arno beidio cyhoeddi dim o'r Cynghor yn ei bapyr, gan mai yn unig i'r DRYSORFA yr oeddym yn parotoi'r Cynghor yn ysgrifenedig. Eithr yr ydym yn cymeryd yn ganiatäol nad oedd y brawd o ddifrif yn yr hyn a ysgrifenai am danom; a chan hyny yr ydym yma yn galw sylw at "y pethau bychain" yn agos yn yr un ffurf ag y dywedwyd hwynt rhwng muriau'r capel. Maddeuer i ni, Mr. Golygydd, am droi oddiar y llwybr uniawn i sylwi ar bethau bychain; ond y mae hyny, fel pob peth arall, yn arwyddo na fedrwn ni ddim ond pethau bychain.

Un o'r pethau bychain mewn cysylltiad â'r bywyd teuluaidd yw myned i'r gwely yn brydlawn. Ystyrir fod hyn yn lechyd, ac felly, dylid gwneuthur yr arferiad yn ddeddf, gan dalu yr ufudd-dod mwyaf perffaith iddi, oddieithr ar ryw amgylchiadau pryd y bydd pethau anorfod yn dygwydd. Ond nid oes eisieu son am y pethau anorfod a allant ddygwydd unwaith mewn chwe' mis, mwy neu lai; gadewch hyny ymhlith yr eithriadau, a glynwch chwi wrth y rheolau sefydlog; canys pan ddaw yr eithriadau, dichon na fydd y rhai hyny yn rhyw gymaint o brofedigaethau. Eithr nid eithriadau yw y rhwystr, ond arferion blysiog, ac yn enwedig *ysmocio*. Er nad ydys yn rhoi hyn ymhlith y pechodau, eto y mae yn un o breswylwyr y terfynau; ac nid ydyw y clawdd yn drwchus iawn ychwaith; canys, fel rheol, bydd y mynedfa yn rhwydd o un blys i'r llall; y chwant cyntaf, fe allai, yn creu syched, a'r syched yn creu chwant am *beth i yfed*, ac yna y ddeddf deg o'r gloch dan draed yn hollol. Er mwyn eich iechyd, er mwyn eich diogelwch moesol, ac er mwyn pawb, ewch i'ch gwely o gwmpas deg o'r gloch. Fe fydd y penau teuluoedd yn dysgwyl hyny—maent yn arfer hyny, ac y mae yn anghenrheidrwydd teuluaidd. Bydd awgrymiadau anghamsyniol yn cael eu rhoi o gwmpas yr amser hwnw. Ceir gwraig y tŷ yn troi pethau i'w lleoedd, ac yn dywedyd wrth y gŵr dyeithr, "Fe allai eich bod wedi blino; gellwch gael canwyll pan y mynoch." Tybiodd hi fod y pregethwr yn deall yr awgrym; eithr efe, fel y bobl yn yr Aipht, ni ddeallodd fod dim yn y peth, heblaw caredigrwydd gwraig y tŷ. Ymhen chwarter awr wedi hyn y mae hi yn dywedyd, "Nos da, yr wyf fi yn myned; dyna'r ganwyll pan yr ydych yn barod; fe erys y gŵr i ddangos yr ystafell;" ac felly bydd yr hen ŵr boneddig yn aros am awr ymhellach i wylied rhyw grwt yn ysmocio! Un o'r pethau bychain yw hwn, ar yr un pryd y mae yn ddigon mawr i wneuthur i enaint yr apothecari ddrewi; ac hefyd yn ddigon mawr i gynnyrchu peth arall, sef methu codi yn brydlawn y bore. Fel rheol, y dynion ag sydd yn hwyr y nos sydd hefyd yn ddiweddar y bore. Rywbryd i'r gwely rywbryd yn codi! Nid yw hyn yn ateb i deuluoedd trefnus, ac nid ydyw yn gymeradwy gan neb, oddieithr segurwyr. Y mae gwaith gan deuluoedd cyn pryd cwrdd, a rhaid cael amser i barotoi erbyn y cwrdd, wedi troi llawer o bethau heibio, fel ag y mae aros yn y gwely hyd yn agos amser cwrdd, ac eisieu wedi hyn gwneuthur *brecwast* i'r pregethwr, yn anghymhwyso y teulu o ran cyrff a meddyliau at wasanaeth y capel, ar ol gyru pawb yn wyllt ac annhrefnus cyn myned i'r capel. Gwnewch bob peth i wneuthur cân lleied o drafferth ag sydd yn bosibl i'r teuluoedd—cân lleied, pe byddai bosibl, fel na byddont yn ymwybodol fod gŵr dyeithr gyda hwynt. Cofier fod yr ail *frecwast* yn wastad yn arogli yn drwm, ac yn effeithio yn anhyfryd ar eich pregethu. Bydded arogl ymddygiadau gweddus yn y pethau bychain yn gwasanaethu i effeithio arogl pêr yn y pregethu, ac felly gynnorthwyo y dylanwad, ac nid ei wanhâu.

Peth hapus ar ddiwedd y daith fydd gallu dyweyd, "Yn ddiweddaf, frodyr, pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd ganmoladwy, od oes un rhinwedd, od oes dim clod, meddyliwch am y pethau hyn. Y rhai a ddysgasoch, ac a dderbyniasoch, ac a glywsoch, ac a welsoch ynof fi, y pethau hyn gwnewch."

---

## DADGUDDIAD YSBRYD DUW UWCHLAW YSBRYD Y BYD.

PREGETH A DRADDODWYD GAN Y DIWEDDAR BARCHEDIG ATHRAW JOHN PARRY, D.D., BALA.*

1 CORINTHIAID ii. 12: "A nyni a dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw, fel y gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw."

Y MAE yr Arglwydd Iesu wedi ei wneyd i ni gan Dduw yn ddoethineb, ac ynddo ef y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig, ond nid doethineb y byd hwn. Y mae doethineb Duw o ran ei darddiad uwchlaw y byd hwn, ac o gan-

* Traddodwyd y bregeth hon gan Dr. Parry yn nghapel Chatham Street, Liverpool, yn Nghymdeithasfa'r Sulgwyn, 1864; ac ysgrifenwyd hi mewn llaw fer ar y pryd gan y Parch. O. Jones, B.A., Drefnewydd, yr hwn a'i hanfonodd i'r DRYSORFA.

lyniad nid yw ysbryd y byd yn ei amgyffred. Dadguddiad Dwyfol ydyw yr efengyl. Y mae y dadguddiad o honi yn y Bibl yn Ddwyfol; ac y mae'r dadguddiad o'i chyflawnder a'i gogoniant i galon pechadur yn Ddwyfol. Yr Ysbryd Glân ydyw awdwr y ddau. Efe a'i rhoddes yn y Bibl i ni; ac efe hefyd sydd yn rhoddi goleuni i'w ddeall, a theimlad i'w gredu. Y mae pob dadguddiad yn beth newydd ar y ddaear. Yr oedd y greadigaeth weledig, pan ddaeth gyntaf o law ei Chreawdwr, yn hollol newydd. Pan welodd y Duw mawr yn dda roddi dadguddiad cyflawnach o hono ei hunan—dadguddiad cyfaddas i fyd euog—yr oedd hyn eto yn beth hollol newydd—yn beth goruwchnaturiol. Y mae y Duw mawr yn rhoddi i ni ddadguddiad o hono ei hun, yn ei holl weithredoedd: mewn creadigaeth, mewn rhagluniaeth ac mewn prynedigaeth, y naill yn gyflawnach na'r llall; a'r cyflawnaf oll yw y dadguddiad o hono ei hun yn nhrefn y prynedigaeth.

Y mae hyn yn cynnwys, yn un peth, ffeithiau neu weithredoedd mawr y prynedigaeth, yr ymgnawdoliad, bywyd a marwolaeth, adgyfodiad ac esgyniad yr Arglwydd Iesu, ynghyda gwaith achubol Ysbryd Duw ar eneidiau pechaduriaid. Ond y mae y dadguddiad hwn hefyd yn cynnwys, nid yn unig y ffeithiau a'r gweithredoedd yna, ond hefyd ddadguddiad mewn gair, mewn eglurhâd, o'r hyn a ddadguddiwyd mewn gweithred. Fe gyfododd y Duw mawr ddynion ysbrydoledig i dystiolaethu i fywyd Mab Duw ar y ddaear, i egluro egwyddorion ei lywodraeth yn yr hyn a wnaeth, i ddangos ei berthynas â Duw fel ei Hawdwr, ac â dynion fel ei gwrthddrychau, ac i ddangos gwasanaethgarwch creadigaeth a rhagluniaeth i'r prynedigaeth hyd ddiwedd y byd. Ond heblaw tystiolaeth Duw ei hun i'r ffeithiau hyn, y mae dadguddiad Duw o hono ei hunan yn y prynedigaeth yn cynnwys dadguddiad Ysbryd Duw o ogoniant a chyflawnder y drefn i galon pechadur. Tair rhodd fawr Duw, gan hyny, i fyd euog a chondemniedig ydynt, ei Fab yn holl rinwedd a haeddiant bywyd a marwolaeth yr Arglwydd Iesu—ei air fel tystiolaeth i ni am yr hyn a wnaeth yr Arglwydd Iesu, ac fel addewid o gymmod yn ei enw—a goleuni yr Ysbryd Glân i ddadguddio dwyfoldeb y dystiolaeth a gogoniant a chyfiawnder yr hyn y tystiolaethid am dano.

Mewn rhai amgylchiadau, gall fod yn fuddiol i edrych ar y pethau yna ar wahân, sef ffeithiau y prynedigaeth, tystiolaeth Duw i'r ffeithiau yna, a goleuni achubol Ysbryd Duw arnynt i galon pechadur. Ond ni a edrychwn arnynt gyda'u gilydd am ychydig amser, ac ar y geiriau hyn fel dangosiad i ni o natur y dadguddiad sydd yn yr efengyl yn cael ei wneyd i bechadur.

Pa fath ddadguddiad ydyw y dadguddiad sydd yn cael ei wneyd yn yr efengyl i bechadur? Dyna ydyw yr efengyl,—dadguddiad o ras a thrugaredd Duw mewn Cyfryngwr i fyd euog; ac y mae geiriau ein testun yn ddangosiad i ni o natur y dadguddiad hwn—pa fath ydyw? Dyna un peth a ddywedir am dano,—ei fod yn ddadguddiad cyflawn a digonol. Gallwn gasglu hyny oddiwrth ymadroddion y ddegfed adnod: "Canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth, ie, dyfnion bethau Duw hefyd." Y mae yr ymadroddion yma yn ein cyfiawnhâu wrth ddyweyd fod y dadguddiad sydd yn yr efengyl yn ddadguddiad cyflawn, digonol; "dyfnion bethau Duw hefyd." Pa faint bynag ydyw dyfnder trueni dyn, dyma ddyfnion bethau Duw ar eu cyfer.

Fe allai y gallem ddyweyd ei fod yn cynnwys, yn un peth, feddyliau Duw. Y mae holl feddyliau Duw yn ddyfnion; ie, "dwfn iawn yw dy feddyliau." Y maent yn myned i waelod pob peth. Y maent yn cynnwys pob peth. Meddyliau Duw wedi eu sylweddoli ydyw y cwbl a welwn ni; ond meddyliau ei ras yw'r meddyliau dyfnaf o eiddo Duw; meddyliau Duw am y pethau anhawddaf, am y *problem* mwyaf anhawdd a dyrys a gododd erioed mewn un man yn llywodraeth Duw, sef, Pa fodd i gysoni maddeuant y troseddwr â hawliau y gyfraith a droseddwyd? Pe buasai y Bibl ond yn danfon i ni ryw *surmises* o'r byd arall mewn perthynas i ddyn euog, buasent yn werthfawr iawn. Buasai hysbysrwydd am ryw *rumours* yn unig a allasai fod yn y nef am feddwl Duw tuag at ddyn, o werth mawr. Ond yn yr efengyl ni a gawn ei feddyliau dyfnaf—"dyfnion bethau Duw hefyd." Ond y mae yma eto fwriadau Duw. Nid yn unig y mae wedi meddwl, ond y mae wedi penderfynu; y mae ganddo fwriadau. Nid ydyw y cwestiwn o achub wedi ei adael yn gwestiwn agored yn nghynghorau y nefoedd. Na; y mae efe wedi penderfynu achub. Nid yn unig y mae wedi bod yn meddwl uwch ben y cwestiwn, ond y mae wedi gweled y ffordd i benderfynu; y mae wedi penderfynu achub pechadur.

Wel, heb i ni fyned ymhellach yn y ffordd yna, gwelir fod yr ymadroddion yma yn ein cyfiawnhâu i dystiolaethu fod dadguddiad gras Duw yn yr efengyl yn ddadguddiad cyflawn i fyd euog. Pa beth bynag ydyw dy gyflwr neu dy sefyllfa di, bechadur—pa faint bynag ydyw dy euogrwydd a dyfnder dy drueni, dyma ddyfnion bethau Duw ar eu cyfer.

Y mae y dadguddiad sydd yn yr efengyl o ras a thrugaredd Duw, ymhellach, yn ddadguddiad sicr. Gallwn gasglu hyny oddiwrth yr unfed adnod ar ddeg, "Canys pa ddyn a edwyn bethau dyn, ond ysbryd dyn, yr hwn sydd ynddo ef? felly hefyd, pethau Duw, nid edwyn neb, ond Ysbryd Duw." Y mae dirgeledigaethau y Drindod, bwriadau y Jehofah, mor eglur, mor glir, mor uniongyrchol i feddwl yr hwn a lefarodd y Bibl,—i feddwl Ysbryd Duw—ag ydyw meddyliau dyn iddo ei hun. Wel, y mae cymeriad y Dadguddiwr, gan hyny, yn peri i ni ddyweyd fod y dadguddiad yn un anffaeledig; ac yn wir, y mae rhyw dôn o awdurdod ac anffaeledigrwydd yn rhedeg drwyddo. Wrth ddarllen y Bibl, nid ydych yn gweled yr ysgrifenwyr yn chwilio am wirionedd. Wrth ddarllen llyfrau dynion, yr ydych yn gweled ymgais yr awdwr yn chwilio am wirionedd; yr ydych yn ei weled yn mantoli y naill opiniwn ar gyfer y llall, ac yn chwilio am wirionedd. Ond nid felly y cawn ysgrifenwyr y Bibl. Na; y mae y Bibl yn wirionedd. Nid chwilio am wirionedd y mae ysgrifenwyr y Bibl, ond y maent wedi ei gael. Y mae y Bibl yn dyfod adref at eich teimlad a'ch cydwybod fel gwirionedd, ac y mae rhyw awdurdod Dwyfol i'w deimlo ynddo. Yn wir, y mae pob dadguddiad, o ran hyny, â rhyw awdurdod neillduol yn perthyn iddo. Edrychwch ar ddyfeisiau dynion i oleuo y byd;—ar eu lampau, eu *gas*, ar eu cynlluniau a holl ddyfeisiau dynion i oleuo y byd —onid ydynt yn debyg iawn i weithredoedd dynion? Er iddynt oll wneyd eu goreu, nis gallant droi un nos yn ddydd. Na; ni ddarfu dynion lwyddo o ddechre y byd hyd yn awr, ac yr ydym yn teimlo yn lled sicr y gallwn feiddio dyweyd, na lwyddant hyd ddiwedd y byd, i droi un nos yn ddydd gyda'u holl ddyfeisiau. Ond edrychwch ar ddadguddiad Duw i oleuo y byd—i ymlid ymaith dywyllwch naturiol. Ni raid i'r haul ond dangos ei wyneb, ac y mae ar unwaith mor awdurdodol, mor ddiymhongar, mor Ddwyfol, fel y mae yn ymlid ymaith dywyllwch y byd i gyd. Y mae rhywbeth Dwyfol yn ei ddull o wneyd hyny. Ac yn wir nid wyf fi yn synu, os addoli creaduriaid a wna dynion, fod yn ddigon naturiol iddynt ei addoli ef. Os addoli duwiau gau a fynant, nid rhyfedd fod y gwledydd mwyaf goleuedig wedi rhyw gydsynio i addoli yr haul, oherwydd mae rhywbeth mawreddog yn ei ddull o ymlid ymaith dywyllwch y byd. Wel, fel yna y mae dadguddiad Duw i ymlid ymaith y tywyllwch sydd ar gyflwr pechadur—y tywyllwch sydd ar gyflwr y byd. Y mae yn Ddwyfol, ac y mae rhyw dôn o awdurdod Dwyfol yn rhedeg drwyddo. Ac nid hyny yn unig, ond y mae yma sicrwydd Dwyfol a chyflawnder Dwyfol wedi eu huno â'u gilydd. Peth anhawdd iawn i ddynion ei wneyd yw uno sicrwydd a chyflawnder â'u gilydd. Os myn dynion y sicrwydd mwyaf, rhaid iddynu ymfoddloni ar lai na'r llog uchaf. Os mynant sicrwydd y llywodraeth, rhaid iddynt ymfoddloni ar gymeryd llog y llywodraeth. Ymddengys fod hwn yn rhyw gwestiwn anhawdd i ddynion ei ateb—pa fodd i uno y sicrwydd mwyaf gyda'r cyflawnder mwyaf? Ond yn nhrefn Duw, dyma gyflawnder Dwyfol; dyma "ddyfnion bethau Duw hefyd." Ac nid hyny yn unig, ond y mae yma awdurdod Dwyfol ar y cyfan. Wel dyma ddadguddiad, ynte, sydd yn cyfarfod âg anghenion pechaduriaid fel nyni.

Ond, dyna beth arall am y dadguddiad o ras a phenarglwyddiaeth a gawn yn y Bibl—y mae yn un goruwchnaturiol. "A nyni a dderbyniasom nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw, fel y gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw." Y mae ysbryd y byd a'r Ysbryd sydd o Dduw yn cael eu cyferbynu â'u gilydd; ac y mae ysbryd y byd yn cael ei osod allan fel anghymhwysder i adnabod "y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw." Y mae y drefn yma, gan hyny, uwchlaw ysbryd y byd a gallu y byd, hyny yw, y mae yn oruwchnaturiol.

Y mae ysbryd y byd yn ymddangos mewn llawer o ffyrdd, rhai gwell a rhai gwaeth na'u gilydd. Ond ped edrychem ar ysbryd y byd mewn un neu ddau o'i ffurfiau goreu, gallwn weled fod ysbryd y byd yn analluogi dyn i adnabod "y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw."

Edrychwn ymlaenaf ar ysbryd doethineb y byd, ac yna ar ysbryd masnach y byd. Ac fe allai nad yw ysbryd y byd ddim yn ymddangos mewn ffurfiau gwell na'r rhai yna —ei ysbryd doethineb a'i ysbryd masnach. Wrth ysbryd doethineb y byd yr ydym yn deall gwybodaeth y byd hwn, celfyddydau y byd, athroniaeth y byd, y ffurf oreu, fe allai, ar ysbryd y byd. Nid yw yr apostol yma yn gwadu defnyddioldeb pob peth, a doethineb y byd hwn yn ei le ei hunan. Nid yw yn anghenrheidiol i ninnau ganmawl y manteision a ddeillia o honynt—y gallu y maent yn ei roddi i ddyn ar elfenau y byd, y dyrchafiad y maent yn ei roddi iddo mewn cymdeithas. Y mae y pethau hyn oll yn amlwg ac addefedig; ond nid ydynt uwchlaw y byd. Y maent yn codi o anghenion a dymuniadau naturiol dynion, ac yn cyfarfod â hwynt. Y mae ysbryd y byd yn y cwbl. Y mae yn wir ei fod yn galluogi dynion i dreiddio i lawr i ddirgeledigaethau y greadigaeth, a darostwng ei deddfau i'w wasanaeth, ac

felly eangu ei wybodaeth am danynt. Y mae yn ei alluogi i dreiddio i ddirgeledigaethau ysbryd ei hunan, ïe, i fyned ymhellach, i gasglu profion o ddoethineb a daioni y Creawdwr yn ngwaith y creadur. Y mae yn bosibl i ysbryd y byd wneyd y cwbl, ac eto fod yn analluog i adnabod "dyfnion bethau Duw.

Pe gofynem am foment beth allai fod yr achos fod y doethineb sydd yn alluog i dreiddio i gynifer o ddirgeledigaethau yn analluog i adnabod y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw, gallai y caem un ateb oddiwrth yr ymadroddion a gawn yn yr adnodau hyn, fel dadguddiad o efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Dyna un ymadrodd: "doethineb Duw mewn dirgelwch." Dyna un arall: "y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef," ynghyda "dyfnion bethau Duw;" "y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw." Ac mewn manau eraill, cawn "efengyl gras Duw," "efengyl gogoniant Crist," efengyl ein hiachawdwriaeth," "codiad haul o'r uchelder;" "afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel grisial, yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen." Y mae yr holl ymadroddion hyn yn dangos i ni, yn un peth, mai trefn ydyw trefn yr efengyl sydd wedi tarddu o ewyllys a phenarglwyddiaeth Duw. Trefn penarglwyddiaeth gras Duw ydyw; ac y mae hyn yn un rheswm paham nad all doethineb y byd yma adnabod y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw. Y mae llawer o egwyddorion mewn bôd, ïe, egwyddorion tragywyddol, sydd heb fod uwchlaw rheswm dyn. Y mae dyn wedi ei greu ar ddelw Duw. Y mae llawer o egwyddorion natur Duw wedi eu hysgrifenu ar natur dyn; ac yn ngoleuni yr egwyddorion hyny, y mae dyn yn gallu ymgodi oddiwrth ei feddwl ei hun at feddwl Duw, a gwybod i raddau helaeth pa beth ydyw meddwl Duw ar y pethau hyn. Y mae dynion yn gweithio allan gorff o wybodaeth naturiol iddynt eu hunain, allan o'u meddyliau eu hunain. Ac y mae y wybodaeth yna—mor bell ag y medr cynneddfau meidrol neu gynneddfau dyn ei dilyn—yn arddangosiad o feddwl Duw ar y pethau yna. Meddyliwch am fynyd fel y mae gweithredoedd Duw yn y greadigaeth naturiol yn gweithio yn unol âg egwyddorion sydd yn meddwl dyn. Y mae peiriannwaith y greadigaeth weledig yn gweithio yn unol âg egwyddorion sydd yn y meddwl dynol. Y mae dyn yn gallu deall llawer o weithredoedd y greadigaeth, ysgogiadau bydoedd yn y ffurfafen, yr un fath ag y mae yn deall peiriannau o'i wneuthuriad ei hunan. Y mae yr un egwyddorion yn y naill a'r llall. Y mae *chemistry* y nefoedd a'r ddaear yn berffaith debyg i'w gilydd. Y mae dynion yn medru ymgodi oddiar egwyddorion naturiol eu meddyliau eu hunain at yr egwyddorion cyffelyb sydd yn meddwl Duw. Meddyliwch eto am wirioneddau moesol. Y mae yn wir fod dyn, drwy y cwymp, gyda golwg ar wirioneddau moesol, nid yn unig wedi ei wanhâu, fel y mae gyda golwg ar y gwirioneddau y cyfeiriem atynt o'r blaen, ond wedi ei lygru; y mae wedi ei wyrdroi. Ond er hyny nid yw wedi colli yn hollol yr egwyddorion a ysgrifenwyd yn ei natur yn wreiddiol. Na, y mae rhyw olion eto yn parhâu o'r gwirioneddau hyn. Nid rhaid i ddyn wrth oleuni achubol i ddeall beth yw cyfiawnder. Na, fe ŵyr pawb o honoch beth ydyw gwirionedd; gŵyr pawb beth ydyw elusengarwch. Ond er fod gwirioneddau naturiol a moesol fel hyn yn wirioneddau ag y gall dyn gael syniad am danynt drwy weithrediad ei gynneddfau naturiol ei hunan, eto am wirioneddau yr efengyl—dadguddiad Duw i gyfarfod euogrwydd y byd—nid oes dim yn natur dyn na'i gydwybod, dim yn ei reswm, dim yn y doethineb uchaf a gyrhaeddodd y byd erioed, i'w arwain i feddu y syniad lleiaf am y rhai hyn. Gwaith gras Duw, ewyllys Duw, a phenarglwyddiaeth Duw, yw y cwbl.

Felly trefn ydyw hon sydd wedi tarddu o feddwl, o ewyllys, o benarglwyddiaeth gras y nefoedd. Nid ffrwyth rhyw anghenrheidrwydd, nid cynnyrch tynged ydyw y drefn hon, ond ffrwyth cariad, penarglwyddiaeth, a doethineb Duw ei hunan. Cawn yr Arglwydd Iesu Grist yn fynych yn olrhain y drefn i fyny at ewyllys ei Dad: "Yr wyf yn diolch i ti, O Dad, Arglwydd nef a daear, am i ti guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u dadguddio o honot i rai bychain.Ië, O Dad, canys felly y rhyngodd i ti." Y mae y Gwaredwr mawr mor bell oddiwrth weled dim yn ewyllys ei Dad yn anghyson â'r marw rhyfedd ar Galfaria, fel y mae yn gweled testun diolchgarwch fod y drefn yn ei chynllluniad a'i dadguddiad wedi tarddu o ewyllys a phenarglwyddiaeth ei Dad. Dyma fel y dywed yr apostol Paul: "Gwedi iddo hysbysu i ni ddirgelwch ei ewyllys, yn ol ei foddlonrwydd ei hun, yr hon a arfaethasai efe ynddo ei hun." Y mae yn olrhain iachawdwriaeth pechadur i ewyllys Duw—i ddirgelwch ei ewyllys ef, i gynghor ei ewyllys ef, i foddlonrwydd ei ewyllys.Ië, y mae yma ewyllys; mwy na rhyw ddymuno yn dda, y mae yma ewyllysio. Y mae wedi penderfynu achub. Y mae hynyna yn un o'i benderfyniadau dyfnaf, os nad hwna yw penderfyniad dyfnaf y Jehofah ei hunan. Nid oes dim yn nyfnderoedd ewyllys Duw yn anghyson â hynyna. Fe allai fod ambell un weithiau yn barod i ryw feddwl a

theimlo pe na buasai ond y Bibl, y buasai yn gweled gobaith am ei fywyd—pe na buasai ond ewyllys ddadguddiedig Duw yn bod. Ond, O fy enaid, gelli benderfynu nad oes llai gras allan o'r golwg nag sydd yn y golwg. Pa faint bynag welaist yn y Bibl, pa faint bynag o gyfoeth gras a thrugaredd y buost yn sefyll uwch ei ben yn yr efengyl, nid oes llai yn meddwl, yn ewyllys, yn nghynghor ac yn arfaethau y Jehofah mawr ei hunan: "Dirgelwch ei ewyllys ef." Ni raid i ti, fy enaid, ofni fod dim yn nirgelwch ei ewyllys ef sydd yn anghyson â dy iachawdwriaeth dragywyddol. Wel, trefn, ynte, ydyw hon sydd yn newydd iawn i'n byd ni. "Cyfammod newydd," "testament newydd." Nid oedd yna ddim mewn natur, dim mewn rhagluniaeth, dim yn nghydwybod dyn, dim yn nyfnderoedd ei galon, a fuasai yn rhoddi yr awgrymiad lleiaf am y drefn hon. Nid fflach awyren, nid *meteor* a ymddangosodd yn y ffurfafen i ddiffodd wedi hyny, ond "codiad haul o'r uchelder" ydyw trefn yr efengyl. Pe buasai bywyd yn dyfod i'r euog drwy weithrediad naturiol unrhyw ddeddf, buasai yn bosibl i ddyn drwy ei ddoethineb allu ymgodi ati; ond y mae bywyd i'r euog uwchlaw pob deddf ond deddf gras. Creadur dan ddeddf ydyw dyn. Y mae rhyw rwydwaith o ddeddfau o'i amgylch ymhob man. Edrychwch arno fel y mynwch, y mae wedi ei wau oddiamgylch gan ddeddfau. Edrychwch arno fel deiliad llywodraeth wladol,—gweinyddu deddfau, gweinyddu cyfiawnder a barn, yw amcan llywodraethau gwladol. Gweinidogion cyfiawnder ydyw ei gweinidogion hi; a phe byddai rhai o honoch yn anghytuno â rhyw benderfyniad o eiddo un o'i llysoedd, gallech appelio hwyrach at lys uwch. Ond llys cyfiawnder fyddai hwnw wedi hyny—*court of equity*. Nid oes un llys yn meddiant ein brenines ni â'i amcan yn benodol i weinyddu trugaredd. Nid wyf yn deall fod ganddi gymaint ag un swyddog wrth ei swydd i weinyddu maddeuant. Na, nid yw llywodraethau gwladol yn rhoddi engraifft o un llys gyda'i amcan i weinyddu trugaredd a maddeuant. O ganlyniad, nid nid oedd ar ein daear ni, yn ngweithrediadau llysoedd ein byd ni, ddim tuag at ein harwain i feddwl am faddeuant i'r euog.

Edrychwch ar ddyn eto fel deiliad o lywodraeth naturiol Duw. Y mae dan ddeddf yno, deddf y dwfr, a'r tân, a deddfau yr holl elfenau. Dan ddeddf yr ydym i gyd; ond a ŵyr rhai o honoch am ryw beth tebyg i faddeuant yn nghanol y deddfau yma oll? Na, nid oes gysgod maddeuant yn un man. Nis gallasai dyn byth awgrymu fod arwydd o fywyd i'r euog oddiwrth ddim o weithrediadau naturiol ein byd ni. Ond pe buasech yn myned gam yn uwch eto at y ddeddf dragywyddol a artrefa yn mynwes Jehofah, ac sydd â'i hadlais yn nghydwybod dyn, ac edrych ar honyna, nid all hithau swnio un sill o'r gair maddeuant. Y mae, gan hyny, yn drugaredd i ni fod modd i'w gael uwchlaw deddf, uwchlaw haeddiant personol, uwchlaw pob peth a welwch ar y ddaear. Y mae dynion mor brysur y dyddiau hyn fel y mynent garcharu yr Anfeidrol ei hunan o fewn carchar elfenau marw. Ni roddant ryddid iddo i gyflawni un act uwchlaw deddf. Ond bendigedig fyddo enw Duw: dyma *system* gyfan, trefn gyflawn, a'r cyfan uwchlaw deddf a haeddiant personol. Wel, fy enaid, pa beth bynag yw dy gyflwr, dyma drefn berffaith gyfaddas i ti. Pa le bynag yr wyt y tu yma i uffern, dyma drefn sydd yn uno gogoniant Duw a bywyd i'r euog yn yr un man.

Ond, dadguddiad ydyw hwn, eto, uwchlaw ysbryd masnach y byd. Rhywbeth dyeithr i ysbryd annibynol a masnachol y ddaear ydyw derbyn pethau yn rhad. Y mae dynion mewn masnach yn ymddibynu arnynt eu hunain. Arian a gwerth yw *circulating medium* marchnadoedd y ddaear. Ond ni buasai gobaith i ni am fywyd yn ol trefn fel hyna. Ond i Dduw y byddo'r diolch, y mae genym drefn o dan yr efengyl sydd "heb arian ac heb werth," a gelli gael teitl priodol i'r cwbl: "Deuwch, prynwch a bwytewch; ïe, deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian ac heb werth." "Nid oes arian genyf fi," medd y dyn. Wel, ti a gei yma heb arian; prynwch heb arian ac heb werth. Gallai fod rhywun yn barod i ofyn, Pa hawl, pa sail sydd gan greadur tlawd, euog, fel fi i estyn ei law i'w derbyn? Wele un gair yn cynnwys y cwbl sydd eisieu ei ddyweyd ar hyn: Am fod Duw yn ei roddi. Onid ydyw hyny yn ddigon? Nis gelli dderbyn, mae yn wir, os na bydd rhoddi. Ië, medd y testun, "a rad-roddwyd i ni gan Dduw." Y mae wedi rhoddi, ac wedi addaw rhoddi. Y mae yn dadguddio ei hunan fel Rhoddwr. A chan ei fod felly, paham y petrusi dderbyn? Derbyn ynte, fy enaid. Ymdafla ar drefn Duw yn y cyfarfod hwn. Ti a fyddi yn defnyddio goleuni yr haul mor ddibetrus â phe buasai wedi ei greu i ti dy hunan. Paham? Onid am fod Duw wedi ei roddi y defnyddiwn ef felly? Wel, fy enaid, y mae wedi rhoddi ei Fab yn oleuni i'r cenedloedd. Derbyn dy fywyd ganddo. Bendithied yr Arglwydd ei wirionedd trwy Grist. Amen.

---

# Hanesynau ac Adroddiadau.

### ADGOFION AM DDIWYGIAD BEDDGELERT.

*Gan y Parch.* ROBERT ELLIS, *Ysgoldy.*

*(Parhâd o tu dal.* 381.)

AETH y newydd am y cyffro rhyfeddol yn Meddgelert fel tân gwyllt yn ebrwydd trwy'r wlad. Cyrchai dynion o bell ac agos i weled y diwygiad; ac, yn wir, yr oedd yn werth ei weled. Byddai o werth gan angylion, o ran hyny, gael *trip* i'r ddaear er gweled gras eu Duw yn gwneyd gwaith mor ogoneddus ar ei cholledigion. Ond dyna oedd yn hynod, yr oedd y diwygiad hwn â rhywbeth yn heintus ynddo; pa air gwell? Byddai y dyfodiaid yno o ardaloedd eraill yn *catchio* yr haint, ac yn ei ddwyn gyda hwynt i'w gwahanol ardaloedd yn hollol yr un cyfryw beth ag yn Meddgelert! Pa gyfrif sydd gan yr athronwyr yna, sydd yn gwybod y dirgelion oll, i'w roddi am y ffaith hon, tybed? Ond y ffaith ydyw, modd bynag. A chyn pen ychydig wythnosau neu fisoedd, yr oedd holl ardaloedd Arfon, Eifion, a Lleyn, yn un cyffro byw o adfywiad crefyddol. Daeth nifer o Ddolyddelen, fel o fanau eraill, i Feddgelert i weled y diwygiad. A dywedir eu bod wrth groesi y mynydd tuag yno yn llawn cellwair, ac yn eu plith Cadwaladr Owen mor gellweirus â neb; ond daethant adref yn ol wedi eu lladd a'u bywhâu. Yn ganlynol daeth Dolyddelen, Penmachno, a'r cylchoedd, yn llawn o'r un deffröad, ac o'r un cyffro. Yr un modd mae yn cyrhaedd y Penrhyndeudraeth, a thros y Traethau i Feirionydd; a pha le y bu ei derfynau eithaf nis gwyddom. Amser rhyfedd oedd hwn! amser yr oedd dynion o bob oed, gradd, a rhyw, a llawer o rai diofal a diystyr, wrth y cannoedd a'r miloedd, yn cael eu dwysbigo yn eu calonau a'u deffroi, a'u dychwelyd at Grist a'i grefydd. Sain cân a moliant fyddai i'w glywed drwy y bröydd, a hyny yn fynych hyd drymedd y nos. A mynai llawer fod yr angylion yn dyfod yn lluoedd i awyrgylch y ddaear i gymeryd rhan yn y cydgan. Ac nid rhyfedd hyny, gan eu bod yn cymeryd y fath ddawr yn ngwaith gras Duw yn gwneyd saint o'i phechaduriaid. "Y canu yn yr awyr!" pa beth ydoedd, ai dychymyg ai rhywbeth arall, nid awn i ddyfalu. Ond hyn a wyddom, mai nid gwaith hawdd fyddai darbwyllo y rhai a'i clywsant i gredu nad ydoedd yn ffaith mor wirioneddol â dim a glywsant erioed. Ryw nos Sabboth yn ngwres y diwygiad, yn nhŷ Capel Coch, Llanberis, galwyd ar Mr. Richardson, Caernarfon, allan i glywed y "canu yn yr awyr," ac yr hwn oedd yntau yn anghredin iol o'r fath beth. Ar ol myned allan ac ymwrando, codai ei ddwylaw, a dywedai, "Dyna nhw fel swn dyfroedd lawer, ac fel sain telynorion yn canu ar eu telynau." Yn yr adeg hafaidd hon ar y diwygiad, byddai rhyw eneiniad bendigedig ar bob moddion o ras. Byddai yn hawdd pregethu—yn hawdd canu a gweddïo, a rhyw awelon hyfryd yn gwasgaru eu peraroglau gyda phobpeth. Y cwestiwn anhawdd ei benderfynu mewn teulu a fyddai, pwy a arosai gartre' i warchod; pawb am fyned i'r capel.

Byddai yn hawdd croniclo llïaws o bethau hynod a gymerodd le yn y cyffröad rhyfeddol hwn yn Meddgelert a manau eraill. Weithiau byddai deffröad a dychryn yn dal dynion yn sydyn ac ar unwaith, gan nad pa le y byddent. Megys un ferch ieuanc, merch fferm yn un o nentydd y Wyddfa, o ran pryd a pherson yn un o'r rhai mwyaf prydferth yn y fro, ac yr oedd hithau yn deall hyny, ac hefyd yn un o'r ychydig oedd yn dirmygu y diwygiad. Ond un bore Sabboth, pan yn y fuches yn godro, disgynodd rhyw ystyriaeth i'w meddwl mor sydyn, mor nerthol, fel ag y torodd allan yn y fan i lefain dros y nant. A llefain am ei bywyd dan deimlad o ddychryn colledigaeth yr oedd y llances; ac nid gorchwyl hawdd a fu ei thawelu. Troes yr argyhoeddiad sydyn a hynod hwn yn wir ddychweliad i'r llances brydferth hon. Ac er na welodd henaint, eto daeth yn fam yn Israel; a chofir yn dda am ei sirioldeb hawddgar pan yn gweini i'r achos goreu. Mor wresog fyddai teimladau y llïaws y pryd hyn, fel y byddai dechre swnio canu rhyw bennill yn ddigon i'w heunyn i orfoledd. Dywedir fod Richard Williams, mab Hafod y Rhisgl, yn myned gyda'r forwyn yn y gert i bentref Beddgelert, ac iddynt ddechre canu rhyw bennill, ac o ganu i orfoleddu, a than orfoleddu y daethant i'r pentref. Ond nid oedd gorfoleddu yn y gert yn peri cymaint syndod; yr oedd gorfoleddu y pryd hwnw yn beth mor gyffredin ymhob rhyw le. Yr hyn a barai syndod oedd, fod y meirch wedi talu mwy o sylw i'r ffordd na'r neb oedd i'w gyru. Clywsom Richard Roberts, Cae'rgors, Beddgelert, yn dywedyd eu bod yno, ar yr adeg boeth hon ar y diwygiad, yn cario gwair, a'i fod ef yn y galais yn gofalu am y dâs, ac iddo rywbryd o ben y dâs daflu ei olwg at y Weirglodd, pan er ei syndod y gwelai griw y cae gwair wedi taflu eu cribiniau—yn gorfoleddu ac yn neidio â'u holl egni. A'r achlysur i hyn drachefn oedd dechre swnio canu y pennill,

"Mae'r Iesu oll yn hawddgar,
Ydyw 'n wir;
Mae yn well na phethau 'r ddaear,
Ydyw 'n wir:
Ennillodd ef fy nghalon;
Ffarwel, eilunod mudion,
Mae gwedd ei wyneb tirion,
Ydyw 'n wir,
Yn foroedd o gysuron;
Ydyw 'n wir."

Yr ydym yn rhoddi y pennill uchod yn llawn, am ei fod, ynghyda phennillion o'r un hŷd, yn hoff bennillion y diwygiad. Wel, mae yn anmhosibl i ni, mewn oes mor oer a rhewllyd ar deimladau crefyddol âg yw yr un bresennol, gydymdeimlo â theimladau mor wresog a thanllyd, ac mor barod i dori allan yn orfoledd ag oedd y rhai hyn. Ac eto dylid cofio nad yw difrawder yr oes galed hon wedi newid dim ar bwysfawredd y pethau a gymhellir arnom i'w credu yn ngair Duw. Y mae cymaint o echryslonrwydd o hyd yn ngholledigaeth dyn, a'i weled yn glir, âg a lanwai y dyn cryfaf ei *nerve* â dychryn marwolaeth; ac mae y fath fawredd gogoneddus o hyd yn parhâu yn nhrefn gras Duw i gadw pechadur colledig, a'i adnabod yn ngoleuni'r Ysbryd, ag a roddai holl enaid dyn ar dân mewn mawl a chlodforedd! Nid oes unpeth y gweddai i ni gywilyddio yn gymaint o'i herwydd â bod ein meddyliau yn rhy ddwl i weled, a'n calonau yn rhy ddaearol i deimlo, yr hyn bethau y mae y Duwdod yn ymogoneddu ynddynt, a'r angylion yn chwennych edrych arnynt. Ond ni a gredwn, er pobpeth, fod y marwor sanctaidd—y "meddwl puraidd," i'w gael eto yn nghalonau miloedd ein cenedl, ond ei fod dan ludw; a phe delai yr hen awelon i chwythu arnynt, fe roddid ein Cymru anwyl eto ar dân er maint ei chlauarineb!

Yn mis Medi yn y flwyddyn 1818, sef yn ngwres y diwygiad, y cynnelid y Gymdeithasfa yn Nghaernarfon, yn yr hon y pregethodd Ebenezer Morris y bregeth hynod ar y geiriau, "Y gwaed hwn a wna gymmod dros yr enaid." Pregeth i'w chofio oedd hon. Mae yr ychydig sydd eto yn fyw—a rhyw un yma ac un acw ydynt erbyn hyn—ag oedd yn gwrando pregeth "y gwaed hwn," yn cofio yn dda am dani. Nid rhaid ond ei choffa iddynt na bydd eu llygaid yn y fan yn sirioli. Er y cyfrifid Ebenezer Morris yn dywysog fel pregethwr ymhlith ei frodyr, eto fe'i dyrchafwyd y tro hwn ymhell uwchlaw iddo ei hun. Yr oedd ei lais yn naturiol, fe ddywedir, fel udgorn, yn uchel, yn glir, a soniarus, ac yn cynhyrfu teimladau y galon. Yr oedd pob peth pregethwr o radd uchaf wedi cydgyfarfod ynddo yn gyflawn a phrydferth. Ond *ei floedd*, fel ein hysbysir, oedd yn coroni y cwbl. Bloeddiai ryw air fyddai yn ei destun drachefn a thrachefn, a rhyw oleuni newydd yn fflachio i deimladau ei wrandäwyr gyda phob bloedd. Yr oedd ei floedd y tro hwn wrth waeddi "Y gwaed hwn," drosodd a throsodd, yn fwy o udgorn Duw na dynol. Yr oedd Duw yn y floedd, nes yr oedd beddau yn agoryd, a meirw yn cael eu bywhâu. Yr oedd dylanwad a nerth ei floedd, nid yn unig yn cynhyrfu ac yn tanio y gynnulleidfa fawr oedd o'i flaen ar y maes, ond hefyd yn sobri ac yn dystewi y crachfonedd oedd draw yn segura ac yn dirmygu ar fryn y Twthill. A disgynai ei floedd hefyd fel taran ar y dref, gan greu braw a syndod ar y rhai a drigent yn y tai ac a grwydrent yr heolydd. Ië, pregeth i'w chofio a fu hon! mae pawb a'i clywodd yn ei chofio ymha fyd bynag y maent. Gwnaeth pregeth "y gwaed hwn" waith mawr; bu yn godiad i achos y Methodistiaid yn y dref, ac yn achubiaeth i gannoedd o bechaduriaid, fel y gellir hyderu; a bu felly i rai cymeriadau tra isel yn Nghaernarfon, ac yn eu plith un butain gyhoeddus nodedig. Daliwyd y fenyw ddrygionus hon yn ddisymwth megys â gwŷs o'r nef, ac ymddrylliai gan gnofëydd cydwybod; ond daeth y "gwaed hwn" â gobaith i'w henaid trallodedig. A bu y tro iddi yn edifeirwch i fywyd. Er y bu ei thymher naturiol wyllt yn llawer o boen iddi hi ac eraill drwy ei hoes, eto clywsom Mr. Robert Evans, yr hen ddiacon enwog yn Nghaernarfon, yn dywedyd am dani ar ryw achlysur mewn Cyfarfod Misol, ymhen ugain mlynedd a mwy ar ol hyn, fod mwy o ôl gras Duw ar Jane Prichard na neb a adwaenai ef. Bu y Gymdeithasfa hon, fel y gallesid dysgwyl, yn hynod ar gyfrif ei gorfoledd. Ymwasgarai y dorf o'r maes i heolydd y dref, yn gannoedd, os nad miloedd, mewn hwyl gorfoledd. Rhoes hyn ail daniad i'r diwygiad, gan ei weithio rhagddo yn fwy angerddol nag o'r blaen, os oedd modd. O'r Gymdeithasfa hon y torodd y diwygiad drosodd i lànau Môn. Pa mor bell yr ymledodd dros yr ynys nid ydym yn gwybod. Os ydyw ein hadgof yn gywir, yr oedd yn ddiwygiad grymus yn Môn pan ddaeth y Gymdeithasfa ymhen y ddwy flynedd drachefn i Gaernarfon. Ai parhâd o'r un blaenorol oedd hwnw, nid ydym yn sicr.

Fel peth naturiol i'w ddysgwyl, nis gallasai cyffröad mor nerthol ag oedd y diwygiad hwn barhâu am amser maith. Buasai hyny, ni a dybygem, yn ormod i'r natur ddynol yn y bywyd hwn. Mae cyffro mawr yn naturiol mewn amser yn disgyn i lonyddwch. Eto parhâodd gwres y diwygiad yn nheimladau lliaws mawr yn

yr eglwysi i fesur go helaeth am flynyddoedd. Ond fel yr oedd y cyffro yn tawelu, dechreuodd pethau dreio i'w *level* briodol. A daeth pethau poenus i ddechreu tori allan mewn cwympiadau a gwrthgiliadau; nifer nid bychan o'r rhai mwyaf tanllyd yn y diwygiad yn dychwelyd, fel yr hwch er ei golchi, i'w hymdreiglfa yn y dom. A fu rhyw adfywiad crefyddol mewn unrhyw wlad neu oes, na byddai i'r diafol yn y diwedd lwyddo i wneyd rhyw gawl o hono i'w amcanion drygionus ei hun? Tebygol mai at gyffröadau fel y diwygiad hwn gyda'i deyrnas y cyfeiria ein Gwaredwr pan y dywed, "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i rwyd a fwriwyd yn y môr, ac a gasglodd bob rhyw beth." Felly yn gymhwys y bu yma. A bellach, gwaith poenus yr eglwysi a'u swyddogion a fu bwrw ymaith y rhai drwg, a gwneyd y goreu o'r rhai da. Ond wedi tynu ymaith y *wear and tear*, ys dywed masnachwyr, yr oedd y cynnyrch pur i'r eglwysi drwy y wlad yn fawr dros ben. Do, gwnaed gwaith mawr a gogoneddus, a hyny mewn amser byr! Nid oedd yn holl Arfon cyn y diwygiad hwn, os ydym yn cofio yn gywir, ond rhyw bymtheg o gapelau, a'r rhai hyny, oddieithr dau neu dri, yn rhai bychain a salw, wedi eu gwneyd y ffordd gyntaf a'r ffordd rataf. A dyna hefyd oedd rhif yr eglwysi, oddigerth fod un neu ddwy wedi dechre ymffurfio mewn tai annedd, a'r rhai hyny hefyd yn wan a thlodaidd, a nifer o honynt wedi bod er ys amser maith yn boenus o ddigynnydd. Golwg isel oedd ar Fethodistiaeth yn Arfon yn flaenorol i'r flwyddyn 1818; ond yn ganlynol i'r diwygiad bendithiol hwn, bu raid ëangu ac ailadeiladu braidd yr oll o'r capelau hyn. Ac yn bur fuan bu raid adeiladu deuddeg neu fwy o gapelau newyddion, mewn manau nad oedd yr un yn flaenorol, a sefydlu cynifer â hyny o eglwysi newyddion. Mor ryfeddol y llwyddodd gair Duw, ac y cynnyddodd yr achos goreu trwy'r adfywiad hwn, fel y tybiwn, er nad oes genym ystadegau i brofi hyny, fod rhifedi yr aelodau eglwysig yn Arfon wedi treblu wrth yr hyn ydoedd yn flaenorol.

Dyma yr adeg hefyd y dechreuodd Methodistiaeth Arfon ddyfod yn enwog, goddefer y gair, ar gyfrif dyledion eu capelau. Ac y maent wedi cadw ar y blaen yn eu henwogrwydd hwn, bid a fo, hyd heddyw. Mae poblogaeth Arfon yn nghorff y triugain mlynedd diweddaf, fel y mae yn hysbys, wedi cynnyddu yn llawer cyflymach nag un rhan arall o Ogledd Cymru. Ac o ddaioni Duw, mae gwrandawiad yr efengyl wedi cynnyddu bron yn gyfartal. Byddai y cynnydd mor gyflym, yn enwedig yn ardaloedd y chwarelau, fel y byddai capel da yn ebrwydd yn myned yn rhy fychan, a byddai raid ei helaethu. Codai pentrefi poblogaidd mewn byr amser mewn lleoedd nad oedd neb wedi dychymygu am y fath beth yn flaenorol; a rhaid oedd i rywrai ddarparu lle a moddion crefyddol ar eu cyfer. Gwir y gwnaeth enwadau eraill eu rhan yn ardderchog at hynyma; a da fu eu gwaith: buasai y dasg yn ormod i un enwad, a hwnw braidd oll yn weithwyr. Disgynodd y gorchwyl hwn hefyd o ddarparu addoldai ar gyfer poblogaeth gynnyddol ar Fethodistiaid Arfon yn arbenig, ar adeg wasgedig iawn ar amgylchiadau bydol y trigolion. Yr oedd masnach y deyrnas wedi parlysu, y gwaith yn brin, a'r cyflog yn brinach, a holl adnoddau y deyrnas wedi eu trethu i'r eithaf, o herwydd y rhyfel maith a mwyaf gwastraffus fu yn holl hanes Prydain Fawr, yr hwn oedd wedi terfynu ychydig yn flaenorol i ddiwygiad Beddgelert. Ac felly y gwaith mawr a pharhâus yn Arfon byth er y diwygiad hwnw a fu adeiladu, ac ail a thrydydd adeiladu capelau. Ac felly wrth gymeryd pobpeth ynghyd—wrth gofio nad oedd yn Arfon pan dorodd y diwygiad allan ond rhyw bymtheg o gapelau bychain a salw, a bod yn yr un dosbarth yn bresennol ddeuddeg a thriugain, a'r rhai hyny hefyd yn adeiladau heirdd, ëang, a gorphenedig, ac y bu hefyd ail a thrydydd adeiladu ar y rhan fwyaf o honynt, a hyny gan mwyaf gan ddosbarth o weithwyr, nid rhyfedd fod Arfon wedi cyrhaedd y fath enwogrwydd ar gyfrif ei dyled. A ydyw yn ormod i ni awgrymu, pe buasai y Methodistiaid trwy Gymru wedi anturio yn gyffelyb i'w brodyr yn Arfon, buasai ein dyled fel Cyfundeb yn aruthrol mae yn wir, *ond buasem yn gymaint arall o rifedi!* Yr hyn sydd yn dyfod yn brofedigaeth eto yw, fod amryw o'r capelau prydferth a gorphenedig hyn yn Arfon ar fyned yn rhy fychain. Nid oes dim mor drallodus â chapel rhy lawn ond capel rhy wag. Ond boed a fyddo, na oddefer i waliau cèryg a choed a morter gyfyngu dim ar achos y Gwaredwr. Yr ydym wedi ymdroi fel hyn, er ceisio dangos i'n brodyr mewn Siroedd eraill paham a pha fodd y dechreuodd, y cynnyddodd, ac y cyrhaeddodd Methodistiaid Arfon y fath enwogrwydd ar gyfrif dyled eu capelau.

Cynnyrchodd yr adfywiad nerthol hwn lu dirfawr o ddynion grymus a gwerthfawr, y rhai a ddaethant yn golofnau yn yr eglwysi, ac yn eu plith nifer helaeth o flaenoriaid a phregethwyr. Dyma a fu yn gychwyniad i John Jones, Talysarn, a'i frodyr, Cadwaladr Owen, a Moses Jones, Robert Owen, ac eraill. Mae cynnyrch Diwygiad Beddgelert erbyn hyn ymhlith y byw, modd bynag, wedi myned yn brin;

amlbell i hen frawd a hen chwaer yma ac acw, fel grawn addfed yn niwedd y cynauaf; a bydd son wrthynt am y "diwygiad mawr" yn cyffwrdd â man tyneraf eu calon.

Yn ffodus iawn i ardaloedd Arfon, daeth y diwygiad hwn arnynt yn yr adeg yr oedd eu chwarelau yn dechre ymagor i fi i a phoblogrwydd; a thrwy hyny cafodd yr efengyl a'i chrefydd afael gref ar barch a theimlad y dosbarth pwysig hwn o weithwyr, pan nad ydoedd eto ond megys yn ei fachgendod. Ac mae parch i air Duw a'i weinidogaeth wedi dal gafael go gref yn meddyliau mwyafrif mawr o chwarelwyr Arfon a Meirion hyd heddyw, Onid yw yn ffaith go hynod, na cheir ymhlith miloedd chwarelwyr Arfon a Meirion gymaint ag un yn proffesu Anffyddiaeth na Sosiniaeth! Yr ydym yn gwneyd y dadganiad pwysig hwn ar ol gwneyd ymholiad. Er nad yw y parch i grefydd a'i phethau ond prin ac arwynebol gan lawer, eto mae yn fil gwell na'r hyn fo gwaeth. Attolwg, a geir rhyw ddosbarth arall o weithwyr ar wyneb y ddaear mor glir oddiwrth yr heresiau dinystriol a nodwyd, ag yw chwarelwyr Gogledd Cymru? Gwir fod meddwdod ac afreolaeth wedi cynnyddu yn ddirfawr yn ddiweddar ymhlith y dosbarth hwn fel gyda phob dosbarth o ddynion. Tybia dyeithriaid wrth gyfarfod â nifer o chwarelwyr ieuainc ar yr heol, ar y *station*, ac yn y *train*, &c., a'u gweled mor feddwon ac afreolus, fod y chwarelwyr fel dosbarth yr isaf mewn cymdeithas. Nis gall dim fod yn fwy camsyniol. Erbyn gwneyd cyfrif lled fanwl yn ddiweddar, caed allan nad oedd y rhai meddwon ac afreolus yn eu plith ond rhy brin yn chwech neu saith yn y cant. A ellir dywedyd hyny am ryw ddosbarth arall o ddynion, isel neu uchel? Mae i'r chwarelwyr eu diffygion lïaws, bid gwir, ac mae iddynt le mawr i ymwellâu, ond y mae iddynt hefyd eu rhagoriaethau. Pa ddosbarth o ddynion, a chymeryd y mwyafrif mawr o honynt, a geir mor barchus i air Duw a gweinidogaeth yr efengyl? pa ddosbarth yn pwrcasu cymaint o bob llyfrau? pa ddosbarth mor haelionus at bob gwaith da? a pha ddosbarth â chynifer o honynt yn llwyrymwrthodwyr oddiwrth ddiodydd meddwol? Ond pa ragoriaeth bynag a berthyn iddynt fel adran fawr o'r dosbarth gweithiol, mae y cwbl i'w briodoli i ddylanwad efengyl Crist. Am danynt fel dosbarth y dywedwn yn ngeiriau Cowper am Brydain,

"With all thy faults, I love thee still."

---

## CYMERIADAU YMHLITH EIN CYNNULLEIDFAOEDD.

### VI.—DEWIS BLAENORIAID.

MOR chwithig a digrifol a fyddai clywed un yn anerch ei gydaelodau eglwysig ac yn rhoddi ei farn iddynt ar y Fugeiliaeth, Cronfa y Gweinidogion, Cyfansoddiad y Gymdeithasfa, achosion tramor y Cyfundeb, sef y cenadiaethau, addysg y Colegau, rhyfeloedd cartrefol, a rhyfeloedd gydag enwadau eraill, gan addaw gwneyd hyn a'r llall os dewisid ef yn flaenor! Ond edrychid ar y fath un fel un hollol annheilwng o gael ei ddewis? Ac eto ni feddyliai neb synwyrol am roddi ei bleidlais i ymgeisydd am eisteddle seneddol heb yn gyntaf gael gwybod ei opiniynau ar brif bynciau y dydd, a chael addewid ddifrifol ganddo y byddai iddo bleidleisio dros, o leiaf, y mwyfrif o'r mesurau hyny a gymeradwyir ganddo ef ei hun. Edrychir ar lafur ac ymdrech egnïol ymgeisydd am gynnrychiolaeth ei fwrdeisdref neu ei sir fel un rheswm ychwanegol at ei gymhwysderau personol dros wneyd pob peth a ellir o'i blaid; ac, yn wir, anaml y gall neb ennill zel a brwdfrydedd yr etholwyr dros ei achos heb iddo ef ei hun yn gyntaf arddangos ymröad diflino ymhlaid ei ymgeisyddiaeth. Ond mor rhyfedd ydyw y ffaith mai càn gynted ag y dengys dyn ei fod yn awyddus am gael ei wneyd yn flaenor eglwysig, yr un foment fe'i teflir o'r neilldu gan ei gydaelodau, gan nad beth fyddont ei gymhwysderau personol. Yr hyn sydd yn fywyd ac yn gymhwysder anhebgorol bron mewn un amgylchiad, sydd yn farwolaeth ac yn ddinystr yn yr amgylchiad arall. Ymddengys, yn ol sefyllfa pethau, mai un o'r prif gymhwysderau mewn dyn tuag at fod yn flaenor ydyw, na freuddwydiodd ac na ddychymygodd erioed am yr anrhydedd,—o leiaf nas amlygodd ei fod wedi breuddwydio neu ddychymygu am hyny. Gall un fod â'i lygad ar y swydd am flynyddau, ac wedi ymbarotoi yn ddyfal ar ei chyfer; ond os bydd yn gall ac yn meddwl llwyddo, rhaid iddo gadw ei gyfrinach i gyd iddo ef ei hun; oblegid i'r graddau yr amlyga i'r frawdoliaeth ei ddeisyfiad, i'r un graddau y bydd ei ragolygon yn lleihâu.

Beth all fod y rheswm am hyn, nid ydym yn cymeryd arnom fod yn alluog i ddyfalu. A oes mwy o *jealousy* ynglŷn â chrefydd nag â gwleidyddiaeth? Byddai yn ddrwg genym orfod credu hyny. Gall rhywun awgrymu fod y gwahaniaeth rhwng un yn ceisio swydd eglwysig ac un yn ceisio eisteddle seneddol yn gorwedd yn natur y ddwy swydd: un yn ysbrydol,

a'r llall o'r ddaear yn ddaearol. Ond, attolwg, beth a ddywedwn am un yn cynnyg ei hun yn bregethwr? Hyd y gwyddom ni, ni ddarfu i'r ffaith fod un yn cynnyg ei hun yn bregethwr beri i neb feddwl yn llai o hono, na bod yn un rhwystr iddo, os byddai pobpeth arall yn foddhäol. Ac onid ydyw yn bosibl i anghenrhaid gael ei osod ar ddyn, ac mai gwae iddo oni flaenora, yn gystal ag oni phregetha yr efengyl? Nid ydym yn anghofio y cymerir yn ganiatäol fod yr eglwys yn gwneyd ei dyledswydd trwy weddïo am gyfarwyddyd, a bod rhyw arweiniad Dwyfol i'w ddysgwyl ganddi er mwyn syrthio ar y dynion da eu gair. Ond ar yr un pryd nid allwn gau ein llygaid ar y ffaith fod llawer o gamgymeriadau yn cael eu gwneyd yn yr amgylchiadau hyn. Oni ddewisir dynion yn fynych yn flaenoriaid nad ŵyr yr eglwys nemawr am eu golygiadau ar y pynciau y teimlir y dyddordeb mwyaf ynddynt? Onid oes amryw wedi iddynt fod am ychydig amser yn y swydd, a chael cyfleusdra i egluro beth oeddynt, yn dangos yn rhy amlwg nad ydynt yn cynnrychioli teimladau na syniadau yr eglwys y maent yn arweinwyr proffesedig iddi? Ac onid oes eraill yn amlygu mai pwynt uchaf eu gweithgarwch gyda symudiadau pwysicaf yr eglwys ydyw bod yn oddefol—bod yn oloriaid? Ac eto parhânt yn eu swydd, os bydd eu cymeriad yn weddol ddilychwin, hyd nes y lluddir hwynt gan farwolaeth. Cofier mai son yr ydym am eithriadau; ond ceir hwynt yn eithriadau lled fynych ymhlith ein brodyr y blaenoriaid. Y maent fel dosbarth yn ddynion grasol, galluog, a rhyddfrydig; ond i'n tyb ni, y mae yn hen bryd i ni gael rhyw ddyfais i symud o'r ffordd y dosbarth hwnw sydd yn rhwystr i lwyddiant crefydd, ac yn fagl ar bob symudiad daionus ynglŷn â'r eglwys y maent yn swyddogion iddi.

Son yr oeddym am aelod yn syrthio allan o ffafr yr eglwys wrth arddangos awydd am gael ei wneyd yn flaenor. Mae yn ddiammheuol fod rhyw reswm i'w roddi am hyn pe gellid dyfod o hyd iddo, ac mai fel y mae pethau y maent oreu. Hwyrach mai rhywbeth i'w ddarganfod gan eraill, ac nid gan y dyn ei hun, ydyw y cymhwysder i fod yn flaenor. Yr ydym yn tueddu i feddwl fel hyn wrth ddychymygu atebiad un a fyddai wedi ei ddewis i fod yn flaenor pan ofynid y cwestiwn iddo yn y Cyfarfod Misol, "Beth ydyw eich teimlad gyda golwg ar waith yr eglwys yn eich galw i fod yn flaenor iddi?" Pe yr atebai, "Wel, yn wir, yr wyf yn meddwl fod yr eglwys wedi gwneyd yn gall iawn. Yr oedd arnaf chwant mawr er ys blynyddoedd am gael bod yn flaenor, ac yr wyf yn meddwl y gallaf wneyd un rhagorol, ac bydd yr eglwys ar ei mantais yn fawr iawn o herwydd y dewisiad hwn,"—oni chreai hyn gyffro? ac onid elwid pwyllgor ynghyd ar unwaith i ystyried achos y brawd gonest?

Er nad oes gysylltiad uniongyrchol rhwng y sylwadau uchod â dewisiad blaenoriaid "capel William Thomas," fel y gelwid ef gan blant y gymydogaeth, hyny, pa fodd bynag, fu yr achlysur i ni eu hysgrifenu. Yr oedd pob lle i feddwl fod yr eglwys wedi gwrandaw i bwrpas ar gynghorion William Thomas, ac edrychid ar yr amgylchiad fel un o'r pwysigrwydd mwyaf. Ni chollodd George Rhodric o Bant y Draenog yr un cyfleusdra i awgrymu ei gymhwysder diammheuol ei hun i'r swydd. Gyda y rhai a ystyriai fel ei edmygwyr, ni phetrusai siarad yn eglur; ond gydag eraill nad oeddynt mor iach yn y ffydd ddraenogaidd, boddlonai ar arddangos cymaint o garedigrwydd ag a fedrai, a mwy o grefyddolder nag a feddai. Sylwyd hefyd gan y craff fod Siôr, heblaw dyfod yn gyson a difwlch i foddion gras, yn ymddangos yn eu mwynhâu tu hwnt i bobpeth, yn gymaint felly nes cynnyrchu rhyw ledneisrwydd caruaidd yn ei ysbryd, yr hwn a ymweithiai hyd i flaenau ei fysedd, ac na fyddai foddlawn heb gael ysgwyd dwylaw â phob cyflawn aelod, agos, wrth ddyfod allan o'r capel. Deuddydd cyn y dewisiad, yr oedd ei ragolygon mor obeithiol fel y synwyd ei brentis gan ei ymddangosiad siriol. Cyn i'r prentis gael dechreu gweithio ar ol brecwest, dywedai ei feistr wrtho, "Bob, f'aset ti'n leicio cael *walk* heddyw bore?" "B'aswn i wir, syr," ebe Bob. "Wel, dydi hi ddim ond pedair milldir o ffordd. Cymer y ddeunaw 'ma, a cher' i *shop* Mr. Pugh y printer, a gofyn am y *Dyddiadur* gore—un deunaw, cofia. Paid a chym'ryd arnat i bwy mae o." "O'r gore, syr; *dyddiadur* 'gethwr ydach chi'n feddwl ynte, a *lastic* arno fo?" "Un deunaw yr ydw' i'n deyd i ti. Paid a bod yn hir." Yr oedd Bob yn meddu mwy o gyfrwysdra a chraffder nag a roddid credyd iddo gan Rhodric; ac nid cynt yr oedd allan o olwg ei feistr nag y dechreuai ysgrwtian a chodi ei ysgwydd chwith gan wincian yn gyfrwysddrwg â'i ddau lygad bob yn ail, a siarad âg ef ei hun, "Wel, yr hen law, mi all'sech ch'i safio y ddeunaw 'ma 'dwy'n meddwl, os ydi'n nhad yn gw'bod rh'wbeth. Y ch'i yn flaenor, wir. Mi fyddwch yn o hen!" Gwnaeth Bob ei neges yn rhagorol ac mewn byr amser; a phan ddychwelodd, cafodd ei feistr yn ei ddysgwyl, ac wedi llwytho ei bibell ond heb ei thanio—nid ei getyn a arferai wrth ei

waith, ond ei bibell hir yr hon a arferai yn unig ar achlysuron neillduol. Gofynodd, "Gês ti o, Bob?" "Do, syr." "Ddaru Mr. Pugh ofyn i ti i bwy yr oedd o?" "Naddo, syr, ond ddyliwn y fod o'n dallt," ebe Bob yn anwyliadwrus. "Dallt bybê?" ebe ei feistr. "Dallt fod rhwfun eisio gwel'd hanes y ffeirie a phethe felly," ebe Bob, gan osgoi y cwestiwn. "Ho!" ebe Rhodric.

Cymerodd y dilledydd gader a gosododd hi o flaen y tân. Eisteddodd i lawr yn bwyllog; gosododd ei draed un ar bob pentan; taniodd ei bibell, trôdd ddalenau y *Dyddiadur* yn hamddenol nes dyfod at restr pregethwyr ei Sîr; ac yna safodd—sefydlodd ei hun i lawr yn ei gader, cymerodd sugndyniad neu ddau lled nerthol o'r bibell i sicrhâu fod yno dân, a chymerodd y pwyntil allan o'i logell. Yr oedd Bob, er yn cymeryd arno fyned ymlaen hefo ei waith, yn ei wylio yn ddyfal, a malais yn chwareu yn nghonglau ei lygaid, tra y clywai ei feistr yn siarad âg ef ei hun: "Wel, ddoi di ddim yma eto; na thithe; unwaith yn y flwyddyn yn ddigon i tithe; unwaith bob dwy flynedd yn hen ddigon iddo fo," &c. Wedi dyhysbyddu y rhestr, a phenderfynu tynged pob un, dywedai Meistr Rhodric yn y man, "Bob, sut y mae dy dad yn meddwl y troith hi nos Iau?" "Mae o yn meddwl y caiff Mr. Jones ei ddewis, syr," ebe Bob. "Purion; pwy arall?" "Dydi o ddim yn siŵr am neb arall, syr." "Chlywest ti mono fo yn deyd dim byd am dana' i?" Daeth y cwestiwn hwn mor sydyn ar Bob, druan, fel na wyddai yn iawn sut i'w ateb a chadw y ddysgl yn wastad. "Tyr'd, tyr'd, y machgen i, paid ofni deyd y gwir." "Wel, mi clywes o yn deyd rhwbeth, syr." "Deyd beth? allan â fo, Bob." "Yr oedd o yn deyd ei fod yn meddwl ych bod ch'i —— dwi ddim yn leicio deyd, syr." Paid ofni deyd y gwir." "Wel, yr oedd o yn deyd ei fod yn meddwl ych bod chi yn y nghadw i yn rhy glòs!" "Ho, ai dyne'r cwbl," ebe Rhodric yn siomedigaethus, a dilynwyd hyn â dystawrwydd megys yspaid hanner awr. Pan oedd Bob yn myned i'w ginio, dywedai ei feistr wrtho, "Bob, 'does yma ddim rhyw lawer o daro heddyw p'nawn, ac mi elli gymryd hanner gŵyl os leici di, a fory hefyd ran hyny os oes gan dy dad rwbeth i ti i neyd." "Thenkiw, syr," ebe Bob, wedi ennill ei bwynt tu hwnt i'w ddysgwyliad; a'i feistr o'r ochr arall yn tybied ei fod wedi gwneyd *good stroke of policy*.

Hyfrydwch o'r mwyaf bob amser oedd gan Mrs. Jones y *shop* groesawu a llettŷa pawb a fyddent yn dwyn cysylltiad uniongyrchol â'r achos; ac nid ydyw ond gonestrwydd ynom i ddyweyd fod ei sirioldeb a'i chroesaw wedi cyrhaedd eu pwynt uchaf pan dderbyniodd hi y cenadon dros y Cyfarfod Misol oddeutu awr cyn yr adeg yr oeddynt i fyned i'r cyfarfod eglwysig i ddewis blaenoriaid. Yr oedd Mrs. Jones yn dra naturiol yn ystyried fod y diwrnod wedi dyfod, yr hwn a ddylasai fod wedi dyfod yn llawer cynt, i osod yr anrhydedd hwnw ar ei gŵr, yr hwn o bawb, fel y credai hi, oedd yn ei deilyngu fwyaf. Yr oedd yr hyfrydwch yr oedd hi yn ei deimlo am fod y diwrnod wedi dyfod o'r diwedd, i'w ganfod yn ei holl ysgogiadau, ac i'w weled a'i brofi yn y tê a'r danteithion a osodid o flaen y brodyr dyeithr. Ond yn hollol fel arall y teimlai Mr. Jones. Ni fu gas ganddo erioed o'r blaen weled na phregethwr na blaenor yn dyfod i'w dŷ; ac achlysur eu dyfodiad yn unig a barai iddo edrych arnynt felly y tro hwn. Yr oedd golwg ysmala arno y noson hono. Ni fedrai eistedd yn llonydd am fynyd. Cerddai yn ol a blaen, i mewn ac allan, fel pe buasai yn chwilio am rywbeth ac na wyddai beth oedd. Ceisiodd wneyd pob esgus a chreu pob rhwystr, rhag myned i'r capel y noson hono, ond yn aflwyddiannus. Buasai yn dda ganddo glywed fod anghaffael ar y ceffyl, neu ryw anhwyldeb ar y fuwch, neu ynte weled trafaeliwr yn dyfod i'r *shop* y buasai yn rhaid iddo aros gydag ef. Ond yr oedd ei holl ddymuniadau yn ofer, a bu raid iddo fyned i'r capel gyda y cenadon. Nid oedd ei sefyllfa ronyn gwell wedi iddo fyned i'r cyfarfod. Teimlai boethder annyoddefol yn ei ben, a rhyw anesmwythder mawr yn ei du mewn, yn enwedig yn nghymydogaeth ei galon. Meddyliodd fwy nag unwaith ei fod wedi cael clefyd, a phenderfynodd lawer gwaith fyned allan; ond er hyny arosodd yn yr un fan. Ni welodd erioed gyfarfod mor faith, ac ychydig, os dim, a wyddai beth a ddywedid yno.

Yr oedd y cyfarfod yn un neillduol o liosog. Yr oedd yno rai na welwyd yn y seiat ganol yr wythnos er ys blynyddau, ac amryw na wyddid yn iawn a oeddynt yn aelodau ai peidio, yn awr yn profi eu haelodaeth. Ni chymerodd dim neillduol le oddigerth gwaith Gwen Rolant yn mynu cael *dyweyd* yn hytrach nag ysgrifenu i bwy yr oedd hi yn *votio*, yr hyn a wnaeth mewn llais lled uchel. Hysbyswyd gan y cenadon, er fod deg wedi cael eu henwi, mai tri oeddynt wedi cael y nifer angenrheidiol o bleidleisiau, sef Mr. Jones y *shop*, Mr. Peter Watcyn, a Mr. James Humphreys. Yr oedd William Thomas yn eistedd yn nghongl y sêdd fawr â'i ben patriarchaidd yn pwyso ar ei law. Ar dderbyniad y newydd, cauodd ei lygaid ac ymdaenai diolchgarwch dros ei wyneb, fel pe buasai yn dyweyd, "Yr awrhon, Ar-

glwydd, y gollyngi dy was, &c." Yr oedd yno wyneb arall yn y gynnulleidfa ag oedd yn ffurfio gwrthgyferbyniad hollol i wyneb William Thomas, a'r wyneb hwnw oedd yr eiddo George Rhodric!

L. N. M.

## Egluriadau ac Addysgiadau Ysgrythyrol.

MATTHEW vii. 6: "Na roddwch y peth sydd sanctaidd i'r cwn, ac na theflwch eich gemau o flaen y moch, rhag iddynt eu sathru dan eu traed, a throi a'ch rhwygo chwi."

Y MAE'R "peth sydd sanctaidd" yn y lle hwn yn arwyddo y bwyd aberthol a osodid ar allor yr Arglwydd; yr un meddwl â'r "pethau cysegredig," neu sanctaidd, i'w bwyta, yn Lefit. xxii. 6—10; y "cig cysegredig" yn Jer. xi. 15, a "chig sanctaidd" yn Haggai ii. 12. Ni chaniateid i un dyn aflan fwyta'r cig hwnw, a llawer llai i'r ci aflan. Prin y gallai Iuddew feddwl am gysegrhalogiad mwy anfad nag i offeiriad gymeryd y bwydydd cysegredig oddiar yr allor a'u taflu i gŵn. Nid yr hyn yw y ci i ni, fe gofir, oedd y ci i'r Iuddew; iddo ef yr oedd yn greadur cwbl aflan, ac hyd yn nôd cyffyrddiad âg ef yn gwneyd dyn yn aflan. Yr oedd moch, megys cŵn, yn cael eu cyfrif yn aflan gan y gyfraith Iuddewig. Ac yn Palestina, yr oedd rhywogaeth erchyllach o foch nag sydd gyda ni, moch wedi eu harfogi â dannedd llymion iawn, a pha rai, pan wedi ffyrnigo, a dröant ar ddyn i'w sathru a'i rwygo. Y mae gemau yn addurniadau o'r fath werthfawrocaf gan bobl y Dwyrain; ond paham y sonir am roddi gemau o flaen y moch? Gallem weled y buasai y cŵn yn ebrwydd yn traflyncu y cig cysegredig; ond pa berygl sydd i foch chwaethu gemau? Yn ateb i hyn, dywedir fod math o emau, neu berlau, sydd yn debyg o ran golwg i rawn y porthir moch â hwy; a phe teflid y gemau hyny o flaen moch, hwy a redent atynt yn awyddus, oddiar eu camgymeriad am ymborth; ond wedi cael mai ceryg caledion oedd rhwng eu dannedd yn lle'r grawn maethlawn, gellid dysgwyl iddynt yn gynddeiriogwyllt geisio llarpio'r neb a'u taflodd iddynt, a mathru dan eu traed y gemau a'u siomodd. Felly, "Na roddwch y peth sydd sanctaidd i'r cŵn," ydyw, Na roddwch yn ofer bethau sanctaidd i bersonau ansanctaidd; a meddwl "Na theflwch eich gemau (yn lle gronynau yd) o flaen y moch," yw, Na wastraffwch bethau o werth ar rai nas medrant eu gwerthfawrogi. Wrth y cŵn, y rhai yn y Dwyrain ydynt fwystfilod gwylltion, y golygir, yn ol Awstyn, erlidwyr creulawn, ac wrth y moch, pechaduriaid yn ymroddi i chwantau'r cnawd. Ond yn hytrach, tybygid, golygir yma bawb sydd yn ymroddi i ansancteiddrwydd mewn ysbryd a buchedd, i'r rhai na pherthyna cymundeb cristionogol a breintiau eglwys y Duw byw.

MATTHEW vi. 34: "Na ofelwch gan hyny dros drannoeth, canys trannoeth a ofala am ei bethau ei hun."

AR un achlysur yr oeddwn yn pregethu ar ran Buddgymdeithas *(Benefit Society)*, pryd y cymerais yr adnod hon yn destun. Yr oedd rhai o'r gwrandäwyr, pan ddarllenais fy nhestun, wedi myned i ofni fod egwyddor y geiriau yn llwyr wrthwynebol i ddim tebyg i *insurance*, neu ddarpar at amser a ddaw; ond dangosais nad oeddwn i yn eu hesbonio felly. Gorchymyn pendant sydd yma i ni beidio cymeryd gofal pryderus ynghylch y dydd yfory. Yn awr, pa fodd y gallaf wneyd hyn? pa fodd y gosodaf fy hun mewn ansawdd fanteisiol i gario allan y gorchymyn hwn? Os byddai'r dyn yn gorfod llafurio am ei gynnaliaeth, ac yn ei allu yswirio am yr hyn a fyddai yn gymhorth i'w wraig a'i blant i fyw ar ei ol ef, ac yntau heb wneyd hyny, pa faint bynag a bregethir i hwnw, "Na ofelwch dros drannoeth," eto pryderu ynghylch trannoeth a wnai efe, os gosodai ei feddwl mewn un modd ar waith. Ond gwnaed ddefnydd o ryw un o'r sefydliadau daionus sydd yn darbod erbyn amser dyfodol, a gall ddywedyd, "Yn awr mi a wn pa fodd i ufuddhâu i orchymyn Crist ynghylch peidio gofalu dros drannoeth; yr wyf yn talu arian y *policy* unwaith yn y flwyddyn, ac felly nid oes achos i mi ofalu yn ammheus a phoenus pa beth a ddaw drannoeth." Meddwl yr oedd ein Harglwydd am i ni ymryddhâu oddiwrth orofal llwfrhäol; ac wrth gymeryd mantais o'r sefydliadau darbodol, yr ydym yn cael ein galluogi i fyw uwchlaw pryder digalon. Nis gall fod geiriau Crist yn golygu i ddyn wario ei holl arian ddydd Llun, heb ddim i fyw arno am y gweddill o'i einioes, neu fyw wrth y dydd ar yr oll a ennillai am y dydd hwnw, ac heb gadw dim i dalu yr ardreth am ei dŷ; ni byddai hyny ond cwbl ffolineb. Nid wyf, yn wir, yn credu yn egwyddor aml fuddgymdeithas, a gwn fod drwg mawr yn cael ei wneuthur trwy gynnal y fath gymdeithasau mewn tafarndai; ond am gymdeithasau cristionogol o'r cyfryw natur, dymunwn eu cefnogi a'u cynnorthwyo.—*Y Parch. C. H. Spurgeon.*

1 Corinthiaid xiii. 5: "Ni feddwl ddrwg."

Prin y mae'r darlleniad hwn yn gosod allan feddwl cyflawn a manwl yr ymadrodd gwreiddiol. Ar yr olwg gyntaf, gallem ni feddwl mai yr ystyr yw, nad yw cariad yn ddrwgdybus, nad yw yn priodoli gweithrediadau annheilwng i bersonau a gweithrediadau, ond yn wastad yn gobeithio'r goreu. Y mae hyny, pa fodd bynag, yn cael ei draethu mewn geiriau canlynol, lle y dywedir fod cariad "yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim." Felly y mae i'r geiriau, "Ni feddwl ddrwg" arwyddocâd gwahanol, yr hwn ydyw, Nid yw cariad yn cofio hen feiau; nid yw yn cadw cyfrif o ddrygau a gyflawnwyd gan bobl eraill, ond y mae yn rhwydd yn anghofio colliadau a chamymddygiadau, ac yn ymddwyn fel pe na buasent erioed wedi dygwydd. Dyma un gyfrinach fawr am gysur bywyd: Maddeuwch ac anghofiwch. Aed heibio yr hyn a aeth heibio, fel y dywed y Sais, *Let bygones be bygones.* I ba beth y cedwir hen gweryl? Pwy sydd ar ei ennill wrth wneuthur hyny? Cariad a feithrina yn unig adgofion o ddaioni, yn lle ystorio i fyny gamwri a drygwaith.

---

## Y Wasg.

Y Cristion Rhagorol, *ynghyda Phregeth ar* Y Fodrwy Briodasol, *gan* W. Secker. *Cyfieithiedig gan y Parch.* M. Hopkins, *Wern, Aberafon*

Bala: H. Evans, Argraffydd.

Hen lyfr da a hynod a ddygwyd i sylw y Saeson o'r newydd lawer gwaith, ac yn ddiweddar gan Mr. Spurgeon, yw *The Nonsuch Professor in his Meridian Splendour* gan y Parchedig William Secker: Y Proffeswr dieilfydd yn ei ddysgleirdeb canolddydd. Mae yn ysgrifenu mewn dull diarebol, gyda gorlawnder o eglurіadau a chymhariaethau tarawgar, a'i eiriau yn cydseinio neu yn clecian, ys dywedir, ac felly yn tueddu i daro yn rymus ar y glust, ac i orwedd yn arosol yn y cof. Ei destun yw geiriau Crist yn Matthew v. 47: "Pa ragoriaeth yr ydych chwi yn eu gwneuthur?" Ac y mae efe yn helaeth yn trin y paham a'r pa fodd y mae dysgyblion Crist i ragori ar bawb eraill.

Cyfieithiad o'r llyfr hwnw yw y llyfr hwn sydd ger ein bron; ond rhaid dywedyd nad ydyw yn gyfieithiad manwl a chyflawn o hono. Dywed y Cyfieithydd, "Ni wnaethum un ymgais i gyfieithu un rhan o hono yn llythyrenol; ond amcenais gael pob brawddeg mor ddealladwy a darllenadwy ag ydoedd yn bosibl. Gadewais amryw ddarnau heb eu cyfieithu er mwyn cadw ei bris yn y Gymraeg mor isel ag y byddai modd." Buasai yn well genym ni pe na buasai Mr. Hopkins yn talfyru dim, serch chwanegu chwech cheiniog at bris y llyfr; o herwydd, yn ddiau, y mae amryw o'r pethau tlysaf, os nid grymusaf, wedi eu gadael allan ganddo. Gan fod y glec, fel y nodwyd, yn hynodi y cyfansoddiad gwreiddiol, a chan fod y Gymraeg mor ffafriol i gynghanedd a chydseiniad, barnu yr ydym y dylasai y cyfieithydd ymgeisio yn fwy i ymdebygu yn hyn i'r awdwr. Cyfeirier, er engraifft, at rai o'r egwyddorion a argymhellir i rodio wrthynt. Un ydyw, "*That there is no obtaining what is promised but by fulfilling what is commanded.*" Mor hawdd a chryno a fuasai dywedyd yma, Nas ceir cyrhaeddyd yr hyn a addewir ond trwy gyflawni yr hyn a orchymynir. Ond geiriau y cyfieithydd ydynt, "Fod y cyfarwyddiadau sydd wedi eu rhoddi er d'od i feddiant o ddedwyddwch, lawn mor werthfawr â'r addewidion sydd wedi eu rhoddi er ei sicrhâu." Paham yr oedd raid amgylchynu fel yna? Ac o dan y pen hwn, gadewir allan o'r cyfieithiad y brawddegau canlynol, gydag amryw eraill,

"Then only doth the Watch of our lives move with uprightness, when it is set by the beams of the Sun of righteousness. As He hath made his glory to be the pattern of our happiness, so he hath made his grace to be the pattern of our holiness.—O do not make him to be a stone for stumbling, that God hath made to be a stone for building.—The only way never to be ill employed, is never to be unemployed.—Jacob makes his prayer to a heavenly Father, and yet presents his gift to an angry brother. David, when he went out against Goliath, makes the name of the Lord his trust, and yet a sling and a stone his weapons. The sword of Joshua must go along with the prayers of Moses, and the prayers of Moses must go along with the sword of Joshua. If they had fought and not prayed, they would not have obtained the victory, because God will not be neglected: if they had prayed and not fought, they would not have obtained the victory, because God will not be tempted.—Wherever the merit of Christ doth clear a soul from what is guilty, the Spirit of Christ doth cleanse the soul from what is faulty.—The law is as dear to God by which he rules us, as the gospel is dear to us by which he saves us.—Without God man *can* do nothing, and without man God *will* do nothing."

Egwyddor arall ydyw, "*That where man*

*is so diligent as to do his best, there God is so indulgent as to forgive his worst.*" Y meddwl yw, fe welir, lle y mae dyn yn ddiwyd yn gwneuthur gweithredoedd da, yno y mae Duw yn rasol yn maddeu ei weithredoedd drwg. Ond pa beth sydd gan y cyfieithydd? Hyn: "Fod casineb at bechod yn ei wneyd yn ddiniwed!" Pa beth a allasai fod ei reol yma, nis gallwn ddyfalu. Eto: "*That we should cleave the closest to that good which is choicest.*" Mae y cyfieithydd yn weddol dda yma; ond gwell a fuasai iddo fod yn fwy llythyrenol. Dywed, "Mai glynu wrth y da penaf yw y sefyllfa ddiogelaf." Unwaith eto: "*That the sweetness of the crown which shall be received, will make amends for the bitterness of the cross that may be endured,*" sef, Fod melusder y goron a dderbynir yn talu yn dda am chwerwder y groes a ddyoddefir. Ond y mae'r dyoddef a'r derbyn wedi eu taflu allan o'r cyfieithiad; a cheir yn unig, "Fod gwychder y goron yn fwy na rhoddi iawn am chwerwedd y groes."

Sylwasom ar air tra anmhriodol wedi ei roddi i mewn wrth nodi un o'r pethau sydd yn peri i gristion ragori ar eraill. "*To value a heavenly reversion above an earthly possession,*" ebe yr awdwr. "Prisio ymchwiliad nefol yn uwch na meddiannau daearol," ebe y cyfieithydd. Ac *ymchwiliad* yw y gair a geir yn y *Cynnwysiad* yn gystal ag yn nghorff y llyfr. Gwelsom y gair *ymchwiliad* mewn Geirlyfr Saesoneg a Chymraeg yn cael ei roddi yn un o'r geiriau am *reversion*, a chyda hyny olfeddiant, troad yn ol, &c.; ac yr oedd yno am *an estate in reversion*, tir mewn dysgwyliad. Ped ysgrifenasid, Prisio y nefoedd mewn dysgwyliad uwchlaw y ddaear mewn meddiant, buasai hyny, er nad yn gwbl lythyrenol, yn cyfleu y gwir feddwl, tra y mae *ymchwiliad* yma allan o'i le yn hollol.

Ond er y mân ddiffygion hyn, a'u cyffelyb, caiff Cymro lawer iawn o waith darllen, a hwnw yn wir dda ac argraffiadol, yn llyfr "Y Cristion Rhagorol," a'r oll yn hynod radlawn, sef am un swllt. Pe byddai y rhai a ddysgwylir i lefaru mewn cyfarfod eglwysig yn darllen cyfranau o hono cyn myned at gyfryw orchwyl, byddent yn derbyn cymhorth ardderchog at eu gwaith. William Gurnall mewn llai o le yw ei gyfoeswr William Secker.

Ond y mae yma yn chwanegol bregeth "Y Fodrwy Briodasol," oddiar Genesis ii. 18. Y mae'r bregeth arbenig hon wedi ei chyfieithu a'i chyhoeddi fwy nag unwaith yn Nghymru o'r blaen, a'r tro cyntaf er ys dros gan' mlynedd. Ar y wyneb-ddalen y pryd hwnw, darllenir, "Y Fodrwy Briodas yn Gymhwys i'r Bys, sef Pregeth a gyhoeddwyd mewn priodas yn St. Edmonds, Llundain, ger bron y Breninol Deulu. Gan y Parch. W. Secer, M.A. Argraffwyd yn Aberhonddu gan E. Evans, yn y flwyddyn 1775." Mae yn bregeth hynod am ei ffraethineb a'i phriodoldeb i ddau ddosbarth: "I. I'r rhai sydd âg anghen gwragedd arnynt–pa fodd i'w dewis. II. I'r gwragedd sydd â gwŷr ganddynt—pa fodd i ymddwyn tuag atynt."

---

ADGOFION HEN WEINIDOG AM EI BRIOD, *sef Mrs.* ANNE FOULKES, *Ruthin, yn nghyd a hanes am ddechreuad a chynnydd achos y Methodistiaid yn Llansannan a'r amgylchoedd, hanes yr hen Bregethwyr a'r hen Flaenoriaid, y diweddar Barch.* PETER ROBERTS *a'i deulu, gyda llythyrau cyflwyniad gan y Parch.* JOHN OGWEN JONES, B.A., *ac eraill, ynghyd a Galareb neu ddwy. Gan "eich Ewyrth o'r Cwm," y Parch.* JOHN FOULKES.

Rhyl: Argraffwyd gan Amos Brothers.

MAE'R teitl braidd yn faith, fe welir, i lyfryn chwe' cheiniog; ond yr oedd "ein hewythr" am hysbysu yn onest a chyflawn i'r darllenydd beth oedd iddo i'w dysgwyl oddiwrth y ddarpariaeth ger ei fron, ac ni cheiff ei siomi am yr hyn a addewir iddo. Mae yma saith o bennodau: dwy am "Lansannan a'r amgylchoedd," a'r "Parch. Peter Roberts a'i deulu," a'r pump eraill am Mrs. Foulkes, yn cynnwys ei hanes yn ei hieuenctyd, ei phriodes a'r symudiadau teuluaidd, ei nodwedd cyffredinol a'i nodweddau crefyddol, a'i dyddiau diweddaf. Ceir hefyd "alargan ei phriod ar ol ei hymadawiad," ynghyd a'i bennillion ar ol eu bachgen cyntafanedig a fu farw yn bum' mlwydd oed. Yn ei brydyddiaeth, ymysg pethau eraill, efe a ddarlunia ei briod fel y canlyn,

"Bechan ydoedd o gorffolaeth,
Heinyf odiaeth ar ei throed;
Oedd mor fywiog â merch ieuanc
Pan yn naw a thriugain oed:
Tymher lon, wynebpryd siriol,
Meddwl gwrol lawer pryd,
Synwyr cryf a geiriau parod
Wedi eu tymheru ynghyd."

Mae ein hen gyfaill, fel y gellid dysgwyl, yn ysgrifenu gyda theimlad dwys a hiraethus am ei hoff gymhares, ac eto mewn modd difyr, a chan roddi yn ehelaeth wersi addysgiadol. Yr ydym o'r un farn â'r Parch. J. Ogwen Jones, pan y dywed am y llyfryn hwn, "Byddai yn fuddiol iawn ei ddodi yn nwylaw ein pobl ieuainc, ac yn enwedig merched ieuainc, o herwydd yr addysgiadau gwir werthfawr a gynnwysir ynddo ar eu cyfer. Pa beth a allai ein

chwïorydd cyfoethog a'n mamau yn Israel wneuthur yn well nag anrhegu y dosbarth uchod â llyfrau da megys hwn a'i gyffelyb? Byddai y cofiant hwn yn wir addas i'w roddi fel gwobr am ddysgu yn yr Ysgol Sabbothol."

## Bwrdd y Golygydd.

### Y CYFARFODYDD EGLWYSIG.

SYR,—Y mae'n ddrwg genyf fy mod yn teimlo fy hun dan orfodaeth i ddyweyd dim yn erbyn llythyr *Blaenor o'r Wlad;* ond rhaid i mi amlygu fy mod yn cwbl gredu fod ynddo rai pethau yn dueddol i effeithio yn fwy er niwed nag er lles.

Y gŵyn gyffredin yw fod graddau mawr o fudandod a thawedogrwydd wedi gorddiwes ein holl gyfarfodydd eglwysig; ond barna'r *Blaenor* mai rhywbeth yn perthyn i amgylchiadau yr oes sydd wedi myned heibio ydoedd y profiadau, ac mai i'r graddau y cynnydda gwybodaeth a diwylliant y meddwl, i'r un graddau y cilia profiadau o'n heglwysi, ac mai ofer dysgwyl eu gweled eto heb yn gyntaf droi y byd yn ol i'r hyn ydoedd y pryd hwnw; ac fel y mae dull y byd yn myned heibio, medd efe, mor sicr â hyny y bydd i ddull y cyfarfodydd eglwysig fyned heibio; ïe, ebe efe, arwydd o eiddilwch meddwl ydyw fod rhai mor barod i adrodd eu teimladau.

Pa beth sydd gan ddull y byd i wneyd â goruchwyliaeth gras, nid wyf fi yn deall. Mae yr Arglwydd Iesu yn tystio ei fod ef wedi gorchfygu y byd, ac y mae wedi addaw hyny i'w holl wir ganlynwyr: "Oblegid beth bynag a aned o Dduw, mae yn gorchfygu y byd." Ac os yw dull y byd hwn yn myned heibio, gwyddom fod yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw yn aros yn dragywydd," ac mai yr un yw gras Duw ymhob oes ac ymhob lle, pa un bynag ai yn nhŷ Dafydd frenin, yr hwn oedd ŵr wrth fodd calon Duw, ai yn nhŷ Jeroboam, yr hwn a wnaeth i Israel bechu. Yr un yw gras yn y cardotyn a'r brenin; ac yn wir, pwy mor barod â'r Salmydd breninol i adrodd ei brofiadau. "Yn nghanol yr eglwys y'th folaf." A galwai efe ar y rhai oll oedd yn ofni yr Arglwydd i'w glywed yn mynegu yr hyn a wnaethai Duw i'w enaid; ac o'r ochr arall, pwy mor goethedig, mor ddiwylliedig ei feddwl, ag ef? Un coeth, dysgedig, a chadarn ei feddwl oedd yr Apostol Paul, ni a wyddom, ac eto pa le y mae genym hanes am neb mor barod i adrodd ei brofiad crefyddol ag ef? Byddai weithiau yn galaru o herwydd deddf yr aelodau yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl, yn ocheneidio yn llwythog am ryddhâd oddiwrth gorff y farwolaeth, a thro arall yn gorfoleddu yn Nghrist, ac yn cyfrif yr hyn oedd elw iddo yn golled er mwyn Crist, ac yn cyfrif pob peth yn dom ac yn golled fel yr ennillai Grist. A phwy mor goeth a sefydlog ei feddwl a'r apostol Ioan? ac y mae ei brofiadau ef yn rhedeg trwy ei holl ysgrifeniadau fel swp o rawn yn llawn sugn, i fod yn ddefnydd maeth a chysur i eglwys Dduw hyd nes na byddo amser mwyach.

Ond heb ychwanegu, nid ydym wedi cael ein gadael yn ddidyst yn ein gwlad ein hunain o werthfawrogrwydd adrodd profiadau. Attolwg, beth a effeithiodd yn benaf ar feddwl y dyn hynod hwnw, John Bunyan, i beri iddo feddwl yn ystyriol am ei gyflwr rhyngddo ef a Duw? clywed hen wragedd duwiol Bedford yn adrodd eu profiadau y naill i'r llall, nes peri iddo yntau hiraethu am fod o'r un cyffelyb feddwl. Clywed rhyw hen wraig yn adrodd ei phrofiad, os da yr wyf yn cofio, a fu yn godiad meddwl i'r diweddar Mr. Elias, pan bron wedi suddo o dan deimladau dwysion am fater ei enaid. Ar hyn o bryd ni wnaf ond dadgan fy mod yn hyfach o beth i ysgrifenu atoch chwi, syr, gan eich bod chwi yn gwybod yn bendifaddeu am y budd a'r hyfrydwch sydd o adrodd profiadau yn y cyfarfod eglwysig.—Ydwyf, anwyl Syr, yr eiddoch,

BRIGLWYD, *ond nid Blaenor.*

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA CAERNARFON,

AWST 20, 21 A'R 22AIN, 1878.

(*Parhâd o tu dal.* 391.)

DYDD MERCHER, AWST 21AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr am* 10 *o'r gloch y bore.*

Y MATER y cafwyd ymdriniaeth arno ydoedd, *Ymlyniad wrth wirioneddau yr efengyl yn hanfodol i lwyddiant y weinidogaeth.*

Sylwyd fod hwn yn fater â llawer o gymhwysder ynddo, yn enwedig yn y dyddiau presennol, pan y mae cymaint o berygl i bregethwyr ieuainc gael eu troi oddiwrth y gwirionedd, gan fod cymaint o bethau ar led heb fod yn wirionedd yr efengyl. Galarus yw meddwl fod cymaint o arwyddion ymadawiad oddiwrth symlrwydd yr efengyl. Ceir fod dynion yn pregethu yr efengyl, ond yn gwrthod derbyn dysgeidiaeth y Testament Newydd ar ystyr yr efengyl hono, neu o leiaf yn gwyrdroi y ddysgeidiaeth hono i ryw

feddwl ag sydd yn anghyson â'i gwir ystyr. Nid yw yn ddyeithr i ni fod hyn yn beth cyffredin yn Lloegr, yn yr Eglwys Sefydledig, ac, fel y mae yn alarus dyweyd, ymhlith rhai enwadau Ymneillduol hefyd. Gwelir wrth ddarllen hanes cyfarfod diweddaf yr Undeb Cynnulleidfäol, fod rhai yn myned mor bell ag i wadu Duwdod yr Arglwydd Iesu Grist, a chosbedigaeth dragywyddol, ac hefyd y bôd o Dduw fel Bôd personol yn yr ystyr y credwn ni am dano. A gwaeth na hyny, cadwant i fyny yr hen eiriau oedd yn cael eu harfer gan dduwinyddion, megys Adenedigaeth, Cyfiawnhâd, Maddeuant, Adgyfodiad, Anfarwoldeb, a geiriau cyffelyb, ond wedi rhoddi iddynt ystyr arall gwahanol iawn i'r un a arferid ei roddi iddynt. Canfyddir oddiwrth hanes yr Eglwys Gristionogol mai ar yr adegau hyny ag y rhoddid arbenigrwydd i wirioneddau mawrion yr efengyl fel darpariaeth ar gyfer sefyllfa dyn fel pechadur y dilynid gweinidogaeth yr efengyl â deffroad a llwyddiant. Felly yr ydoedd yn yr oes Apostolaidd, yn ol yr esiamplau sydd genym yn y Testament Newydd. Yr oedd y dystiolaeth am Iesu Grist a threfn Duw i achub yn cael ei bendithio nes yr oedd gwledydd eilunaddolgar yn derbyn yr efengyl, ac eilunaddoliaeth yn diflanu o'i blaen. Yr un fath drachefn yn amser y Diwygiad Protestanaidd, pan yr oedd marweidd-dra a llygredigaeth cyffredinol wedi ymledu yn yr eglwys, a dyeithrwch hollol i Lyfr Duw. Yn flaenorol i'r Diwygiad, o lyfrau eraill, ac nid o'r Bibl, yr oeddynt yn fynych yn cymeryd hyd yn nôd destynau eu pregethau. Ond rhoddodd Duw air y cymmod yn meddwl Martin Luther, ac aeth efe, ynghyd â'i gydlafurwyr eraill, allan i'w gyhoeddi yn syml yn y goleu newydd oeddynt wedi ei gael arno; a dyma fu yn foddion i ysgwyd Pabyddiaeth yn Ewrop, ac i greu cyfnod newydd yn hanes yr Eglwys Gristionogol. Felly yr ydoedd yn nygiad o amgylch y Diwygiad Methodistaidd, ac yn y diwygiad mawr a nerthol a dorodd allan yn Northampton America, yn amser Jonathan Edwards. Pan yr oedd y diwygwyr nodedig yn Lloegr, Cymru, a Scotland, yn rhoddi arbenigrwydd neillduol i wirioneddau yr efengyl, dyna'r adeg yr oedd y Duw mawr yn bendithio eu llafur er dychwelyd dynion at Grist a'u dwyn i adael eu pechodau. Ond o'r tu arall, pan welid ymadawiad oddiwrth ffydd yr efengyl, gwelid pechodau yn cryfhâu ac yn cynnyddu, a'r eglwys yn gwanychu ac yn gwywo.

Awgryma testun yr ymdriniaeth ein bod wedi cael gafael ar y gwirionedd yn yr athrawiaeth iachus. Nid ydym, fe ddichon, yn y dyddiau hyn, heb fod mewn perygl o fod yn ddifater beth a bregethir i ni. Y rhai hyny mewn eglwysi sydd wedi myned yn llac mewn athrawiaeth a bywyd eu hunain, y maent yn debyg o ddewis y cyfryw rai yn fugeiliaid iddynt, ac yna â pethau yn gyflym y goriwaered. Dyna, megys y sylwodd y diweddar Barch. John Elias, fel y mae adfeiliad yn dyfod ar grefydd ac ar gyfundebau—gweinidogion llac a difywyd yn magu eglwysi fel hwy eu hunain. Sonia yr Apostol Paul am amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf; "enbyd," nid o herwydd erlidiau a gorthrymderau, ond "amser pryd na ddyoddefent athrawiaeth iachus, eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrant iddynt eu hunain athrawon, gan fod eu clustiau yn merwino"—ysfa am rywbeth dyeithr. Y mae eisieu gweinidogaeth o ddifrif ac eglwys o ddifrif, ac mae y naill yn cynnyrchu y llall.

Y mae dau eithafion y mae yn bosibl i ddynion syrthio iddynt: un ydyw ymlyniad traddodiadol wrth y gwirionedd, a'r llall ydyw honiad o ryddid mawr i feddwl drostynt eu hunain, ac i ymddattod oddiwrth bob barn ond eu barn eu hunain. Y mae yn hawdd canfod y ddwy duedd yn hanes yr eglwys, ac yn ein hoes ninnau. Y mae yn bosibl i rai ddal syniadau cywir am athrawiaethau yr efengyl yn unig am fod yr oes o'r blaen yn eu dal, a'r eglwys i ba un y perthynent iddi yn eu dal. Rhai felly oedd olynwyr nesaf y diwygwyr Protestanaidd. Yr oedd athrawiaeth cyfiawnhâd yn fywyd yn enaid Luther. Ni chiliodd ei ganlynwyr oddiwrth yr athrawiaeth. Ond fe aeth cyfiawnhâd yn opiniwn, yn uniongrededd, yn draddodiadol, ac o hyny y cyfododd anffyddiaeth yr oes ddilynol. Y mae yn bosibl i bregethwr o ran ei olygiadau fod yn uniongred, a hyny yn ffrwyth diofalwch; rhyw grediniaeth segur a difater yn marn eraill. Ond yn yr oes yr ydym ni yn byw ynddi, mae gwrthdystiad cryf yn erbyn y traddodiadol. Cenedl ac oes yw hon yn mawrhâu rhyddid yn wladol a chrefyddol. A hynod i ba eithafion y mae llawer yn myned wrth hòni y rhyddid yna. Dywed rhai mai nodwedd Protestaniaeth ydyw rhyddid, pob rhyddid, i olygiadau pawb; rhyddid oddiwrth bob rhwymau. Rhyddid wedi ei gario i eithafion ydyw hynyna. Mewn cynnadledd a gynnaliwyd yn Leicester, cynnygiwyd sefydlu cymundeb eglwysig ar egwyddor lydan, heb ofyn dim ynghylch barn dyn; ond pa un bynag ai Pabydd ai Brahmin, ai pagan ai cristion, os oedd rhyw gymaint o'r elfen grefyddol ynddo, hwy a'i derbynient i gymundeb. Annibyniaeth a rhyddid wedi rhedeg yn wyllt ydyw peth fel yna. Cam â Phrotestan-

iaeth ydyw dyweyd mai y brif elfen ynddi ydyw rhyddid barn. Y mae ynddi elfen arall lawn mor bwysig, sef, anallu dyn i ddeall meddwl Duw yn ei air heb arweiniad Ysbryd Duw. Rhwng uniongrededd traddodiadol, a rhyddid barn wedi ei weithio i eithafion rhysedd, y peth mawr y mae y Bibl yn rhoddi lle iddo fel peth anghenrheidiol i'n cadarnhâu yn ffydd yr efengyl ydyw adnabyddiaeth o Grist, cymundeb âg ef, a chynnydd yn yr adnabyddiaeth o hóno.

Ceir tuedd mewn rhai o'n pobl ieuainc, sydd yn darllen tipyn ar y pethau sydd yn dyfod o Germany dan yr enw dyfnder, i geisio gwneyd eu hunain yn enwog drwy guro i lawr hen dermau, ond heb gynnyg dim gwell yn eu lle. Ceisia rhai yn y dyddiau hyn ddangos nad oedd yr hen dadau wedi gwneyd cyfiawnder â chymeriad Duw—yn ei ddarlunio fel Barnwr yn cosbi yn hytrach nag fel Tad trugarog. Oddiar hynyna mae eu syniad am bechod yn newid, a haerant nad oes anghenrheidrwydd am ddim fel iawn. Y mae cysylltiad agos rhwng athrawiaethau yr efengyl â'u gilydd, fel y mae cyfeiliorni yn y naill yn arwain i gyfeiliorni yn y llall. Ceisia llawer yn awr ddyweyd rhywbeth newydd, rhywbeth yn ôd, rhywbeth na ddywedwyd erioed mo hono o'r blaen, pa un bynag ai gwir ai peidio. Na feddyliwn am fyned yn fawr wrth ddyweyd pethau hynod. Nid ystyrid y diweddar Barch. J. A. James o Birmingham yn bregethwr mawr, yn ol syniad lliaws am fawr, ond yr oedd gwirionedd yr efengyl o dan radd o eneiniad yr Ysbryd yn ei bregethau, ac felly yr oedd rhyw fawredd arnynt, er nad oedd dim dyeithrwch ynddynt. Llefarai oddiar ei brofiad ei hun o'r efengyl. Gofalwn fod genym allor y gallwn ddysgwyl tân Duw arni. Y mae yn rhaid i ni gael gwirionedd Duw. Gofalwn wrth drwsio allorau ein tipyn pregethau eu bod yn gyfryw y gallwn weddïo am i dân Duw ddisgyn arnynt. Os na fyddwn yn myned at Dduw, ni a allwn wneyd heb Grist; ond nis gall neb ymwneyd â Duw heb Grist.

Y mae y pwnc yn amlwg bwysig fod ymlyniad wrth wirioneddau yr efengyl yn hanfodol i lwyddiant y weinidogaeth; ond yr anhawsdra mawr ydyw, nid cadw at wirionedd yr efengyl o ran ffurf, ond gallu ymgodi o ran ein hysbryd at y gwirionedd. Gellir traddodi gwirioneddau yn sychlyd, a gellir defnyddio yr hen dermau a'r bobl heb eu deall. Anhawdd ydyw sylweddoli trueni uffern; a pha fodd y gall un siarad am Iawn Crist heb sylweddoli i ryw fesur ei anfeidroldeb? Nodwedd pob gwir efengylydd ydyw, brwdfrydedd mawr dros Berson yr Arglwydd Iesu. Dylid cymhell geirwiredd mewn cysylltiad â Pherson Crist. Wrth draethu yn erbyn meddwdod, dylid seilio pob gair ar yr Iawn. Mae y rhinweddau hyn yn dyfod yn wirioneddau yr efengyl pan y maent yn cael ei cysylltu â Pherson Mab Duw.

Yr ydym yn cysuro ein gilydd nad oes un achwyniad fod neb o'n brodyr yn gwyro oddiwrth wirionedd yr efengyl; ar yr un pryd mae yn bosibl i ni fod yn wan iawn wrth ddyweyd gwirionedd. Yr oedd y pregethwyr a fu o'n blaen gyda'r Methodistiaid yn ddynion Duw. Gadawsant argraff felly ar y wlad. Nid oedd nemawr eglwys, mewn cwm na phentref, heb rywrai amlwg a diammheuol mewn crefydd a duwioldeb yn swyddogion ac aelodau ynddynt, yn rhai ag oeddent yn ofn i weithredoedd drwg. Dylem ofalu nid yn unig am fod yn glir oddiwrth gyfeiliornadau, ond hefyd gwylio rhag bod yn weiniaid wrth draethu gwirioneddau. Wedi'r cwbl y mae genym achos i lawenhau gyda golwg ar dôn y pregethu, ond achos i alaru yn yr olwg ar galedrwydd ein gwrandäwyr.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 8 30 boreu dydd Iau, yr 22ain.*

Pwnc yr ymdriniaeth ydoedd *Bedydd.*

Sylwyd fod ambell fater y gellir gwneyd rhyw sylw arno ac yna eistedd i lawr, ond wrth ymdrin âg athrawiaeth fel hon, dylai yr ymdriniaeth fod yn gyfan gydgysylltiol. Gyda golwg ar y seiliau sydd genym ni fel Cyfundeb i weinyddu yr ordinhâd hon yn y modd ac ar y sawl y gweinyddir hi genym, sef ar gredinwyr a'u plant,—nid ar ryw un adnod neu ddwy yr ydym yn seilio ein prawf, ond ar gydgasgliad o'r ystyriaethau mwyaf pwysig. Y mae yn anghenrheidiol gan hyny galw sylw at lawer o bethau; ac y mae yn fwy anhawdd meistroli cyfuniad o ystyriaethau nag ydyw cyfeirio at un adnod ag y tybir ei bod yn profi y pwnc; a dichon mai dyna un achos ein bod mor annyben yn ymaflyd yn y ddadl o blaid Bedydd Babanod. Mae y ddadl o blaid bedydd babanod yn dra chyffelyb i'r ddadl o blaid y Sabbath Cristionogol. Nid oes genym yr un adnod yn dyweyd yn bendant y dylai plant gael eu bedyddio, megys nad oes genym yr un adnod bendant i brofi fod y dydd cyntaf o'r wythnos i'w gadw yn lle y seithfed. Ond os nad oes genym adnod bendant, y mae genym nifer o'r ystyriaethau cadarnaf mewn bod, ag edrych arnynt gyda'u gilydd, ac mewn undeb â'u gilydd, o blaid y Sabbath Cristionogol. Yn gyffelyb yma, y mae yn rhaid wrth gryn amynedd i feistroli cyfres o ymresymiadau o blaid bedydd babanod. Rhaid i ni gymeryd rhediad cyffredinol y Bibl, cysondeb goruchwyliaethau, a'r egwyddorion mawrion

oedd yn yr eglwys ymhob oes, cyn y gallwn ddeall pa beth ydyw gwir seiliau yr athrawiaeth yr ydym ni fel Cyfundeb yn ei chredu. Anffawd yn ddiammheu fyddai i Gymru eto fyned yn faes dadl chwerw. Ond yr un pryd, pan fyddom fel Methodistiaid yn weddol hamddenol, dylem gymeryd y cyfleusdra i roddi arbenigrwydd i'n golygiadau penodol, i'r pethau yr ydym yn eu credu ac yn eu hymarfer yn ol ein crêd. Yr ydym ni yn dal y dylid gweinyddu bedydd ar gredinwyr a'u plant. Gwahaniaethwn oddiwrth un enwad cristionogol mewn perthynas i ddeiliaid Bedydd, ond yr ydym o'r un farn â hwy ar natur Bedydd. Credwn ni mai credinwyr a'u plant ydynt unig ddeiliaid bedydd, ac na ddylid gweinyddu bedydd ar blant neb ond plant credinwyr. Yn hynyna yr ydym yn wahanol i enwad crefyddol arall. Credwn ein bod yn agosach o ran ein barn at yr enwad cyntaf y cyfeiriwyd ato nag at yr olaf. Yr ydym yn hollol o'r un farn â'r cyntaf am natur bedydd, sef mai nid arwydd yn unig ydyw, ond ei fod hefyd yn sêl cyfammod Duw. Yr ydym o'r un farn â hwy ynghylch natur bedydd, ond ein bod yn fwy ëang ein golygiadau gyda golwg ar ddeiliaid bedydd.

Un peth sydd yn peri i ni gredu fod plant yn ddeiliaid bedydd ydyw fod plant yn yr eglwys dan bob goruchwyliaeth. Credwn yn nghysondeb y goruchwyliaethau yr oedd yr eglwys yn myned drwyddynt, yn undod yr egwyddorion mawrion oedd yn eu llywodraethu. O ganlyniad, credwn fod plant i fod yn yr eglwys Gristionogol yn gystal ag yn yr eglwys Batriarchaidd a'r eglwys Iuddewig. Peth arall sydd yn peri i ni gredu hyn ydyw fod cyfammod Abraham eto yn bod; yr ydym ni o dan gyfammod Abraham. Efe yw ein tad ni oll. Ydyw, y mae cyfammod Abraham yn para eto.Ië, meddai rhywun, y mae goruchwyliaeth Moses wedi myned heibio. Gwir; ond nid ydym ni yn yngan gair am oruchwyliaeth Moses: y mae hono wedi myned heibio; ond y mae cyfammod Abraham yn para, ac fe bery hyd ddiwedd amser.Ië, fe fydd yn para yn y nefoedd, oblegid os ydym yn dduwiol, i fynwes Abraham y cawn fyned yno. Y mae cyfammod Abraham yn parhâu byth. Yr enwaediad ydoedd arwydd, ond nid arwydd yn unig, ond hefyd *insel* y cyfammod yna. Ond gofyna rhywun, Onid oedd dau gyfammod âg Abraham? un yn dymmorol a'r llall yn ysbrydol? ac onid arwydd y cyfammod tymmorol oedd yr enwaediad? Ac os arwydd y cyfammod tymmorol ydyw, onid ydyw wedi darfod gyda'r oruchwyliaeth hono? Ond pa fodd yr ydys yn profi hyn? Nid ydym yn gallu canfod dau gyfammod; un cyfammod ydoedd, ac un arwydd neu insel o'r cyfammod hwnw. Onid oedd ystyr ysbrydol i'r enwaediad? Insel cyfiawnder y ffydd, yr hon oedd ganddo yn y dienwaediad. Nid oes dim, dybygid, yn amlycach na bod bedydd yn yr oruchwyliaeth hon wedi cymeryd lle yr enwaediad o dan yr Hen Destament. Pa fodd y dangosir hyny? Onid drwy yr enwaediad yr oeddynt yn derbyn rhai i mewn i'r eglwys o dan yr Hen Destament? Os ydym ni yn iawn ddeall, nid ei berthynas âg Abraham oedd yn rhoddi hawl i'r plentyn i berthyn i'r eglwys Iuddewig, ond yr enwaediad. Mae yn wir mai ei berthynas âg Abraham a roddai hawl iddo gael ei enwaedu, ond yr enwaediad oedd yn rhoddi hawl iddo i gael ei dderbyn i'r eglwys. Beth pe dywedasai rhyw Iuddew, "Ni chânt enwaedu ar fy mhlentyn i." Y ddedfryd mewn canlyniad a fuasai, "Torer ef ymaith o fysg y bobl." Nid ydoedd i gael ei dderbyn i gynnulleidfa Duw. Fel hyn, yr enwaediad ydoedd y drws gweledig i'r eglwys o dan yr Hen Destament. Felly, bedydd sydd yn rhoddi hawl i aelodaeth yn yr eglwys o dan y Testament Newydd. Yr oedd yr enwaediad yn insel cyfammod; felly hefyd y mae Bedydd, ynghyd a Sacrament Swper yr Arglwydd. Yr oedd yr enwaediad yn arwyddlun o fendithion ysbrydol; mae y bedydd hefyd yn arwyddlun o'r un pethau. Yr oedd yr enwaediad yn rhoddi hawl i freintiau yr eglwys gynt: felly hefyd y mae bedydd yn awr. Dyma dri o bethau yn y rhai y mae yr enwaediad a'r bedydd yn llanw yr un lle a'u gilydd: Y maent yn un yn eu perthynas â chyfammod Duw; yn llanw yr un lle gyda golwg ar fendithion ysbrydol; a'r un yn eu perthynas â'r eglwys weledig. A all neb gan hyny ddangos mai anmhriodol dyweyd fod bedydd wedi dyfod yn lle yr enwaediad? Y mae yr ystyriaethau yna, ac ystyriaethau eraill o'r un natur, yn perswadio ein meddwl fod gan blant credinwyr le yn yr eglwys, a hawl i fedydd fel derbyniad i'r eglwys o dan yr oruchwyliaeth hon. Arweinia yr unrhyw ystyriaethau ni i gredu nad oes gan unrhyw blant hawl i'r ordinhâd hon ond plant y rhai sydd yn proffesu duwioldeb. Os ydym yn coledd y meddyliau isaf am fedydd, sef mai arwydd yn unig ydyw, yna gellir gweinyddu yr ordinhâd hon ar blant pawb yn ddiwahaniaeth. Dyna oedd barn Zuinglius am yr ordinhadau, mai coffadwriaeth ac arwyddion yn unig oeddynt. Ac y mae llawer yn y dyddiau hyn heb edrych arnynt yn ddim uwch nag arwyddion. Ond yr ydym ni yn credu nid yn unig eu bod yn gofarwyddion ond yn seliau cyfammod Duw, a'n bod ni wrth gyflwyno y plentyn i'w fedyddio yn ymgyfammodi â Duw. Yr ydym yn cyflwyno

y plentyn i'r Drindod, yn Dad, Mab, ac Ysbryd Glan; a'r bedydd ydyw sêl y cyflwyniad. Ac y mae y Duw mawr yn dyweyd, Yr wyf yn rhoddi fy hun i fod yn Dduw iddo, a dyma sêl y cyfammod rhyngom.

Ond pwy sydd â hawl ganddo i gyflwyno ei blant i Dduw mewn cyfammod oddieithr yr hwn a wnaeth gyfammod âg ef ar ei ran ei hun? Os arwydd yn unig ydyw bedydd, yna ni a allwn, am ddim a wyddom ni, fedyddio plant pob rhieni; ond os ydyw yn ychwanegol yn sêl cyfammod Duw, yna nid oes unrhyw blant yn meddu hawl iddo ond y cyfryw ag y mae eu rhieni eu hunain mewn cyfammod â Duw. Pa sawl gwaith yn y Testament Newydd y dywedir fod hwn neu y llall a'i deulu yn cael eu bedyddio? Ac y mae mwy yn hyn nag y mae llawer yn feddwl. Yn rhestrau bedyddiadau ein brodyr y Bedyddwyr, anaml y sonir am fedyddiad teuluoedd. Ond ceir hwy yn wastad yn y bedyddiadau apostolaidd. Beth yw yr achos o'r gwahaniaeth? A phan y sonir am fedyddiadau teuluoedd, ni a gawn hefyd mai teuluoedd rhieni wedi eu dwyn eu hunain i gredu ydynt.

Mae yn ddiau mai y peth sydd yn dyweyd fwyaf yn erbyn bebydd babanod ydyw diofalwch eu rhieni am eu magu yn grefyddol. Megys y dywedodd Phillip Henry, "*If it were improved more, it would be disputed less.*" Dylem gofio fod y plentyn yn cael ei ddwyn o fewn cylch yr un broffes gristionogol â ni ein hunain. Mae yn dyfod yn ddysgybl i Iesu Grist. Y mae i wasanaethu Crist, i gael ei fywyd yn angeu Crist, ac i gymeryd ei lywodraethu gan fywyd Iesu Grist. Dylem fel rhieni wneyd yr oll a allom i ddwyn ein plant i fyny i Iesu Grist. Mae y plant yn cymeryd sylw yn bur fore o'n hymddygiadau, cyn iddynt allu eto siarad. A rhyw gyfnod pwysig ydyw y cyfnod yn eu bywyd, *the era of impressions*, fel y dywedai rhywun. Bydd elfenau yn cael eu ffurfio yn eu cymeriad y pryd yna a fyddant yn dangos eu hunain ymhen degau o flynyddoedd. Nid llawer a ddywedir yn y Testament Newydd am ddyledswyddau yr eglwys at y plant, ond gwesgir hyn yn arbenig at y rhieni eu hunain. Dylem fod yn effro gyda hyn, fel y byddo i ni gario allan amcan sefydliad yr eglwys yn y byd, sef sancteiddiad dynion, a gogoniant Crist.

Gofynir i ni weithiau fel Methodistiaid pa fodd yr ydym yn gyson â ni ein hunain pan yn cydnabod yn *valid*, yn safadwy, fedydd wedi ei weinyddu ar blant y gwrthodir bedydd iddynt genym ni? Paham, gofynant, na fyddem yn mynu ail-fedyddio y cyfryw blant? Byddem wrth ofyn am ail-fedyddio plant yn cymeradwyo egwyddor sydd wedi ei chondemnio gan eglwys Crist, ac egwyddor sydd yn groes i holl ddysgeidiaeth y Testament Newydd, sef fod effeithiolrwydd gwerth ac urddas ordinhadau yr eglwys yn dibynu ar y gweinyddwr ac nid ar y Pen mawr. Yr oedd yr enwaediad yn aros yn ei rym, hyd yn nôd pan ddygwyddai i weinyddwr yr ordinhâd fod yn ddyn annuwiol; ni fyddid un amser o herwydd hyny yn gofyn am ail-enwaedu.

Cofied rhieni fod cyfrifoldeb mawr yn gorphwys arnynt; fod ganddynt fwy o lawer i'w wneyd gyda golwg ar gael tragywyddoldeb da a dedwydd i'w plant na neb yn llywodraeth Duw ond Ysbryd Duw ei hunan. Y peth mwyaf a all dyn ei wneyd ydyw cyflwyno ei hun i Dduw, a'r peth agosaf at hyny ydyw cyflwyno ei blant iddo. Pe byddai rhieni plant yn edrych arnynt fel *property* Duw, a hwythau fel *trustees* dros Dduw arnynt, caem weled mwy o ymdrech er dwyn y plant i fyny yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd.

T. OWEN, *Ysgrifenydd.*

---

ADRODDIAD A DDARLLENWYD YN Y GYMDEITHASFA.

*Adroddiad o Weithrediadau Cyfeisteddfodau Unedig y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig, a gynnaliwyd bore Mawrth.*

Yr oedd yn bresennol dros y Genadaeth, y Parch. John Thomas, B.A., Liverpool; Mri. Roger Evans, E. T. Jones, Dinbych; Richard Owen, Machynlleth; John Davies, Salford; T. Rowlands, Drefnewydd—hefyd, y Parchn. H. Hughes, Gellidaran, a Benjamin Jones; Mri. Griffiths, Dolgellau, a Jacob Jones, Bala, yn lle aelodau arferol y Siroedd y perthynant iddynt, ynghyd a Llywydd ac Ysgrifenydd y Gymdeithasfa.

ACHOSION Y GENADAETH.

Derbyniwyd llythyrau oddiwrth Mri. P. Williams, Liverpool; J. Jones, Ashlands, a'r Trysorydd, yn dadgan eu hanallu i fod yn bresennol; y cyntaf gan waeledd, a'r ail trwy absennoldeb oddicartref.

1. Derbyniwyd atebion y Cyfarfodydd Misol, &c., ynghylch adroddiadau y lleoedd o dan eu gofal sydd yn ymddangos yn y *Report* blynyddol diweddaf. O Liverpool, atebwyd bod y mater wedi ei gyfeirio at eu cyfeisteddfod cenadol lleol hwy, a'u bod heb dderbyn eu hatebiad eto. Yr oedd Sir Fflint heb gael cyfle i edrych i mewn i'r peth, ond yr oedd y Siroedd eraill a'r Henaduriaethau yn hysbysu bod adroddiadau y lleoedd o dan eu gofal hwynt yn gywir.

2. Mewn trefn i gywiro amryfusedd neu ddau a lithrodd i mewn i'r adroddiad o

weithrediadau y Cyfeisteddfod a ymddangosodd yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Gwrecsam, dymunir hysbysu mai £47 10s. ydyw swm y *grant* i Coedway, a bod £40 wedi eu *votio* i Rossett a Burton, ac £20 i Wepre.

3. Derbyniwyd adroddiad Sir Fflint yn nghylch yr achos yn Froghall, oedd wedi ei gyfeirio atynt o'r Cyfeisteddfod diweddaf. Hysbyswyd fod y Parch. Benjamin Jones wedi ei anfon yno am Sabboth i weled ansawdd y lle, ac yn unol â'r adroddiad a ddygodd ef yn ol, fod penderfyniad unfrydol wedi ei basio i gymeryd y lle i undeb â'r Cyfarfod Misol, ac annogwyd ar fod *grant* o £20 yn cael ei roi iddo am y flwyddyn, sef £10 yn ychwanegol at y £10 sydd eisoes yn ddyledus iddynt, er eu cynnorthwyo i gael gweinidogaeth Gymraeg ar y Sabboth yn amlach nag unwaith yn y chwarter. Cydsyniodd y Cyfeisteddfod â hyn, a threfnwyd i'r arian gael eu talu i'r lle drwy, a'u defnyddio o dan, arolygiaeth y Cyfarfod Misol.

4. HANLEY.—Derbyniwyd cenadwri o'r lle hwn drwy y Trysorydd, yn appelio yn erbyn y gostyngiad a wnaed ar y *grant* iddo yn Ngwrecsam; ond oblegid na chafodd ei anfon trwy y Cyfarfod Misol, teimlai y Cyfeisteddfod na fyddai yn rheolaidd ei *entertainio*, ond awgrymid y byddai y cyfeillion yn rhydd i anfon yr un genadwri i Gyfeisteddfod Mehefin nesaf, ond iddynt ofalu i'w hanfon yn y dull arferol.

5. Derbyniwyd adroddiad Henaduriaeth Lancashire ar y gwahanol achosion oeddynt wedi eu cyflwyno i'w hystyriaeth gan y Cyfeisteddfod diweddaf.

HOPE.—Yr oedd yr Henaduriaeth yn annog ar fod i'r Parch. Robert Charles Jones, yn ddiweddar o Chili, South America, gael ei benodi yn Genadwr i ofalu am y lle hwn ynghyd a Chaergwrle, a'i fod i dderbyn £50 o gydnabyddiaeth am ei lafur. Derbyniwyd cenadwri ychwanegol hefyd oddiwrth Mr. Peters, Caerlleon, yn dadgan fod pob parodrwydd yn y diweddaf o'r ddau le i fod o dan ofal cenadol Mr. Jones.

Penderfynwyd cydsynio â'r cais hwn, a bod y llafur cenadol yn y ddau le i'w drefnu gan yr Henaduriaeth mewn cydffurfiad â Chyfarfod Misol Sir Fflint, i ba un y mae Caergwrle ar hyn o bryd yn perthyn.

MANCOTT.—Yr oedd yr Henaduriaeth yn annog bod i Mr. Griffith Jones gael ei benodi yn Genadwr yn y lle hwn, ac i gael £30 yn ychwanegol at y £24 y mae y lle yn eu haddaw iddo, am ei wasanaeth ar ddeuddeg Sabboth yn y flwyddyn. Wedi peth ystyriaeth, ac yn ngwyneb mai ychydig a wyddai y Cyfeisteddfod am alluoedd y brawd, penderfynwyd iddo lafurio yn y lle am naw mis ar yr ammodau cynnygiedig, a bod adroddiad neillduol am ei lafur yn cael ei ddwyn i Gyfeisteddfod Mehefin nesaf.

SAUGHALL.—Hysbyswyd fod yr Henaduriaeth wedi gwneyd y trefniadau canlynol gyda golwg ar y lle hwn:—Bod i'r Parch. John Roberts, Waverton, a Mr. John Wright o Mancott, ymweled bob un âg ef unwaith yn y mis, a'r un modd y Parch. John Williams mor aml ag y gall, i gynnorthwyo y cyfeillion i gynnal eu cyfarfodydd wythnosol; a bod *grant* o £10 yn cael ei ganiatâu i'r lle, drwy Mr. Peters, Caerlleon, er mwyn iddo ef, mewn undeb â'r Parch. John Williams, fedru helpu yr achos egwan i gael gwell gweinidogaeth nag sydd yn bresennol yn disgyn i'w rhan ar y Sabbothau. Cydsyniwyd â'r annogaethau hyn, a chaniatäwyd y *grant* gofynedig.

6. Penderfynwyd na fyddai ymweliad â'r lleoedd cenadol eleni ar ran y Cyfeisteddfod Gweithiol, ond y gadewid hyny i'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau sydd yn gofalu yn uniongyrchol am danynt.

7. Penodwyd Mri. Thomas Rowlands, a Richard Williams y Drefnewydd, i fod yn *auditors* y Genadaeth am y flwyddyn hon.

JOSEPH JONES, *Ysgrifenydd.*

---

## CYMDEITHASFA LLANSAMLET, SIR FORGANWG,

AWST 6, 7, A'R 8FED, 1878.

---

LLYWYDD,—Y Parch. JOHN JONES, Ceinewydd.

---

### DYDD MAWRTH, Y 6ED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa, am* 3 *o'r gloch.*

AR ol sicrhâu fod brodyr yn bresennol o'r amrywiol Gyfarfodydd Misol ac o'r Henaduriaeth,—

I. Trefnwyd gwaith gwahanol Gyfarfodydd y Gymdeithasfa.

II. Penodwyd Cyfeisteddfod, cynnwysedig o Weinidog a Blaenor dros bob Cyfarfod Misol a'r Henaduriaeth, i wrandaw ar Apêl neillduol, yn unol â phenderfyniad Cymdeithasfa Whitland.

III. Darllenwyd Cenadwriaethau o'r Gymanfa Gyffredinol.

IV. Dygwyd i mewn y cynnygiadau canlynol o'r Cyfeisteddfod tuag at ddarparu moddion Efengyleiddiad, &c., yr hwn a gyfarfu yn Llanelli ar yr 18fed o Gorphenaf:—

Cyfarfu y Cyfeisteddfod hwn yn Llanelli, Gorphenaf 18fed, 1878: yn bresennol, Parchn. T. James, M.A., Owen Edwards, B.A., Joseph Evans, y Captain Jones.—Cyttunwyd ar y penderfyniadau canlynol:—Fod y Gweinidogion canlynol yn cael eu gwahodd i gymeryd rhan mewn cynnal moddion, allan o'r llwybr cyffredin, er efengyleiddiad y werin, megys pregethu yn yr awyr agored, &c., yn ol penderfyniad Cymdeithasfa Whitland:—Y Parchn. J. Pugh, Tredegar; M. Morgan, Hwlffordd; T. Evans, Merthyr; W. Williams, Abertawy; T. Levi, Aberystwyth; J. Evans, Abermeurig; T. James, M.A., Llanelli; O. Edwards, B.A., Llanelli; T. Phillips, Mountain Ash; J. Hughes, M.A., Dowlais; D.

Phillips, Abertawy; W. Jenkins, M.A., Aberafon; M. Williams, Llanfair; T. M. Green, Casnewydd; Joseph Evans, Caerfyrddin. Ystyrid yn ddymunol fod i bob Gweinidog ei gyfaill a'i gydweithiwr. —2. Fod Gweinidogion fyddo yn dwyn ymlaen wasanaeth yn yr awyr agored, yn ol y cynllun hwn, yn cael darparu iddynt gyflenwad o draethodau i'w dosbarthu yn rhad yn y gymydogaeth lle bydd y gwasanaeth yn cael ei gynnal. Y traethodau hyn i'w cael drwy Gynnullydd y Cyfeisteddfod.—3. Ein bod yn awgrymu fod yr eglwysi yn cael eu hannog gan y Gymdeithasfa i gynnal moddion o'r nodwedd hyn ar y tymmor mwyaf cyfleus yn y flwyddyn; ac os ymgymerir â hwynt gyda chydsyniad yr amrywiol Gyfarfodydd Misol, y bydd treuliau teithio yr Efengylwyr yn cael eu talu gan Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol.—JOSEPH EVANS, *Cynnullydd.*

V. Darllenwyd llythyr oddiwrth y Parch. Josiah Thomas, M.A., Ysgrifenydd y Genadaeth Dramor, yn cyflwyno i'r Gymdeithasfa Mri. Griffith Griffiths a Robert Evans, y ddau frawd ieuainc sydd wedi eu cymeradwyo i fyned allan i Cassia, ac i gael eu hordeinio yn y Gymdeithasfa hon.

VI. Penderfynwyd fod y Parch. D. Harries, o'r America, a'r ddau Genadwr, i gael cyfleusdra i anerch y Gymdeithasfa yn y cyfarfod 1 o'r gloch ddydd Mercher, neu 8 o'r gloch ddydd Iau.

VII. Hysbyswyd am farwolaeth Arglwydd Dynevor; a phenderfynwyd anfon llythyr at yr Arglwyddes Dynevor, ac at yr Arglwydd Dynevor presennol, yn dadgan ein cydymdeimlad dwfn â hwynt, a'n parch i goffadwriaeth y diweddar bendefig fel gwleidyddwr goleuedig a rhyddfrydig, gan gofio yn arbenig ei waith yn amddiffyn hawliau Ymneillduwyr Cymru yn Nhŷ yr Arglwyddi.

VIII. Galwyd sylw at ein rhwymau fel gwlad i gydnabod llaw yr Arglwydd yn yr heddwch sydd wedi ei sefydlu, a'n bod, nid yn unig yn dadgan ein diolchgarwch fel Cymdeithasfa, ond hefyd yn annog yr eglwysi yn gyffredinol i wneyd hyny, mewn cysylltiad â'r cyfarfodydd diolchgarwch am y cynauaf.

IX. Cafwyd yn genadwri o'r Henaduriaeth,—"Gan fod yr Henaduriaeth yn argyhoeddedig y byddai yn fantais i Fethodistiaeth fod yr holl eglwysi Seisonig sydd tu fewn i derfynau yr Henaduriaeth yn cael eu hûno yn un corfforiaeth neu gymdeithas, ein bod yn ostyngedig yn gofyn i'r Gymdeithasfa annog yr eglwysi sydd eto heb ymuno â'r Henaduriaeth i wneyd hyny yn ddioed."

Ar ol cryn ymddyddan ar y mater hwn, penderfynwyd fod yr ymdriniaeth yn cael ei gohirio yn anmhenodol.

X. Penodwyd brodyr i archwilio Cyfrifon y Genadaeth Gartrefol a Hen Gronfa yr Athrofa.

XI. Etholwyd y Parch. Dr. Harries Jones yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn ddyfodol.

*Cyfeisteddfod yr Athrofa, am* 6 20.

I. Darllenwyd llythyr oddiwrth y Parch. D. Saunders, yn rhoddi i fyny y swydd o fod yn Ysgrifenydd Athrofa Trefecca. Derbyniwyd yr ymddiswyddiad.

II. Derbyniwyd Adroddiad Cyfeisteddfod yr Athrofa.

III. Penderfynwyd ymhellach,—

1. Fod uniad yr hen Gronfa â'r newydd i gael ei adael nes y bydd Mri. M. Jones a H. Ll. Harries, y Trysoryddion, yn cael cyfleusdra i ymgynghori â'u gilydd. 2. Fod Adroddiad o gyfrifon y Gronfa newydd yn cael ei barotoi erbyn y Gymdeithasfa nesaf, yn cynnwys y *Balance Sheet* a ddarllenwyd yn y Cyfeisteddfod Mehefin diweddaf, ac hyd y byddo modd yn cynnwys y swm oddiwrth bob eglwys at y Gronfa; ac fod gwerth yr hen Gronfa yn cael ei osod i lawr ar ddiwedd yr Adroddiad hwn.

DYDD MERCHER, Y 7FED.

*Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahan, am 8 o'r gloch.*

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr, ymddyddanwyd â'r brodyr oedd i gael eu hordeinio yn y Gymdeithasfa hon, am eu profiadau gyda golwg ar eu crefydd bersonol, a chyda golwg ar waith y Weinidogaeth. Rhoddwyd cynghorion gwerthfawr iddynt, gan gadw golwg arbenig ar y ddau frawd sydd yn myned allan i'r maes cenadol.

*Cyfarfod yr Ordeinio, am* 10 *o'r gloch.*

Yn y cyfarfod hwn neillduwyd y brodyr canlynol i gyflawn waith y Weinidogaeth:—D. J. Davies, Capel Trisant; W. D. Jenkins, Pembre; Benjamin Phillips, Bontfaen; Morgan Evans, Defynog; Morris D. Jones, Caellwchwr; Richard Rowlands, Trefin; Thomas Lamb, Abergwaen; Thomas Howells, Mynydd Cynffig; a'r ddau Genadwr, G. Griffiths a R. Evans. Dechreuwyd y cyfarfod drwy weddi gan y Parch. J. Richards, Llechryd. Darllenwyd y rhanau arferol o'r Ysgrythyrau a gweddïwyd gan y Parch. D. Harries, Chicago. Gofynwyd am reoleidd-dra y dewisiad gan y Llywydd; ac atebwyd yn gadarnhäol gan Mr. Howell Davies, Whitland. Traethwyd ar Natur Eglwys gan y Parch. T. Job, Cynwyd. Gofynwyd y Cwestiynau o'r *Cyffes Ffydd* gan

y Parch. E. Matthews. Rhoddwyd y Cynghor gan y Parch. T. James, M.A., Llanelli. Terfynwyd drwy weddi gan y Parch. D. Hughes, Yr Ynys.

Bu raid gwneyd ychydig wahaniaeth yn y cyfarfod hwn gyda golwg ar y brodyr oedd i gymeryd rhan yn y gwaith, o herwydd fod rhai o'r brodyr a benodasid yn methu bod yn bresennol.

Galwyd y ddau Genadwr ymlaen i'r Côr Mawr, a rhoddwyd gair o gyfarchiad iddynt gan y Parchn. E. Matthews ac E. Williams, Morfa Nefin.

*Cyfarfod y Gymdeithasfa, am* 1 *o'r gloch.*

I. Trefnwyd fod i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn Aberhonddu, Hydref 8, 9, 10. Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa i fod am 6 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, yr 8fed.

II. Darllenwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad o Gyfarfod y Blaenoriaid, lle y penderfynwyd fod Mr. W. Howells, Pencoed, i fod yn Ysgrifenydd Cyfeisteddfod y Diaconiaid am y flwyddyn ddyfodol, ac y cafwyd ymddyddan gwresog a buddiol ar yr anghenrheidrwydd am *Adfywiad Crefyddol*, a dangoswyd awydd mawr am weled a theimlo pethau nerthol eto yn ein gwlad,—a phenderfynwyd, fod y cyfarfod hwn yn dymuno ar y Gymdeithasfa i alw sylw y Cyfarfodydd Misol a'r eglwysi at hyn, fel y caffom deimlo mwy o ysbrydolrwydd crefydd. Nodwyd hefyd ar Mri. John Howells, Pencoed, D. J. Davies, Llanrhystyd, a W. Jones, Dolgellau, i siarad yn y cyfarfod 1 o'r gloch ar y mater hwn.

Darllenwyd a chadarnhäwyd y penderfyniad canlynol o Gyfeisteddfod yr Apêl:—

Ar ol gwrando ar Apêl Mr. Ll. J. yn erbyn dedfryd Cyfarfod Misol Gogledd Aberteifi, ac ar atebiad y Cyfarfod Misol o'r tu arall, penderfynwyd yn unfrydol ein bod yn teimlo ein hunain o dan rwymau i gadarnhâu y ddysgyblaeth sydd wedi cael ei gweinyddu.

IV. Rhoddwyd hanes dyddorol a chalonogol am yr achos yn Ngorllewin Morganwg, gan Mr. J. Howells, a'r Parchn. W. John, D. Phillips, a D. Saunders. Sylwyd fod mwy o gynnydd wedi bod yn ystod y flwyddyn ddiweddaf nag un flwyddyn er 1859—60; ond ofnid fod y cynnydd mewn rhif yn fwy na'r cynnydd mewn dyfnder ac ysbrydolrwydd, er fod llawer o dynerwch teimlad i'w gael dan bregethiad y gair.

V. Cafwyd hanes cysurus iawn gan y Parchn. George Watson a David Evans, am yr achos mewn cysylltiad â'r eglwysi perthynol i Henaduriaeth Mynwy, Morganwg, a Chaerfyrddin. Sylwyd yn neilldnol ar sefyllfa uchel yr eglwysi hyn yn eu cyfraniadau o'u cymharu â'r eglwysi Cymreig lliosog yn rhai o'r Siroedd, ac ar y llwyddiant sydd wedi cymeryd lle yn ngwyneb llawer o anfanteision.

Rhoddwyd amlygrwydd fod y Gymdeithasfa yn gwerthfawrogi y llafur a'r llwyddiant sydd wedi bod yn y rhan Seisonig o'r Cyfundeb hyd yn hyn; a hyderid y bydd yr un zel a'r un gweithgarwch yn parhâu, ac y ceir profion amlwg fod "Duw yn rhoddi y cynnydd."

*Cyfarfod y Gymdeithasfa, am* 3 *o'r gloch—(parhâd).*

Cymerwyd i ystyriaeth, a chadarnhäwyd yr Adroddiad o Bwyllgor Gweithiol y Genadaeth Gartrefol.

DYDD IAU, YR 8FED.

*Cyfarfod y Gymdeithasfa, am* 8 *o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

II. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod yr Athrofa.

Ynglŷn â hyn, galwodd y Parch. E. Matthews sylw at y Gronfa. Hysbysai fod oddeutu deunaw mil wedi dyfod i law, a'i fod yn dysgwyl y daw amryw gannoedd eto.

III. Darllenwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad canlynol oddiwrth y Cyfeisteddfod Dirwestol, a gwnaethpwyd sylwadau pellach fel annogaeth i gario allan y cynnygiadau:—

Eisteddodd y Pwyllgor Dirwestol a benodwyd gan y Gymdeithasfa o'r blaen, a phenderfynwyd ar y pethau canlynol i'w cynnyg i gymeradwyaeth y Gymanfa:—1. Ein bod fel Cymanfa yn dymuno gwasgu yn y modd mwyaf difrifol y pwysigrwydd o fod ein holl swyddogion, yn bregethwyr a blaenoriaid, yn llwyrymattalwyr oddiwrth ddiodydd meddwol. 2. Ein bod yn annog y Cyfarfodydd Misol i gadw golwg fanylach ar fod y blaenoriaid newydd a ddewisir, a'r dynion ieuainc sydd yn codi i'r weinidogaeth, yn llwyrymwrthodwyr diammheuol. 3. Ein bod yn dymuno dadgan y dymunoldeb o fod ein sefydliadau addysg, ac yn arbenig ein Hathrofeydd, yn fagwriaethol i Ddirwest, ac yn taflu eu holl ddylanwad o'i phlaid. 4. Ein bod yn annog yr eglwysi ymhob man i ofalu am ddwyn eu plant i fyny yn ddirwestwyr, a darparu moddion dirwestol ar eu cyfer. 5. Ein bod yn galw sylw cyfeillion Dirwest at y priodoldeb o gael Ystafelloedd Coffi a Byrddau Coffi yn y trefi, fel na byddo gorfod ar ddyeithriaid, ar ddyddiau ffeiriau a marchnadoedd, i fyned i dai tafarnau.

IV. Darllenwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad canlynol o Gyfeisteddfod Gweithredoedd y Capelau:—

Yn Mhwyllgor Gweithredoedd y Capeli, penderfynwyd,—1. Fod i'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaeth benodi Cyfeisteddfod neillduol i ofalu am Weithredoedd y Capelau o fewn eu cylch. 2. Fod i Ysgrifenydd y Cyfeisteddfod Sirol ddarparu i'w anfon i Gyfeisteddfod y Gymanfa, Adroddiad Blynyddol o Weithredoedd y Capelau o fewn ei gylch. 3. Fod ffurf briodol i gael ei darparu a'i hargraffu er cyfleusdra i wneyd y cyfryw Adroddiad. 4. Fod Ysgrifenydd Cyfeisteddfod Gweithredoedd Capelau perthynol i'r Gymanfa i ddarparu Adroddiad i'w osod ger bron Cymanfa Flynyddol Awst.

V. Cadarnhäwyd y Cynnygiadau a ddygwyd ger bron gan yr *Evangelistic Committee.*

VI. Cyflwynwyd y Parch. D. Harries, Chicago, i'r cyfarfod; ac wedi cael anerchiad cynhes ganddo, yn cynnwys hanes byr am lafur a llwyddiant y Methodistiaid Calfinaidd yn America, ynghyd a'u hymlyniad cryf wrth y Fam-Eglwys yn Nghymru, cynnygiwyd gan y Parch. W. Williams, Abertawe, cefnogwyd gan y Parch. Dr. Harries Jones, a phenderfynwyd yn unfrydol,—

Fod y Gymdeithasfa hon yn dymuno rhoddi y derbyniad mwyaf gwresog i'r Parch. D. Harries ar ei ymweliad â gwlad ei enedigaeth; yn llawenhâu yn y safle uchel y mae wedi ei hennill, a'r fendith y mae yr Arglwydd wedi ei rhoddi ar ei lafur ymhlith ein cydwladwyr yn America; ac yn dymuno ar iddo gael parhâu o dan amddiffyn yr Hwn y mae yn ei wasanaethu, yn ystod ei ymdaith yn y wlad hon, yn gystal ag yn ac ar ol ei ddychweliad i faes ei lafur.

VII. Cyflwynwyd i'r cyfarfod y Parchn. Robert Evans a Dr. Griffiths, y ddau frawd sydd yn myned allan yn Genadwyr i Fryniau Cassia. Gwedi cael anerchiadau tra theimladol ganddynt mewn cysylltiad â'r gwaith cenadol, cynnygiwyd gan y Parch. G. Davies, cefnogwyd gan y Parch. T. C. Edwards, M.A., a phenderfynwyd yn unfrydol,—

Ein bod fel Cymdeithasfa yn llawenychu yn y cyfleusdra hwn o gael croesawu ein hanwyl frodyr i'n plith, ac o gael eu gwrandaw cyn y byddont yn ymadael â'r wlad; ac yn dymuno ar iddynt gael amddiffyn yr Arglwydd drostynt ar eu mordaith allan, a bod llwyddiant mawr ar eu llafur wedi cyrhaedd y maes Cenadol; gan ymrwymo i'w cefnogi drwy gofio am danynt yn ein gweddïau, a thrwy feithrin ysbryd Cenadol a zel dros y Genadaeth yn ein heglwysi.

Annogwyd ymhellach, ar fod sylw yn cael ei dalu i'r angen ychwanegol am ddynion ac am arian, mewn canlyniad i'r llwyddiant mawr sydd wedi cymeryd lle ar y Bryniau yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, a'n bod gan hyny yn annog y Cyfarfodydd Misol a'r eglwysi i weithredu yn ol yr awgrymiadau oddiwrth y Cyfeisteddfod Gweithiol.

Galwyd sylw hefyd at y cyfleusdra i garedigion yr achos anfon anrhegion gyda'r Cenadon i'w dosbarthu ymhlith y brodorion, megys llyfrau buddiol i'r Pregethwyr brodorol, gwobrwyon i'r Ysgolion, &c. Dymunir ar y rhai fyddo yn cael ar eu meddwl i wneyd y caredigrwydd hwn i'r Genadaeth, ymholi â'r Ysgrifenydd, y Parch. Josiah Thomas, M.A., 28 Breckfield Road South, Liverpool.

VIII. Penderfynwyd cyflwyno y Cenadwriaethau o'r Gymanfa Gyffredinol i'r Cyfarfodydd Misol.

Dymunir ar y Cyfarfodydd Misol ddwyn eu hatebion i Gymdeithasfa y Gwanwyn.

IX. Gwnaethpwyd sylwadau tra theimladol mewn coffhâd am y diweddar Barchn. J. James, Penybont, R. Roberts, Llangeitho, a R. Roberts, Llundain, gan y Parchn. E. Matthews, Principal Edwards, a D. C. Davies, M.A.; a phenderfynwyd anfon llythyr at Mrs. James, Penybont, a Mrs. Roberts, Llangeitho, i ddadgan ein cydymdeimlad â hwynt yn eu trallod.

X. Penderfynwyd anfon llythyr at yr hybarch dad Mr. Evans, Tonyrefail, yr hwn oeddid yn mawr obeithio cael ei weled a'i glywed yn y Gymdeithasfa hon, i gyflwyno iddo ein cofion gwresocaf, gan ddymuno i'r Arglwydd barhâu yn ei diriondeb tuag ato yn mhrydnawn ei fywyd defnyddiol.

XI. Cadarnhäwyd etholiad y Parch. Dr. Harries Jones fel Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn ddyfodol.

XII. Cyflwynwyd diolchgarwch y Gymdeithasfa i'r swyddogion eraill am eu gwasanaeth yn ystod y flwyddyn oedd yn awr yn terfynu, ac ail-etholwyd hwynt am y flwyddyn ddyfodol.

G. DAVIES,
*Ysgrifenydd.*

---

## CENADAETH DREFOL METHODISTIAID CALFINAIDD CYMREIG LIVERPOOL.

### V.

YR ydym eisoes wedi rhoddi braslun anmherffaith i'r darllenydd o'r trueni a welir mewn teuluoedd mewn canlyniad i anghymedroldeb y gŵr. Ond er fod hwnw yn fawr iawn, eto nid yw ond bychan mewn cymhariaeth i'r trueni sydd yn cael ei achosi gan feddwdod gwragedd a mamau meddwon.

Y mae yr enw yn un gwarthus, onid ydyw? *Cymraes feddw! Gwraig feddw!! Mam feddw!!!* Dyma destun i allu desgrifiadol y bardd,—"Tŷ a thylwyth mam feddw." Byddai yn wir ddrwg genym fod yn euog o ysgrifenu gormodiaith yn y cyfeiriad hwn am ferched gwlad ein genedigaeth; ond nid yw o un dyben celu ffeith-

iau; y gwirionedd a saif. Pe gellid cael allan nifer y merched Cymreig sydd yn feddwon cyhoeddus yn Liverpool, synai llawer un yn aruthrol. Y mae y merched, fel rheol, ar ol ymarfer â'r diodydd meddwol, yn myned yn gaethion hollol i'w chwant am danynt. Llwyddir weithiau i gael rhai o'r meibion i ymwrthod â hwy, a dyfod yn ddirwestwyr, ond y mae y merched agos yn hollol anobeithiol. Braidd nas gellir dyweyd am danynt, fel y dywedodd Milton am y Satan, eu bod wedi syrthio i beidio codi byth mwy. Yr oeddym yn ddiweddar yn llygad-dyst o'r hyn a ganlyn: Dwy Gymraes yn galw gyda chymydoges o Wyddeles i geisio benthyg pres i gael diod, ac wedi cael eu nacâu, yn myned i *entry* gul gerllaw, lle y tynasant eu peisiau gwlaneni oddiam danynt, ac aethant â hwynt i'r *pawnshop*, ac oddiyno gyda'r hyn a gawsant arnynt i'r dafarn! Yr ydym yn adnabod rhai mamau Cymreig yn gymaint o dan lywodraeth eu chwant am y ddiod feddwol, nes y maent wedi bod yn tynu dillad oddiam eu plant bychain i'w *pawnio* i gael dyferyn o'r ddiod felldigedig! Gwelsom chwaer garedig unwaith yn rhoddi dillad i blant tlodion, llymion, a thruenus yr olwg arnynt; ond cyn pen pedair awr, yr oedd y plant yn hanner noethion ar wely gwellt mewn seler dywell, a'u mam yn hollol feddw! Yr oeddym gyda chyfaill un diwrnod yn ddiweddar yn cerdded ar hyd un heol gul, pan y daeth gwraig o Wyddeles atom, gan ddymuno arnom fyned gyda hi i'r tŷ i geisio gwneuthur rhywbeth o wraig o Gymraes oedd ganddi yn byw yn y *top room*. Dywedai ei bod "yn feddw er ys wythnosau, a'i bod yn gadael ei phlentyn i drugaredd pobl eraill." Aethom i mewn gyda hi, a chafodd hithau gan y Gymraes ddyfod i lawr o'r llofft. Gallasem dybied eu bod o ddeuddeg i bymtheg ar hugain mlwydd oed; ac yr oedd hi yn hanner meddw ar y pryd. Ymddangosai yn wraig synwyrol, siaradai yn gall, ac addefai yn rhwydd ei bod wedi myned yn gaethes hollol i'w chwant am y ddiod feddwol. Dywedai "y byddai y gŵr yn ei churo, ac y byddai hyny yn ei gyru at y ddiod, ac wedi iddi ddechreu nas gallai ei rhoddi heibio er ei bod yn gwybod ei bod yn lladd ei hun yn gyflym." Adroddai ei bod wedi bod mor ddrwg yn ddiweddar, nes y byddai yn aml yn yr "*horrors*,"—y byddai yn gweled pob math o greaduriaid hyllion. Annogasom hi i'w rhoddi heibio, a hyny ar unwaith, cyn iddi orphen dinystrio ei hunan gorff ac enaid am byth. Yr oedd ganddi ddwy geiniog yn ei llaw, a dangosai hwynt gan ddyweyd, fod yn rhaid iddo gael un glasiad gyda'r rhai hyny—nas gallai fyw hebddo, ac y byddai iddi drannoeth arwyddo yr ardystiad dirwestol. Yr ydym yn adnabod amryw wŷr a gwragedd, tadau a mamau, yn gymeriadau tebyg i'r rhai uchod, a Duw yn unig sydd yn gwybod gymaint y mae plant y cyfryw rai yn ei ddyoddef. Ond amser a gofod a ballai i ni nodi ychwaneg o esiamplau, onidê gallasem nodi ugeiniau o rai cyffelyb. Y mae y golygfeydd yr ydym yn eu cael yn eu plith yn ein gwneuthur, gorff a meddwl, yn anhwylus.

Yr ydym yn aml yn dyfod o hyd i ferched wedi eu magu a'u dwyn i fyny yn foethus yn nghanol llawnder mewn ffermydd mawrion yn Nghymru; ond erbyn hyn, trwy fyw yn afradlawn, wedi cael eu darostwng, neu yn hytrach wedi darostwng eu hunain i ddyfnder tlodi a thrueni. Byddwn weithiau yn cael gafael ar feibion i flaenoriaid duwiol, a meibion i weinidogion enwog yn Nghymru, y rhai a gawsant eu magu yn grefyddol, erbyn hyn yn ymdrybaeddu yn mhyllau butraf llygredigaeth. Yr ydym yn adnabod un Cymro a fu am flynyddau yn weinidog parchus a gobeithiol gyda y Bedyddwyr yn Nghymru, ond sydd erbyn hyn, oblegid ei waith yn ymollwng i arfer y diodydd meddwol (a'i wraig, yr hon sydd yn Gymraes yn ogystal), yn nghanol trueni rhy fawr i ni allu ei ddesgrifio. Buasai eu plant wedi rhynu a newynu, oni buasai i'r foneddiges lafurus a haelionus, Mrs. Eleazer Pugh, dosturio wrthynt a'u cymeryd ymaith.

Gallwn dybied fod y darllenydd yn barod i ofyn bellach pa beth a fyddwn yn ei wneuthur gyda y fath gymeriadau; a gallwn ateb trwy ddyweyd y byddwn yn aml yn lled ddigalon, ac yn methu gwybod pa beth i'w wneyd. Ond o drugaredd, nid yw pawb y mae genym i ymweled â hwynt yn gyffelyb i'r rhai a nodwyd. Wedi bod gydag amryw o'r cymeriadau gwaethaf, bydd yn iechyd i'n hysbryd wrando ar ambell i hen chwaer dduwiol yn dyweyd ei phrofiad. Byddwn yn ein crwydriadau yn cyfarfod â llawer math o bobl. Byddwn weithiau yn cyfarfod, nid yn unig â dynion anystyriol, ond hefyd â dynion o syniadau anffyddol, y rhai a fyddant yn gwawdio Cristionogaeth. Wrth gyfarfod â'r cyfryw rai, byddwn yn methu gwybod pa fodd i ymddwyn, rhag ofn i ni trwy ryw ddull annoeth, er amcanu yn dda, wneuthur niwed a dwyn ein hunain i brofedigaeth. Daethom yn gydnabyddus â gwraig grefyddol, ond ei gŵr yn anffyddiwr, ac yn ddyn lled feddw. Yr oedd y wraig ofn rhag i'r gŵr a ninnau gydgyfarfod, ac iddo ein sarhâu, fel y byddai yn arfer a gwneuthur gyda phawb. Ceisiem ganddi beidio trwblio ei meddwl yn ein cylch, oblegid y gallem ddyoddef pob peth felly os byddai raid, ond nad oeddym

yn tybied y byddai angen am hyny. Un diwrnod, yn adeg y rhyfel rhwng Rwsia a Thwrci, galwasom yno, a chawsom yntau i mewn. Wedi cyfarch gwell i ni yn siriol, aeth rhag blaen at bwnc y dydd, sef y rhyfel. Deallasom ar unwaith ei fod yn ddyn call, ond ei wybodaeth yn gyfyng, a'i fod yn edmygwr mawr o Mr. Gladstone a'i weithrediadau. Yr oedd y *Liverpool Mercury* am y diwrnod yn cynnwys erthygl arweiniol ar Mr. Gladstone, ac yn dygwydd bod yn ein llogell ar y pryd. Gofynasom iddo a ydoedd wedi eu gweled; dywedodd yntau nad oedd, ac y buasai yn dda ganddo gael ei chlywed. Darllenasom hi iddo, ac yr oedd yntau bron yn gorfoleddu; ac ar ol ei darllen, rhoddasom draethodyn Cymraeg wrth ei ochr ar y bwrdd, ac ymaith â ni. Y Sabboth canlynol wele efe yn yr Ystafell Genadol yn gwrando arnom yn ceisio pregethu. Ni byddai yn myned i unrhyw le o addoliad cyn hyn er ys blynyddoedd, ond yn awr y mae yn dyfod yn aml, ac yr ydym ein dau ar delerau da bob amser. Dywed y wraig ei fod yn ein galw yn *jolly fellow*.

Byddwn weithiau, trwy ryw foddion syml, braidd yn ddiarwybod i ni ein hunain, yn llwyddo i ennill rhai i ddyfod i foddion gras, ond er ceisio, a cheisio yn barhâus, a hyny mewn llawer dull a modd, yn methu gydag eraill. Gosodiad sydd yn cael ei gydnabod yn gyffredinol fel gwirionedd diammheuol ydyw, fod dyn yn greadur crefyddol—fod rhywbeth o'i fewn sydd yn sicr o'i dueddu i addoli rhywun neu rhywbeth; ond wrth edrych ar rai dynion yr ydym yn eu hadnabod, byddwn bron yn ammheu gwirionedd y gosodiad, gan mor anghrefyddol ydynt, a diawydd am foddion gras. Y mae rhai yn galw dyn yn *anifail crefyddol;* ond anifail *anghrefyddol* iawn ydyw ambell i ddyn a adwaenom yn Liverpool. Byddwn yn awr ac eilwaith yn cyfarfod â dynion mewn dygn anwybodaeth; byddwn yn rhyfeddu cyfarfod â chynifer o hen bobl a chanol oed yn analluog i ddarllen. Yr ydym yn adnabod llawer iawn nad ydynt yn medru llythyren ar lyfr, ac y mae syniadau rhai o'r cyfryw am grefydd yn ddigrifol dros ben. Yr ydym wedi clywed rhai yn dyweyd yn benderfynol, os bydd iddynt fyw yn onest a chyfiawn, &c., fod nefoedd yn eu haros yn y byd a ddaw, o anghenrheidrwydd. Ac y mae genym sail i ofni fod aml un o wrandäwyr yr efengyl yn coleddu syniadau tebyg. Daethum yn ddiweddar o hyd i hen gwpl, un yn wyth, a'r llall yn ddeg a thriugain mlwydd oed, yn byw mewn seler dywell, fudr, dlawd, a thruenus yr olwg arni, yn rhai anllythyrenog a hollol ddiawydd am foddion gras. Wedi cael mynediad i mewn, a chael rhywbeth rhwng cadair a stôl i eistedd arni, a mynegu ein gorchwyl, yr ydym yma, fel mewn tai eraill, weithiau yn gorfod sefyll arholiad. Y mae yr hen ŵr yn rhoddi i ni restr o gwestiynau, yr olaf o ba rai ydyw, "Y'ch chwi yn *belongo* i'r *Dippers?*" Wedi iddo gael atebiad nacäol, y mae yr hen ŵr yn tywallt cawod o felldithion am ben y "*Dippers.*" Y mae yn ymddangos fod y brodyr y Bedyddwyr wedi digio yr hen frawd rywbryd; ac y mae yr hen ŵr yn elyn anghymmodlawn i'r *dippio;* ond yr oeddym ni yn tybied wrth edrych arno y buasai *dip* go dda yn gwneuthur lles iddo. Cawsom trwy lawer iawn o drafferth gan yr hen wraig ddyfod i'r moddion; ac y mae hi yn dyweyd ei bod yn mwynhâu y gwasanaeth. Dywedai un diwrnod yn ddiweddar, fod y pregethwr y Sabboth blaenorol, yn dyweyd y dylid caru Iesu Grist yn fwy na phawb—yn fwy na thad na mam, na brawd, na chwaer, &c. "O nage, nid fel yna ychwaith, machgen i, meddwn innau wrthyf fy hun," meddai. "Nid oes rheswm mewn peth fel yna. Dyna gelwydd beth bynag." Ond, ebe hi drachefn, "fel yr oedd yn myn'd ymlaen i son am Iesu Grist, fe gododd rhyw lwmp yn fy *mrest*, ac y mae yma byth, ac yr wyf bron yn meddwl erbyn hyn mai efe oedd yn iawn wedi'r cwbl. Yr wyf yn teimlo rhyw gynhesrwydd yn fy nghalon tuag ato." Dywedasom ninnau wrthi ein bod yn meddwl fod y pregethwr yn iawn, oblegid fod Iesu Grist wedi gwneyd mwy na phawb drosti hi a ninnau, ïe, ei fod wedi marw er mwyn i ni gael byw. Erbyn hyn yr oedd y dagrau yn treiglo i lawr ei gruddiau llwydion, tra y dywedai, "Wel, os yw hyna yn wir, nid yw yn rhyfedd fod eisieu ei garu yn fwy na phawb, ac nid yw yn ddim camp ei garu ychwaith,—fe fyddai yn gamp medru peidio ei garu, ac mi cara i E byth mwy." Ac ni a obeithiwn fod cariad Crist wedi ei dywallt yn ei chalon. Adroddasom amryw bennillion iddi,—

"Mi ganaf tra bo anadl
O fewn i'r ffroenau hyn," &c.

"O Iesu, pwy all beidio
Dy gaumol ddydd a nos?
A phwy all beidio cofio
Dy farwol ddwyfol loes?" &c.

Yr oedd yr hen wraig erbyn hyn mewn hwyl fawr. Y mae hyn yn dangos fod yn bwysig iawn dwyn yr efengyl a chymeriadau fel hyn i gyffyrddiad â'u gilydd.

Y mae yn gysur mawr i'r Cenadon gael sail i gredu, fod yr Arglwydd yn bendithio eu llafur annheilwng ac anmherffaith i fod yn foddion i ddwyn ambell i bechadur i afael â bywyd tragywyddol. Cawsom bleser mawr yn ddiweddar wrth wely angeu gwraig, yr hon ydym yn gredu a gafodd

grefydd mewn cysylltiad â'r Ystafell Genadol. Y mae hanes y wraig hon yn rhamantus, ac yn ddangosiad eglur pa mor ansicr ydyw cyfoeth a hawddfyd y byd presennol. Ganwyd hi yn Môn â llwy arian yn ei genau, fel y dywedir. Dygwyd hi i fyny yn foneddiges drwyadl. Byddai pan yn ferch ieuanc yn marchogaeth ei march porthiannus, a digon o weision a morwynion i weini arni. Priododd yn ieuanc, ac ymsefydlodd mewn fferm fawr yn Môn, ond nid oedd haul llwyddiant a hawddfyd i gael tywynu arni yn hir. Gan nad oedd hi wedi dysgu trefnu a llywodraethu amgylchiadau tŷ fferm, dim ond marchogaeth, chwareu y *piano*, a dilyn *tea parties*, a'r cyffelyb, a chan nad oedd hyny yn talu, buan y bu yn rhaid rhoddi i fferm i fyny, ac ymadael i Liverpool. Ac yma bu agos iddynt a newynu cyn amlygu eu cyfyngder i neb. Ac wedi iddi gael ei darostwng i dlodi, rhoddodd ei meddwl i lawr, ac nis gallai neb ei pherswadio i ddyfod i foddion gras, hyd nes y daeth Mri. Moody a Sankey i'r dref. Bu ymweliad y gwŷr hyn o werth annhraethol i'r dref; a gresyn na byddai rhywun yn dyfod eto i greu rhyw gynhwrf cyffelyb. Codwyd llawer allan o'u tyllau i wrando yr efengyl na buont yn gwrando er ys llawer o flynyddoedd o'r blaen. Ond ysywaeth, fe syrthiodd llawer o honynt yn ol i'r un sefyllfa drachefn; eithr am y wraig o dan sylw, darfu iddi hi barhâu i fyned i wrando y Saeson yn awr ac eilwaith. A llwyddasom i gael ganddi yn ddiweddar ddyfod i'r Ystafell Genadol; ac yn bur fuan wed'yn daeth o dan deimladau dwysion iawn i ymofyn lle yn eglwys Dduw. Bu am dymmor yn dilyn y moddion yn ffyddlawn hyd nes cymerwyd hi yn glaf o'r *bronchitis*, yr hwn yn ebrwydd a roddodd derfyn ar ei bywyd. Nis gwelsom neb erioed yn fwy hunan-ymostyngol i ewyllys ei Harglwydd, na neb yn cael mwy o gysuron crefydd yn ei dyddiau olaf. Ddiwrnod cyn iddi farw, dywedai un chwaer wrthi y byddai iddi wella drachefn, a'r cyfan a ddywedodd oedd—"Ewyllys yr Arglwydd a wneler." Y noswaith olaf y bu fyw, yn nghanol ymdrech galed am ei hanadl, yr oedd yn canu yn swynol un o hymnau Mr. Sankey.—

"I need Thee every hour, most gracious Lord;
No tender voice like Thine can peace afford.
I need Thee, oh I need Thee! Every hour
I need Thee;
Oh bless me now, my Saviour; I come to
Thee.

I need Thee every hour; stay thou near by;
Temptations lose their power when Thou art
nigh, &c.

I need Thee every hour in joy or pain
Come quickly and abide, or life is vain, &c.

I need Thee every hour; teach me thy will;
And Thy rich promises in me fulfil, &c.

I need Thee every hour, Most Holy One;
Oh make me Thine indeed, Thou blessed
Son," &c.

Canodd yr emyn hon drwyddi, a bu farw tan sisial—"*I come to Thee.*" Nid oedd ryfedd yn y byd i Balaam ddywedyd, "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd i fel yr eiddo yntau." Y mae marw dan ganu yn farw bendigedig. Dechreuodd y wraig hon ei gyrfa yn y byd hwn yn foneddiges mewn ystyr dymmorol, ond gorphenodd hi yn frenines, ac yn offeiriadyddes i Dduw a'i Dad Ef. Er iddi gael dechre ei bywyd mewn cyfoeth yn y byd, hi a gollodd y cwbl; ond erbyn hyn y mae hi yn gyfoethog tuag at Dduw, heb berygl iddi fyned yn dlawd yn dragywydd. Oes, y mae ganddi "goron anniflanedig;" "coron y bywyd!"

R. C. Owen.

---

YR YSGOL SABBOTHOL A CHYFARFOD MISOL LIVERPOOL.

Yn Nghyfarfod Misol Liverpool, cymerwyd dan ystyriaeth Adroddiad y Cyfeisteddfod a benodasid i ystyried achos yr Ysgol Sabbothol, a phenderfynwyd,—

1. Ein bod fel Cyfarfod Misol yn ystyried mai dymunol fyddai cael cyfarfod bob tri mis o gynnrychiolwyr yr holl Ysgolion Sabbothol mewn cysylltiad â'r Cyfarfod Misol hwn, i fwrw golwg barhâus ar gyflwr y sefydliad, ac i drefnu y moddion goreu at ei wneyd yn fwy dylanwadol ac effeithiol yn ein mysg.—2. Fod dymuniad ar i'r pregethwyr a'r blaenoriaid roddi eu presennoldeb yn y cyfryw Gyfarfod Trimisol, a'u bod i feddu hawl i bleidleisio ynddo.—3. Fod nifer y Cynnrychiolwyr a ddanfoner o bob Ysgol i fod yn ol nifer yr aelodau ar lyfrau yr Ysgol—fel y canlyn: o dan 200, un cynnrychiolydd; dros 200 ac o dan 400, dau; dros 400 ac o dan 600, tri.—4. Fod y Cyfarfod Misol hwn yn cynghori ar fod yr Ysgolion yn dewis rhyw gyfran o'r Bibl yn faes llafur cyffredinol; fod y gyfran hono yn destun yr holwyddori ar ddiwedd yr Ysgol, a bod cyfres o gwestiynau ar y gyfran benodedig yn cael eu parotoi a'u hargraffu er mantais y dosbarthiadau, ac er mwyn cael cyfarfod o holi cyffredinol arnynt, ac mai dymunol fyddai i'r holl Ysgolion Sabbothol fabwysiadu yr un gyfran o'r Bibl yn faes llafur, fel y gallai dwy neu dair, neu ragor, o honynt gydgyfarfod i gael eu holwyddori.—5. Fod y Cyfarfod Misol hwn yn cynghori ar fod arholiadau, trwy gyfrwng ysgrifen, i gymeryd lle bob blwyddyn, tua mis Chwefror, ac yn awgrymu i sylw Cyfarfod y Cynnrychiol-

wyr y manylion canlynol:—(1) Fod tri mater i gael eu rhoddi i rai o wahanol oedran, sef, y plant, yr ieuenctyd, a'r rhai mewn oed. (2) Fod nifer cwestiynau yr Arholiad i gael ei gyfyngu i ddeuddeg. (3) Fod y cwestiynau i gael eu rhoddi yn y ddwy iaith, a bod rhyddid i ateb yn y naill neu y llall. (4) Fod tystysgrif i gael ei rhoddi i bob ymgeisydd a atebo hanner y cwestiynau yn gywir. (5) Fod gwobrwyon i gael eu rhoddi i'r goreu, yr ail, a'r trydydd ymhob Ysgol. (6) Fod prif wobr i gael ei rhoddi i'r goreu yn yr holl ddosbarth. (7) Fod manylion pellach yr arholiad i gael eu trefnu gan gyfarfod y cynnrychiolwyr.—6. Penderfynwyd fod y cynnygion hyn mewn perthynas i'r Ysgol Sabbothol, i gael eu hargraffu, a nifer digonol yn cael eu danfon i bob Ysgol, fel y gallo pob Athraw ac Athrawes gael copi, a bod dymuniad ar i'r Ysgolion ddewis Cynnrychiolwyr mewn pryd i gyfarfod yn Chatham Street, Nos Wener, y 27ain o'r mis hwn, am 7 o'r gloch.—Dewiswyd Mr. E. Roberts yn gynnullydd.

---

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

MAE yr eglwys yn Glanrhyd, Sir Benfro, wedi cael colled drom trwy farwolaeth y blaenor addfwyn, haelionus, a gwir dduwiol, Mr. John Lloyd, yr hwn oedd wedi cyrhaedd yr oedran teg o 82 mlwydd. Trwy ei ffyddlondeb ef yn benaf yr adeiladwyd y capel hardd a agorwyd yma yn 1871. Yr oedd yr achos yn Glanrhyd yn pwyso mwy ar ei feddwl na'i ofalon personol. Dyma ydoedd ei ofal parhâus. Bu farw ar y 6ed o Fedi, a chladdwyd ei weddillion yn mynwent Llantwd, gerllaw y diweddar Barch. D. Griffith, y gweinidog enwog o'r lle hwnw.

Cynnaliwyd cyfarfod pregethu yn Penuel, Merthyr, ar y 15 a'r 16eg o Fedi, y Parchn. Robert Jones, Treherbert, a W. Prytherch, ieuaf, yn y gwaith: a'r un dyddiau yn nghapel Seisonig Tredegar, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. W. Ross, Rothsay, a W. Williams o Abertawe. Cynnaliwyd cyfarfod cyffelyb yn Aberafon, ar y 6 a'r 7fed o Hydref, y Parchn. Dr. Harries Jones, J. Cynddylan Jones, Edwin Williams, M.A., a D. Jones, Abercarn, yn pregethu: ac yn Jerusalem, Ystrad Rhondda, ar y 13 a'r 14eg o Hydref, y Parchn. Hugh Jones o Liverpool, a W. James o Aberdâr, yn gweinyddu: yn Goetre, Sir Fynwy, ar y 29 a'r 30ain o Fedi, y Parchn. G. Phillips, R. Thomas (A.), George Watson, a J. Davies, Pandy, yn y gwasanaeth: yn Sïon, Castellnedd, ar yr 22 a'r 23ain o'r un mis, y pregethwyr yn bresennol oeddynt y Parchn. W. Morgans, Porthcawl, W. John, Penybont, David James, a D. Saunders.

Ar y 24 o Fedi, gosodwyd careg sylfaen capel newydd yn Bargoed, Sir Fynwy, gan Miss Cross, Risca. Llywyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. Aaron Davies, Pontlottyn, a chafwyd anerchiadau pwrpasol ac effeithiol gan y Parchn. W. Jones, Beaufort; D. Edwards, Casnewydd; W. Morgan, New Tredegar; James E. Rhys, Ystrad; J. C. Jones, Caerdydd; a Mr. W. Griffiths, Blackwood. Cyflwynwyd y llwyarn a'r morthwyl i Miss Cross gan Mrs. David Evans, Gelligaer, o fewn milldir i'r hwn le y mae'r capel yn cael ei godi. Traddodwyd dwy bregeth yn yr hwyr yn yr *Assembly Room*, gan y Parchn. J. Cynddylan Jones, a David Edwards, Casnewydd. Mae gobaith da am achos blodeuog yn y lle newydd hwn; ac y mae dau athraw yr Ysgol Waddoledig yn dra ymroddgar mewn cysylltiad âg ef.

Mewn cysylltiad â'r achos yn Ysgywen, gerllaw Castellnedd, mae capel bychan wedi ei adeiladu at wasanaeth cangen mewn man elwir Cwmdre, yr hwn a agorwyd ar y 29 a'r 30ain o Fedi, pryd y gwasanaethwyd gan y Parchn. Samuel Davies (y bugail), Abraham Edmunds, Thomas, Bristol, a T. Thomas, Llanymddyfri. Casglwyd £45. Rhoddwyd awrlais gan Mr. D. T. Sims, a Llyfr Hymnau gan Mr. T. Lewis.

Y mae'r Parch. Thomas James, gynt o'r Blaenau, Swydd Fynwy, ond yn ddiweddar o'r Pentrebach, Merthyr Tydfil, wedi ei ddewis a'i gydnabod mewn cyfarfod cyhoeddus, yn weinidog yr eglwys yn Aberfan, lle sydd yn gorwedd tua phedair milldir y tu dehau i Merthyr Tydfil, yn Nyffryn Tâf. Ac y mae Mr. Thomas Williams, Risca, efrydydd yn Athrofa Trefecca, wedi ymgymeryd â gofal yr eglwysi yn Pontypool a Phanteg.

Cynnaliwyd, ar yr adeg arferol, y cyfarfodydd blynyddol yn Cornhill, Tanhouse a Goosetree, Swydd Faesyfed, yn y rhai y cymerwyd rhan gan weinidogion y Sir gyda'r Parch. Apidrisyn Jones, Aberhonddu; W. D. Williams, Penclawdd, ac eraill. Y mae cyfarfodydd neillduol wedi cael eu cynnal yn ddiweddar hefyd yn Llyswen a Felindre, dau le ar làn yr Wy, y Parch. I. Jones, Aberhonddu, yn pregethu yn y naill, a'r Parch. John Hughes, M.A., yn traddodi ei ddarlith ar George Whitefield, yn y llall. A rhoddwyd gwledd i Ysgol Sabbothol capel Hope, gerllaw Llanfairmuallt, dydd Gwener yr 11eg o Hydref.

Y Parch. Thomas Evans, Merthyr, a draddodai bregethau blynyddol capel Seisonig Caerfyrddin, ar yr 20fed o Hydref;

a'r nos Lun ganlynol traddododd y Parch. D. C. Davies, M.A., Llundain, yno ei ddarlith ar y Bibl a Natur, yr hon ddarlith a roddasid ganddo y nos Wener blaenorol, y 18fed o Hydref, yn y Tabernacl, Aberystwyth.

Fel y gwelir oddiwrth adroddiad Cymdeithasfa Aberhonddu, yn Aberporth ac nid yn Blaenanerch, y cynnelir y Gymdeithasfa Chwarterol nesaf yn y Deheudir. Y mae'r ferch wedi myned o flaen y fam yn hyn o fraint. Yr ydys wedi penderfynu mai yn Llanymddyfri y cynnelir Cymdeithasfa Awst yn 1879.

Yr ydys wedi dechreu cario allan y trefniad i gael pregethu allan mewn ardaloedd poblog, yn ol penderfyniad Cymdeithasfa Bethesda. Mae'r Parchn. J. Jones, Aberhonddu, a John Pugh, wedi eu gwahodd i Sir Benfro i bregethn yn ardal Saundersfoot; a'r Parch. Morris Morgan, Hwlffordd, i wneyd yr un gwasanaeth yn Abertileri, yn Sir Fynwy.

Da genym hysbysu fod H. Ll. Harries, Ysw., U.H., Abergwaun, wedi addaw £50 at Drysorfa'r Gweinidogion, a'r Parch. J. H. Jones, Ph.D., Trefecca, wedi addaw £30. Y mae amryw o eglwysi yn y gwahanol Siroedd wedi amlygu eu parodrwydd i wneyd eu rhan tuag at y casgliad mawr sydd yn awr ar droed. Hysbyswyd yn Aberhonddu fod Mr. Jabez Thomas, Porth, Rhondda, wedi cyfranu £30 at yr achos hwn.

Yn ol adroddiad sydd yn awr o'n blaen, yr oedd casgliad Cenadol eglwysi Seisonig Sir Benfro yn 1877 yn cyrhaedd y swm hardd o £131 14s. 6c., yr hyn swm sydd ymhell yn fwy na dwywaith yr hyn ydoedd yn 1870, sef £52 6s. 7c. Am y pythefnos olaf o'r mis diweddaf, yr oedd y Parch. Thomas Evans, Merthyr, yn ymweled â'r cylch hwn fel "y dirprwywr dros y fam gymdeithas," ac fe ddysgwylid am gyfarfodydd Cenadol tra llwyddiannus. Yn ol eu nifer a'u nerth, nid oes ammheuaeth fod yr eglwysi hyn yn rhagori yn y cysylltiad hwn. Mae yn yr adroddiad esiampl rymus o'r defnydd effeithiol a ellir ei wneyd o'r blychau cenadol.

Ar y Sul a'r Llun olaf yn Medi, cynnaliwyd cyfarfodydd pregethu yn Brynhyfryd, Rhymni, a Gyfeillion, gerllaw Pontypridd. Y Parchn. T. Howell Jones, J. Walters, a D. Griffith, oedd yn gweinyddu yn y lle blaenaf; a'r Parchn. E. Matthews, D. James, J. Morgan Jones, a T. E. Edwards yn yr olaf. Bu y Parchn. D. Ll. Jones, M.A., Llandinam, a Robert Thomas, Garston, yn "cadw cyfarfod" yn nghapel Seisonig Aberdâr yr wythnos gyntaf yn Hydref.

Ar y 8ydd cynfisol cynnaliwyd Cymanfa Ganu yn Bancyfelin, Sir Gaerfyrddin, dan arweiniad Mr. D. Jenkins, Mus. Bac., Aberystwyth, ac yr oedd y nifer amlaf o weinidogion dosbarth Whitland yn bresennol yn cymeryd rhan yn y gweithrediadau. Deallwn y treulir un o'r oedfäon cyhoeddus yn Nghyfarfod Misol Tŷddewi, ddechreu y mis hwn, i'r amcan o wella'r canu cynnulleidfäol, dan arweiniad Mr. John Thomas, Llanwrtyd.

Gwyl flynyddol capel Bethel, Dolgellau, sef pen blwydd ei agoriad, a gynnaliwyd ar y trydydd dydd Mawrth o'r mis diweddaf. Rhoddwyd yn y prydnawn dê, a'r pethau cysylltiol âg ef, i ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol; ac yn yr hwyr, traddododd y Parch. D. C. Davies, M.A., Llundain, ei ddarlith ragorol ar "Y Bibl a Natur;" y Parch. R. Roberts, gweinidog Dolgellau, yn llywyddu.

Y mae capel newydd yn barod i'w agor yn Nhregeiriog, o fewn rhandir Cyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd. Dechreuwyd casglu ato er ys wyth mlynedd yn ol. Mae dau frawd yn yr ardal yn rhoddi can' punt bob un tuag at dalu am yr adeilad, yr hwn, y mae yn ymddangos, a fydd yn un neillduol o brydferth.

Y Parch. David Harries, Chicago, ar ol bod bum' mis yn Nghymru, a ymadawodd am America y dydd Mawrth olaf o Fedi, a'i fab gydag ef. Bu Mr. Harries yn yr holl Gymdeithasfäoedd Chwarterol a gynnaliwyd yn y cyfamser, ac yn y Gymanfa Gyffredinol, ac mewn rhanau o holl Siroedd Cymru. Yr oedd ei ysbryd serchog, a'i bregethau buddiol, yn gwneyd ei ymweliad ymhob man yn gymeradwy iawn.

Mae Ysgol Sabbothol wedi ei chychwyn yn Woolton gan gyfeillion Garston, yr hon sydd yn gweithio yn dda. Cedwir hi mewn tŷ annedd, dwy filldir o bellder o Garston.

Er ys tua phedair blynedd, y mae gwŷr ieuainc capel Prince's Road, Liverpool, yn cyfarfod yn wythnosol, dan arweiniad Mr. D. Daniels, i weddïo, ac i ddyweyd gair o'u profiad, ac i wrando bob chwarter blwyddyn ar anerchiadau gan y gweinidogion. Da fyddai i leoedd eraill ddilyn yr esiampl glodwiw hon.

Sabboth y 15ed o Fedi, cynnaliwyd cyfarfod pregethu Garston, pryd yr oedd y

Parchn. David Saunders ac Evan Phillips yn gweinidogaethu.

Y mae Mr. Robert Hughes, yn ddiweddar o'r Tabernacl, Ffestiniog, wedi ei sefydlu yn fugail ar yr eglwys yn Hanley, Sir Stafford, yr hon sydd mewn cysylltiad â Chyfarfod Misol Sir Fflint. Yn y cyfarfod sefydliad, gweinyddwyd yn benaf gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A., hen weinidog Mr. Hughes, a'r Parch. E. J. Evans, diweddar weinidog Hanley, y naill yn anfonedig gan Gyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd, a'r llall gan Gyfarfod Misol Sir Fflint.

Gofidus genym ddeall fod "y brawd anwyl, a'r gweinidog ffyddlawn," y Parch. J. F. Jones, B.A., Machynlleth, o herwydd ei nychdod corfforol, wedi gorfod galw yn ol ei gyhoeddiadau Sabbothol hyd ddiwedd Mawrth, 1879.

Ar y pedwerydd dydd Llun o fis Medi, gosodwyd meini coffadwriaethol capel newydd Pentre Cerni, neu Broughton, gerllaw Gwrecsam, gan Mrs. Humphreys, Cerni, merch i'r diweddar Mr. James Francis, diacon enwog, a chan Mrs. Jones, priod Mr. Daniel Jones, Brynhyfryd House, un o ddiaconiaid y Pentre. Llywyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. R. Edwards, Wyddgrug, ac anerchwyd y gynnulleidfa gan y seneddwr galluog a pharchus, Mr. Osborne Morgan, a chan y Parch. J. Jones o'r America, a'r Parch. E. Jerman, a Mr. Francis, Gwrecsam; a gweddïwyd yn y dechre gan y Parch. H. Barrow Williams, Gwrecsam, ac ar y diwedd gan y Parch. I. Jones, Glan'rafon. Casglwyd ar y pryd dros £80, tra yr oedd cyn hyny mewn llaw dros £250. Yr *architect* yw Mr. Howel Davies, Gwrecsam, a'r adeiladydd yw Mr. Peleg Jones o'r Pentre, a'r hwn sydd bregethwr perthynol i Gyfarfod Misol Sir Fflint. Ymddengys y bydd yn gapel hynod dlws a chyflëus. Dywedai Mr. Jones o'r America mai yn hen gapel Pentre Cerni yr hyfforddiwyd ef yn mhethau'r Bibl, ac yr ennillwyd ef at Grist a'i grefydd. Aeth wedi hyny gyda'i deulu dros y Werydd, a daeth mewn amser yn weinidog derbyniol gyda'r Saeson yno; ac y mae efe yn fuan bellach yn myned i'r India fel un o genadon y Gymdeithas Genadol Americaidd.

Mae Mr. J. Grey Jones, yn ddiweddar o Beaumaris, wedi cael ei alw ac wedi ymsefydlu yn weinidog yn Llanfair caereinion, ac hefyd i eglwysi cymydogaethol Pentyrch, Soar, a Bethlehem.

Bu y Parch. John Hughes Parry, Trallwm, yn traddodi darlith addysgiadol yn Saesoneg ar y testun "*Popular Delusions;*" yr elw yn myned at adgyweirio capel Gwern-y-pant.

Gosodwyd dau faen coffadwriaethol y capel newydd Seisonig a adeiledir yn Ninbych yn eu lleoedd ar y dydd cyntaf o Hydref; y naill faen yn cael ei ddodi gan Watkin Williams, Ysw., Q.C. ac M.P., a'r llall gan Mr. Thomas Gee, maer y dref. Yr oedd y Parchn. D. Saunders o Abertawe, Joseph Jones o Bont Menai, David Jones, gweinidog y lle, ac eraill, yn cymeryd rhan yn y gweithrediadau.

Y Parch. Evan Williams, Caernarfon, a fu farw y 5ed o'r mis diweddaf, yn 62 mlwydd oed. Yr oedd efe yn enedigol o Ledrod, Sir Aberteifi, ac a aeth yn ŵr ieuanc i Lundain, a bu yno am chwe' blynedd yn gwasanaethu fel un o genadon y *London City Mission.* Yr oedd ynddo duedd er yn ieuanc at arlunio, a chafodd fanteision yn Llundain i ymberffeithio yn y gelfyddyd; ac y mae cannoedd o bortreiadau o'i eiddo i'w cael yn Ngogledd Cymru. Pan yr ymsefydlodd yn Nghaernarfon tua 28 mlynedd yn ol, yr oedd efe wedi dechre pregethu, ac yr oedd yn bregethwr sylweddol ac adeiladol, er na chyfrifid ef yn boblogaidd. Gŵr dysyml a chwbl ddiddichell ydoedd. Ni bu ond ychydig amser yn glaf; yr oedd yn pregethu ryw bythefnos cyn marw.

## Bywgraffiaeth a Marwrestr.

JOHN FOULKES JONES, YSW., MACHYNLLETH.

*Gan y Parch.* D. WILLIAMS, *Machynlleth.*

*(Parhâd o tu dal.* 357.)

FEL gwleidyddwr, yr oedd Mr. Jones o ran ei egwyddorion yn hollol ryddfrydig *(liberal).* Nid yn fuan yr anghofir ei zel a'i weithgarwch di roi fyny ar adeg etholiad seneddol yn mwrdeisdrefi y Sîr. Ofer fuasai i unrhyw Geidwadwr feddwl am ei droi ef. Buasai yn fwy llwyddiannus mewn symud y Wyddfa. Gallasai symud llawer o honi hi gyda chaib a rhaw, ond nis gallasai symud dim arno ef. Yr oedd yn ddyn craff iawn, ac yn meddu barn addfed a chlir ar bobpeth o fewn cylch ei sylw; ac ofer fuasai ceisio ei ddenu gydag unrhyw deganau i weithredu yn groes i'w farn. Er ei fod yn ddyn tyner, addfwyn, a hyblyg fel yr helygen, yr oedd yn gadarn fel y dderwen dros ei egwyddorion. Mor bell ag y gall y sigladwy fod, yr oedd yn ansigledig yn yr ystyr yma. Yr oedd yn Ymneill-

dnwr trwyadl. Nid oedd yn credu dim yn y sefydliad gwladol o grefydd. Yr oedd yn credu yn hollol mewn dadgysylltiad a dadwaddoliad.

Gallasai fod yn llawn mwy cyhoeddus mewn cymdeithas pe dymunasai; ond yr oedd yn dewis i'r gwrthwyneb. Nid oedd dim uchelgais *(ambition)* personol yn perthyn iddo. Y mae hwn fel pla yn ysu cymdeithas ymhob oes o'r byd, ac fe allai yn fwy felly y dyddiau yma nag y bu erioed, yn enwedig yn Lloegr. Onid oes rhyw ysfa anniwall mewn cannoedd i fyned uwchlaw eu gilydd mewn cyfoeth, awdurdod, dylanwad, gwisgoedd, tai gwychion, swyddau, &c.? A dyma y rheswm am lawer o'r methdaliadau, y gwallgofrwydd, a'r siomedigaethau sydd yn dygwydd mor aml yn ein gwlad. Ond am ein hanwyl frawd, rhagori mewn gweithredoedd da oedd ei brif uchelgais ef, a gwnaeth hyny. Ond hwyrach mai dymunol a fuasai mwy o rywbeth tebyg i ysbryd o gyhoeddusrwydd ynddo. Anhawdd oedd ganddo fyned yn gadeirydd mewn cyfarfodydd cyhoeddus ar wahanol achlysuron yn y dref. Cafodd gynnyg myned yn ustus heddwch ddwywaith, ond gwrthododd yr anrhydedd hwnw hefyd. Nid oedd ond ychydig o'r elfen gyhoeddus ynddo. Gweithiwr dystaw, rheolaidd ac effeithiol fel yr haul ydoedd. Fel y canodd y bardd yn ei farwnad,—

"Er mor dawel, bywyd gweithgar
Hynod fu ei fywyd ef,
A'i ddylanwad dystaw treiddgar
Geid yn puro moes y dref."

Gallwn nodi hefyd fod Mr. Jones yn un arbenig yn ei deulu. Yr oedd yn ofalus a thyner fel priod a thad, ac yn barchus o'r holl weinidogion a fu yn gweini yn y teulu am yr holl flynyddoedd. Nid oedd neb yn cadw gwell trefn ar ei dŷ nag efe. Yr oedd yn gwneyd y cwbl wrth oleuni y Llusern Ddwyfol. "Wrth farn y llywodraethai efe ei achosion." Gallai ddyweyd fel Dafydd, "Ni thrig yn fy nhŷ yr un a wnelo dwyll, ni thrig yn fy ngolwg yr un a ddywedo gelwydd." Yr oedd gan ei holl weinidogion feddwl mawr am dano, a pharch gwirioneddol iddo. Yr oedd yr allor deuluaidd ar ei thraed bob amser yn y teulu. Clywsom Mrs. Jones yn adrodd iddo barhâu i gadw dyledswydd tra y gallodd wneyd dim. Yr oedd yn credu yn ddwfn yn nylanwad y ddyledswydd deuluaidd ar y teulu, yn foesol a chrefyddol. Dygodd ei blant oll i fyny yn grefyddol, a chafodd y fraint o'u gweled i gyd yn proffesu enw yr Iesu.

Yn ychwanegol at y rhagoriaethau yr ydym wedi eu crybwyll yn barod ynglŷn â hanes Mr. Jones, gallwn nodi ymhellach fod iddo ragoriaethau,

1. *Fel dyn.*

Yr oedd yn meddu ar gorff lluniaidd a phrydferth. O ran ei daldra yr oedd yn dalach na'r cyffredin, ac o ran ei gerddediad yn heinyf a boneddigaidd. Meddiannai dalcen llydan ac uchel, gwyneb siriol, boddlawn ac ennillgar. Mewn gwirionedd yr oedd y "dyn oddiallan" yn ddangoseg da o'r ysbryd boneddigaidd oedd yn ddeiliad *(tenant)* o'i fewn.

Fel dyn yr oedd yn meddu ar synwyr cyffredin cryf, ac yr oedd yn gofalu am ei iawnddefnyddio. Y mae llawer yn meddu ar ddigon o synwyr, ond yn esgeuluso ei ddefnyddio yn briodol.

Yr oedd yn ddyn cymdeithasgar iawn. Er ei fod yn naturiol ddystaw a gwylaidd, eto yr oedd yn siriol a chymdeithasgar, yn enwedig gyda'i gyfeillion agosaf; ac yr oedd yn un o'r rhai mwyaf hamddenol a hoffus i fod yn ei gwmni. Yr oedd ei ostyngeiddrwydd, y ddynoliaeth gref oedd yno, ei chwaeth dda, a'i farn addfed, yn peri mai manteisiol a dymunol oedd bod yn ei gymdeithas.

Buasai yn anhawdd cael cyfaill mwy ffyddlawn a chywir na Mr. Jones. Ni buasai perygl iddo fradychu neb, na gwneyd tro gwael â neb. Gallwn yn briodol gymhwyso geiriau Solomon ato fel cyfaill, "Olew ac arogldarth a lawenycha'r galon, felly y gwna mwynder cyfaill trwy gynghor ffyddlawn."

2. Yr oedd iddo ei ragoriaethau *fel cristion.*

Yr oedd unplygrwydd, purdeb, a gonestrwydd yn llinellau amlwg yn ei gymeriad. "Ac ni bo dichell yn ei ysbryd." "Gwyn eu byd y rhai pur o galon." "Wele Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll." Y mae rhai dynion ag y mae yn ammheus pan y byddant yn siarad â chwi a ydyw eu meddyliau yn eu geiriau. Hwy a allant ragrithio. Ond am dano ef yr oedd yn rhy bur a gonest i ragrithio. Yr oedd yn syml a thryloew fel y dwfr glân; gellid gweled drwyddo ar unwaith. Buasai yn anhawdd canfod neb llwyrach oddiwrth bob gwagymddangosiad. Nid oedd byth yn ceisio ymddangos yn rhywbeth nad ydoedd; ond un o'i ffaeleddau ef oedd ymddangos yn llai nag ydoedd. Yr oedd gonestrwydd a hunanymwadiad yn ganfyddadwy iawn ynddo. Y mae un ffaith yn ei hanes yn profi hyn yn eglur. Gwnaeth hen gyfaill i Mr. Jones ei ewyllys, yn gadael ei eiddo iddo. Yr oedd y cyfaill hwn yn lled gyfoethog, ac yr oedd ganddo feddwl mawr am Mr. Jones. Hen lanc ydoedd, ac heb berthynasau agos iawn. Ond wedi deall sut yr oedd pethau yn bod, aeth Mr. Jones ato, a dywedodd fod yn rhaid iddo ail wneyd ei ewyllys—fod yn rhaid iddo adael ei gyfoeth i'w berthynasau agosaf, nad oedd arno ef anghen am ddim o'i arian. Ac felly fu. Cafodd ei berthynasau y cyfoeth, ac i Mr. Jones, mewn rhyw ystyr, yr oeddynt i ddiolch. Dengys hyn nad oedd efe dan lywodraeth "gwreiddyn pob drwg," sef ariangarwch; a dengys ei hunanymwadiad a'i onestrwydd mawr.

Yr oedd manylwch a gwastadrwydd yn llinellau amlwg ynddo. Yr oedd yn fanwl gyda phob peth: gyda'i fasnach, gyda'r holl gasgliadau oedd yn myned trwy ei ddwylaw, ac felly gyda'r cyhoeddiadau Sabbothol. Buasai yn dda i lawer o bregethwyr a blaenoriaid gael chwarter o ysgol gydag ef i ddysgu celfyddyd y cyhoeddiadau. Gweithiwr gwastad a chyson hefyd ydoedd. Y mae rhai dynion yn newid yn amlach na'r lleuad. Os byddant mewn tymher dda heddyw, ni wyddoch pa fodd i'w dysgwyl yfory. Os

byddant yn zelog gyda'r gwaith yn awr, fe allai y byddant yn hollol glaiar yn ebrwydd. Y maent dan lywodraeth amgylchiadau, yn cael eu rheoli gan *fits and starts*, ac fel plantos yn bwhwman o ran eu barn, eu buchedd, eu tymher, a'u pobpeth ymron. Gwelir rhyw bobl yn gyffelyb i ambell afon drystfawr, yn chwyddo dros ei cheulanau ar un adeg, ac yna yn sychu i fyny yn ddisymwth. Ond nid un felly oedd Mr. Jones; yr oedd yn fwy tebyg i'r ffynnon loew, risialaidd, sydd yn codi yn nghesail y mynydd, ac yn bwrw allan ei dwfr bob tymmor fel eu gilydd. Fel y mae y môr yn gweithio yn rheolaidd dan lywodraeth y ddeddf a roddwyd iddo, felly yntau oedd â deddf ei Dduw yn ei galon ef. Pa bryd bynag y cyfarfyddid âg ef, oedd ef yr un fath.

Un tangnefeddus, hynaws, a heddychlawn ei ysbryd ydoedd. "Gwyn eu byd y tangnefeddwyr." Pan welai rywbeth tebyg i anghydfod yn ymddangos, byddai yn sicr o roi ei holl ddylanwad er ei lethu. Ni wnai ymladd â neb. "Ysbryd addfwyn a llonydd" oedd ei ysbryd. Ac i'w ysbryd heddychol ef, i fesur mawr, y mae yn debyg, y rhaid priodoli y tangnefedd a'r brawdgarwch sydd wedi bod yn teyrnasu drwy'r blynyddoedd yn eglwys y Maengwyn, ac yn parhâu felly eto. Yr oedd y diweddar Barchedig Richard Humphreys o'r Dyffryn, wrth siarad am dano, yn dyweyd, "Mab tangnefedd yw Mr. Jones." Fel y ddoethineb sydd oddiuchod yr oedd yntau yn "foneddigaidd a hawdd ei drin."

Dyma ni yn awr wedi rhoi rhyw frasolwg ar nodweddiad a llafur ein gwrthddrych; ond y mae ei weithredoedd yn ei ganmawl yn llawer gwell nag y gallwn ni. I'w gydnabyddion, dianghenrhaid yw ei ganmawl.

Nid y meddiant o ryw un gallu mawr oedd yn gosod hynodrwydd arno ef, ac yn peri ei ddylanwad, ond yn hytrach cydgrynhöad o lawer o alluoedd a rhinweddau. Ac y mae yn debyg mai rhinweddau goddefol *(passive)* oeddynt ei rinweddau mawr ef. Nis gwyddom am neb yn dyfod i fyny yn well â'r darluniad a geir o'r cristion yn ngwynfydau y bregeth ar y mynydd. A chymeryd pobpeth i ystyriaeth, ni ddarfu i ni erioed adwaen dyn mor berffaith â Mr. Jones. Yr oedd yn un o'r dynion hyny oedd yn gwella o hyd po fwyaf cydnabyddus y deuid âg ef.

Yr ydym yn teimlo yn anhawdd terfynu hyn o sylwadau heb grybwyll am yr hen flaenoriaid anwyl a ffyddlawn fu yn cydoesi —am beth amser—ac yn cydlafurio â Mr. Jones yn eglwys y Maengwyn, ond sydd erbyn hyn oll, fel yntau, wedi huno yn yr Iesu.

1. Charles Edwards. Yr oedd efe yn enedigol o'r Bala; dyn o garictor da, yn barchus yn y dref, ac yn ffyddlawn a defnyddiol gyda'r achos. 2. Thomas Roberts (hen was i Mrs. Foulkes); manwl gyda'r ddysgyblaeth, hallt a llym yn erbyn pob pechod. Byddai bob amser yn cynghori y plant i ofalu rhag adrodd dim o bethau'r *society* wrth bobl ddigrefydd. Dylai fod mwy o gynghori yn y cyfeiriad yma eto. 3. Lewis Watkin; brawd i'r hen bregethwr Edward Watkin, hen ŵr gwir grefyddol, ac un yn gwir ofalu, syml ac addfwyn ei ysbryd. 4. Thomas Jones, Glanfechan; dyn o gymeriad rhagorol, pur yn ei egwyddorion, a gweithiwr gofalus a dirodres. 5. Thomas Davies, Caedu; cristion cywir a dirodres, a gweithiwr ffyddlawn yn y winllan. 6. Evan Jones, Hirddol; cyfaill cywir, brawd anwyl, meddyliwr annibynol, ac un anhyblyg ei farn. 7. Richard Meredith, Penrhyndyfi; cyfaill siriol a hynaws, cristion gostyngedig a diymhongar, a gweithiwr ffyddlawn. 8. David Jones, Glandulas; cadarn yn yr Ysgrythyrau, uchel ei Galfiniaeth, a chyson ei fuchedd. 9. Edward Owen; yn meddu ar amgyffredion cryfion, hunan-feddiant anarferol, a thalent i fod yn ddefnyddiol gyda'r achos. 10. William Morris *(excise officer)*; carictor dilychwin, cyfaill siriol, gweddïwr mawr, a "milwr da i Iesu Grist." 11. John M. Jones; dyn dirodres, cristion cywir, iach yn y ffydd, a llym yn erbyn pechodau'r oes. 12. John J. Jones; gŵr talentog, cof cryf, areithiwr hyawdl, darllenwr mawr, cristion gloew, a blaenor defnyddiol. 13. John Davies; dyn dirodres, cristion pur, darllenwr dyfal, a gweithiwr gwastad.

Y mae tristwch yn ein llenwi wrth feddwl fod y brodyr anwyl hyn wedi ein gadael, a rhai o honynt yn lled ieuainc. Ond y mae defnydd cysur yn y meddwl iddynt fod mor ddefnyddiol yn y winllan, a bod marw wedi bod yn elw iddynt. Gallesid yn briodol ganu yr hen bennill adnabyddus yn eu claddedigaeth oll,

"Mae 'n brawd wedi gorphen ei daith,
Ei lafur a'i waith yr un wedd;
A Christ wedi talu ei ddyled;
Mae 'n addfed i fyned i'w fedd, &c."

Rhaid i ni yn awr nesâu mewn galar at derfyn oes Mr. Jones. Buom yn dychymygu lawer gwaith, wrth gymeryd pobpeth i ystyriaeth, y buasai yn cyrhaedd oedran mawr. Ond nid ei feddyliau Ef yw ein meddyliau ni. Er ys rhai blynyddoedd cyn ei farwolaeth, yr oedd y nerth iechyd a feddiannai drwy ei oes wedi gorfod rhoi lle i wywdra a llesgedd, mewn canlyniad i'r afiechyd a afaelodd yn ei gyfansoddiad yn dra disymwth. Gallasai ddyweyd fel y Salmydd, "Gostyngodd efe fy nerth ar y ffordd; byrhaodd fy nyddiau." Bu yn hir yn y sefyllfa nychlyd hon, a phob gobaith am wella yn myned bellach bellach o hyd. Gallasai yn hawdd gydymdeimlo â'r bardd yn yr hen emyn—

"Ar lân Iorddonen ddofn
'R wy 'n oedi 'n nychlyd;
Mewn blys myn'd trwy, ac ofn
Ei 'stormydd enbyd."

Llawer gwaith y buom yn dymuno ac yn gweddïo hefyd am iddo gael ei adferyd i'w nerth a'i hoenusrwydd arferol; ond nid felly yr oedd i fod. Yr oedd yn "rhaid i'r Arglwydd wrtho" mewn gwlad well—

"Y wlad lle mae,
Rhyw fôr didrai o berffaith hedd."

Ond er ei wendid a'i lesgedd, daliodd i ddyfod i'r moddion hyd o fewn ychydig i'w farw-

olaeth; ond yr oedd hyny yn costio ymdrech mawr iddo. Pan geisid ganddo ddyweyd gair o'i brofiad yn y cyfarfodydd eglwysig, ychydig a ddywedai. Ond yr ydym yn cofio am dano yn adrodd yr hen bennill canlynol gyda theimlad,

"Yr Iawn a dalwyd ar y groes
Yw sylfaen f' enaid gwan, &c."

Ac nid oes ammheuaeth nad oedd wedi adeiladu ar y Sylfaen gadarn hon er ys llawer o flynyddoedd.

Y mae yn beth nodedig yn hanes Mr. Jones na bu odid ddiwrnod erioed yn sâl iawn yn ystod ei fywyd. Bu ei Dad nefol yn dyner o hono yn yr ystyr yma. Yn ystod yr afiechyd a derfynodd yn ei farwolaeth, yr oedd yn codi bob dydd, ac yn dyweyd nad oedd yn teimlo nemawr boen. Nis gwyddom am neb a aeth drwy oes led faith mor ddiboenau, yn gorfforol a meddyliol.

Ychydig cyn ei farwolaeth, gafaelodd ei afiechyd yn fwy ffyrnig ynddo, a gorfu arno fyned i orwedd i'w wely. Peth newydd iawn iddo ef oedd hyn. Ac ymhen ychydig ddyddiau, sef Ebrill 12, 1875, yn 75 mlwydd oed, hunodd yn dawel yn yr Iesu. Bu farw fel yr ydoedd wedi byw, yn dawel a digyffro. Aeth ymaith mewn math o gwsg trwm. "Ni frysia yr hwn a gredo." Dyma un o'r dynion anwylaf wedi huno yn yr angeu. Dyma "fab tangnefedd" wedi myned i dangnefedd. "Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd, fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi."

Diwrnod pwysig oedd diwrnod ei gladdedigaeth. Yr oedd colli un oedd yn llenwi lle mor fawr yn ergyd trwm—yn destun galar cyffredinol, ac yn enwedig felly i'r teulu a'r eglwys y perthynai iddi. Pan fu farw Mr. Jones, bu farw un o'r dynion mwyaf defnyddiol ac anwyl. Priodol y gellid ei alw yn "Ioan y dysgybl anwyl." Yr ydym yn ystyried tref Machynlleth, byth er ei farwolaeth, yn llawer tlotach. Ond y mae yn anrhydedd iddi ei bod wedi cael bod yn gartref i ddyn mor dda am gynifer o flynyddoedd. Bydd ei goffadwriaeth yn fendigedig yma am oesoedd i ddyfod. Pe buasai ei gladdedigaeth yn un cyhoeddus, ni phetruswn ddyweyd y buasai y mwyaf a welwyd yn y dref hon erioed; ond fel arall yr oedd y teulu yn dewis iddo fod. Claddwyd ef yn mynwent eglwys y plwyf, yn hen *vault* y teulu. Gweinyddwyd wrth y tŷ cyn cychwyn gan y Parch. Thomas C. Edwards, M.A., Aberystwyth.

Yn y Cyfarfod Misol cyntaf a gynnaliwyd yn y Sir ar ol ei gladdedigaeth, gwnaed coffâd parchus a theimladol am dano gan amryw weinidogion ac eraill; ac anfonwyd llythyr o gydymdeimlad â Mrs. Jones a'r teulu, yn eu galar a'u hiraeth am dano.

Gallwn ddyweyd wrth derfynu hyn o sylwadau coffadwriaethol am dano, fod ei ymadawiad ef â'r byd hwn yn werth dymuno ei gyffelyb. Yr oedd ei daith trwy y byd yn esmwyth a dibrofedigaethau. Cafodd farw heb ddyoddef poenau chwerwon, a marw yn yr Arglwydd, ac yn ei waith. Bu farw yn y caritor yr oedd wedi ei ffurfio yn ei fywyd; yn hwnw y claddwyd ef. Dywedir fod rhai yn cael eu claddu yn eu dillad goreu. Clywsom yn ddiweddar am fachgen ieuanc yn cael ei gladdu felly; ond y mae pawb yn cael eu claddu yn nillad eu caritor. Fel y dywed John Foster yn ei draethawd, "*On a man's writing memoirs of himself*," fod llawer math o gymeriadau yn cael eu ffurfio gan ddynion ar y ddaear, ond fod un yn fwy dymunol i farw na phob un arall, sef y cymeriad Cristionogol; felly bu Mr. Jones farw yn y caritor uchaf a mwyaf defnyddiol. Ac y mae wedi marw i fyw bellach am byth. Gallwn yn briodol gymhwyso geiriau yr Arglwydd Iesu yn ei gyfarchiad i'r gwas ffyddlawn ato yntau yn ei ddiwedd, gan roi pwyslais ar bob gair, "Da, was da a ffyddlawn: buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer; dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Ei waith yntau bellach am dragywyddoldeb fydd myned i mewn i lawenydd ei Arglwydd.

"Ymhen ryw oesoedd rif y gwlith
Ei saint fydd arno 'n gwledda byth;
A blâs o newydd iddynt hwy
Fydd canu am ei farwol glwy'."

---

# Amrywiaethau.

### ANNHERFYNOLDEB GAIR DUW.

Mae rhywbeth diderfyn yn ngweithredoedd Duw, ac yn ngair Duw, sydd yn eu gwneuthur yn amlygiadau o anfeidroldeb ei Fôd. Po fwyaf a ddeallir o honynt, mwyaf a welir heb ei ddeall. Mae y mwyadur wedi rhoddi y cynnorthwy mwyaf i ddeall y greadigaeth; ond yn lle galluogi yr ymofynydd i esbonio ei holl ddirgelion, yr hyn a wnaeth yr offeryn hwn oedd gwneuthur maes ei ymchwiliad yn anfesurol fwy eang nag o'r blaen. Felly hefyd am y Bibl: anwybodaeth o'i gynnwysiad a bair i ddyn feddwl ei fod yn ei ddeall yn drwyadl. Y dyn nad yw prin wedi gwlychu ei droed yn ei ddyfroedd, sydd yn tybied nad oes leoedd dyfnion ynddo; y byr ei olwg sydd yn dychymygu ei fod yn canfod ei derfynau. Ond am y dyn sydd wedi hir ymgydnabyddu â mawredd ac eangder ei gynnwysiad,—â dirgelwch a dyfnder ei wirioneddau, y mae hwnw, er yn dyfod yn barhâus i fwy o gydnabyddiaeth âg ef, yn dyfod hefyd yn barhâus i ymdeimlo yn ddwysach â'i annherfynoldeb. Ei brofiad ydyw, "Yr ydwyf yn gweled diwedd ar bob perffeithrwydd; ond dy orchymyn di sydd dra eang." Paul o'r holl ysgrifenwyr ysbrydoledig, fe allai, oedd yn meddu yr adnabyddiaeth helaethaf o'r efengyl fel cyfundrefn; ac eto efe o bawb a ymdeimlai yn fwyaf dwys â dirgelwch yr efengyl. Ei air ef ydyw y gair *dirgelwch;* efe sydd yn defnyddio yr ymadroddion sydd yn ein cyfeirio fynychaf at ddirgelwch yr efengyl, megys "cynghor," "cynghor ei ewyllys," "ei arfaeth ef," "mawr amryw ddoethineb Duw," a "dyfnion bethau Duw;" ac efe hefyd, o'r holl ysgrifenwyr sanctaidd, sydd yn amlygu y defosiwn dwysaf yn mhresennoldeb ei dirgelwch: "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!"—*Dr. Hughes, Liverpool.*

### GWEDDI YN WYNEB ANGHYDWELEDIAD.

Peidiwch a syrthio allan âg un cymydog cyn i chwi yn gyntaf fyned i weddïo ar i Dduw eich cyfarwyddo ynghylch yr anghydwelediad. Dywedwch, 'O dyma amgylchiad sydd yn rhy debyg i

ddwyn llawer o anhyfrydwch. Arglwydd, cyfarwydda fi; Arglwydd, cynnorthwya fi. Arwain fi yn hyn, fel na wnelwyf ddim a ddianrhydeddo dy enw mawr—dim a fyddo yn wrthwyneb i'th ewyllys.' Yr wyf yn appelio yn hyn at eich cydwybodau, chwi y bu rhywbeth rhyngoch â'ch cymydogion. A ellwch chwi ddywedyd, 'Ni bu dim anghydfod rhyngof fi âg un cymydog heb i mi yn gyntaf fyned at Dduw am gyfarwyddyd yn yr amgylchiad, ac i'm dysgu pa fodd i ymddwyn ynddo, gyda phenderfyniad i rodio yn ol y cyfarwyddiadau a roddid i mi gan Dduw trwy ei air a'i Ysbryd?" Yn ddiau, anfynych y mae'r bobl gwerylgar a dihêdd yn gweddïo—anfynych y ceir hwy yn bwrw eu hachos ar Dduw; a chan hyny y mae Duw yn eu gadael iddynt eu hunain, i ddwyn llawer o flinder iddynt eu hunain ac i eraill.—*Jeremiah Burroughs.*

### BYWYD PRIODASOL.

Y MAE'R bywyd priodasol yn debyg iawn i fordaith. Nid yw y morwr pan yn cychwyn o'r porthladd yn dysgwyl cael yr hin yn hollol ffafriol yr holl daith. Os gwna ddychymygu mai felly y bydd, digon tebyg y ca ei siomi. A'r un fath am yrfa bywyd, y mae adfyd yn sicr o ddyfod i gyfarfod pob un ar ryw ran o'r daith. "Dyn a aned i flinder fel yr eheda gwreichionen i fyny." Ond y mae yn hawddach i ddau yfed cwpanaid chwerw nag yw i un wneyd hyny. Y mae yn haws i bedair ysgwydd gario baich trwm nag ydyw i ddwy ei gario. Y mae cydymdeimlad mewn adfyd yn debyg i dŷ diddos ar ddiwrnod gwlawog.—*Y Fodrwy Briodasol gan William Secker.*

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU CASSIA.

### DOSBARTH SHELLA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN JONES, DYDDIEDIG LAITKYNSEW, AWST 20FED, 1878.

DRWG genyf eich hysbysu fod y *cholera* wedi gwneyd rhwygiadau chwerw ymhlith llawer o deuluoedd mewn dau bentref yn y dosbarth hwn y mis diweddaf, sef Mawlong a Wahlong. Bu deugain o bersonau farw yn y lle blaenaf, a deg yn y lle olaf. Bu raid i ni gau yr ysgol i fyny yn Mawlong am dair wythnos, gan fod y rhieni yn ofni anfon eu plant i'r ysgol; ac yn wir nid aent hwy eu hunain i'r marchnadoedd, ac o'r braidd yr aent allan o'u tai gan mor fawr yr ofnent syrthio i ddwylaw angeu.

Ymhlith y rhai a fuont feirw yr oedd un dyn ieuanc ag oedd er ys cryn amser yn ymgeisydd am aelodaeth, ac yr oeddynt wedi penderfynu ei dderbyn i'r eglwys yr wythnos y bu farw, ond ymaith y cymerwyd ef gan angeu. Nid oes genym ond gobeithio iddo gael derbyniad i'r eglwys fuddugoliaethus yn y nefoedd, er na chafodd y fraint o ymuno â'r eglwys filwriaethus ar y ddaear. O herwydd iddi ddygwydd fel hyn nis gallwn fyned yno, fel yr oeddwn wedi bwriadu.

Telais ymweliad â Moostoh ddwywaith er pan yr ysgrifenais o'r blaen, unwaith ar y Sabboth, ac unwaith ar ddydd Gwener, er cael bod gyda hwynt yn y cyfarfod eglwysig, pryd y cawsom yr hyfrydwch o dderbyn dau o'r newydd i'r eglwys. Yr oedd y naill a'r llall wedi bod yn dilyn y moddion gyda chysondeb er ys blwyddyn a hanner, ac yn meddu buchedd ddichlynaidd, felly yr oedd yn dda gan y brodyr roddi deheulaw cymdeithas iddynt er nad oeddynt yn hyddysg iawn yn nghynnwysiad y gyfrol ddwyfol. Y Sabboth hefyd daeth cynnulliadau lled lïosog i'r tri moddion; yn neillduol i'r ysgol, neu "y cyfarfod egluro," fel ei gelwir yma; yr oedd 69 yn bresennol. Daeth oddeutu 50 i'r ddwy oedfa bob tro.

Y mae y *Sudrees* wedi agor ysgol ddyddiol yno er ys mis, ac y maent wedi dechreu pregethu yno hefyd ar y Sabbothau, ac y maent yn llwyddo i gael rhyw nifer o bobl i ddyfod atynt; ond fe wêl y bobl, ac fe deimlant hefyd, na wna y grefydd hon eu hanghen ysbrydol i fyny ddim mwy na chrefydd eu tadau. Er hyn y mae yn gofyn ein bod ar ein gwyliadwriaeth yn barhâus, a phob amser ymdrechu o blaid y ffydd, oblegid y mae llawer o bethau yn y grefydd hon ag sydd yn ddeniadol i'r cnawd. Fel hyn chwi welwch fod yn rhaid i ni ymdrechu yn erbyn paganiaeth mewn dwy wedd arni,—cythraul-addoliaeth a delw-addcliaeth; ond yr hyn sydd yn gysurus yn yr ymdrechfa yw, fod addewid Duw o'n tu a'i allu o'n plaid, canys, "Pob planigyn a'r nis planodd fy Nhad a ddiwreiddir;" am hyn fe ddiwreiddir y ddwy hyn, o blaniad dyn a diafol.

Derbyniwyd tri o lanciau ieuainc i'r eglwys hon (Lait) y mis diweddaf. Fe'u haddysgwyd yn ysgol y Genadaeth yn y lle hwn, ac y mae dau o honynt ar hyn o bryd dan addysg yn ysgol Nongsawlia. Dangosent, yn neillduol dau o honynt, eu bod yn meddu dirnadaeth led dda am drefn Duw i gadw pechadur, a'u bod yn gwybod hanes ein Harglwydd Iesu Grist yn dda iawn. Hawdd yw gallu teimlo y gwahaniaeth rhwng rhai fel hyn sydd wedi derbyn manteision addysg yn eu hieuenctyd â'r rhai nid ydynt; y mae y naill ar eu mantais yn fawr trwy eu bod yn Gristionogion deallus, pryd y mae y lleill ar eu colled yn fawr, ac y maent yn teimlo hyny hefyd. Yn fynych iawn fe glywir y rhai

sydd mewn oed yn adrodd eu gofid am nad ydynt yn medru darllen, er mwyn iddynt allu deall Gair Duw. Ni a hyderwn y bydd y tri hyn yn ddefnyddiol gydag achos Mab Duw yn y manau y gwel Rhaglun-iaeth yn dda benodi eu trigfan yn y dyfodol. Nid oes yr ammheuaeth lleiaf yn ein meddwl na fydd i'r Genadaeth fedi ffrwyth toreithiog oddiwrth yr ysgolion hyn yn y dyfodol; y maent eisoes wedi bod, dan fendith Duw, yn foddion i siglo ffydd y genedlaeth sydd yn codi yn nghrefydd eu hynafiaid, a'n gweddi ninnau yw ar iddynt fod yn foddion i wneyd ychwaneg, sef eu dwyn at Grist y Gwaredwr.

Yr ydym yn cael profion newydd bob dydd mai yn un o dywyll leoedd y ddaear yr ydym yn byw.

Heddyw, pan yn dychwelyd o'r pentref, fe'n goddiweddwyd gan ddau o offeiriaid y pentref, dau hen ŵr. Cyferchais hwynt, fel y byddys yn arfer a gwneyd, â'r gair *Khublei*, ond ni chyfarchasant yn ol fel arfer, ond yn hytrach troisant dipyn o'r llwybr er ein hosgoi. Nid oeddwn yn deall ymddygiad fel hyn; yna gofynais i'r rhai oedd gyda mi am esboniad ar eu hymddygiad. "O!" meddent, dan chwerthin, "y maent yn arwain y *demon* o'r pentref i fan arall i fyw; ni wiw iddynt siarad â neb nac â hwy eu hunain pan yn gwneyd hyn nes y bydd pob peth drosodd." Y noson o'r blaen, yr oedd y pentref yn llawn berw, curo hen *diniau* a *tom-toms*, saethu a llefain, &c.—pawb, mawr a mân, yn gwneyd eu rhan. Beth dybiech oedd oedd yr achos o'r holl helynt? Diffyg ar y lleuad. Syniad y Cassiaid a'r Bengaliaid hefyd am ddiffyg ar y lleuad yw, fod math o lyffant mawr yn ceisio ei llyncu; am hyny y maent â'u holl egni trwy y moddion hyn yn ceisio ei ddychrynu ymaith, a mawr yw eu llawenydd fod y lleuad wedi dyfod i'r làn yn ddiogel, a hyny wrth gwrs trwy eu hymdrech hwy.

Y mae yn llawenydd genyf allu dyweyd fod golwg lled lewyrchus ar yr achos ymhob man yn y dosbarth, oddieithr dau le, sef Mawlong a Wahlong. Yr ydym yn hyderu y bydd i bethau ddyfod i iawn drefn fel arferol yno ymhen ychydig o amser, gan nad oes yno neb yn sâl gan y *cholera* ar hyn o bryd.

---

## DOSBARTH CHERRA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN ROBERTS, DYDDIEDIG CHERRAPOONJEE, AWST 28AIN, 1878.

Y SABBATH cyn y diweddaf cawsom gyfranogi o Swper yr Arglwydd yn Nongsawlia. Yr oeddym yn derbyn chwech o'r newydd at yr ordinhâd, ac yn bedyddio chwech, sef pump o rai mewn oed ac un baban. Yr oedd yr ymddyddan â rhai o honynt yn flaenorol iddynt gael eu derbyn yn dyddorol iawn, yn enwedig fel yr oedd yn dangos mor anhawdd ydyw gan ddyn ollwng gafael o hono ei hun. Yr oedd dau neu dri o honynt yn dyweyd eu bod wedi bod am amser maith yn ceisio gwella eu hunain, a gwneyd eu hunain yn gymhwys i ddyfod at fwrdd yr Arglwydd; ond yn y diwedd, wrth weled eu hunain yn myned waethwaeth, er pob ymdrech o'u heiddo, taflasant eu hunain yn llwyr a hollol ar Iesu Grist. Yr oedd U Kyrton yn effeithiol iawn wrth fyned dros ei hanes er pan y mae yn yr eglwys. "Am ychydig amser," meddai, "wedi i mi ddyfod i'r eglwys, ni ddygwyddodd dim neillduol, os nad oedd fy mod yn meddwl fy hun yn gristion go dda yn neillduol. Wedi hyny dechreuais oeri a myned yn ddifater, ond yn ymladd yn ei erbyn oreu ag y gallwn yn fy nerth fy hun. Yr oeddwn bob amser yn hollol argyhoeddedig mai trwy ras y cedwir pob pechadur, ond rywfodd yr oeddwn o hyd yn llithro, er fy ngwaethaf, o ran fy nheimlad i ymladd yn fy nerth fy hun, ac i gynnyddu yn fy nerth fy hun. Tua thri mis yn ol, pa fodd bynag, tra yr oeddwn yn meddwl ynof fy hun pa faint o gynnydd oeddwn wedi ei wneyd, dechreuais ofni nad oedd pob peth yn dda—fod yn rhaid fod rhywbeth allan o'i le. Arweiniodd hyn fi i gymeryd adolwg ar fy holl hanes, a gwelais, er fy nychryn, fy mod, heb feddwl, wedi bod yn *actio* y Pharisead ar hyd yr amser. Am tuag wythnos nis gwyddwn yn iawn pa beth i'w wneyd. Weithiau meddwl am adael y cyfan, a myned yn fy ol. Dro arall, ceisiwn weddïo ar Dduw am ychwaneg o oleuni. Y diwedd fu, pa fodd bynag, i mi gael modd i daflu fy hun yn gwbl ar Iesu Grist, byw neu farw, gan gwbl gredu nad oes bywyd i'w gael yn neb arall. Byth er hyny nid wyf yn teimlo fy mod yr un dyn; y mae crefydd fel yn beth hollol newydd i mi. Bu tro mawr arnaf pan ddaethum i'r eglwys gyntaf, ond y mae hwn, o'r ddau, yn dro mwy. Gobeithio nad wyf yn twyllo fy hun." Rhywbeth i'r perwyl yna oedd Kyrton yn ei ddyweyd. Y mae rhywbeth yn ddymunol ac unplyg iawn ynddo. Caffed nerth i ddal ati. Bedyddiwyd ef a'i wraig, a phlentyn iddo.

Dywedai un arall o'r enw U Hat ei fod yntau wedi bod wrthi yn trwsio ei hun a byw arno ei hun. "Weithiau," meddai, "byddwn yn fy meddwl wedi llwyddo yn dda iawn gyda mi fy hun, ond awel o wynt temtasiwn a daflai y cyfan i lawr, a byddai yn rhaid ail ddechre drachefn. Yr oeddwn

yn gweled fy hun fel dyn yn dyfod i'r winllan i *edrych* ar bobl eraill yn gweithio. Derbynient hwy eu cyflog, ond byddwn i yn gorfod myned ymaith yn waglaw. A meddyliwn ynof fy hun os yn waglaw yn awr mai gwaglaw fyddwn i dragywyddoldeb. Parodd hyn ddychryn mawr i mi. Ac yr wyf wedi penderfynu dyfod yn nês ymlaen os caf." A chafodd. Bedyddiwyd ef a derbyniwyd ef i gymundeb. Un arall a dderbyniwyd oedd U Barnabas, ail fab y diweddar U Jarkha. Yr oedd y ddau arall o Sohbar—dau ddyn da iawn, a golwg y parhânt felly. Tipyn o brofedigaethau a gawsom yn ddiweddar yn Sohbar, ond y mae yn destun llawenydd mawr iawn gweled cynnydd mor amlwg ag sydd wedi cymeryd lle yn y ddau hyn, sef U Shan ac U Phan.

Ar ol yr oedfa ganol aethum tua Mawsmai, i roi tro am danynt ac i bregethu tipyn iddynt. Yr oedd yn dda iawn genyf gael cystal golwg yno. Yr oedd yr ysgoldŷ ëang yn llawn; nid wyf yn meddwl fod yno nemawr lai na thriugain rhwng rhai mewn oed a phlant. Ni welais yn agos gymaint o rai mewn oed o'r blaen. Wedi pregethu iddynt am ychydig, canwyd amryw donau gyda hwynt. Y mae U Ksau a Ka Lapemon yn gweithio yn dda yno hyd yn hyn.

## YMADAWIAD Y CENADON.

Ddydd Sadwrn, y 19eg o'r mis diweddaf, ymadawodd y Parchn. Dr. Griffiths a Robert Evans yn yr agerlong "*Mira*" o Liverpool i fyned i Calcutta, ar eu ffordd i Fryniau Cassia. Y diwrnod blaenorol cynnaliwyd cyfarfodydd ymadawol yn nghapel Prince's Road, Liverpool. Am dri o'r gloch, cafwyd cyfarfod o aelodau y Cyfeisteddfod Gweithiol a'r Cyfarwyddwyr Sirol, gyda'r Cenadon a'u gwragedd, pryd y cafwyd ymddyddan gyda'r cyfeillion am eu gwaith dyfodol, ac y rhoddwyd iddynt amryw gyfarwyddiadau ac annogaethau cysurlawn. Yn yr hwyr cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus, pryd y daeth lliaws mawr ynghyd, a thraddodwyd anerchiadau gan y Parchn. G. Ellis, B.A. (Cadeirydd), W. James, B.A., Manchester, Rees Jones, Evan Williams, Morfa Nefin, Dr. Hughes, H. Jones, J. Thomas, a D. Saunders; gan Mri. Richard Davies, A.S., T. Lewis, Bangor, a D. Roberts, a chan y ddau Genadwr.

## ANRHEGION I'R GENADAETH.

Mae yn llawenydd genym gyfeirio at garedigrwydd lliaws mawr o gyfeillion, y rhai a anfonasant anrhegion buddiol i'w hanfon gyda'r Cenadon. Nis gallwn ar hyn o bryd ond crybwyll i ni dderbyn ac anfon gyda'r Cenadon sypynau mawrion o roddion cyfaddas iawn. Cawn gyfeirio atynt yn fwy manwl eto.

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol hysbysu ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf:—

TUAG AT AMCANION CYFFREDINOL Y GYMDEITHAS.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Capel Netherfield Road, Liverpool .. | 47 | 11 | 4 |
| " Fitzclarence Street, Liverpool.. | 44 | 14 | 2 |
| " Pall Mall, Liverpool .......... | 11 | 1 | 7 |
| Ysgol Sabbothol Walton, Liverpool .. | 3 | 15 | 6 |
| Cymunrodd y diweddar Wm. Evans, trwy law Meistri Lloyd & Roberts, Ruthin .......................... | 9 | 13 | 4 |
| "Sick Friend" ........................ | 0 | 2 | 6 |
| Aberporth, trwy law S. Owen........ | 3 | 15 | 11 |
| Capel Anfield Road, Liverpool ...... | 17 | 0 | 0 |
| " Chatham Street, ychwanegol .. | 2 | 1 | 0 |

TUAG AT GAPEL SHILLONG.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Oddiwrth W. E. Jones, Lombard Street | 1 | 0 | 0 |
| Anhysbys ........................ | 5 | 0 | 0 |
| Ffrynd i'r Genadaeth ............ | 0 | 10 | 0 |
| Oddiwrth ddosbarth Miss Mary Roberts, Rhiwcenglau, tuag at anfon anrhegion buddiol i enethod bach Cassia ...... | 0 | 12 | 8 |
| M. Hughes, St. Asaph, i Eneth Amddifad U Juban .................. | 0 | 12 | 0 |
| Un o Pwllheli tuag at anfon anrhegion i blant bach Cassia .............. | 1 | 0 | 0 |

D.S. Mae blwyddyn y Genadaeth yn awr yn terfynu ar yr 31ain o Ragfyr, a rhaid i'r holl gasgliadau y dysgwylir iddynt ymddangos yn nghyfrif y flwyddyn hon fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol erbyn y diwrnod hwnw. Er mwyn i'r Trysoryddion Sirol allu anfon y symiau o'r Siroedd o fewn yr amser penodol, dymunir ar i'r cyfeillion ymhob lle ofalu am i'r casgliad cenadol gael ei wneuthur yn brydlawn.

D.S. Derbynir rhoddion at y Genadaeth Dramor gan y Trysorydd Cyffredinol, Peter Williams, *Esq.*, 17, *Percy Street, Liverpool.*

☛ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. Peter Williams, Treasurer of the W. C. M. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 68, *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 578.] RHAGFYR, 1878. [LLYFR XLVIII.

## PARHAD MEWN GRAS.

GAN Y PARCH. HUGH ROBERTS, BANGOR.

Y MAE parhâd mewn gras yn un o ragorfreintiau y saint, yn seiliedig ar eu hundeb â Christ a phreswyliad yr Ysbryd ynddynt. Un o ragoriaethau trefn yr iachawdwriaeth yw ei chadernid; ac un peth sydd yn profi hyny yw sefydlogrwydd cyfiwr y rhai sydd wedi eu dwyn i berthynas â hi trwy ffydd yn y Gwaredwr. Parhâd mewn gras yw parhâd mewn cyflwr o ras, dan lywodraeth gras — parhâd trwy holl daith yr anialwch, dros holl ddyddiau ein milwriaeth ar y ddaear—parhâd nes ennill buddugoliaeth lwyr ac am byth ar lygredd ein natur—parhâd hyd angeu a thrwy angeu, nes derbyn coron cyfiawnder o law y Barnwr cyfiawn, yr hon a rydd yr Arglwydd i bawb o'i saint yn nydd ei ymddangosiad.

Yr hyn sydd yn wrthgyferbyniol i barhâd mewn gras yw cwymp oddiwrth ras. Nid ymddangosiadol, ond gwirioneddol, yw y gwahaniaeth sydd rhwng y rhai sydd dros yr athrawiaeth hon a'r rhai sydd yn ei herbyn. Y mae yn wir nad yw y rhai sydd yn dal cwymp oddiwrth ras yn credu fod pawb sydd yn derbyn gras yn syrthio oddiwrth ras fel ag i fod byth yn golledig. Pe felly, ni byddai gadwedig un cnawd oll. Ond os oes rhywrai yn syrthio oddiwrth ras, y mae pawb mewn perygl i hyny, a thros eu holl oes mewn ofnau; ac os nad yw pawb yn syrthio oddiwrth ras, y mae yn rhaid fod rhai yn parhâu mewn gras hyd yn nheyrnas nefoedd. Y mae y rhai sydd yn credu parhâd mewn gras yn dal y parhâd yn ei berthynas â phawb sydd yn derbyn gras yn ddiwahaniaeth. Y maent yn cydnabod fod gwahaniaeth rhwng y saint a'u gilydd yn ngraddau eu gwybodaeth, eu doniau, a'u grasau, ond yn credu eu bod yn un yn Nghrist. Gallwn fod yn gwbl sicr nad yw parhâd y saint mewn gras yn beth anmhosibl gyda Duw, er ei fod yn beth anmhosibl gyda dynion ar eu hadnoddau eu hunain, heb i Dduw eu cynnal a'u hamddiffyn, a pherffeithio y gwaith da a ddechreuodd efe ynddynt.

Nid yw yr athrawiaeth o barhâd mewn gras yn lleihâu gras yn ei fawredd a'i werth. Y mae parhâd unrhyw beth gwerthfawr yn chwanegiad at ei werth. Y mae cael tai a thiroedd am flynyddoedd yn werthfawr; ond y mae eu cael dros yr holl oes, a thra byddo dwfr yn rhedeg, yn chwanegiad at eu gwerth. Mae cael iechyd dros rai blynyddau yn werthfawr; ond y mae mwynhâu llawer o flynyddau, ac iechyd dros yr holl oes, yn fwy gwerthfawr fyth. Buasai cael haul yn ffynnonell goleuni a gwres i'r ddaear am gannoedd o flynyddau yn annhraethol werthfawr; ond y mae ei gael am filoedd o flynyddoedd, ac hyd ddiwedd amser, yn chwanegiad anamgyffredadwy at ei werth. Y mae dyn yn greadur gwerthfawr, wedi ei gynnysgaethu â'r fath alluoedd nerthol, a'i ffurfio mewn modd rhyfedd ac ofnadwy; eto y mae ei barhâd, ei anfarwoldeb, a'i dragywyddoldeb—y meddwl ei fod wedi ei fwriadu gan y Duw a'i gwnaeth i oroesi amser ac i gydoesi â'r Anfeidrol ei hun, yn peri fod pwysigrwydd a gwerth annirnadwy iddo. Y mae parhâd crefydd yn y byd yn ei ffurf weledig, dros oesau a chenedlaeth-

au, ac hyd ddiwedd amser, yn gyfrwng gwybodaeth am Dduw a Christ, ac yn foddion iachawdwriaeth i'r byd yn ei sefyllfa druenus, yn ddawn annhraethadwy. Buasai ei chael i un genedl, a thros amser terfynedig, o werth anghymharol; ond ei chael o ddechreu hyd ddiwedd amser yn oleuni a bywyd i'r byd, sydd yn rhoddi arni werth tu hwnt i ddirnadaeth un creadur meidrol. Y mae gras mor werthfawr yn ei natur a'i barhâd, fel nas gellir ei gystadlu mewn gwerth ond i werthfawr waed Crist. Golud y nefoedd ydyw. Pa obaith fydd i ddyn heb ras yn angeu a thragywyddoldeb? Nis gwn pa fodd y gellir rhoddi pris teilwng arno, heb gysylltu tragywyddoldeb â'i barhâd. Y mae llawer, o ddiffyg ystyried ansicrwydd pethau amser, yn rhoddi pris gormodol arnynt, fel y maent yn cael eu siomi yn ddirfawr ynddynt. Dywedai y gŵr goludog yn y ddammeg gan Grist wrth ei enaid, "Y mae genyt ddâ lawer wedi ei roddi i gadw dros lawer o flynyddoedd; gorphwys, bwyta, yf, bydd lawen. Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt; ac eiddo pwy fydd y pethau a barotoaist?" Ond y mae yn anmhosibl i ddyn gael ei siomi yn ei ras os yw ei barhâd yn dragywyddol. Y mae Iesu Grist, yn ei Berson ei hun, yn ceisio gan y wraig o Samaria ofyn a derbyn dawn Duw oddiar yr ystyriaeth ei fod yn dragywyddol. "Ond pwy bynag a yfo o'r dwfr a roddwyf fi iddo, ni sycheda yn dragywydd; eithr y dwfr a roddwyf iddo a fydd ynddo yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol."

Y mae gwahanol ystyron i'r gair gras yn y Testament Newydd; ond nid oes ond un ystyr iddo yn ei berthynas â'r athrawiaeth hon; a'r un ystyr a roddir iddo gan y rhai sydd yn ei phleidio a'r rhai sydd yn ei gwrthwynebu—sef cyflwr o ras, llywodraeth gras ar y galon, y sancteiddrwydd Duw y mae dyn yn cyfranogi o hono trwy adgenedliad. Nid yw yn anghenrheidiol, er amddiffyn yr athrawiaeth, i allu penderfynu a ydyw gras ynddo ei hun yn anorchfygol ai nid yw; a ydyw dyn duwiol, os gadewir ef iddo ei hun, yn agored i syrthio i golledigaeth? Y cwbl a allwn ni ei wneyd er amddiffyn yr athrawiaeth hon—a beth yn chwaneg sydd eisieu nis gwn—ydyw dwyn profion ysgrythyrol fod Duw yn ei anfeidrol allu yn penderfynu adgyfnerthû y gras a gyfrenir ganddo, a chynnal ei bobl hyd yn nheyrnas nefoedd. Nid oes neb a all brofi fod yr athrawiaeth o barhâd mewn gras yn gyfeiliornad, heb yn gyntaf brofi ei bod yn anysgrythyrol. Nis gellir ei hamddiffyn oddiwrth weinidogaeth natur, na rheswm a chydwybod, nac yn ngoleuni un dadguddiad oddiwrth Dduw ond yr Ysgrythyrau yn unig. Y mae pawb yn addef fod llawer a fuont unwaith yn ymddangos fel perchenogion gwir ffydd, ac yn aelodau o'r eglwys weledig, wedi gwrthgilio ac heb eu hadferu; ond y cwestiwn yw, A all dynion wedi derbyn gras, a gwir ras, a phob gras, syrthio i golledigaeth? Nid ydym heb ddeall fod tebygolrwydd, er fod gwahaniaeth hanfodol, rhwng y naturiol a'r Dwyfol, rhwng yr allanol a'r mewnol, rhwng proffes o Grist a ffydd yn y Gwaredwr, fel nad yw mor rhyfedd fod rhai yn priodoli cwympo oddiwrth ras i rai heb dderbyn gwir ras erioed. Y mae rhai yn seilio cwymp oddiwrth ras ar y geiriau hyny, "Chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Grist, y rhai ydych yn ymgyfiawnhâu yn y ddeddf; chwi a syrthiasoch ymaith oddiwrth ras." Gan fod yr adnod ddilynol yn dwyn perthynas â'r un a nodwyd, ac yn rhoddi eglurhâd arni, ni a'i hadroddwn: "Canys nyni yn yr Ysbryd trwy ffydd ydym yn dysgwyl gobaith cyfiawnder" (Gal. v. 4, 5). Y mae yn amlwg fod yma gyferbyniad rhwng y *chwi* a'r *nyni*, ac hefyd fod yr ymadroddion yn dynodi gwahanol gymeriadau. "Chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Grist," ond "nyni yn yr Ysbryd," ac yn Nghrist trwy yr Ysbryd. "Chwi ydych yn ymgyfiawnhâu yn y ddeddf, ond nyni trwy ffydd," sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd. "Chwi a syrthiasoch ymaith oddiwrth ras," oddiwrth athrawiaeth gras, ond "nyni ydym yn dysgwyl gobaith cyfiawnder," sef y perffeithir ni mewn gras yn y dyfodol.

Mae yr apostol yn ei lythyr at yr Hebreaid yn dywedyd, "Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd." Ië, medd rhywrai, Fe fydd felly, os bydd iddo barhâu hyd y diwedd. Wel, os dyna yw ystyr y geiriau, gellir eu darllen fel y canlyn, "Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd *os bydd iddo fyw trwy ffydd.*" Y mae yn angenrheidiol i ni wahaniaethu rhwng

doniau yr Ysbryd â grasau yr Ysbryd, rhwng proffes weledig o Grist ac undeb dirgeledig âg ef. Y mae Iesu Grist yn ei weinidogaeth yn talu sylw mynych i'r gwahaniaeth hwn, ac yn llefaru dammegion i'w egluro, megys dammeg y deng morwyn, a dammeg yr efrau. Mae yr apostolion hefyd, yn eu llythyrau at yr eglwysi, yn dwyn yr un gwirionedd i sylw yr eglwysi. Mae yr apostol, pan yn llefaru wrth un dosbarth o Iuddewon Cristionogol, yn llefaru wrthynt am ddosbarth arall, ac yn dywedyd ei farn am yr un yr oedd yn llefaru wrthynt, ac yn adrodd ffeithiau am yr un yr oedd yn llefaru am danynt: "Eithr yr ydym ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, bethau gwell, a phethau ynglŷn wrth iachawdwriaeth," neu, a phethau âg iachawdwriaeth ynddynt, "er ein bod yn dywedyd fel hyn," yn dywedyd fel hyn am eraill—pethau gwell nag a ddywedir am y ddaear yr hon sydd yn dwyn drain a mïeri, sydd anghymeradwy ac agos i felldith, diwedd yr "hon yw ei llosgi;" pethau gwell na'r "goleuo unwaith, a phrofi y rhodd nefol, a chyfranogi o'r Ysbryd Glân, a phrofi daionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw." Yr oedd yn rhaid fod y rhai oedd wedi eu haddurno â'r doniau hyny yn gwisgo tebygolrwydd mawr i wir gristionogion, ac wedi eu dyrchafu i safleoedd uchel yn yr eglwys, a hyny yn yr oes apostolaidd; ond y mae diweddglo eu hanes yn peri i ni farnu yn ddiduedd eu bod heb ffydd yn Nuw, a chariad at y Gwaredwr, neu fel y dywed yr apostol, heb y pethau sydd ynglŷn wrth iachawdwriaeth (Hebreaid vi. 4—9).

Dylem ddal sylw ar y gwahaniaeth rhwng y pethau sydd yn anghenrheidiol â'r pethau sydd ddigonol i iachawdwriaeth. Y gwirionedd hwn, dybygem, a ddangosir gan Iesu Grist yn nammeg y deng morwyn. Yr oedd gan y rhai ffol yr hyn oedd yn anghenrheidiol ymysg pethau eraill i'w cadwedigaeth; ond yr oedd gan y rhai call yr hyn oedd yn anghenrheidiol a'r hyn oedd yn ddigonol i'w hiachawdwriaeth. Y mae ymarfer ag ordinhadau yr efengyl a dyledswyddau crefydd yn anghenrheidiol er ein cadwedigaeth, ond nid yn ddigonol yn annibynol ar ffydd yn Mherson ac angeu y Gwaredwr.

Y mae parhâd mewn gras yn un o ragorfreintiau y saint. Y mae yn barhâd o'r hyn y mae Duw wedi rhoddi dechreuad iddo: "Gan fod yn hyderus yn hyn, y bydd i'r Hwn a ddechreuodd ynoch waith da ei orphen hyd ddydd Iesu Grist." Y mae yn y cyfwng rhwng y dechreuad a'r gorpheniad yn cysylltu gogoneddiad âg adenedigaeth. Parhâd mewn gras yw parhâd mewn cyflwr o ras trwy ein hundeb â Christ, a than lywodraeth gras trwy breswyliad yr Ysbryd ynom; parhâd yn ein proffes, parhâd yn nhŷ Dduw, yn nghymdeithas ei bobl; parhâd mewn ymlyniad wrth ordinhadau yr efengyl, a dyledswyddau crefyddol; parhâu fel hyn hyd y diwedd. Y mae parhâd mewn gras yn rhagorfraint sydd yn perthyn i bob un o'r credinwyr yn bersonol. Addewid i'r genedl Hebreaidd oedd yr addewid o wlad Canaan; ac o'r miloedd a waredwyd o wlad yr Aipht, ni chafodd ond Caleb a Josua feddiannu gwlad yr addewid; ond er hyny meddiannwyd hi gan y genedl. Eithr y mae parhâd mewn gras yn rhagorfraint sydd yn perthyn yn ddiwahaniaeth i bob credadyn yn bersonol. "A hyn yw ewyllys yr Hwn a'm hanfonodd i," medd ein Harglwydd, "cael o bob un a'r sydd yn gweled y Mab, ac yn credu ynddo, fywyd tragywyddol; a myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf."

Y mae dyledswyddau yn gystal â breintiau yn perthyn i ddyn mewn ystâd o ras, fel y mae ei barhâd mewn gras yn cael i briodoli i ffyddlondeb Duw i'w addewidion, ac i'w ffyddlondeb yntau yn cyflawni ei ddyledswyddau. "Da, was da a ffyddlawn, buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer; dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Y mae dyledswyddau yn foddion gras—yn foddion ei barhâd yn gystal a'i ddechreuad. Addawodd Duw trwy y prophwyd Esaiah i'r brenin Hezecïah yn ei afiechyd, ac mewn atebiad i'w weddi a'i ddagrau, ychwanegiad at ei ddyddiau bymtheng mlynedd; ac i'r dyben o gadarnhâu ei ffydd yn addewid Duw, rhoddwyd iddo arwydd, a'r arwydd hwnw yn wyrth. Ond er cael addewid Duw a gwyrth goruwchnaturiol, eto, mae'r prophwyd yn ei gyfarwyddo i gymhwyso meddyginiaeth addas i natur y dolur: "Cymerant" medd efe, "swp o ffigys, a rhwymant yn blastr ar y cornwyd, ac efe a fydd byw." Nid oedd yr addewid yn cymeryd lle y moddion, nac

mewn un modd yn dinystrio ei heffeithiolrwydd. Y mae cyffelybrwydd rhwng y naturiol a'r moesol. Nid yw yr addewidion am fendithion ysbrydol yn gwneyd moddion gras a dyledswyddau crefydd yn afreidiol na difudd. Mae moddion gras o sefydliad Dwyfol, megys ag y mae yr addewidion o darddiad Dwyfol. "Am hyny, gan fod genym yr addewidion hyn, anwylyd, ymlanhâwn oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw." Trwy ymarfer â dyledswyddau crefydd yr ydym yn derbyn gras, ac yn parhâu a chynnyddu mewn gras nes cyrhaedd ystâd o berffeithrwydd. Mae'r saint nid yn unig yn parhâu mewn gras, ond hefyd yn cynnyddu mewn gras. "Y cyfiawn a ddeil ei ffordd, a'r glân ei ddwylaw a chwanega gryfdwr." Y mae rhan fawr o weithredoedd Duw mewn natur a gras yn gynnyddol; a'r pethau hyny na fwriadodd Duw iddynt gynnyddu, maent wedi eu creu ganddo yn berffaith ar unwaith, megys yr haul, y lleuad, a'r ser. Eithr am y pethau sydd yn meddu ar elfenau cynnydd, mae'r pethau hyny o ddechreuad bychan ac yn meddu bywyd cynnyddol. Gwelwyd y gedrwydden un diwrnod yn frigyn gwan, a'r dderwen yn fesen fechan. Y mae ffydd, er yn wan, os yn wirioneddol, yn gadwedigol; mae hi yn uno pechadur â Duw cadarn. Y mae gwahaniaeth rhwng gwendid ac angeu. Er fod ffydd yn wan, ni bydd marw yn dragywydd.

Er mor helaeth yw breintiau dyn duwiol, y mae efe dan lawer o anfanteision i barhâu mewn gras, trwy y llygredd sydd yn ei natur, a thrwy ei gysylltiad â'r byd y mae yn byw ynddo. "Nid wyf yn gweddïo," medd Crist, "ar i ti eu cymeryd hwynt allan o'r byd, eithr ar i ti eu cadw hwynt rhag y drwg." Nis gallwn ochelyd peryglon a themtasiynau y byd heb fyned allan o'i diriogaethau. Mae parhâd y saint mewn gras yn beth i'w ryfeddu, gan nad yw eu gras yn eu diogelu rhag gorthrymderau, nac yn rhoddi iddynt fuddugoliaeth lwyr ar lygredd eu natur yn y fuchedd hon. Wrth edrych ar bethau yn ngoleuni rheswm, yr ydym yn rhyfeddu yn fawr fod y dyn cyntaf, gwreiddyn a chynnrychiolydd dynolryw, wedi syrthio o'r cyflwr y crëwyd ef ynddo, wrth ystyried ei fanteision i sefydlu ei gymeriad, a sicrhâu ei ddedwyddwch dros byth. Yr oedd ganddo allu digonol i gyflawni ammod y cyfammod gweithredoedd, ac nid oedd un duedd ynddo i droseddu gorchymyn Duw, gan ei fod yn gwisgo delw Duw; ond yr ydym yn rhyfeddu fod dyn duwiol yn parhâu mewn gras dros ei holl oes grefyddol dan y fath anfanteision a thrwy y fath wrthwynebiadau. "Oblegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Y mae yn amlwg fod yr ymdrech y sonia yr apostol am dani yn fawr, ac eto yn llwyddiannus. Rhaid yw cael nerth mawr i orchfygu tywysogaethau ac awdurdodau. Nid rhyfedd ydyw fod cryfder moesol y saint yn ddirgelwch i'r byd. Un peth sydd yn rhyfedd yn mharhâd dyn mewn cyflwr o ras yw, ei fod, wedi ei ddwyn i'r cyflwr hwn, yn aros dros ei holl oes mewn ystâd o anmherffeithrwydd, ac eto yn parhâu mewn gras. Nid yw'r cristion wedi iddo gredu yn Nghrist yn peidio a bod yn bechadur. Yr oedd Paul yn ei gyflwr sanctaidd a'i swydd apostolaidd yn tynu cysur iddo ei hun oddiwrth y dystiolaeth am Grist yn cadw y penaf o bechaduriaid: "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid, o ba rai y penaf ydwyf fi." Nid yw y gras a dderbynir trwy adenedigaeth yn dinystrio bywyd pechod ar unwaith, megys y mae yn dinystrio ei lywodraeth. Pe buasai yr enaid yn yr adenedigaeth yn gyffelyb i'r hyn oedd Adda yn ei gyflwr creuedig, yn berffaith sanctaidd, heb ganddo ddim i wneyd ond amddiffyn ei hun trwy wrthwynebu y diafol tu allan iddo ei hun, a byw yn ol yr egwyddorion sanctaidd oedd yn ei lywodraethu, mae yn ymddangos y buasai ei fanteision i barhâu mewn gras yn llawer mwy nag ydynt. Heblaw fod gan gristion elynion o'r tu allan iddo ei hun i'w gwrthwynebu, y mae ganddo hefyd lygredigaeth ynddo ei hun i'w farweiddio. "Yr ydwyf fi gan hyny yn cael deddf, a mi yn ewyllysio gwneuthur da, fod y drwg yn bresennol gyda mi."

Y mae parhâd cristion mewn ystâd o ras yn rhyfedd wrth ystyried nad yw gras ond peth newydd ynddo. Wele y

dyn newydd â'r hen ddyn pechod yn beth naturiol a gwreiddiol; ac nid yw pechod yn gadael y galon wedi i ras gymeryd ei llywodraeth arni. Mae yn hyn yn debyg fel yr oedd y Canaanëaid i Israel. Y Canaanëaid oedd yn meddiannu y wlad ar y cyntaf; ond rhoddwyd hi gan Dduw i Abraham a'i had, fel yr oeddynt hwy wedi colli eu hawl ynddi. Eithr er ei rhoddi gan Dduw i Israel, ac i Israel orchfygu y Canaanëaid, yr oeddynt hwy, nifer mawr o honynt, yn aros yn y wlad, er mawr flinder i'r genedl gyfammodol. Er mai gras sydd yn teyrnasu ar y galon, y mae pechod yn aros ynddi; cnawd ac ysbryd, llygredigaeth a sancteiddrwydd, yn byw yn yr un galon, ond nid yn heddychol a chysurus. "Mae y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr ysbryd, a'r ysbryd yn erbyn y cnawd." Ni byddai ond oferedd cynnyg ammodau heddwch rhyngddynt. Byddai mor hawdd uno nefoedd ac uffern â chymmodi gras a phechod â'u gilydd. Ond yn llaw gras y mae'r llywodraeth; ac i ddinystr y cnawd a chadwedigaeth yr ysbryd y mae yn arglwyddiaethu.

Y mae parhâd dyn duwiol mewn ystâd o ras yn rhyfedd wrth ystyried nad yw gras ond egwan yn ei ddechreuad, megys gronyn o had mwstard, a byd, cnawd, a diafol yn ei erbyn, ac â'u holl allu yn ceisio ei ddinystr. Ond nid ar raddau gras y mae ei barhâd yn ymddibynu, ond ar ei natur a'i berthynas â Christ. Gras Duw ydyw, gras Crist, gras yr Ysbryd Glân, a gras y bywyd. Y mae cymundeb rhwng y gras sydd yn y credadyn â'r gras sydd yn Nghrist trwy yr undeb sydd rhwng y cristion â Christ. "Digon i ti fy ngras i." Nid yw o bwys, Paul, i ti gael dy waredu ar hyn o bryd oddiwrth y swmbwl sydd yn dy gnawd, os bydd i ti gael dy wregysu â fy nerth i; "fy nerth i a berffeithir mewn gwendid." Y mae gwendid y saint yn achlysur i Grist ddangos ei nerth yn eu cynnal a'u gwaredu. Nid yw gras yn y credadyn ond megys yr ychydig flawd yn y celwrn, ond yn Nghrist y mae yn foroedd anchwiliadwy. "Braidd y mae y cyfiawn yn gadwedig." Gall fod ei ddiogelwch yn ymddangos yn dra ammheus iddo ei hun, ac i eraill ar amserau; ond gyda Duw y mae'r diogelwch yn sicr. Y mae amcanion cariad Duw yn rhwym o gael eu cyflawni ymhob un sydd yn credu yn Mab Duw.

Heblaw hyny, y mae gwrthwynebrwydd yn y byd, er pan y gwnaeth pechod ei ymddangosiad ynddo, i bob peth a phawb sydd yn gwisgo delw Duw, fel nad oedd yn rhyfedd i'r bardd ganu, er ei fod yn dal parhâd mewn gras,—

"Os gwelir fi, bechadur,
  Ryw ddydd ar ben fy nhaith,
Rhyfeddol fydd y canu,
  A newydd fydd yr iaith,
Yn seinio "Buddugoliaeth"
  Am iachawdwriaeth lawn,
Heb ofni colli 'r frwydr
  Na boreu na phrydnawn."

Y mae pob dyn duwiol yn dymuno parhâd mewn gras. Hyd yn nôd y rhai duwiol o'r rhai sydd yn dal cwymp oddiwrth ras yn eu credo, maent yn dymuno parhâu mewn gras, ac yn ymestyn at hyny. Fel y mae yr afon ar ei thaith heibio i'r mynyddoedd, a thrwy y dyffrynoedd, yn dywedyd yn ei hiaith, "Môr, môr, i mi!" yr un modd y mae'r cristion dros holl daith ei bererindod trwy yr anialwch, yn dywedyd oddiar awyddfryd calon, Nefoedd, nefoedd, i mi! gweled Iesu fel y mae i mi!

Fe ddywed rhywun, Pa fodd y gellir profi parhâd mewn gras, gan nad yw gras neu sancteiddrwydd yn hanfodol i un natur ond y natur Ddwyfol? Onid yw yr angylion wedi pechu yn y nefoedd, a dyn yn mharadwys? Y mae yn wir fod cymylau a thywyllwch yn aros ar gwymp dynion ac angylion. Am ddechreuad pechod, a'r modd y daeth llygredigaeth i fod, nid yw yr Ysgrythyr yn rhoddi i ni nemawr o oleuni. Y mae yn ddiddadl fod nifer mawr o'r angylion wedi pechu yn y nefoedd ger bron gorseddfainc Duw, wedi pechu heb demtasiwn i hyny, ac wedi rhoi bôd i bechod bob un yn ei berson ei hun; canys nid oedd cynnrychiolaeth yn y nefoedd fel gyda dyn ar y ddaear. Ond ni phechodd cymaint âg un o'r angylion etholedig. Y mae yr Ysgrythyr yn dywedyd yn eglur mai yn nghyflwr y dyn cyntaf y gwnaeth pechod ei ymddangosiad ar y ddaear. "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod." Ond mewn sefyllfa o brawf yr oedd efe pan bechodd, a than gyfammod gweithredoedd, a'i barhâd yn ymddibynu ar ei

allu a'i ewyllys ei hun. Ond nid mewn sefyllfa o brawf y mae'r dyn sydd yn credu yn Nghrist, eithr mewn cyflwr cadwedig. Nid dan gyfammod gweithredoedd y mae, ond dan gyfammod gras; nid ar ei adnoddau ei hun y mae yn ymddibynu, ond ar y cyflawnder diderfyn o ras sydd yn Iesu Grist. Y mae ffydd yn byw, megys y dywed un awdwr, nid ar yr hyn y mae hi yn ei wneyd, ond ar yr hyn y mae hi yn ei dderbyn o'r cyfoeth anchwiliadwy sydd yn y Cyfryngwr. Yr ydym yn credu fod dylif wedi bod ar y ddaear unwaith, ond na bydd yma ddylif mwyach. Beth yw ein sail i gredu na bydd dylif mwy â dylif wedi bod unwaith? Fe ddywedir y bydd dyddiau Mab y dyn yn gyffelyb i ddyddiau Noe, ac fe fu dylif yn nyddiau Noe, ac felly paham nad all fod yn nyddiau Mab y dyn? Wele, am fod cyfammod Duw â'r ddaear, addewid Duw i Noe, y bwa yn y cwmwl, yn sicrhâu na bydd eto ddylif ddim. Os pechodd dyn mewn ystâd o ddiniweidrwydd fel i fyned yn ol am ogoniant Duw, paham, meddir, nad all dyn mewn ystâd o anmherffeithrwydd syrthio oddiwrth ras, a bod byth yn golledig? Paham yn enwedig nad all y rhai bach yn Nghrist, y rhai lleiaf yn nheyrnas nefoedd, y rhai llesgaf yn llwythau Israel, syrthio ymaith? Beth yw yr anhawsder i nerthoedd uffern dori'r gorsen ysig? beth sydd yn rhwystr i wyntoedd erlidigaethus y byd, a phrofedigaethau yr anialwch, ddiffodd llîn yn mygu? Beth hefyd ond cyfammod cadarn Duw, dianwadalwch ei addewidion, dylanwad eiriolaeth Crist, preswyliad yr Ysbryd yn y saint?

Goddefer i ni ddyfynu ychydig o ymadroddion o eiddo Dr. Woods ar y testun hwn. "Nid oes yn eisieu i amddiffynwyr yr athrawiaeth hon," medd efe, "ond profi o'r Ysgrythyrau fod Duw wedi bwriadu ac wedi addaw cadw i fywyd tragywyddol bawb a ddygir trwy ei Ysbryd dan deyrnasiad gras. Os gellir profi hyn ar seiliau ysgrythyrol, y mae y rhybuddion a'r cynghorion a gynnwysir yn yr Ysgrythyrau i fod yn ffyddlawn i grefydd, mor bell o fod yn anghyson âg addewidion ac arfaeth Duw, fel y maent y moddion cyfaddasaf i sicrhâu eu cyflawniad."

Wrth gwymp oddiwrth ras y mae rhai yn deall cwympo oddiwrth ras yn llwyr, cwympo oddiwrth bob gras fel i fod mor amddifad o ras â phe buasai yr enaid heb dderbyn gras erioed, ond fod yn bosibl ei adferu drachefn. Nis gwn pa le y mae genyf sail i gredu fod neb yn derbyn y gras sydd yn effeithio cyfnewidiad yn sefyllfa foesol yr enaid ond unwaith. Unwaith y mae Duw yn cyfiawnhâu, unwaith yn bywhâu, ac y mae unwaith Duw yn ddigon i effeithio yn oes oesoedd ar ein sefyllfa foesol. Yr ydym yn benderfynol nas gall neb mewn oed a synwyr, a than oruchwyliaeth yr efengyl, fod yn gadwedig ond trwy gredu yn Nghrist; ond, A fydd pawb yn ddiwahaniaeth yn gadwedig sydd wedi credu yn y Gwaredwr? Yr ydym yn credu geiriau yr Arglwydd Iesu, "Oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Ond a gaiff pob dyn sydd wedi ei eni drachefn etifeddu yn sicr deyrnas nefoedd? Wel, i ba ddyben y mae yn Duw yn rhoddi gras i bechadur? ai nid i'r dyben o'i ddiogelu rhag damnedigaeth, ac er dinystr pechod, ac i'w gymhwyso i'r nefoedd? Pa fodd y gallwn ddeall fod dybenion Duw yn rhoddi gras i'w bobl yn cael eu hateb heb iddynt barhâu mewn gras hyd y diwedd?

Y mae eraill yn dal cwymp oddiwrth ras yn llwyr ac am byth; y dichon rhai syrthio oddiwrth ras â bod byth heb eu adferu. Peth difrifol fyddai i Bagan a Mahometan sydd heb gredu yr efengyl, am eu bod heb efengyl i'w chredu, fod byth yn golledig; ond peth mwy difrifol fyddai i un wedi ei freintio â'r efengyl, ac heb ewyllysio ei chredu, fod byth yn golledig. Eithr peth mwy difrifol na hyny fyddai i un wedi credu yn Nghrist, ac wedi bod unwaith dan lywodraeth sancteiddrwydd, fod wedi ei golli yn dragywyddol. Ond beth a ddywed yr Ysgrythyrau? Dyma eiriau Mab Duw ei hun, "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol; a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wêl fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." Y mae cysylltiad rhwng ffydd â chadwedigaeth yr enaid yn nhrefn yr efengyl, fel nad yw credu yn Nghrist yn un anturiaeth i neb, am fod cadwedigaeth pawb yn ddiogel a gredo ynddo. "Cred, a chadwedig a fyddi." Y mae cadwedigaeth pawb yn ddiwahaniaeth yn gysylltiedig â ffydd wirioneddol; canys yr un yw natur, sylfaen, a gwrth-

ddrych ffydd gadwedigol yn mhawb: "At y rhai a gawsant gyffelyb werthfawr ffydd a ninnau." Y mae yr un ffydd yn cario yr un effeithiau, ac yn diogelu yr un breintiau, i bawb, trwy ei bod yn uno pob un sydd yn ei derbyn â'r Arglwydd Iesu. Y mae yr apostol yn methu dyfod o hyd i un gallu digonol i effeithio gwaethygiad ar sefyllfa y rhai sydd wedi eu dwyn i undeb â Christ, ac yn benderfynol nad ydyw yn bod: "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf? Canys y mae yn ddiogel genyf na all nac angeu, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd."

Un peth sydd yn nodweddu gwir grefydd yw ei nerth anorchfygol. Y mae hyn i'w weled yn amlwg yn hanes duwiolion y Bibl. Mor nerthol yr oedd crefydd yn dylanwadu arnynt nes yr oedd yn eu galluogi i ymlynu wrthi dan anfanteision a thrwy anhawsderau, a thros eu holl oes. Edrycher i hanes Job fel un engraifft allan o lawer.

Y mae parhâd mewn gras yn ychwanegiad at gysuron y saint. Rhyw bydew heb ddwfr yw cwymp oddiwrth ras. "Felly nid yw yn ewyllys eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd gyfrgolli yr un o'r rhai bychain hyn." Y mae yn ewyllys y byd, y cnawd, a'r diafol, gyfrgolli yr oll o honynt, ond nid yw yn ewyllys ein Tad gyfrgolli yr un. Y mae yn wir fod Duw yn beïo ar ac yn ceryddu ei bobl pan y maent yn adfeilio mewn gras, yn ymadael â'u cariad cyntaf, ac yn myned i agweddau anghymeradwy o ran eu hysbrydoedd ger ei fron ef. Peth posibl ydyw i ddyn duwiol gael ei oddiweddu gan fai neu feïau, ei orchfygu gan bethau anwir, ond nid ei ddinystrio ganddynt. Y mae gwahaniaeth rhwng syrthio i bechod â byw mewn pechod—rhwng dyn yn cysgu â dyn marw, rhwng dyn mewn llewyg â dyn wedi trengu. Ond pan y mae dynion duwiol yn myned i'r agweddau hyny, y mae Duw fel Tad grasol yn eu ceryddu, a thrwy hyny yn eu hadferu. Er eu ceryddu, nid yw efe yn bygwth eu bwrw ymaith yn dragywydd, ac nid yw ei gyfiawnder yn galw am hyny. Y mae wedi derbyn iawn anfeidrol drostynt yn angeu ei Fab, a'r iawn hwnw yn sicrhâu maddeuant cyflawn a thragywyddol iddynt; ac nid yw yn ymddangos fod anfeidroldeb ei gariad a lliaws ei dosturiaethau yn caniatâu iddo eu llwyr wrthod. "Canys efe a ddywedodd, Ni'th roddaf di i fyny, ac ni'th lwyr adawaf chwaith." "Ni thoraf fy nghyfammod," "ni'th anghofiaf di."

Dywed rhai fod yr athrawiaeth hon yn caethiwo rhyddid yr ewyllys. Yr wyf ymhell o ystyried fy hun yn alluog i roddi atebiad boddhaol i bob gwrthddadl a ddygir yn erbyn yr athrawiaeth hon, pe buasai ein terfynau yn caniatâu. Y mae yn rhaid fod rhyddid yn perthyn i'r ewyllys, ac onidê ni byddai yn ewyllys. Y mae yr ewyllys mewn dyn yn llygredig fel pob cynneddf arall: lle y mae pechod, y mae yno gaethiwed, a lle y mae Ysbryd yr Arglwydd, yno y mae rhyddid. Mae gan y deall a'r gydwybod ryw ddylanwad yn mhenderfyniadau yr ewyllys. Nid yw rhyddid yr ewyllys y fath fel na ellir ei chyfnewid trwy ras.

Y mae rhai yn dywedyd fod yr athrawiaeth hon yn arwain i benrhyddid ac antinomiaeth. Pwy sydd yn dywedyd hyny? A oes rhywrai sydd wedi derbyn gras y bywyd yn dywedyd hyny oddiar brofiad? Onid cymhell dynion at eu dyledswyddau, a'u nerthu i fod yn ffyddlawn iddynt, y mae gras? "Fe a'n gwnaed yn gyfranogion o Grist," nid fe'n gwneir, ond fe'n gwnaed, "os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." Y mae y diweddar Barchedig Henry Rees yn un o'i bregethau, yn gofyn, "Pa fodd y deuwn i wybod ein bod o Dduw trwy Grist? Caiff Ioan ddywedyd wrthych (medd efe), 'Pob un a aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod, oblegid y mae ei hâd ef yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu am ei eni o Dduw.' Yn unig trwy farweiddiad pechod a chynnydd sancteiddrwydd y cedwir y duwiol mewn agweddau priodol i'w gyflwr o ras ac iachawdwriaeth. Yn unig trwy hyn y gall efe brofi mai duwiol ydyw." Nid oes dim a fêdd crefyddwr yn brawf o'i undeb â Christ os nad yw efe yn ymwrthod â phechod ac yn meithrin sancteiddrwydd. Y mae ordinhadau yr efengyl a dyledswyddau

**crefydd iddo ef yn foddion ei sancteiddhâd; ac y mae arweiniad yr Ysbryd, adnewyddiad yr Ysbryd, a dyddanwch yr Ysbryd, yr ernes a'r selio hyd ddydd y prynedigaeth, yn freintiau er dwyn ymlaen a sicrhâu ei gadwedigaeth dragywyddol.**

---

## ANERCHIAD

A draddodwyd yn Nghyfarfod Misol Sir Ddinbych, a gynnaliwyd yn Llangernyw, Hydref 17 a'r 18fed, 1878, ac a gyhoeddir ar annogaeth y Cyfarfod Misol.

*Gan y Parch.* BENJAMIN HUGHES, *Llanelwy.*

GAN y dysgwylir i'r neb a fu yn llywydd y Cyfarfod Misol y tymmor blaenorol roddi byr anerchiad wrth gilio o'r gadair, y mae yn briodol i'r hyn a ddywedir ganddo fod yn dal perthynas neillduol â'r Cyfarfod Misol, ac â phob un o'i aelodau yn y cymeriad hwnw. Yn ein Cyfundeb ni, mae'r Cyfarfodydd Misol yn sefydliadau pwysig, yn hen sefydliadau, ac yn sefydliadau sydd yn proffesu gwneuthur llawer o wasanaeth gwerthfawr yn y rhan hono o'r wlad ag sydd o dan eu harolygiaeth, yn gystal ag mewn meusydd eraill sydd y tu allan i gylch neillduol eu gweithrediadau, sef, bod yn bob cefnogaeth i gychwyn achosion newyddion mewn ardaloedd lle y mae anghen am hyny—darpar moddion i gael gweinidogaeth effeithiol ymhob capel—ymgeleddu eglwysi gweiniaid yn y Sir—bod yn bob cefnogaeth i godi pregethwyr cymhwys, ac mewn rhoddi cynnorthwy i ddewis diaconiaid da—trefnu mesurau priodol i grefydd fyned ar gynnydd ymhob pentref a chwmmwd o fewn cylch y Cyfarfod Misol—a gofalu ar fod casgliadau teilwng yn cael eu gwneuthur er dwyn y gwaith da ymlaen, a'r cyffelyb bethau daionus.

Peth digon hapus, a pheth digon naturiol hefyd, ydyw i ddyn feddwl yn fawr am, a theimlo yn barchus at, ei Gyfarfod Misol ei hun, er yn wir y dywedir fod rhai yma ac acw ar hyd y Siroedd yn hoff iawn o briodoli pob rhagoriaeth i Gyfarfodydd Misol Siroedd eraill pell a dyeithr, ac i daflu dirmyg ar yr eiddynt eu hunain. Y mae lle i ofni fod hyny yn arwydd fod rhywbeth allan o'i le yn ysbryd y neb sydd yn coleddu rhyw gulni felly. Ond am danom ni, rhaid i ni ddywedyd — ac yr ydym yn hyderu y gellir dyweyd yr un modd am bawb o honom — ein bod yn meddwl yn uchel iawn am Gyfarfod Misol Sir Ddinbych. Er y gwyddom ychydig am Gyfarfodydd Misol Siroedd eraill, ac y mae hen gysylltiadau yn peri fod genym barch mawr i'r cyfryw Gyfarfodydd, eto goddefer i ni ddyweyd, a hyny heb wenieithio dim, ein bod yn credu fod yn y Cyfarfod Misol hwn gymaint o allu, a thalent, a chrefydd, a doethineb, a haelioni, a gweithgarwch—â'u cymeryd oll gyda'u gilydd—ag sydd o fewn unrhyw Gyfarfod Misol y gwyddom ni am dano. Y mae Cyfarfod Misol Sir Ddinbych yn bwysig, os edrychwn ar eangder ei derfynau, sef o gyffiniau Dwyrain Meirionydd, yn nhueddau Derwen, i lawr i'r môr tua'r gogledd, gan gymeryd i mewn ranau o Sir Fflint yn wladol, sef Llanelwy, Rhuddlan, Rhyl, Dyserth, &c., ac yna yn ymestyn at Gonwy i'r gorllewin, a thu hwnt i Lanrwst i'r dehau, gan gymeryd i mewn ranau o Sir Gaernarfon, sef Llandudno, Roe wen, Ty'nygroes, Talybont, Trefriw, &c., ac yna yn cyfeirio i'r dwyrain, trwy ganolbarth y wlad, sef Pandŷ, Gwytherin, Llangernyw, a Llansannan, &c. Y mae yn wir mai gwlad amaethyddol a bryniog yn benaf ydyw y rhandir hwn, a bod y pentrefi yn wasgaredig ac yn anghysbell; ond y mae hyny yn dyfod yn rheswm cryf dros i ni, fel Cyfarfod Misol, arfer gofal a gwyliadwriaeth, fel na byddo un gongl o'r maes pwysig hwn yn cael ei esgeuluso. Gan fod aelodau y Cyfarfod Misol yn 323, sef 50 o bregethwyr a 273 o ddiaconiaid, a chan fod o fewn cylch y Cyfarfod Misol 94 o leoedd pregethu ac 82 o eglwysi, fe welir na raid i'r Cyfarfod Misol ar un llaw gwyno oblegid fod rhif ei swyddogion yn ychydig; ac o'r tu arall nis gall y swyddogion gwyno o herwydd fod y maes sydd i'w weithio yn gyfyng, a'r gwaith sydd i'w wneuthur yn fychan ac yn ddibwys. Gan nad y lleiaf o Gyfarfodydd Misol ein Cyfundeb o ran eangder terfynau, ac o ran rhifedi a gallu ydyw, ond y gellir edrych arnom, ar lawer cyfrif, yn gymdeithas gref, y mae hyny yn galw arnom i fod yn ddoeth a gwyliadwrus rhag i'n lliosogrwydd cymharol a'n gallu fod yn achlysur o wendid ac o berygl i ni. Y mae yn demtasiwn i gymdeithas alluog, os bydd ei haelodau yn ymdeimlo â'i nerth ac â'i diogelwch, gario pethau ymlaen â llaw rhy uchel, heb ymgynghori digon â'r lliaws sydd islaw iddynt, ac heb olygu y buddioldeb cyffredinol; ac nid yw y Cyfarfod Misol, na'r Gymdeithasfa Chwarterol, mwy nag eglwysi unigol, allan o'r perygl hwn.

Er mwyn i ni ochel y graig yma, goddefer i ni gymhell ac i wasgu at ein gilydd yr hyn a ganlyn:—*Yr anghenrheidrwydd sydd arnom fel Cyfarfod Misol am ddoethineb a phwyll i drefnu ein mesurau ac i'w cario allan yn y fath fodd, fel ag i ennill cydymdeimlad a chyd-*

*weithrediad calonog y wlad, ac fel y byddo i'r eglwysi barchu awdurdod y Cyfarfod Misol.*

Mantais bwysig i Gyfarfod Misol ydyw ei fod yn sefyll yn uchel yn marn a chymeradwyaeth yr eglwysi; oblegid os bydd gan y wlad syniad isel am ei ddoethineb a'i ddeheurwydd, ni bydd ganddynt fawr o barch i'w benderfyniadau. Canmoliaeth uchel i Gyfarfod Misol gan y rhai sydd y tu allan iddo ydyw, deall fod ynddo undeb a chydweithrediad hollol. Y mae yn wir fod ei unfrydedd yn nerth mawr iddo ef ei hun, megys mai undeb y swyddogion â'r aelodau ydyw nerth yr eglwys gartref, ac mai undeb y Cyfarfodydd Misol ydyw nerth y Gymdeithasfa Chwarterol. Ond y mae undeb agos rhwng y frawdoliaeth â'u gilydd yn y Cyfarfod Misol yn sicr hefyd o hawlio parch iddo gan holl eglwysi y Sîr; ac oblegid hyny ni a ddylem fod yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm cariad a doethineb, a pheidio a bod yn rhy frysiog i benderfynu unpeth o bwys neillduol. Anghenrheidiol hefyd ydyw ar fod tôn uchel ac ysbryd iachus yn ffynu yn yr holl gynnadleddau, fel ag i sicrhâu na byddo dim lle ynddynt i ymbleidiaeth isel pe y cynnygiai yn achlysurol ddangos ei hun. Dylem fod yn ofalus hefyd i beidio ofera amser y Cyfarfod Misol gyda rhyw fân bethau lleol, y rhai a ddylent gael eu penderfynu naill ai gan yr eglwysi gartref neu ynte yn y Cyfarfodydd Dosbarth. Y mae yn wir fod y pethau lleiaf sydd yn dal cysylltiad â theyrnas y Gwaredwr mawr yn bwysig; ond rhaid dyweyd fod llawer o bethau allanol sydd yn perthyn i'r achos mawr yn gymharol ddibwys; ac er mwyn ennill yr eglwysi i feddwl yn uchel o'r Cyfarfod Misol, rhaid i ni ymdrechu treulio ei amser gwerthfawr gyda phethau pwysig, a chyda phethau fydd yn adeiladol i'r swyddogion eu hunain ac i'r eglwysi. Er mwyn sicrhâu hyny y mae yn rhaid cael swyddogion goreu yr eglwysi i arfer rhoddi eu presenoldeb yn y Cyfarfodydd Misol, fel na byddo i amser y cynnadleddau gael ei dreulio mewn siarad cyffredin. Dylem gymeryd rhybudd oddiwrth gyfarfodydd ereill y gwyddom am danynt sydd yn dal cysylltiad â'r Ysgol Sabbothol, ac âg achosion teilwng ereill—cyfarfodydd a fu yn bwysig ac yn gwneuthur gwasanaeth gwerthfawr ugain a deg ar hugain o flynyddoedd yn ol. Ond wedi i ddynion pwysicaf yr Ysgolion Sabbothol ymddyeithrio o'r cyfarfodydd hyny, ac i waith y cyfryw gyfarfodydd yn arolygiaeth yr ysgolion gael eu cario ymlaen gan ddynion difedr a diddylanwad, y canlyniad ydyw fod y rhan fwyaf o'r cyfarfodydd hyny yn gwbl aneffeithiol, a'u penderfyniadau yn llythyren farw, fel y mae bodolaeth y cyfarfodydd hyny mewn aml ddosbarth ar hyd y Siroedd yn bresennol, yn gwasanaethu yn unig i adgofio y bywyd a'r enwogrwydd a fu ynglŷn â'r cyfarfodydd hyny yn yr amser a aeth heibio.

Pell iawn fyddo y dydd i Gyfarfod Misol Sir Ddinbych, na Chyfarfodydd Misol unrhyw Sîr arall, fod yn gorwedd fel corff y farwolaeth ar fynwes y wlad, ac yn cael eu cadw yn unig fel cofgolofnau o'u henwogrwydd cyntefig. Ond er mwyn sicrhâu na byddo na malldod na gwywdra yn dyfod yn lladradaidd i'w gyfansoddiad, bydded pob un o'i aelodau yn ymdrechu i amaethu crefydd ysbrydol ddofn yn y galon; a dysgwn ymdeimlo fwyfwy â'n rhwymedigaethau i'r Arglwydd Iesu Grist, a meithrinwn barch a chariad tuag at ein gilydd: y pregethwyr i barchu y diaconiaid, a'r diaconiaid i barchu y pregethwyr—yr hen i barchu yr ieuanc, a'r ieuanc i barchu yr hen—y brodyr talentog i barchu y rhai sydd yn llai eu doniau, a'r rhai sydd yn gyffredin eu doniau i barchu y rhai sydd wedi eu cynnysgaethu â thalentau mwy. Oblegid ni all y llygad yn y Cyfarfod Misol, mwy nag yn y corff dynol, ddyweyd wrth y llaw, Nid rhaid i mi wrthyt; na'r pen chwaith wrth y traed, Nid rhaid i mi wrthych; eithr yn hytrach o lawer, yr aelodau y rhai a dybir eu bod yn wanaf ydynt anghenrheidiol.

Un moddion i gadw cyfansoddiad y Cyfarfod Misol yn gryf ac yn iachus, ac iddo barhâu i ddal ei afael yn mharch y wlad, ydyw, iddo dori gwaith newydd ac anghenrheidiol allan. Yr ydym yn credu fod genym lawer o waith i'w wneuthur nad ydym eto ond prin wedi agor ein llygaid arno. Diau fod amryw o ardaloedd yn y Sir, y byddai yn dda sefydlu Ysgolion Sabbothol a chodi ysgoldai ynddynt. Dylem hefyd lunio mesurau i wneuthur yr Ysgol Sabbothol yn llawer mwy effeithiol nag ydyw mewn llawer man; a beth am y cannoedd a'r miloedd sydd ymhob cwr o'r wlad yn gwbl ddifater am foddion gras? ac yn sicr dylem wneuthur llawer mwy nag ydym fel Cyfarfod Misol i attal y llifeiriant ofnadwy o anghymedroldeb sydd yn boddi yr ardaloedd.

Y mae hyn yn ein harwain at fater arall y dymunem gyfeirio ato, sef, *y perygl i ymdrechion personol gartref gael eu hesgeuluso a'u colli yn ein cymeriad fel aelodau o'r gymdeithasfa fisol.* Y mae eisieu i ni, yn ein cymeriad fel Cyfarfod Misol, fod yn allu nid yn unig i ddeddfu yn dda ar gyfer yr eglwysi a'r wlad, ond hefyd i bob un o honom yn ei gymeriad personol fod yn allu i weinyddu y deddfau hyny gartref ar ol eu gwneuthur. Er

mai llïaws o unigolion *(units)* sydd yn cyfansoddi y Cyfarfod Misol, y mae yn bosibl i ddyn dori ffigiwr lled amlwg yn lluniaethiad cyfreithiau, a bod yn y gweinyddiad o'r deddfau hyny gartref yn *cipher* hollol. Gellir dychymygu am ddynion yn gyfranog mewn dyfeisio mesurau golygus, ac mewn ffurfio penderfyniadau cwmpasog, a phasio rheolau manwl, a'r holl benderfyniadau hyny, o ran rhai o'r swyddogion a'u lluniodd, yn diflanu yn niwl yn rhywle rhwng y Cyfarfod Misol a'u cartrefi; ac os dygir hwy adref, y mae y penderfyniadau fel pentwr o hen gostrelau yn ddiwerth ac ar y ffordd. Gwelir dynion weithiau yn cymeryd arnynt deimlo yn frwdfrydig at bethau pan oddicartref, ond yn oeraidd iawn tuag at y pethau hyny wedi y dychwelont—yn gweithio yn dda yn gyhoeddus, ond yn segur hollol yn ddirgel—yn ymddangos yn teimlo yn zelog o blaid rhyw anturiaeth dda yn y cyfanswm o honi, ond yn ddi-yni gyda'r mân ranau, oedd yn gwneuthur i fyny y cyfanswm hwnw,—mewn gair, yn ymddangos yn egnïol iawn i geisio cwblhâu yr hyn ag y mae anhawsder mawr i'r llïaws ei wneuthur yn y Cyfarfod Misol, ond yn ddifater hollol i wneuthur rhyw fân orchwylion pwysig ag y gallent hwy eu hunain eu gwneuthur yn ddigon hawdd yn eu cartrefi. Ond y mae ein swyddogion goreu yn cyfuno y ddwy nodwedd y cyfeiriwyd attynt, sef y gallu i ddeddfu *(legislative)* a'r gallu a'r parodrwydd i weinyddu *(executive)*.

Y mae ymdrechion personol wedi gwneuthur gorchestion gyda chrefydd cyn hyn ag oedd yn ymylu ar wyrthiau. Gwir y rhaid cael pwyllgorau i drefnu mesurau er cario pethau ymlaen, ond gallant weithiau fod yn anfantais i weithgarwch. Fe ryfeddir weithiau pa fodd y bu i un dyn wneuthur cymaint gydag achos crefydd, a hyny hwyrach, mewn oes lled fèr. Ond dirgelwch ei lwyddiant ydoedd, iddo yn lle dysgwyl, a chyplysu ei hunan gyda phobl eraill, a goddef cael ei lesteirio gan na phwyllgor na pheth, ymdaflu ar ei adnoddau ei hunan, a thynu allan holl ymadferthoedd ei enaid o blaid yr hyn oedd wedi meddiannu ei galon; a thrwy ymdrechion parhâus, a "ffydd ac amynedd," fe gyrhaeddodd y nôd oedd ganddo mewn golwg. Dywedai y Parch. W. Jay, o Bath, pe buasai y gwaith o adeiladu arch Noah wedi cael ei ymddiried i gyfeisteddfod neu i unrhyw gymdeithas o bobl, na buasai yr arch wedi ei hadeiladu eto, ac y buasai yr holl greaduriaid wedi boddi. Ond gan i Noah ei hun ymdeimlo â'r cyfrifoldeb mawr, fe roes ei holl egnïon a'i ymadferthoedd ei hunan ar waith; a thrwy ddyfalbarhâd gorphenodd Noah yr arch erbyn yr adeg yr oedd ei heisieu, a thrwy hyny efe a achubodd ei deulu yn ngwyneb y rhyferthwy mawr. Ymgydnabyddwn ninnau oll â'r gwirioneddau gogoneddus perthynol i deyrnas Crist, ac â'r ffeithiau mawrion sydd yn perthyn i gadwedigaeth eneidiau dynion, fel y byddom yn meddu cymhelliadau cryfion i dynu allan ein hymdrechion personol, uchaf a phenaf, ar ran achubiaeth dynion ymhob ardal.

Dywedasom fod 94 o leoedd pregethu ac 82 o eglwysi o fewn cylch Cyfarfod Misol Sir Ddinbych. Wel, y mae tua 35 o'r capelau hyn mewn ardaloedd lle nad oes gan un enwad crefyddol arall achos yn y cyrhaedd; ac y mae hyny yn peri fod cryn gyfrifoldeb yn disgyn ar swyddogion y Methodistiaid yn y capelau hyny. Y mae addysg grefyddol ac iachawdwriaeth dragywyddol trigolion y cymydogaethau hyn, fel wedi eu hymddiried i ofal swyddogion yr eglwysi hyny; a chryn beth fydd i bawb o honom allu rhoddi ein cyfrif i fyny yn y dydd diweddaf yn llawen ac nid yn drist.

Rhodded yr Arglwydd i ni fel Cyfarfod Misol ysbryd barn a doethineb, fel y gwypom pa beth a ddylai Israel ei wneuthur. Ac yn ein cymeriad fel cristionogion ac fel swyddogion yr eglwysi, ymnerthwn yn y gras sydd yn Nghrist Iesu, fel ein cynnysgaether â mesur helaeth o'i Ysbryd ef. Cadwed yr Arglwydd ni rhag bod yn ddiffrwyth, a rhag bod mewn dim yn rhwystr i'r achos mawr fyned yn ei flaen. Edrych y byddom at symudiadau y "golofn," a dilynwn hono i ba le bynag yr arweinir ni ganddi; ac wrth dori llwybrau newyddion i gerdded ar hyd-ddynt, na chiliwn oddiar yr hen lwybrau a gysegrwyd gan dadau Cyfarfod Misol Sir Ddinbych, a'u Duw hwy fyddo yn Dduw i ninnau. "Bellach, frodyr, byddwch wych. Byddwn berffaith, dyddaner ni, syniwn yr un peth, byddwn heddychol, a Duw y cariad a'r heddwch a fydd gyda ni."

---

## Y DDAMWAIN DDYCHRYNLLYD WRTH BONTYPRIDD.

PREGETH A DRADDODWYD YN NGHAPEL PONTMORLAIS, MERTHYR TYDFIL, NOS SUL, HYDREF 27AIN.

*Gan y Parch.* THOMAS REES.

DIAREBION xxvii. 1: "Nac ymffrostia o'r dydd yfory; canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod."

MAE yr adnod hon yn cynnwys gwaharddiad croew, pendant, a gwir angenrheidiol, ac yn rhoddi rheswm am dano; ac y mae yn rhaid addef ei fod yn un da a digon-

ol. Mae gwaharddiadau yr Ysgrythyr yn rhoddi ar ddeall yn lled eglur a chryf fod chwant yr ysbryd a gartrefa ynom ni at y peth y dywedir am beidio ei wneuthur, yn gystal a'i fod yn bechadurus i'w wneuthur. Ni roddesid yr un o honynt oni bae fod gogwydd naturiol ynom i wneuthur yr hyn yr annogir ni yn ei erbyn, yn gystal a'i fod yn beth beïus i'w wneuthur. Y mae yn fagl i ni o herwydd ei fod yn ddrwg. Dyma paham y gosodir ni ar ein gwyliadwriaeth yn ei erbyn. Y mae llygredigaeth ein natur, nid yn unig yn ein gwneyd yn agored iddo, am ei fod yn beth na ddylem ei wneuthur, eithr yn peri i ni ei gyflawni yn weithredol mewn rhai amgylchiadau, os nad yn rhy gyffredinol. Oddiar hyny, mae y gwaharddiadau hyn yn gyffelyb i furiau, canllawiau, neu *railings*, wedi eu gosod ar ymyl ffordd neu lwybr troed i arwyddo fod perygl i syrthio drosodd yn y fan hono, a chael niwed, os nad colli bywyd. Y mae hyn yn wir yn arbenig gyda golwg ar yr un yn y testun. Pa beth bynag yw yr ymffrostio o'r dydd yfory y rhoddir gocheliad mor gaeth yn erbyn ei wneuthur, mae yn amlwg ei wala nad da y cyfryw ymffrost. "Pob cyfryw ymffrost, drwg yw." Y mae yn beth peryglus iawn, ac yn gwneyd drwg a dinystr dirfawr. Y mae hefyd yn beth y mae dynion yn gyffredinol yn dra thueddol iddo yn naturiol.Ië, y mae yn beth sydd yn cael ei wneuthur beunydd; llawer iawn o hono yn cael ei wneuthur o hyd yn ein plith. Fe allai nad oes gymaint o ddim arall yn cael ei wneyd yn y byd âg o hyn. Y mae hwn yn bechod parod i amgylchu pawb, os nad yw pawb yn euog yn weithredol o hono. Gan hyny y mae priodoldeb neillduol yn y rhybudd a roddir yma; a dylem ei ddal yn ein cof yn ddibaid yn lle ei ebargofi gymaint.

Eithr cyn myned ymlaen ymhellach fel hyn, fe allai y dylid esbonio yn fanylach pa beth y mae yr iaith hon yn ei olygu. Pa beth ydyw "ymffrostio o'r dydd yfory?" pa fodd y mae ei wneuthur? er mai digon prin, dybygid, y mae anghen gwneyd hyny, gan ei fod yn cael ei ddeall cystal yn gyffredinol, fe ellid meddwl, yn ein plith. Nid oes nemawr os oes dim lle i ymresymiad yn ei gylch. Pa fodd bynag, i osgoi pob camgymeriad, a chael y mater yn glir mor bell ag y gellir, hwyrach nad anfuddiol fyddai myned ar ol hyn, a'i osod allan yn fwy penodol, yn enwedig, gan ei fod yn cael ei wneuthur mewn ychwaneg nag un ffordd, er mai at un neillduol, mae yn fwyaf tebygol, y cyfeirir yma.

Yr ydym yn "ymffrostio o'r dydd yfory," pan yn addaw i ni ein hunain y mwynhâd o ryw ddaioni arno, yn edrych ymlaen yn awyddus a hyderus at gaffael yr hyn a fawr ddymunem arno fel peth sicr o ddyfod i'n rhan, nad oes modd ei golli. Gallwn gael ein temtio i wneyd hyn yn y rhagolwg o'r hyn a ddysgwyliwn ei brofi arno; bod yn llawn o'r hyn a gawn yn ddiffael, dybygem ni, arno. Eithr yn hytrach, yn fwy neillduol, y mae "ymffrostio o'r dydd yfory," yn golygu cynllunio rhyw orchwyl, bwriadu gwneyd rhywbeth, neu fyned i daith, ac yn arbenig taflu heibio rywbeth ddylem gyflawni heddyw iddo, yn teimlo yn sicr yn ein meddyliau, heb yr un ammheuaeth leiaf, y gallwn *affordio* yn dda i wneyd hyn—y cawn yfory yn ddiogel ato; dyweyd ynom ein hunain fod yfory genym at ryw ddyledswydd ag sydd yn hollol rwymedig arnom heddyw; oblegid nid ydym i dybio am fynyd, fod yr ymffrostio hwn yn tori allan mewn cynifer o eiriau clywadwy i eraill, er y gwneir ef felly yn rhy fynych, eithr yn desgrifio syniad neu deimlad tufewnol ein calonau. Fel y dywed y Salmydd, "Eu meddwl yw," yn ol y Saesoneg, eu meddwl tufewnol yw, "y pery eu tai yn dragywydd." Ynom ein hunain, yn gystal ag wrthym ein hunain, yr ydym yn "ymffrostio o'r dydd yfory," gan ddyweyd, Mi a af ynghylch y gorchwyl a'r gorchwyl yfory, canys y mae yfory genyf ato; bydd y fory megys heddyw a mwy o lawer iawn. Ni raid i fi fyned yn ei gylch heddyw; gallaf ei adael yn llonydd; onid yw yfory genyf ato? Caf yfory i'w gyflawni. Yr ydym yn "ymffrostio o'r dydd yfory," pan esgeuluswn gyflawni rhyw ddyledswydd orphwysedig arnom heddyw, gan berswadio ein hunain yn ehud y cawn yfory ati, ac y bydd yn gyfleus i ni ei chyflawni arno. Y mae oedi neu ohirio y cyflawniad o ddyledswydd hyd yfory, er meddwl yn gryf fyned yn ei chylch arno, yn feïus ac yn beryglus iawn; ac ni ddylem gynnyg ei wneyd er dim. Ond och! gymaint o hyn sydd yn cael ei wneuthur.

Y mae ymffrostio yn fynych yn iaith yr Ysgrythyr yn dynodi yr hyn nad oes gwirionedd ynddo, dim sail iddo—hòni hawl i beth nad ydym yn ei feddu—cymeryd arnom ein bod y peth nad ydym. Nid yw yfory yn ein meddiant ni, ac fe allai na welwn ef. Duw a'i pïau. Nid oes genym yr hawl leiaf i gyfrif ar yfory, gan nad yw genym, a'r fath ansicrwydd a gawn ni ef. Nid yw yn bod eto i ni, ac fe allai na fydd byth i ni. Y mae rhan olaf yr adnod yn awgrymu hyn yn anghamsyniol, fod ansicrwydd mawr pa un a welwn ni yfory; "canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod." Gallwn fethu yn hawdd ddigon gweled yfory, neu fethu cael y cyfleusdra arno, a hoff ond a

ffol ddaliwn allan i ni ein hunain. Mae *yfory* yn arwyddo weithiau amser annherfynedig; ond yma, mae yn amlwg oddiwrth y gair "diwrnod" a ddefnyddir yn y frawddeg ddilynol, ei fod i'w gymeryd yn ei ystyr briodol, gyffredin, am y dydd ar ol heddyw yn llythyrenol. Gall y sawl sydd heddyw yn ymdroi mewn cyfoeth a llawnder, fod yfory wedi ei amddifadu o'r cwbl oll. Gall y sawl sydd heddyw â'i holl berthynasau a'i gyfeillion yn llon a llawen o'i amgylch, fod yfory â'r anwylaf o honynt wedi ei gymeryd ymaith oddiarno, ïe, eu colli i gyd, fel Job gynt, a llawer un ar ei ol. Gall yr hwn sydd heddyw yn ei gyflawn nerth a'i iechyd, fod yfory yn ddiallu ac yn boenedig ar wely cystudd, ïe, yn cael ei osod yn ei amdo ac yn ei arch; "oblegid yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Nid yw hyn yn gwahardd pob edrych ymlaen a darparu ar gyfer yfory. Arweiniai hyny yn anocheladwy i'r annhrefn a'r anghysur mwyaf. Ni chydsafai pethau felly. Nid ydym i fod yn gwbl ddifeddwl a diofal am yfory ymhob ystyr; eithr y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng gofal iawn am yfory âg ymffrostio o hono, trwy gruglwytho gwaith iddo, a hyny ar draul ei esgeuluso heddyw. Gelwid dygwyddiadau gan yr Hebrëaid yn "feibion amser." Amser sydd yn esgor arnynt, ac nis gwyddys pa beth sydd ganddo yn ei groth nes y daw allan. Y mae trueni dyn yn fawr arno, oanys ni ŵyr beth a fydd; eto, mewn doethineb a daioni y mae Duw wedi cuddio y dyfodol rhagom i'n cael i barotoi ar ei gyfer yn ddyladwy.

Fe allai y dylwn ddywedyd yma, yr hyn y mae rhai o honoch wedi ei ddyfalu yn gywir eisoes, mai y damweiniau a ddygwyddasant yn ddiweddar—yn ystod y mis diweddaf a hwn, ac sydd wedi bod yn ddinystr mor ddisymwth ar fywydau dynion i raddau mor helaeth ac ofnadwy ar dir a dwfr, ar wyneb y ddaear ac i waered ynddi, llongddrylliadau, a'r ffrwydriad yn y gwaith glo heb fod yn nebpell oddiwrthym, ac yn enwedig y gwrthdarawiad arswydus ar reilffordd y Tâf, yn ymyl Pontypridd, wythnos i ddoe, pan y collodd deuddeg o ddynion eu bywydau, pump yn y fan ar y tarawiad, a saith arall cyn pen ychydig oriau oddiwrth eu haelodau a'u hesgyrn briw a'u harchollion o bob math, a thros hanner cant yn gorwedd yma a thraw mewn enbydrwydd mawr am eu heinioes rai o honynt, a'r lleill eu hanafu am eu hoes, sydd wedi fy arwain i ddisgyn ar y geiriau hyn heno i'ch cyfarch oddiwrthynt, gan fod hyn oll yn dyfod â hwy adref atom mor rymus. Nid fod y ddamwain echrydus hon yn bwysicach na'r un o'r rhai alaethus eraill y cyfeiriwyd atynt. Na, dinystriwyd llawer mwy o fywydau yn y lleill, yn ymyl cant am bob un i hon, ac yn lledaenu dyoddef a thrueni yn gyfatebol trwy gylch eangach o lawer. Nid oedd bywydau y dwsin hyn yn fwy gwerthfawr mewn unrhyw ystyr y gwyddom am dano na'r lleill o'u cyd-ddynion; eithr y mae rywfodd yn dyfod yn nês atom, bawb o honom, o herwydd rhyw ystyriaethau, fel y gellir cymeryd mantais deg ar y tro alaethus i alw ein sylw ato, fel y mae yn dysgu rhyw wersi i ni a ddylem osod at ein calon, os nad yn ei wneyd yn ddyledswydd bendant arnom i *improvio* yr amgylchiad, fel y geilw ein cymydogion ef. Nid ydym ni yn fynych, a llawer o honom un amser, yn byw lle yr ydym, mewn perygl mawr o foddi yn y Tafwys na'r un dwfr arall hallt na chroew, trwy fyned i agerfad na llong. Parodd y newydd trwm am suddiad sydyn y *Princess Alice* i'n calonau deimlo dwys gur dros y cannoedd trueiniaid fu mor anffodus a myned i lawr i'r dyfnder ynddi mor ddisymwth, a'r galar chwith a'r golled fawr ydoedd i eraill. Ond ni theimlem fod ein perygl ni gymaint i ddyfod i'n diwedd yn y fath ffordd. Drachefn, er i ni deimlo mwy fyth wrth glywed am yn ymyl tri chant o'n cymydogion yn dyfod i'r fath ddiwedd annysgwyliadwy yn mhwll glo Abercarn, ac yn gadael dwywaith eu nifer i ddyoddef colled a galar ar eu hol, gan nad yw y nifer amlaf o lawer o honom yn disgyn un amser i'r pwll glo, chwaithach yn gwneyd eu gorchwyl beunydd yno yn nghanol y peryglon, nis gallai hyn effeithio cymaint arnom, a chael y fath afael ynom. Ennynwyd ein tosturi a'n cydymdeimlad yn fawr, a rhoddasom brawf sylweddol o hono trwy gyfranu i gynnorthwyo y gweddwon a'r amddifaid. Eithr teimlem ein bod ni ein hunain, y nifer amlaf o lawer o honom, yn ddiogel rhag i ddim felly gyfarfod â ni. Ond dyma hi wedi dyfod yn nês atom mewn mwy o ffyrdd nag un. Nid yn unig y mae agos bob un o honom yn myned gyda'r *train* yn ei dro, a rhai o honom yn lled fynych, eithr y mae y *line* hon yn dyfod i mewn i'n tref, a lladdwyd rhai a adwaenem, a dygwyd gweddillion un o'r lladdedigion heibio ein drysau i'w gladdu yn Dowlais, ac y mae dau yn gorwedd yn ein tref wedi eu hanafu, er nad yn beryglus iawn, am yr hyn y dylem fod yn ddiolchgar. O herwydd hyn, yr ydym wedi ein taro â syndod syfrdanol sydd bron a'n dyrysu, ac yn teimlo yn angerddol. Dyma destun mawr siarad yr wythnos yn ein plith, a thrwy gylch lled ëang. Gadewch i ni weled ai ni all un droi yr hyn sydd wedi bod ar ein tafodau ac yn ein clustiau gymaint i

bwrpas da—i wneyd lles i ni. Bendithied yr Arglwydd ef i ni. Nid wyf yn myned i fanylu ar y ddamwain erchyll. Gwyddoch oll y manylion yn lled dda, naill ai trwy ddarllen y newyddiaduron dyddiol neu wythnosol yn adrodd yr hanes pruddaidd, eich hunain, neu trwy glywed eraill yn ei hadrodd. Ac y mae yn anhawdd, os nad yn anmhosibl, desgrifio yr olygfa erchyll hyd yn nôd gan y rhai oeddynt lygad-dystion o honi. Pa fodd bynag, y mae rhai pethau cysylltiedig â'r ddamwain yn deilwng o sylw.

Ar y cyfan, mae'n ymddangos fod y dyoddefwyr, hyd yn nôd y rhai a'i cawsant waethaf, yn lled dawel wedi dyfod atynt eu hunain, er y dyoddef ofnadwy, a deall fod angeu yn yr ymyl gyda rhai. Nid oedd sylweddoli eu sefyllfa yn gyflawn yn eu gyru i gynddaredd, neu i waeddi nac ysgrechain, oddieithr rhyw un eithriad. Un yn unig a glywyd yn tori allan yn nghanol yr olygfa ddychrynllyd annarlunadwy, gan ddywedyd, "Dyma uffern o le." Y fath gyferbyniad rhwng iaith annuwiol ac ymddygiad hollol anheilwng hwn âg eiddo y Parch. David Thomas, gweinidog y Bedyddwyr yn y Porth, a fu farw heb fod yn hir oddiwrth ei anafau trymion! "Ewyllys yr Arglwydd ydyw," meddai, gan ymostwng yn ddiddig fel cristion i'r orchwyliaeth chwerw. Peth mawr ac anhawdd oedd gweled a chydnabod, a gallu dyweyd hyn yn y fath amgylchiad, heb fyned ar ol yr ail achosion, a holi pa fodd y bu, a melldithio y sawl a barodd y fath drychineb. Yr oedd efe, pa fodd bynag, yn llawn o deimlad duwiolfrydig, fel yr oedd y llall y cyfeiriwyd ato yn llawn o beth arall, gwrthwyneb hollol; a deuai yr hyn oedd uchaf a llawnaf yn y galon allan. Gellid troi ar y creadur caled arall, a'i gyfarch yn gyffelyb i fel y gwnaeth y lleidr a achubwyd ar y llall a gablai, "Onid wyt ti yn ofni Duw, gan dy fod yn y fath gyflwr difrifol a pheryglus?" Bu y gweinidog clwyfedig farw fel cristion ymhob ystyr. Yr oedd yr olwg arno yn ganmoliaeth i grefydd, yn gystal ag yn brawf fod ganddo grefydd dda. Os galwodd Addison ar ei gâr ieuanc, yr hwn nid oedd mor ffafriol i Gristionogaeth, i ymyl ei wely marw i weled pa fodd y gallai cristion farw, felly yr oedd yn werth bod yn agos i Mr. Thomas, yn trengu yn ei waed, ond yn huno yn yr Iesu. Gwiriwyd y geiriau, "Ni frysia yr hwn a gredo." Nid oedd yn gwylltio yn y gradd lleiaf. Ac nid oedd raid iddo, canys yr oedd yr Iesu gydag ef. Pan ofynodd un o'i frodyr yn y weinidogaeth oedd wedi cyrhaedd i'r lle, pan oedd yn suddo yn gyflym ac wedi myned yn rhy bell i allu siarad,—"A oedd yr Iesu gydag ef?" gwenodd yn siriol wedi methu dyweyd dim. Nis gallai pawb oedd yn bresennol lai na dymuno, "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd i fel yr eiddo yntau." Y mae ei ddull gwir gristionogol yn dyoddef ac yn marw yn arogli yn beraidd yn nghanol y fath olygfa ag sydd yn abl gwneyd dyn yn glaf. Yr oedd yn myned at ei gyhoeddiad i bregethu y Sabboth i le ychydig filldiroedd oddicartref, ac felly gyda'i ddyledswydd; a "gwyn fyd y gwas hwnw, yr hwn y caiff ei Arglwydd ef, pan ddêl, yn gwneuthur felly."

Hefyd yr oedd y gwaredigaethau yn hynod iawn: rhai yn cael eu lladd, nid yn unig yn yr un cerbyd âg eraill yn cael eu harbed, ond yn dianc yn eu hymyl heb nemawr ddrwg. Yr oedd yno *freaks* dyeithriol, mor rhyfedd braidd ag ysgogiadau y daranfollt neu y mellt; neu yn fwy cywir, cyfryngiadau neillduol nodedig i ryw ddyben mewn arbed bywyd rhai. Dygwyd y bachgen Moses Powell, a fu am ddeng niwrnod y llynedd wyneb yn wyneb âg angeu yn mhwll glo y Tŷnewydd, unwaith eto i'w wyneb. Yr oedd yn nghanol y ddamwain, lladdwyd rhai gerllaw iddo, eithr diangodd ef heb dderbyn ond ychydig iawn o niwed—dim o bwys. Pa beth, tybed, sydd o flaen hwn? Onid yw yn cael rhybuddion sobr ac agos iawn, heb eu bath, pe byddai hyny yn ddigon? Gobeithio yn sicr nad caledu a wna efe trwy y cwbl, na'r un o'r lleill a gafodd ddiangfa mor gyfyng, a thrysori iddynt eu hunain ddigofaint erbyn dydd digofaint, trwy anystyriaeth ac anedifeirwch, rhag iddynt ddyfod i ddiwedd "yr hwn a gerydder yn fynych ac a galeda ei wâr, a ddryllir yn ddisymwth, fel na byddo meddyginiaeth." Rhodded Duw ras iddynt i osod hyn at eu calon yn ddyladwy.

Heblaw hyn mae y gwaredigaethau trwy beidio myned gyda'r *train* anffodiog, o herwydd amgylchiadau a gyfododd yn galw arnynt i fyned yn gynt, yn deilwng o sylw. Peth rhyfedd iawn—un o'r saith rhyfeddod braidd, na fuasai rhai o'n brodyr yn y weinidogaeth yn y *train*, gan fod uwchlaw dwsin o honynt yn y Cwm, a hithau yn brydnawn dydd Sadwrn; a buasai un o leiaf gydag ef oni buasai i angladd fyned âg ef yn gynt oddicartref y diwrnod hwnw i'w gyhoeddiad. Dyma un sydd yn teithio cymaint yn dianc, a gweinidog sefydlog oedd yn unig yn myned am dro i lanw pulpud arall yn y gymydogaeth yn dyfod iddo!

Mae achos y cwbl yn oleu a hollol sicr yn yr amgylchiad hwn. Weithiau nid ellir cael allan, o herwydd anwybodaeth neu gelu bwriadol, achosion damweiniau. Ond y mae yn foddlonrwydd, er mai un poenus a blin ydyw, i wybod pa fodd y bu,

sef esgeulusdod hollol anfwriadol y *signalman*, yn cymeryd yn ganiatäol yn rhy rwydd heb fynu gweled yn fanwl. Twyllwyd ei glust rywfodd iddo glywed y gloch, heb ofalu gweled â'i lygad *fel y dylasai* nes oedd yn rhy ddiweddar. Peth dymunol iawn yw fod cymaint o gydymdeimlad â'r gŵr a achosodd yr holl alanasdra trwy ei amryfusedd, er nas gellir ei gyfiawnhâu, ac na faddeua yntau iddo ei hun yn union, os byth, ar y ddaear. Y mae yma wers i ofalu bod yn fanwl pan y mae bywyd dynol yn y cwestiwn, ac yn enwedig gyda'n hachos tragywyddol. Edrychwn ati i beidio ymgynghori â'n hesmwythder, na'n diofalwch, nac hyd yn nôd â'n hunan-hyder twyllodrus, a chymeryd dim yn ganiatäol heb ddigon o sail—heb fynu gwybod yn fanwl fod pob peth yn "*all right;*" oblegid nid i eraill y daw y drwg, a ni yn dianc heb gael niwed, eithr nyni ddaw iddi ein hunain. A pheth o bwys i'r pregethwr, yr athraw yn yr Ysgol Sabbothol, a rhieni plant, yw gofalu rhoddi y *signal* iawn, serch trafferthu i fynu gweled eu hunain ei bod felly, rhag yn yr amgylchiad hwn fel trwy beidio gwneyd y gwaith yn drwyadl fel y dylesid, i ddyweyd fod y ffordd yn glir, a rhoddi rhyddid i'r gerbydres fyned ymlaen, a thrwy hyny fyned i ddannedd y perygl, ïe, fyned yn ysglyfaeth i ddinystr, ac i gyflafan gwaeth na'r un y cyfeirir ati, â gwaed eneidiau ar ein llaw. Y mae o bwys annhraethol, ac o ganlyniad tragywyddol, i roddi y *pass* yn rhydd, a theithwyr yn meddwl nad oedd dim i'w ofni, nes cael allan trwy brofiad chwerw eu bod wedi eu dyfetha trwy esgeulusdra eraill. Oes, y mae golygfa anfeidrol fwy truenus a thorcalonus fyth o'n golwg ni, eithr am y llen â ni: eneidiau yn eu gwaed yn trengu yn nghanol y dyoddefiadau mwyaf arteithiol allan gan esgeulusdra eraill oedd eu gofal arnynt i ddyfod â hwy i'r drwg helynt hyn. Gwareder ni rhag bod yn euog o'r fath fai ysgeler. Peidiwn a gadael i neb fyned ymlaen ar eu taith i'r byd tragywyddol, hyd y gallwn ni, heb gyflawni ein holl ddyledswydd yn ffyddlawn tuag atynt, a gofalu fod y ffordd yn rhydd—na ddeuant i wrthdarawiad â'r hyn a wna hafog arnynt am byth, a hyny o herwydd na wnaethom ni ein rhan yn ddigon gofalus a manwl iddynt.

Ond y mae llais heblaw hyn gan y ddamwain atom; oes, llais gan Dduw atom trwyddi. Nis gallwn gyfeiliorni trwy olygu fod ganddo ef law ynddi, a'i bod wedi ei hanfon gydag amcan neillduol, ac ar neges neillduol. Rhaid i ni gredu ei bod wedi dyfod oddiwrth Dduw, a'i bod wedi dyfod yn llais oddiwrtho atom. Diau fod rhai yn amser hwn eu galar nad allent braidd feddwl am Dduw, y rhai a hanner ddymunent gredu nad oedd Duw ynddi. Ac fe allai fod y rhai a garent ac a ymddiriedent yn Nuw, ormod o'r un meddwl â Mair a Martha gynt, pan lefent, "Arglwydd, pe buasit ti yma ni fuasai farw fy mrawd." Eto meddwl annuwiol, anffyddol, oedd cau Duw allan o unrhyw beth. Os nad ydym yn derbyn yr hyn sydd ddrwg oddiwrtho, nid ydym yn derbyn yr hyn sydd dda. Mewn dygwyddiadau fel yr un y cyfeirir ato, sydd newydd gymeryd lle, pa beth bynag sydd ddyledus i ddiofalwch neu ddrygioni dynion, rhaid olrhain yr oll i Dduw. Y gyflafan fwyaf erioed, croeshoeliad ein Harglwydd, er iddo gael ei draddodi trwy ddwylaw anwir, a ordeiniwyd gan derfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw. Yr oedd efe ar Galfaria er fod pechod wedi cyrhaedd y fan uchaf yno. Y mae y cwestiwn yn codi yn naturiol, Paham gan hyny na chyfryngai i achub? Ond ni thâl i mi gymeryd fy nhemtio i fyned ar ei ol, ac nid oes raid, gan nad yw yn perthyn yn uniongyrchol i'r hyn sydd mewn golwg wrth wneyd y defnydd hwn o'r anffawd erch. Ac y mae yma gyfryngiadau amlwg iawn mewn gwaredigaethau anghyffredin. Achubwyd y naill, ac heb nemawr niwed, yn ymyl y llall a laddwyd ar y tarawiad; y ferch fach yn dianc, a'r nain yn cael ei lladd.

Rhaid cyfeirio hefyd at y syniad ofergoelus sydd ar led, fod damweiniau enbyd yn dwyn dyoddef mawr ar bobl, yn awgrymu fod rhyw bechod mawr yn achos o hono. Y mae y cyfryw gasgliad nid yn unig yn angharedig i'r eithaf, ac yn annheg iawn, ond yn hollol ddisail; oblegid mae Duw yn fynych yn arbed y sawl y mae leiaf am danynt, ac yn taro i lawr y sawl y mae am gael ato ei hun i'r nefoedd. Y mae felly yn amlwg i'w ryfeddu yn y tro hwn. Nid yr esboniad hwn yw yr un iawn ar ddygwyddiadau chwith o'r fath. Yr un peth a ddygwydd i'r da ac i'r drwg mewn damweiniau fel hyn, fel yn amgylchiadau cyffredin bywyd. Ac y mae Iesu Grist wedi tori y ddadl hon yn ei ateb i'r sawl a fynegodd iddo am y Galileaid, y rhai y cymysgasai Pilat eu gwaed ynghyd a'u haberthau. "A ydych chwi yn tybied," medd ef, "fod y Galileaid hyn yn bechaduriaid mwy na'r holl Galileaid, am iddynt ddyoddef y cyfryw bethau? Nac oeddynt, meddaf i chwi; eithr, onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll yn yr un modd. Neu y deunaw hyny ar y rhai y syrthiodd y tŵr yn Siloam, ac a'u lladdodd hwynt; a ydych chwi yn tybied eu bod hwy yn bechaduriaid mwy na'r holl ddynion oedd yn cyfanneddu yn Jerusalem? Nac oeddynt, meddaf i chwi; eithr, onid edifar-

hewch, chwi a ddyfethir oll yn yr un modd." Y mae hyn yn penderfynu yr holl gwestiwn, a dylai fod yn ddigon arno. Ymaith gan hyny â phob tyb gul, gtebychlyd, a chyfeiliorus o'r fath. Deallwn athrawiaeth y gwirionedd gyda golwg ar hyn yn well, oblegid yr ydym "yn cyfeiliorni am na wyddom yr Ysgrythyrau."

Y mae Duw yn llefaru wrthym yn hyn. "Rhuodd y llew, pwy nid ofna?" Pan y mae brenin y goedwig yn camu ei wddf hirflewog, a'i enau yn glôs wrth y ddaear, a'i lygaid ar dân, ac yn rhoddi allan ei lais rhuadwy, mae y llais hwnw fel yn treiglo ar hyd y ddaear, ac yn adseinio oddiwrth y mynyddoedd, yn cael ei ganlyn gan y dystawrwydd dyfnaf. Mae yr holl greaduriaid eraill yn cael eu taro yn fud gan fraw; a'r fath yw y dystawrwydd fel y gellid clywed y ddeilen grin yn syrthio oddiar y pren. Yn awr, pan y mae Duw yn llefaru, ac anfynych os erioed y clywsom ef yn llefaru yn ein clustiau yn ei ragluniaeth fel y mae wedi gwneyd yn awr, pwy na ddyry sylw, a ofna, ac a ddysg y wers ddifrifol a ddysgir i ni? A oes eisieu ein hannog i gydnabod llaw a llais Duw yn y trychineb alaethus? Gellid meddwl nas gallwn lai. Y mae amcan hyn yn lled amlwg a diammheuol, pa beth bynag am yr achos moesol neu ysbrydol o hono. Y mae cenadwri yr orchwyliaeth ddyeithr a difrifol dros ben yn lled hawdd ei deall mewn rhan. Fe allai fod yma amrywiol wersi i ni i gyd yn cael eu dysgu i ni mewn ffordd ddrud a chyffrous, ac nis gallwn gamsynied i edrych arno fel yn ein cyfarch yn iaith y testun yn anad dim, os nad yn benaf dim. Onid yw y ddamwain yn dywedyd wrthym bawb o honom, "Nac ymffrostia o'r dydd yfory; canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod?" Nis gallwn golli wrth ei gymeryd yn rhybudd i beidio gwneyd yr hyn a waherddir yma, ac yn eglurhâd tarawiadol iawn yn gystal ag yn gadarnhâd o wirionedd y dystiolaeth, "Canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod." Y mae ansicrwydd y dyfodol, hyd yn nôd yfory, a'r hyn arno, yn rheswm dros beidio ymffrostio o'r dydd yfory, mewn unrhyw ystyr, yn enwedig trwy oedi y cyflawniad o ddyledswyddau crefyddol, megys edifarhâu am ein pechodau, credu yn Nghrist, ceisio yr Arglwydd, ymroddi i fyw yn dduwiol. "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

Y mae yn fynych anghysondeb amlwg a phruddaidd rhwng yr addefiadau a wnawn â chwrs ein bywyd. Pwy a all ammheu ansicrwydd bywyd ac ansicrwydd yr hyn a ddygwydd y naill ddydd ar ol y llall? Y mae pawb yn cydsynio yn barod ar air, beth bynag, yn gyffredinol o anghenrheidrwydd â hyn. Nid oes diolch iddynt. Pwy a gynnyg wrthddywedyd yr haeriad, "Canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod?" Onid yw hyn yn cael ei wthio arnom pa un a fynom ai peidio? Eto, er yr addefir hyn yn barod heb ammheu, y mae dynion o'r dechreuad yn myned ymlaen gan ymffrostio o'r dydd yfory, yn meddwl yn hyderus, ac yn siarad yn hyderus, ac yn ymddwyn yn hyderus ar gefn yfory; ar goel y ceir ef, ie, ac nid yn anfynych am dymmor llawer hŵy nag yfory. Rhoddir amrywiol engreifftiau o hyn yn y gair, a rhybuddir ni yn ddifrifol yn ei erbyn. Dyna Pharaoh yn dywedyd, "Erlidiwn;" gelli ddywedyd hyna; "goddiweddwn, rhanwn yr yspail, caf fy ngwynfyd arnynt, fy llaw a'u dyfetha hwynt." Na wnai yr un o'r pethau hyn. Yn lle hyny, cyn yfory yr oedd y march a'i farchog wedi ei daflu i'r môr, a soddi fel plwm yn y dyfroedd cryfion. "Iddo yn awr, y rhai ydych yn dywedyd, Heddyw neu yfory ni a awn i gyfryw ddinas, ac a aroswn yno flwyddyn, ac a farchnatawn ac a ennillwn. Y rhai ni wyddoch beth a fydd yfory. Canys beth yw eich einioes chwi? Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu." Collodd y gŵr y cnydiodd ei dir yn dda, fel hyn. Perswadiai ei hun, nid yn unig fod ganddo ddâ lawer wedi ei roi i gadw dros lawer o flynyddoedd, eithr y caffai fyw i'w mwynhâu. "Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt, ac eiddo pwy fydd y pethau a barotoaist?" Dyma fel y bu gyda'r dwsin a laddwyd, a'r hanner cant a anafwyd gyda'r gerbydres dydd Sadwrn wythnos i ddoe. Yr oedd y gŵr a'r wraig a ddaeth i'w diwedd yn myned i dalu y *shop* yn Pontypridd, y llyfr a'r arian yn mhoced y naill, ond ni chawsant dalu; gwysiwyd hwy i gyfrif arall, a gwyn eu byd os oedd ganddynt fodd i ateb fel yr oedd i glirio dyled y *shop*—os oeddynt mor barod i gyfarfod â Duw ag â'u gofynwr daearol. Yr un ffunud y gweinidog nad oedd wedi gadael ei dŷ uwchlaw hanner awr cyn y ddamwain; yr oedd yn myned i bregethu yr efengyl drannoeth, wedi dewis ei destynau, meddwl am ei bregethau, a gweddïo am gymhorth a bendith yr Ysbryd ar ei lafur. Ond yn lle hyny, cafodd fyned i ddyrchafu a chanmawl y Ceidwad mewn ffordd arall, ac yn gynt fel y dywedai, gwaed yr hwn oedd yn golchi a chànu ei enaid i'w wneyd yn gymhwys i fyned ato pan oddicartref yn ymdreiglo yn ei waed. Yn teimlo hyn, dywedai wrth y meddyg, "Na flinwch gyda fi, gan na ellwch wneyd lles i fi; ewch at rywun y

eto wedi dyfod. Wedi i'r wawr ddyfod yn ddigon goleu, ac iddynt edrych ychydig o'u hamgylch, canfuasant fwthyn deiliog mewn pantle dwfn odditanynt; ac wedi dal i edrych am ychydig amser, gwelent hen ŵr yn ymwthio allan o'r bwthyn, a deallasant mai efe oedd eu hysbysydd y nos o'r blaen. O'r man lle yr oeddynt, aeth yn ychydig o ymgom rhyngddynt â'r henwr, a mynegasant iddo eu holl helynt y dydd o'r blaen— fel y darfu iddynt ymddyrysu, a cholli y ffordd, a gado eu cymdeithion, a dyfod i'r un man yn gymhwys ag y cychwynasent o hono. "I ba le yr oeddech yn ceisio myned?" gofynai efe; a hwythau a atebasant mai ceisio yr oeddynt groesi y mynydd at yr afon Molanux, lle yr oedd eu dau gyfaill yn pabellu. "Ho," ebe yntau, "yr wyf fi yn bwriadu myned i'r un man a chwithau; a byddaf yn cychwyn yn ddioed wedi i'r *bili* ferwi, a chael o honof ychydig frecwast; ac yr wyf yn gyfarwydd iawn â chroesi'r mynydd." Fe welir mai llestr cyfaddas i ddal dwfr, yn oer a berw, oedd y *bili*. Yr oedd iaith yr hen ŵr yn galondid mawr iddynt; o herwydd nid peth dibwys yn eu golwg oedd cael arweinydd medrus, yn arbenig dan yr amgylchiadau oedd wedi cyfarfod â hwynt.

Wedi iddynt wneyd pen ar y darn teisen oedd yn ngweddill er y noson flaenorol, ac yfed ychydig o dê poeth, ac i'r hen frawd ddyfod atynt, yr oeddynt ill tri yn barod i gychwyn i'w taith. Yr oedd yn fore digymylau, a'r haul ar ddechre dangos ei wyneb, ond yr hin mor hynod o oer, nes yr oedd eu hanadl yn rhewi, gan adael eu barfau yn un deisen o ia, a'u cefnau yn ddafnau o chwys rhynllyd. Gellir yma nodi fod teithwyr yn y gwledydd pellenig yn dal sylw manwl ar symudiadau yr haul (os priodol yr ymadrodd am y goleuad mawr sy'n troi yn ei gylch), er mwyn arweiniad yn yr iawn gyfeiriad. Ar ol iddynt deithio am yspaid o amser i fyny'r mynydd, tarawyd hwy â dychryn wrth ganfod o honynt eira fel pe wedi ei hau yn rhesi ar lechwedd y mynydd, gan y gallent edrych ar hyny yn darogan fod eira trwchus wedi disgyn ar ben y mynydd y noson flaenorol. Ac felly yr oedd; canys fel yr elent ymlaen yr oedd yr eira yn tewychu, nes o'r diwedd iddynt gael eu hunain at benau eu gliniau ynddo. Yr oedd hyny, fel y gallesid meddwl, yn eu taflu i brudd-der a gofid dirfawr. Ond yr oedd un peth yn nghanol eu helbul yn dal eu hysbryd-oedd i fyny: yr oedd yr haul, brenin y dydd, yn eu golwg, a hyny wedi eu galluogi i gadw yn agos i'r iawn gyfeiriad. Cerddent ymlaen oreu y medrent, gan hyderu nad oedd dim a fyddai gwaeth i ddygwydd iddynt. Ond byd yr ansicrwydd yw'r byd hwn, a gwlad yr ansicrwydd yn benaf un yw New Zealand. Erbyn iddynt gyrhaedd copa'r mynydd, ac yno yn nghanol eira dwfn, wele hwynt wedi eu hamgylchynu gan niwl dudew, yr hwn a ddaethai ar eu gwarthaf yn hollol annysgwyliadwy. Pa beth oedd i'w wneuthur? Dyma yr haul, eu hysbysydd a'u dangosydd mawr, wedi ei guddio gan lèn drwchus o niwl; a dyma yr hen ŵr, at yr hwn yr oedd y ddau Gymro yn edrych i fyny fel eu harweinydd medrus, wedi ymddyrysu megys hwythau, heb wybod yn y byd pa beth i'w wneyd. Safasant yn fud ill tri yn nghanol y niwl a'r eira am enyd; ac wedi hyny barnasant mai gwell oedd iddynt fyned yn eu blaenau, gan gadw oreu y gallent yn yr un cyfeiriad.

Ar ol iddynt hwylio ymlaen, dan ymbalfalu megys, am oddeutu hanner awr, wele yr haul yn taflu allan ei wynebpryd trwy'r niwl, pan y deallasant ar unwaith mai myned ar gyfeiliorn yr oeddynt. Felly nid oedd ganddynt ond troi yn ol, gan gyfeirio i'r man y daliwyd hwy gyntaf gan y niwl. Ond cyn cyrhaedd yno, wele eilwaith y niwl yn llèn dywell yn ymgau rhyngddynt â'r haul. Yn y cyflwr hwnw y buont yn y niwl a'r eira ar ben y mynydd am rai oriau. Y fynyd yma yr oedd yr haul yn fflachio trwy'r niwl, a'r fynyd nesaf yr oedd y niwl yn gorchuddio yr haul, megys pe buasai dau dywysog mewn ymdrech ryfelgar, y naill am eu cadw yn garcharorion, a'r llall am eu rhyddhâu. O'r diwedd, er eu dirfawr lawenydd, wele yr hwn sydd "yn ymlawenhâu fel cawr gan redeg gyrfa," yn hollti'r niwl, gan adael iddynt agorfa fawr a chlir; a rhoes hyn fantais iddynt weled eu bod ymron allan o'r caethiwed niwliog. Gwnaethant y defnydd goreu o'u traed, rhag ofn i'r niwl du lwyddo eto i gau yr agorfa; ac wele hwynt cyn hir yn llwyddo i adael y niwl a'r eira o'r tu ol ar ben y mynydd, a'u hwynebau yn gywir tua'r man yr oeddynt yn cyrchu ato. Ar ol iddynt fyned encyd o ffordd ar oriwaered y mynydd, eisteddasant i lawr i ennill ychydig adgyfnerthiad, oblegid yr oedd eu nerth agos wedi pallu, a chanddynt rai milldiroedd o ffordd i fyned eto cyn cyrhaedd eu *tent* ar làn yr afon. Ond yr oedd yr oll o'u ffordd bellach ar oriwaered, heb eira dan nac at eu traed, na niwl o'u hamgylch, ond awyr glir ddigwmwl yn gwenu arnynt. Wedi mwynhâu ychydig orphwysdra, cyfodasant, a thaflasant eu paciau ar eu cefnau, gan gychwyn eilwaith i lawr y mynyddau. Ac yn gynnar y prydnawn, yr oeddynt wedi cyrhaedd eu pabell ar làn y Molanux.

Yno yr oedd Lewis a John yn ymbarotoi i gychwyn ar hynt i chwilio am William ac Owen; o herwydd yr oedd y cwmni oedd yn cydgychwyn â hwy o'r *Tomyhook*, a'r

rhai y buont mor ffol âg ymwahanu oddiwrthynt, ar ol llwyddo i groesi'r mynydd yn ddiogel, a dyfod hyd at Lewis a John, wedi mynegu iddynt fod eu dau gyfaill wedi eu colli yn y niwl ar ben y mynydd. Y fath hysbysrwydd pruddaidd a'u llanwodd â phryder a thrallod; ac wedi i noswaith gyfan fyned heibio, a'r ddau gyfrgolledig heb ddychwelyd, yr oeddynt ar gychwyn i chwilio am danynt. Ond yn y cyfamser, er mawr lawenydd o bob tu, dyma'r colledigion yn troi yn gaffaeliaid, a'r naill a'r llall yn rhoi yr arwyddion cryfaf o'u gwir orfoledd.

Wedi aros am ryw wythnos wedi hyn ar làn yr afon, barnodd John a William mai y peth doethaf iddynt a fyddai myned yn ol i Australia. Ond yr oedd gan Lewis ffydd gref yn ngostyngiad y dwfr; deuai hyny yn fuan bellach, ebe efe, ac yna ceid cyflawnder o aur yn nghrombil yr afon. Y ddau Gymro arall a aethant, yn ol y penderfyniad, ymaith tuag Australia. Ond Lewis, wedi aros eto ar làn yr afon am yspaid o amser, a gafodd nad oedd ei ffydd, er ei holl nerth, yn ddigon cref i beri trai ar yr afon, nes nad oedd ganddo yntau ond troi ei gefn arni o'r diwedd, gan adael i'w dyfroedd gyflymu tua'r cefnfor fel arferol, a'r aur aros yn ei gwaelod i ryw oes a ddêl.

Rhaid terfynu hanes y tri Chymro yn New Zealand ar hyn, gan adael lliaws o bethau dyddorol heb gyffwrdd â hwy, gan mai nid da gormod o unpeth.

W. JONES.

*Rhosllanerchrugog.*

Wedi i'r argraffydd gysodi y rhan olaf o hanes "Y Tri Chymro yn New Zealand," derbyniodd y Golygydd lythyr oddiwrth y Parch. William Hughes, yn awr yn Ty'n y gongl, Môn, ond yn ddiweddar yn Australia a New Zealand, yn hysbysu am farwolaeth Mr. Lewis Robert Jones, neu Lewis Jones, fel ei gelwir yn yr hanes, yr hyn a ddygwyddodd yn New Zealand ar yr 31ain o Awst diweddaf, ac hefyd farwolaeth Mr. John Griffith Williams, dair wythnos yn gynt yn yr un sefydliad, sef Frankton Hospital, Otago, yn New Zealand; ac yr oedd Mr. Hughes yn tybied fod y naill a'r llall yn wrthddrychau yr ysgrifau yn y DRYSORFA. "Yr oedd Mr. J. G. Williams yn enedigol o Lanberis, ac yn perthyn yno i gapel Rehoboth. Aeth i Australia yn y fl. 1857. Yr oedd yn ddyn diwyd a chywir, yn grefyddwr o'r *stamp* oreu, ac yn ddirwestwr o'r groth i'r bedd. Bu yn pregethu tipyn yn Epsom, a rhai gweithiau yn New Zealand. Yr oedd Mr. Lewis R. Jones o Langefni, a threuliodd flynyddau yn Liverpool cyn ymfudo i Australia, yr hyn a wnaeth yn 1854, neu yn niwedd 1858. Yr oedd yntau yn gyfaill anwyl, o feddwl deallus a threiddgar, ac yn ddyn gweithgar gyda chrefydd. Credir i'r ddau farw mewn llawn fwynhâd o obaith yr efengyl."

Rhoddwyd hysbysiad cyffelyb yn y *Goleuad* am Tachwedd 9fed; ac yn y rhifyn canlynol o'r *Goleuad*, y mae ein gohebydd W. Jones yn gwneyd sylw arno, ac yn nodi mai camsyniad oedd dodi enw John G. Williams fel un o "dri Chymro" y DRYSORFA, gan y gwelir yno mai John Parry oedd yr ail, a'r ysgrifenydd y trydydd. Ond yr oedd efe yn cydolygu â'r hyn a ddywedid am ragoriaeth nodweddiad y ddau ymadawedig, ac yn teimlo yn ddwys oddiwrth yr hysbysiad am eu marwolaeth. "Bu Lewis R. Jones a minnau," medd efe, "yn cydweithio yn Epsom Hill am flynyddau, ac yn cydaddoli yn yr un capel. Teithiasom lawer ar for a thir gyda'n gilydd. Yr wyf yn cofio hefyd i John Williams bregethu ei bregeth gyntaf erioed yn y capel bach tlws yn Epsom."

---

## Y CARCHAROR AR GAM.

WILLIAM RADCLIFFE ydoedd *navvy* ieuanc, i'r hwn y bu y brofedigaeth fwyaf â'i cyfarfu yn offerynol er ei dröedigaeth at Dduw. Dair blynedd ar hugain yn ol (1855), efe a garcharwyd oddiar gyhuddiad o fai yr oedd efe yn ddieuog o hono; tyngwyd anudon yn ei erbyn, a'i ddedfryd oedd blwyddyn o *penal servitude.* Efe a adroddai wrthyf ei fod, pan yn myned i mewn i'w gell unig, yn teimlo ei ysbryd yn suddo o'i fewn ar glöad y drws; ac am y tro cyntaf yn ei fywyd, yr oedd yn ei gael ei hun yn wir unigol, wedi ei gau oddiwrth dad a mam, brodyr a chwiorydd, a chymdeithion a chydweithwyr. Ar y foment hono efe a gofiodd yr hyn a fynegaswn wrtho am eneth ieuanc a ddywedai yn ei bwthyn un noswaith, "Nid oes arnom eisieu ond tri pheth yn y bywyd hwn: gras ein Harglwydd Iesu Grist, i'n gwneyd yn sanctaidd — cariad Duw, i'n gwneyd yn ddedwydd—a chymdeithas yr Ysbryd Glân, fel y byddom yn wastad mewn cwmni da." A William Radcliffe yna a ddywedai wrtho ei hun, "Trwy ras Duw mi a geisiaf yn awr y tri pheth hyn ar fy mhen fy hun yn fy nghell; ac fe fydd hyn yn ddechre nefoedd i mi." Felly efe a weddïodd yn ddyfal ar Dduw yn enw Iesu Grist am iddo gymeryd trugaredd arno, a rhoddi iddo y bendithion hyn.

Trwy diriondeb Syr George Grey, Ysgrifenydd Cartrefol y deyrnas y pryd hwnw, pan y dygais ymlaen brawf o ddiniweidrwydd William, efe a ryddhäwyd. Ond byddai yn dyweyd ei fod yn wastad yn bendithio Duw am ei amser hwnw yn y carchar, o herwydd mai yno y dechreuodd ei fywyd newydd. Ië, ei fywyd duwiol a ddechreuodd mewn carchar; ac efe a berffeithiwyd er ys cryn amser bellach mewn dedwyddyd anfarwol a gogoniant tragywyddol, trwy haeddiannau ei Brynwr Dwyfol. Cafodd William Radcliffe ei wasgu i farwolaeth mewn moment rhwng y peiriant a'r gwageni ar y rheilffordd; ond yr oedd efe yn barod; canys efe a ddaethai allan o'r carchar hwnw yn wr rhydd gan Iesu Grist, gyda gallu i sathru dan draed gadwynau pechod, ac i fod yn sanctaidd a dedwydd trwy nerthol weithrediad yr Ys-

bryd Glân, yr hwn oedd yn trigo ynddo; ac o hyny hyd ddiwedd ei oes, yr oedd efe yn ddiwyd yn ceisio ennill eneidiau i'r Arglwydd a'i prynodd â'i waed ei hun. Un o wŷr y *railway*, yr hwn oedd yn ei adwaen yn dda, a ysgrifenai am dano, "Efe a lwyddodd i gael dynion o'r tŷ tafarn i dŷ Dduw; ac yr oeddem yn caru ei ddilyn, gan mor dirion ac mor siriol ydoedd." Un arall a ysgrifenai, "Yr oedd cant o ddynion yn ei hebrwng i'w fedd, ac yr oedd dagrau ymhob llygad; oblegid yr oedd pawb yn caru William Radcliffe, un mor dda ac mor ddedwydd; a phrydnawniau olaf ei fywyd a dreuliwyd ganddo yn darllen y Bibl i *navvies* eraill oedd yn gweithio ar y *railway*."—*Miss Catherine Marsh.**

---

DYNION Y BYDDAI YN DDA PEIDIO EU PRIODI.

Mewn cyfarfod yn nghapel Grosvenor Square, Manchester, ar nos y diwrnod y sylfaenwyd capel Moss Side, darfu i David Davies, Ysw., A.S., Llandinam, yn ei araeth, gyfarch y merched ieuainc, gwasanaethesau gan mwyaf, oedd yn eistedd yn yr oriel, a'u rhybuddio i beidio rhag-gyfeillachu, gyda golwg ar briodi, âg unrhyw wŷr ieuainc ond y rhai oedd yn brofedig yn llwyrymwrthodwyr oddiwrth ddiodydd meddwol. "O, meddwch chwi," ebe efe, "y mae John neu Edward yn addaw y bydd efe yn sicr yn ddirwestwr ar ol i ni briodi. Mae efe yn awr yn yfed tipyn weithiau, mae yn wir; ond nid yf efe ddim pan y byddwn yn cadw tŷ gyda'n gilydd. Peidiwch a chymeryd eich twyllo, ferched bach. Os nad ellwch chwi gael John i *signio* dirwest, a pheidio yfed y pethau meddwol cyn i chwi briodi, lle gwael a fydd i chwi ddysgwyl iddo wneyd ar ol hyny, serch iddo addaw felly yn bresennol. Mae efe yn dyweyd y daw efe yn ddirwestwr er mwyn eich denu chwi i'w briodi; ond wedi gwneyd yn siŵr o honoch, yfed yn fwy a wneiff John os ydyw efe yn yfed tipyn yrŵan."

Ar y pwnc hwn, gallwn eto nodi hanesyn a adroddwyd gan Mr. Gough, yn un o'i areithiau diweddar yn Llundain am ferch ieuanc yn yr America, er addysg i wyryfon Cymru. Yr oedd y ferch hono mewn adduned priodas â gŵr ieuanc; a chyn iddi roddi ei chydsyniad penderfynol, hi a wnaeth iddo addaw nad yfai efe wlybwr meddwol byth yn chwaneg. "Na wnaf byth," medd efe. Dydd y briodas a ddaeth; a dyma'r ddau yn sefyll o flaen y gweinidog i gael eu priodi. Er fod ei gyfeillion yn gwybod ei fod eto yn yfwr, ac yn yfwr trwm, nid oedd ei ddarpar gwraig yn gwybod hyny. Efe a drôdd ei wyneb ati i roddi ei law ddehau iddi, ac wele hi yn y fan yn arogli arogl alcoholaidd ar ei anadl. Y gweinidog a ofynodd iddi, "A fyni di y dyn hwn i fod yn ŵr priod i ti?" Hithau gan edrych yn graff ac yn benderfynol yn ei wyneb, a atebodd "Na fynaf!" "Ond dyma chwi wedi dyfod yma i'r pwrpas o fy mhriodi!" meddai'r dyn ieuanc. "Do," atebai hithau; "ond yr ydych chwi wedi fy nhwyllo. Dywedasoch gelwydd wrthyf; dywedasoch na fyddai i chwi ddim yfed; ond yr wyf yn arogli'r ddiod ar eich anadl; ac nid oes le i mi ddysgwyl cysur os deuaf i chwi yn wraig; a gwell genyf gan hyny, wedi dyfod yma, ar unwaith wrthod eich priodi." Cryf yn wir yw arogl yr alcohol, ychwanegai Mr. Gough; er i chwi gnoi gormodedd o *peppermints*, a chymeryd pob math o bethau i geisio cuddio ei arogl, ni bydd yn bosibl ei gadw draw.

---

CYMERIADAU YMHLITH EIN CYNNULLEIDFAOEDD.

VII.—Y BLAENORIAID NEWYDD YN Y GLOBIAN.

A DDEWISWYD blaenoriaid erioed ag oeddynt wrth fodd calon pawb? Na, yr ydym yn tybied fod hyny hyd yn hyn heb gymeryd lle. Naill ai y mae y blaenor newydd yn rhy hen neu yn rhy ieuanc,—yn rhy gyfoethog neu yn rhy dlawd,—yn rhy flaenllaw neu yn rhy lwfr. Pa fodd bynag, mae yn gysur i bob blaenor newydd-ddewisedig, fod y mwyafrif o'i gydaelodau eglwysig yn ei ystyried yn ŵr cymhwys i'r swydd, gan nad beth fyddo ei olygiadau ef am dano ei hun. Gellir dyweyd na ddewiswyd blaenoriaid erioed gyda mwy o unfrydedd na blaenoriaid capel William Thomas; ond wrth ddyweyd hyn nid ydym am i neb feddwl nad oedd yno rai yn edrych arnynt gydag anfoddlonrwydd mawr.

Ni fu erioed dri gŵr mor wahanol i'w gilydd o ran eu cymeriadau â Mr. Jones y *shop*, Peter Watcyn, a James Humphreys, er y rhaid fod ynddynt rywbeth cydnaws a thebyg, ac onidê ni ddewisasid hwynt, tybed, gan yr un corff o bobl. Yr oedd Mr. Jones yn ŵr hynaws a bywiog, ac yn

* Y mae Miss Marsh, merch i'r diweddar Barch. Dr. Marsh, periglor Beckenham, nid ymhell o'r *Sydenham Crystal Palace*, yn enwog ac adnabyddus iawn am ei llafurwaith crefyddol ymysg y dosbarthiadau gweithiol, ac yn enwedig ymysg y *navvies*, fel eu gelwir. Credir ei bod eisoes wedi bod yn offeryn achubiaeth i gannoedd o eneidiau, y rhai a fyddant er gorfoledd iddi yn nydd Crist.

meddu ar gryn lawer o adnabyddiaeth o'r byd, yn dda arno o ran ei amgylchiadau, yn haelfrydig yn ei roddion, ac yn llawn awydd i wneuthur daioni; ond eto yr oedd rhyw ledneisrwydd ynddo ag oedd yn ei gadw yn ol oddiwrth bethau cyhoeddus i raddau mawr. Dyn yr un drychfeddwl ydoedd Peter Watcyn. Fel y dywedwyd o'r blaen, yr oedd efe yn cael y gair ei fod yn deall Saesoneg yn dda, ac yn gwybod y gwybodaethau tu hwnt i'w gyfoedion. Ond pwnc mawr Peter Watcyn oedd canu; ac yr oedd cerddoriaeth wedi cymeryd cymaint o'i fryd fel nad allai edrych ar ddim bron ond trwy farrau yr erwydd, na rhoddi ei farn ar ddim ond wrth sŵn y *pitchfork*. Ymha le bynag y gwelem ef, pa un ai ar yr heol, neu yn ei dŷ ei hun, neu yn y capel, yr oedd y geiriau "Hen Nodiant" a "*Tonic Sol Ffa*," yn dyfod i'n meddwl er ein gwaethaf. Heb i ni mewn un modd amcanu gwneuthur cam âg ef, yr ydym yn meddwl y cafodd llawer pregethwr le cryf i gredu fod Peter yn cael mwy o bleser yn Llyfr *Ieuan Gwyllt* nag yn y bregeth, ïe nag hyd yn nôd yn y Bibl ar y pryd. Gŵr diddysg, hywaeth a diniwed, ydoedd James Humphreys, ac mewn gwth o oedran. Glöwr ydoedd wrth ei alwedigaeth; a bu raid iddo ddisgyn i waelod y pwll glo cyn derbyn dim addysg ond a gawsai yn yr Ysgol Sabbothol. Càn gynted ag y cafodd fyn'd ar ei "bige," ys dywed y glöwyr, priododd, a bendithiwyd ef âg amryw o blant, y rhai, yn ol ei allu, a ddygodd i fyny yn addysg a chthrawiaeth yr Arglwydd. Yr oedd galluoedd ei feddwl mor fychain, yn enwedig yn ei olwg ei hun, fel mai anfynych yr anturiai ddyweyd ei farn ar unrhyw bwnc. Ni byddai byth yn cymeryd gafael mewn newyddiadur; ac anfynych yr edrychai ar unrhyw lyfr oddieithr y Bibl, *Esboniad James Hughes*, a *Geiriadur Charles*. Yr oedd ei ffydd yn y natur ddynol yn ymylu bron ar blentynrwydd, a buasai agos càn hawsed i ddyhiryn ei dwyllo â thwyllo baban. Yr oedd James Humphreys yn un o'r dynion hyny sydd yn peri i un feddwl na wyddant ddim am lygredigaeth y natur ddynol, oni bae eu bod hwy eu hunain yn cwyno yn barhâus o'i herwydd. Yr oedd ei holl fyd yn gynnwysedig yn ei deulu, y gwaith glo, a'r capel; ac o anghenrheidrwydd yr oedd ei wybodaeth yn gyfyngedig iawn. Ac eto pan äi James Humphreys ar ei liniau, yr oeddym yn gorfod teimlo ein hunain yn fychain a llygredig yn ei ymyl, a'i fod yn meddu yr allwedd a allai agor dôr y byd ysbrydol. O ddyn dedwydd! pa sawl gwaith y buom yn cenfigenu wrthyt? Ar nos Sadwrn, yn dy fwtri dlawd, pan ymolchit ac y glanheid dy hun oddiwrth barddu a baw y pwll glo, yr oeddit ar yr un pryd yn golchi ymaith ofion yr wythnos a gofalon y byd oddiar dy feddwl, a'th ysbryd yn ymadnewyddu ac yn dyheu am y Sabboth, yr hwn a wnaethpwyd er mwyn dyn! Os gwael ac anfedrus a fyddai y pregethwr, pa wahaniaeth a wnai hyny i James Humphreys? Yr oedd ei ystymog ysbrydol â'r fath awch arni fel y byddai yr ymborth mwyaf cyffredin yn flasus ac yn ddanteithiol ganddo. Nid oedd na *shop*, na fferm, na bargeinion, un amser yn croesi ei feddwl, nac yn rhwystro iddo wrandaw ar bob gair a ddeuai allan o enau y pregethwr. Ammheuon! ni wyddai efe beth oedd y rhai hyny. Yr oedd ei feddwl yn rhy fychan i ganfod anghysondeb, a'i galon yn rhy lawn o gariad i roddi lle i'r posiblrwydd o hono! Tra yr oedd rhai yn rhy fydol eu meddyliau, ac eraill yn rhy ddifater, ac eraill yn rhy feirniadol, i allu mwynhâu y bregeth, byddai efe yn ei bwyta gyda blas, ac yn myned allan o'r addoldŷ ar ben ei ddigon. Yn yr Ysgol Sabbothol, drachefn, tra yr oedd eraill yn pendroni ynghylch hanes y seren a ymddangosodd yn y dwyrain, yr oedd efe yn cyflwyno anrhegion o flaen y Mab Bychan, fel ei aur, ei thus, a'i fyrr. Tybygem nas treuliodd efe awr erioed mewn gwagfeddyliau uchelgeisiol; a phan glywodd efe y cenadon dros y Cyfarfod Misol yn cyhoeddi ei fod wedi cael ei ddewis yn flaenor, pa ryfedd iddo ymddangos fel pe buasai wedi ei daro â mellten, ac iddo fethu a chysgu y noson hono, ac mai hon ydoedd y noswaith fwyaf anhapus yn hanes ei fywyd?

Ar ei ffordd gartref o'r cyfarfod eglwysig, dywedai Gwen Rolant wrth Rhodric, "Wel, George, a ge'st ti dy blesio heno? Naddo, mi dy wranta, ne y mae yn od iawn gen' i." "Yr ydach chi yn gofyn ac yn ateb," ebe George; "ond am unwaith, beth bynag, yr ydach chi'n ateb yn iawn. Dydw i ddim am ragrithio, naddo; chês i mo mhlesio; a waeth gen i pwy gŵyr o. Mae peth fel hyn yn ddigon a gneyd dyn nad äi o byth yn agos atyn' nhw. I fod yn flaenor y dyddie yma, rhaid i ddyn fod yn gyfoethog neu yn ddwl; a dydi o ddim ods p'run am wn i. Mae yn dda gen' i nad ydw i yr un o'r ddau. Mae dynion galluog a thalentog, sydd wedi bod yn llafurio ar hyd eu hoes gyda'r achos, yn cael eu taflu o'r naill du rwan; ac un yn cael ei ddewis am fod gyno fo *shop*, a'r llall yn cael ei ddewis am ei fod o yn debyg i'w nain, a'r trydydd am i fod o yn wyneb galed." "Aros! aros, George," ebe'r hen wreigan, "paid ti siarad yn rhy ffast. Yr wyt ti yn myn'd ymlaen yn debyg iawn i ddyn wedi cael ei siomi; ac mae gen' i ofn nad wyt ti ddim mewn ysbryd priodol." "Y fi fy siomi;" ebe Rhodric, "mi fase'n o ffiedd gen' i." "Wn i p'run am hyny,"

ebe Gwen; "yr wyt yn cofio stori'r llwynog a'r gynffon yn well na fi. A pheth arall, pan wela i ddyn yn gneyd ei hun yn o amlwg o flaen amser dewis blaenoriaid, ac yn prynu *Dyddiadur*, a phethe felly, mi fydda i 'n meddwl yr adeg hono fod ei lygad o tua'r sêt fawr." Edrychodd George arni gyda syndod; ac aeth Gwen ymlaen. "Ac am fod yn gyfoethog, mi faset tithe mor gyfoethog â Mr. Jones, dase ti'n medryd, mi dy wranta di. Ac am fod yn debyg i'r nain, mi fase'n dda i lawer fod yn debycach i'w nhain; mi fase gwell graen ar eu crefydd nhw, a rhwbeth fase'n i cadw nhw o'r tafarnau. Mi wyddost, George, nad oes dim blew ar y nhafod i, a fedra i ddim dyodde i ti redeg y blaenoriaid newydd i lawr. 'Dwyt ti ddim yn deilwng, wel di, i glymu esgid Mr. Jones fel dyn na christion; ac am James Humphreys, os ydi o 'n ddiniwed ac yn ddiddysg, fel fy hunan, mae gyno fo grefydd y bydde'n dda i ti gael marw yn ei chysgod. Ond ddaru minnau, yn wirionedd, ddim *votio* i Peter; ac wn i ddim be naeth i'r eglwys ei ddewis o. Mae'r bachgen wedi mwydro'i ben hefo'r canu 'ma, fel na wn i ddim beth i feddwl o hono fo. Pan oeddwn i yn ifanc, cyfarfod gweddi fydde gyno ni am bump o'r gloch p'nawn Sul, i ofyn am fendith ar yr odfa; ond yrwan rhyw 'do, do, sol' sydd gan Peter a'i griw o flaen yr odfa; ac mae'n anodd gen' i gredu fod y Brenin Mawr yn fwy parod i wrando ar y 'do, do, sol' 'ma nag ar ddyn ar ei linie. A chyn i Peter a'i sort gymeryd y canu, un pennill fydde ni 'n ganu, a hwnw lawer gwaith drosodd, pan ddoe'r hwyl; ond yrwan, dyn a'm helpio, rhaid canu yr hymn ar ei hyd, a hyny cyn chwyrned â'r gwynt, na ŵyr neb be mae nhw 'n ganu. Chawn ni byth ddiwygiad crefyddol, goelia i, tra bydd yr hen 'do, do, sol' 'ma'n cael ei rygnu. Ond dydi'r bachgen ond ifanc eto, a 'rydw' i 'n gobeithio y caiff o ras i ymgroesi. Pe cae ni un o'r hen ddiwygiadau anwyl eto, ac iddo gael trochfa go lew, mi wranta i y tafle fo i 'do, do, sol' i'r tân, ag y bydde'n dda ganddo gael canu yr un pennill ganwaith drosodd."

"Wel," ebe Rhodric, "mi wela, Gwen Rolant, nad ydach chithe ddim wedi'ch plesio'n hollol; ac er y mod i 'n styried Peter yn ddyn hollol annheilwng i fod yn flaenor, fedra i ddim cydweled â chi ynghylch y *Tonic Sol Ffa*. Mae Peter wedi gneyd lles mawr i'r canu. Mae yr oes wedi newid er pan oeddach chi 'n ifanc, a rhaid myn'd i ganlyn yr oes. Ac am y peth a alwch yn ddiwygiad, pe dae chi byw am gan' mlynedd, chae chi byth wel'd pobl yn neidio ac yn gwaeddi fel er stalwm pan oedd y wlad mewn anwybodaeth. Mae pethe wedi newid yn fawr er hyny, a wiw i chi ddysgwyl am beth felly eto."

"Be wyt ti'n ddeyd, George?" ebe yr hen chwaer yn gynhyrfus, gan sefyll ar ganol y ffordd, a chodi ei ffon fel pe buasai ar fedr ei daro. "Be wyt ti'n ddeyd? na wiw i mi ddim meddwl am gael diwygiad! Wyt ti'n gwirioni, dywed? Gwir a dd'wedaist, ysywaeth, fod yr oes wedi newid. Mae pobl yrwan yn meddwl mwy am wisgoedd a chrandrwydd nag am wledd i'r enaid. A be wyt ti'n sôn fod yr oes o'r blaen yn anwybodus? yr oes hon sy'n anwybodus. Yn fy amser i, 'doedd eisio na *Llyfr Hymns* na '*Fforddwr*' gyno ni yn y capel, ond pawb yn i medryd nhw ar i tafod leferydd. Ond yrwan wrth adrodd y '*Fforddwr*, rhaid i bawb gael y llyfr o'i flaen, ne mi fydd yn stop buan, mi wranta; a phe bae pregethwr ddim ond yn rhoi allan yr hen bennill, 'Dyma Geidwad i'r colledig,' mi geit wel'd ugeiniau yn sisial yn nghlustiau 'u gilydd, '*W'at pêds? w'at pêds?*' hefo i hen Sasneg. Ydi, mae'r oes wedi newid; ond wyt ti'n meddwl fod Duw wedi newid? 'Iesu Grist, ddoe, heddyw, yr un ac yn dragywydd.' Ddysgest ti erioed mo'r adnod anwyl ene, dywed? Wyt ti'n meddwl mai Duw yn troi i ga'lyn y ffasiwn ydi'n Duw ni? Ni fyrhäodd braich yr Arglwydd fel nad allo achub, ni thrymhäodd ei glust fel na allo glywed; a pan ddêl, efe a argyhoedda y byd o bechod, o gyfiawnder, ac o farn. A phe caet ti, George, weled diwygiad tebyg i'r un a welodd William Thomas a fine, mi neidiet tithe lathen oddiwrth y ddaear, er mor afrosgo wyt ti, ac er balched ydi dy galon.

'O na ddeuai 'r hen awelon,
Megys yn y dyddiau gynt.'

Ië, mi âf trosto fo eto er gwaetha dy 'do, do, sol,'" ebe yr hen wraig zelog, gan ganu nerth ei phen; ac yn canu y gadawodd Rhodric hi.

Ond nid oedd dim ysbryd canu ar George Rhoderic ei hun; ond yn galondrom, bendrist, â gwyneb sur a sarug, yr aeth efe i'w dŷ. Pa fodd bynag, heblaw canu Gwen Rolant, rhyw lanc o rigymwr siriol-ddirieidus, a ganodd y noson hono fel hyn:—

George Rhodric, druan, fynai fyn'd i'r top;
Ow! er ei siomiant, rhoddwyd arno *stop!*
Ond Jones a James a geid o isel fryd,
I fyny â hwy! pleidleisiem bawb i gyd;
A Peter Watcyn, zelog gyda'r mawl,
I fyn'd yn uwch ennillai yntau 'r hawl;
O Siorsyn, dysg dy wers: dôs, dos i lawr—
Cân yn lle beio—felly doi di 'n fawr.

L. N. M.

—

# Barddoniaeth.

## CARIAD.

Pur gariad ydyw hanfod Iôr,
Goleuni, Ysbryd, Cariad yw;
Mae 'i gariad fel digymysg fôr,
Heb drai na llanw o un rhyw.

Dyferyn o'i anfeidrol li'
A gyfansodda 'i hanfod ef,
Yw'r hylif droai 'n daear ni
Drachefn yn ail i nef y nef.

Ar gariad seiliwyd teyrnas Iôr,
Gwïalen aur ei orsedd yw;
Cyfrana o'i anfeidrol 'stôr
I'w greaduriaid o bob rhyw.

Amgylchu ei orseddfainc wèn
Wna cariad fel aur-gadwen ddrud;
Ei wres a'i wawl a draidd trwy 'r llen
Sydd rhyngom â'r ysbrydol fyd.

Mae cariad fel ysblenydd haul
Yn gwych addurno 'r ddaear hon,
A lliwiau tlws, a ffrwythlawn ddail,
A'r oll wna galon dyn yn llon.

Attyniad yw yr elfen gref
A glyma 'r bydoedd oll yn un;
Ar edyn hwn daeth Duw o'r nef,
I roddi Iawn dros euog ddyn.

Gwreichionen fach o'r eirias hon,
Pan roir yn oeraidd fynwes dyn,
A wna ei enaid trist yn llon,
A thry yr oll i'w naws ei hun.

Ni ddichon angel er ei ddawn
Wir brisio y wreichionen hon;
Cyn gellir ei mawrygu 'n iawn,
Rhaid profi 'i gwres yn twymno'r fron.

Mae'n fwy na 'r grasau oll i gyd,
Yn fwy na gobaith, mwy na ffydd;
Ar fryniau heirdd anfarwol fyd,
Byth yno 'n perarogli bydd.

Awyren gweddi garia fry
Drwmlwythog enaid at ei Dad;
Ond cariad dŷn i'n daear ni
Y nef ei hunan mewn mwynhâd.

Sngndyna gobaith ras a hedd
Mewn stormydd i'r drallodus fron;
Dwg ffydd i feddiant pawb a'i mêdd
Drysorau gwell na 'r ddaear hon;

Ond cariad sy 'n cyfranu 'n hael
I eraill—anhunanol yw—
Mae 'n gwenu 'n bráf wrth roi heb ffael
Ei olew drud i wella briw.

Gorphwysa gobaith ar ryw ddydd,
Mwynhâ bob dawn heb un ar goll;
Daw awr y diffydd canwyll ffydd
Yn llewyrch Haul fydd oll yn oll;

Ond cariad yn dragwyddol fydd
Yn fawr, a mwyfwy byth yr ä;
Ar feusydd Gwynfa rhêd yn rhydd,
Ac mewn llawn hedd y llawenhâ.

T. Mason.

*Aberystwyth.*

## ATHRAW YR YSGOL SUL.

Yn athraw yn yr Ysgol Sul,
Pa swydd, pa fraint mor uchel?
Os oes rhyw ddyn a'i tybia 'n gul,
Mae 'n waith a hoffai angel;
Gadawai 'i delyn, dyner dant,
A thynai 'i ddillad nefol,
Am gael y fraint o ddysgu plant
Mewn ysgol rad Sabbothol.

Yr athraw da yn ddiwyd sydd
Ar ëang faes diwylliad;
Goleuo 'r meddwl, nerthu 'r ffydd,
Yw 'r gwaith a gar yn wastad:
O Sul i Sul gwasgara hâd
I ddaear moes a rhinwedd,
A ffrwyth ei lafur mewn boddhâd
Goronir yn y diwedd.

Arweinydd hefyd ydyw ef
Ar hyd rhandiroedd hyfryd,
Wrth gyfarwyddyd llyfr y nef,
At darddell afon bywyd;
Wrth groes y Mab eistedda i lawr,
Ef a'i ganlynwyr yma,
Mewn cariad at y cariad mawr
A lifodd ar Galfaria.

Mae meusydd yr Ysgrythyr lân
Yn diroedd ymchwil enaid
I hwn, a chwyd lusernau tân
Yn mröydd twyll i'w ddeiliaid,
I'w cyfarwyddo 'n mlaen o hyd
At wawr yr adgyfodiad,
Pan bwysir holl grefyddau 'r byd,
Pan losgir cyfeiliornad.

Mae 'r dyn rhinweddol yn ei ddydd
Yn ymladd â phob rhwystrau,
Er mwyn llesoli eraill sydd
Mewn anghen dysg a moesau;
Ac am ei ymdrech dros y gwir,
A'i zel dros Dduw a dynion,
Derbynia 'i wobrwy cyn pen hir
Yn nheyrnas Brenin Sïon.

Os cerit, ddyn, gael bod yn fawr,
A chyrhaedd *gwir* anrhydedd,
Yn athraw dôs, cei waith yn awr,
Mae 'n well na phe ceit orsedd;
Dymchwelir heirdd orseddau 'r byd
Yn chwyldroadau anian,
Ond sedd y cristion saif cyhŷd
A gorsedd Duw ei hunan.

Ap Deiniol.

*Penisa'rwaen*

## DUW YN HOLLBRESENNOL.

Salm cxxxix.

I ba le 'r af oddiwrth dy Ysbryd di,
Ac i ba le o'th wydd y ffoaf fi?
Pe dringo wnawn i'r nefoedd ucha 'i bri,
Yno y cawn dy bresenoldeb di.
Pe plymiwn i waelodion uffern ddu,
A gwneuthur lle i orwedd gyda 'r llu,

Wyt lon'd y wlad, er mai diwaelod yw;
Ac ynddi byth y byddi 'n bôd a byw,
Pe cym'rwn i adenydd chwim y wawr,
I fyn'd ar wib drwy yr eangder mawr,
A gwneyd fy nyth yn Sadwrn, Mawrth, neu Iau,
Oddiwrthyt ti ni byddwn yn pellhâu.
Pe trigwn yn nghilfachau eitha 'r môr,
Tywysit fi â'th ddeheu-law, fy Iôr.
Mae ogofeydd lle gallwn fod ynghudd
O olwg pawb, ac heb oleuni dydd,
A chael o'm cylch un amddiffynfa gref,
Mae dydd a nos 'r un ffunud iddo Ef;
Ei lygaid sydd yn tremio i bob un;
Llawn ydynt hwy o hono ef ei hun.
Y Gair sy 'n d'weyd i ni pa fath yw Duw;
Ei gredu ef sy 'n beth anhawdd i'r byw.
Pan ddelom ni i gredu hwn yn iawn,
Ystyriem ei briodoliaethau llawn;
Syrthiem yn llwyr i'r llawr—holl arfau llid,
Cynddaredd gwyllt, gelyniaeth, gwrydlawn wrid,
Uchder y ffroen, a phob gableddus lef
Barlysent byth. Ar frys, addolem Ef.

EINION DDU.

*Tregeiriog.*

# Bwrdd y Golygydd.

GWENDIDAU NATURIOL DYNOLIAETH CRIST.

MR. GOLYGYDD,—Nid wyf ond efrydydd cymharol ieuanc mewn duwinyddiaeth, ac o herwydd hyny, hwyrach, yn gymaint a dim arall, nis gallaf yn fy myw lai na theimlo cryn lawer o bryder, ac aflonyddwch meddwl, wrth ddarllen ac wrth fyfyrio ar ysgrifau *Levi*, o'r Cemmaes, Môn, ar y pwnc uchod yn y DRYSORFA. Teimlaf bob amser awydd bod yn uniongred mewn pynciau duwinyddol, yn enwedigol mewn pynciau mor bwysig ac mor gysegredig â *Pherson Crist* a'i gysylltiadau. Ond rhag fy mod yn gwyro mewn barn drwy anghyttuno â'ch gohebydd yn ei olygiadau ar wendidau naturiol dynoliaeth yr Arglwydd Iesu, ai gormod fuasai gofyn gan rhyw dduwinydd o safon, ymhlith lliaws duwinyddion y Corff, anfon ysgrif i'r DRYSORFA, yn cynnwys ei farn a'i olygiadau diduedd ar y pwnc?

Gesyd yr awdwr dan sylw bwys neillduol ar yr hyn a gyfrifa yn ffaith o berthynas i "wendidau naturiol dynoliaeth Crist," sef mai *trwy gyfrifiad, a thrwy gyfrifiad yn unig*, y daeth yr holl wendidau hyn i'w ran. Gallwn ymgymmodi yn bur rhwydd â'r ffaith fawr fod ein pechodau, neu yn hytrach ein heuogrwydd, wedi ei roddi ar Grist trwy gyfrifiad; ac er cymaint ydyw dirgelwch y ffaith, gallwn i fesur ei dirnad, hyny yw, er boddlonrwydd, o leiaf, i ni ein hunain. Ond am y gwendidau naturiol sydd dan sylw, nis gallwn yn ein byw ymgymmodi â'r syniad fod y rhai hyn wedi eu trosglwyddo iddo neu arno trwy gyfrifiad. Nis gallwn ddeall sut y gallasai newyn, er enghraifft, gael ei drosglwyddo i'r Gwaredwr trwy gyfrifiad; fod syched, blinder, a chwsg wedi eu gosod arno trwy gyfrifiad sydd tu hwnt i'n dirnadaeth. Credu yr ydym fod yr holl wendidau hyn yn berthynasau anwahanol i'r natur ddynol fel y cyfryw, ac nid yn unig yn berthynasau, ond yn rhan o'r natur ddynol ei hun; ac os yw hyn yn gywir, y mae yn canlyn fod y gwendidau hyn yn perthyn i ddynoliaeth y Gwaredwr yn wreiddiol, yn llythyrenol, ac nid trwy gyfrifiad. Cydnebydd *Levi* fod yn "naturiol i ni gredu fod y gwendidau y sonir am danynt yn yr Adda cyntaf." Ynddo yn ei ystâd ddibechod a olyga, ni a dybiem; ac o'n rhan ni, nid oes dim yn fwy naturiol i'w gredu. Os oedd y gwendidau hyn, gan hyny, yn perthyn i'r Adda cyntaf yn ei ystâd o ddiniweidrwydd, y mae yn rhaid eu bod yn perthyn yn anwahanol i'r natur ddynol, ac hefyd yn rhan o honi. Nid ffrwyth pechod ydynt, ynol yr ysgrifenydd hwn; ac â hyn y cyttuna y *term* a ddefnyddir yn bur gyffredin gan dduwinyddion yn y cysylltiad hwn: "*gwendidau dibechod*." Nid dim a ddygwyd i gysylltiad â'r ddynoliaeth ymhen amser wedi ei chreu ydyw y rhai hyn; ond yr oeddynt yn wreiddiol yn y ddynoliaeth, ac hefyd yn rhan o honi. Ac yn ymgnawdoliad Mab Duw, ceir y ddynoliaeth wedi ei hûno â'i Berson Dwyfol nid yn unig yn ei pherffeithrwydd ond hefyd yn ei chyfanrwydd. Efe a wnaethpwyd "ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr." Yn Mherson yr Ail Adda, wele ddyn perffaith a chyfan, yn meddu ar holl ranau y natur ddynol. Y mae yn canlyn, felly, fod y gwendidau naturiol sydd mewn cwestiwn ynddo yn wreiddiol, yn llythyrenol, ac nid trwy gyfrifiad, gan eu bod yn rhan anwahanol o'r natur ddynol. Os yw y gwendidau hyn yn berthynasau anwahanol i'r natur ddynol, tybed nad yw eich gohebydd *Levi*, trwy eu priodoli i Grist trwy gyfrifiad, yn rhoddi cam pwysig i dir peryglus y Docetiaid, y rhai a wadant wir ddynoliaeth yr Arglwydd Iesu?

Ymddengys i ni hefyd fod y fath wrthdarawiad eglur rhwng y ddau air, "naturiol" a "chyfrifiad," ag sydd yn milwrio yn gryf yn erbyn golygiadau eich gohebydd ar y pwnc. Y mae y naill o'r geiriau hyn yn cau allan y llall. Mae y "naturiol," dybygid, yn cau allan y "cyfrifiad," a'r "cyfrifiad" yn cau allan y "naturiol." Os gwendidau naturiol, gan hyny, yw y rhai hyn, fel y geilw *Levi* hwynt, nis gallant fod trwy gyfrifiad. Gair a berthyna i gynnrychiolaeth neu fachnïaeth ydyw y gair "cyfrifiad" yn ei ystyr duwinyddol. Ond yn ei gysylltiad â'r cynnrychiolydd neu y machnïydd, nid yw yn cyfeirio at ddim sydd yn ei feddiant yn wreiddiol a naturiol, ond cyfeiria yn hytrach at yr hyn a drosglwyddir iddo, neu oddiwrtho i eraill. Yr ydym yn casglu felly fod y ddau air, "naturiol" a "chyfrifiad," yn gwrthdaro y naill y llall, ac fod y naill yn cau allan y llall yn hollol. Os gwendidau naturiol, gan hyny,

ydyw y gwendidau hyn, nis gallant fod trwy gyfrifiad.

Os nad ydym yn camgymeryd eto, y mae golygiadau eich gohebydd yn ymddangos dipyn yn ddyeithr o berthynas i ogoneddiad dynoliaeth yr Arglwydd Iesu. Ar y pwnc hwn, dywed fel hyn, "Nid ei berffeithio o radd i radd yn gorff cymhwys i fyd uwch a gafodd efe, a dwyn y perffeithrwydd hwnw i ben yn ei adgyfodiad neu esgyniad, ond efe a ymaflodd yn y ddynoliaeth yn ei ymgnawdoliad, yr hyn ar unwaith a'i gwnaeth yn dragywyddol berffaith a chymhwys i'r byd ysbrydol." Tybed nad ydyw y duwinydd o'r Cemmaes yn mentro gormod wrth haeru y peth hyn mor bendant? Nid ydym yn ammheu am foment fod dynoliaeth yr Arglwydd Iesu, yn yr ymgnawdoliad, yn meddu ar y perffeithrwydd llwyraf; ond tybed nad oedd yn angheurheidiol i'w gorff fyned trwy ryw gyfnewidiad dirgelaidd, tebyg i'r cyfnewidiad sydd yn aros cyrff y saint, er ei gymhwyso i'r byd ysbrydol? Tybed hefyd nad aeth ei gorff trwy y cyfnewidiad hwnw, naill ai yn raddol, rhwng ei adgyfodiad a'i esgyniad, neu ynte, yr hyn sydd fwyaf tebyg o fod yn gywir, ar darawiad yn adeg ei esgyniad? Wrth ddilyn yr hanes, ac wrth astudio yr amgylchiadau, tueddir ni i gredu felly. Ond os ydyw yr ysgrifenydd o'r Cemmaes yn iawn yn ei olygiadau ar hyn, y mae yn rhaid ein bod ni yn cyfeiliorni.

Y mae yn rhaid i ni ddyweyd hefyd fod cymaint o dywyllwch ac aneglurder yn perthyn i lawer brawddeg, a llawer darn yn ysgrifau eich gohebydd, fel nad yw yn bosibl i ni eu deall. Er enghraifft, yn y DRYSORFA am fis Gorphenaf, yn ei atebiad cyntaf i *Thaddeus*, ymddengys y llinellau canlynol: "Ac fel dyn yn gyfansoddedig o gorff materol, wele efe ymhob peth yn gaeth i ddeddf natur, nid o angheurheidrwydd, ond oblegid ei ddarostyngiad (cyfrifedig) yn unig, gan fod y mater hwnw wedi ei ogoneddu a'i ddyrchafu yn ei Berson ef i ystad berffeithiach, sef bywyd ysbrydol, yr hwn sydd uwchlaw pob gwendid, i'w ystâd gyntefig a materol yn yr Addâ cyntaf." Nis gallwn lai na'i deimlo yn orchwyl caled i geisio deall y rhigwm uchod. Byddwn yn ceisio dyfalu goreu y gallom yr hyn y mae yn feddwl yn y llinellau; ond nid oes dim ond tywyllwch ac aneglurdər o gwmpas y llinellau eu hunain yn y wedd uchod arnynt. Gallwn ddeall Dr. Hodge, Dr. Edwards, ac eraill yn weddol lwyddiannus yn y cysylltiadau hyn; ond nid mor llwyddiannus y gallwn ddeall y duwinydd o'r Cemmaes. Hwyrach mai ar ein deall ni y mae y bai.

Nid ysbryd dadleu ar un cyfrif a'n cynhyrfodd i ysgrifenu y llinellau hyn, er fod *Levi*, a barnu oddiwrth ei herfeiddiad i *Thaddeus*, yn barod i ddadl. O'r braidd yr ystyriem yn ddibechod y neb a gymerai bwnc mor gysegredig â'r un dan sylw yn destun dadl, a hyny er mewn dadleu. Fel yr awgrymasom ar y dechreu, awydd am oleuni eglurach ar y pynciau sydd mewn cwestiwn, ac awydd am dawelwch meddwl yn eu cylch, barodd i ni ysgrifenu y nodyn hwn. Nid ydym heb synu fod ysgrifau *Levi*, pa rai sydd mor ddyeithriol ac mor feiddgar, yn ein barn ni, yn cael eu gadael mor ddisylw gan lïaws duwinyddion craff y Corff. Nid ydym heb synu chwaith fod *Thaddeus*, ar ol dechre rhidyllio yr ysgrifau mor dda, wedi llacio ac ildio. Ai gormod hyfder fuasai gofyn gan Dr. Edwards, Dr. Hughes, Dr. Charles Davies, neu rhyw ddoctor arall o safon, i draethu ei farn yn ddiduedd ar y materion hyn drwy gyfrwng y DRYSORFA? Rhoddai hyn lonyddwch meddwl i lawer heblaw fy hunan.

DUWINYDD IEUANC.

*Crughywel.*

# Y Wasg.

A TREATISE ON THE INSPIRATION OF THE HOLY SCRIPTURES. *By* CHARLES ELLIOTT, *D.D., Professor of Biblical Literature and Exegesis in the Presbyterian Theological Seminary of the North-West, Chicago, Illinois.*

Edinburgh: T. & T. Clark.

Y MAE mater y gyfrol hon, Ysbrydoliaeth yr Ysgrythyrau, yn wir bwysig; ac y mae yr awdwr, mewn dull eglur a chynnwysfawr, yn trin y pwnc yn ei holl gysylltiadau, gan osod allan natur ac ëangder Ysbrydoliaeth y Bibl, a'r profion cedyrn o hyny. Mae'r traethawd yn ddigon eglur i ddarllenwyr [illegible] i a gânt yma [illegible] gorol a was- [illegible] ydd yn an- [illegible] heb dderbyn ëangiad i'n meddyliau, a chryfhâd i'n ffydd yn nwyfoldeb yr Ysgrythyr Lân. Yr ydym yn ddibetrus yn ei argymmell i'n cyfeillion, fel un o'r llyfrau cyfaddasaf i'w "sicrhâu yn y gwirionedd presennol," sydd megys yn faes rhyfel mawr ein hamser hwn.

ATEBION CRYNO I'R GOFYNIADAU AR EFENGYL MATTHEW, *gan* W. EDWARDS, *Cwmbach, awdwr y* "GOFYNIADAU."

Treherbert: I. Jones.

RHODDASOM adolygiad cymeradwyol ar y *Gofyniadau ar Efengyl Matthew;* ac yn awr, wele *Atebion* i'r holl ofyniadau wedi eu parotoi a'u cyhoeddi. Mae yr ail lyfr

hwn megys olwedd i agor pob clo yn y cyntaf; ac i'r dosbarthiadau yn yr Ysgolion Sabbothol, a theuluoedd sydd yn arfer y naill, hylaw a chynnorthwyol iawn a fydd y llall.

---

CANEUON Y BWTHYN: *gan* EINION DDU. Dolgellau: D. H. Jones.

GWINLLAN YR AWEN, *sef Ail Gyfrol o Gyfansoddiadau Barddonol* R. H. HUGHES *(Alarch Gwyrfai), Llanberis.* Llanberis: Richard Owen.

Y BLODEUGLWM, *sef Cyfansoddiadau Barddonol a Chyfieithiadol* R. D. ROWLANDS *(Anthropos), Bala.* Bala: Edward Jones.

"Y PROPHWYD sydd â breuddwyd ganddo, myneged freuddwyd," meddir yn Jeremiah; a'r darlleniad, fe dybygid, gan liaws o'n cyfeillion yn Nghymru ydyw, 'Y llenor sydd â barddoniaeth ganddo, cyhoedded farddoniaeth;' canys y mae llyfrau o farddoniaeth, neu yr hyn a elwir neu a ddylai fod felly, yn dyfod allan yn barhâus yn y Dywysogaeth. Mae yn deg i ni gasglu y croesawir ac y darllenir y cyfryw lyfrau, yn enwedig pan welom yr awdwyr yn wynebu eilwaith ac eilchwyl ar farchnad y wasg.

Wele *Einion Ddu* yn cyhoeddi llyfr o ganeuon eto; ac, fel ei weithoedd blaenorol, mae y rhai hyn oll yn naturiol ac yn hur ddarllenadwy, a'r rhan fwyaf o honynt yn gweini addysg ac adeiladaeth ragorol, heb yma ddim yn darostwng chwaeth neu yn drygu moes. Gallwn goelio yr *Einion* pan ddywed

"Fel ffynnon ar lechwedd y Berwyn
Dymuna y prydydd gael bod;
Sut bynag yr oedd yn ei gychwyn,
Boed bellach yn union ei nôd,
Yn ddystaw, yn bur a difrychau,
Yn ffyddlawn ar oerni a gwres,
Bob amser yn esgor ar ffrydiau
Gynnyrchant ryw lawer o les."

Os coeliwn *Menaifab* o Bort Dinorwic, nis gallwn ddysgwyl gormod oddiwrth lyfryn, neu, fel y dywed y wynebddalen, oddiwrth "gyfrol" *Alarch Gwyrfai.* Fel hyn y dywed englyn hwnw:—

"Pwy yn ein hynys wèn heno—eilydd
I *Alarch* gawn rifo?
Gŵr di lol, gwerth ei frolio
Yw ein brawd—*Homer* ein bro."

Ac nid yw y "*Winllan*" hon heb rawn addfed ynddi, er nas gellir dywedyd hyny am yr holl gynnyrchion. Mae pennill o'r fath a ganlyn yn ddigon gwir; ond, a ddywedir mai plentyn "awen" ydyw?—

"Llythyren ryfedd ydyw O,
Cynnwysfawr yw a hynod;
Yn fynych y defnyddir hi
Gan effaith dirfawr syndod:
Pryd arall trist ochenaid fydd
Yn esgyn lân o'r fynwes,
Pan fyddo chwerwon groesau mawr
Trallodion yn gorddiwes."

Ar wynebddalen y *Blodeuglwm*, yn l'e "Cyfansoddiadau Barddonol a Chyfieithiadol," onid "Cyfansoddiadau a Chyfieithiadau Barddonol" a fuasai oreu?

Mae y *Blodeuglwm*, yn wir, yn cyflwyno i ni liaws o flodau tlysion a pheraroglaidd, fel y dywed un o gyfeillion *Anthropos* am dano,

"Yma ceir y brydferth lili
Gyda 'r rhos yn cadw cwmni,
A'r feillionen, O mor ddestlus!
Gyda'i chymhar wrth ei hystlys."

Buasem yn dysgwyl, hefyd, i frawd ieuanc o bregethwr gyflwyno i ni, ymysg hanner cant a mwy o destynau, amryw gyfansoddiadau ar bersonau a phethau o'r Ysgrythyr; o herwydd ceir yn y Bibl y farddoniaeth uchelaf, a defnyddiau barddonol digyffelyb. Ond nid ydym yn cael hyny ganddo y tro hwn.

Pa fodd bynag, dymuno yr ydym i'r *Caneuon* a'r *Winllan* a'r *Blodeuglwm* gael derbyniad da gan ein cydgenedl, ac yn enwedig gan ein cyfeillion ieuainc. Gall y tri hyn ddywedyd, "Derbyniwch ni. Ni lygrasom neb."

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## NEWYDDION CYFUNDEBOL.

YR ydym gyda hyfrydwch yn galw sylw at Adroddiad Blynyddol Cymdeithas Genadol y Deheudir, yr hwn sydd newydd gael ei ddwyn allan trwy wasg Mr. William Jones, Casnewydd ar Wysg. Mae "y gymdeithas hon yn parhâu i estyn ei chortynau," ac "hyderir ei bod hi hefyd yn sicrhâu ei hoelion." Y mae'r lleoedd ag yr ydys wedi addaw eu cynnorthwyo o'i chyllid, am y flwyddyn sydd yn awr yn rhedeg, yn rhifo dros driugain, ac yn wasgaredig dros holl Siroedd y dalaeth, gan gymeryd i fewn hefyd faes pwysig yn Ngogledd Lloegr. Saith mlynedd yn ol, nid oedd derbyniadau y gymdeithas ond ychydig dros £300 y flwyddyn; ond am y

flwyddyn yn terfynu Gorphenaf 31ain diweddaf, yr oedd cyfraniadau yr eglwysi at yr achos hwn yn cyrhaedd y swm da o £817 17s. 8c. Y mae rhai o'r casgliadau yn y rhestrau a roddir yn yr Adroddiad yn wir anrhydeddus. Capel Cymraeg Tredegar a bïau'r flaenoriaeth eleni eto; y casgliad yn £39 7s. 4c. Y Tabernacl, Aberystwyth, yr hwn le fu am flynyddoedd yn dal coron y flaenoriaeth, sydd yn dyfod nesaf, gyda chasgliad o £34 17s. 5c. Y mae Hermon, Dowlais, a Trinity Abertawe, hefyd, yn sefyll yn barchus yn y rhestrau. Ond y mae eto lawer o leoedd cryfion yn sefyll yn îs nag y gallesid dysgwyl iddynt. Da iawn genym, modd bynag, weled fod lliaws o leoedd bychain Seisonig a Chymreig yn ymroddi i wneyd casgliadau da. Hyderwn yn fawr y parhâ y ffyddloniaid i ymhelaethu, ac y bydd i'r llesg a'r esgeulus ymgodi at eu dyledswydd. Mae'r gymdeithas wedi myned dan rwymedigaethau yn cyrhaedd dros £1200 am y flwyddyn bresennol. Yn absennoldeb Trysorfa Adeiladu, ac yn ngwyneb yr anghenrheidrwydd o sefydlu cynifer o achosion newyddion yn y ddwy iaith, ac hefyd fod llawer o weiniaid yn galw am gymhorth, mae gwir anghenrheidrwydd am gydymdrech calonog ac haelionus i gyfarfod â'r galwadau lliosog a thrymion sydd yn disgyn ar y sefydliad hwn. Dylem ddyweyd fod anerchiad yr ysgrifenydd ymroddgar a llwyddiannus (y Parch. D. Thorne Evans) fel arfer, yn llawn tân a thalent; a bydd ei ddarllen yn sicr o agor y galon, ac mewn canlyniad y llaw a'r llogell.

Er yn ddiammheu nad yw darlithiau mor boblogaidd ag y buont, eto nid yw eu hoes mewn un modd wedi myned heibio. Bu Dr. Harries Jones yn ddiweddar yn traddodi ei ddarlith ar Rwymedigaeth yr Eglwys i Efengyleiddio'r Byd, yn Taliesin, Sir Aberteifi, Arglwydd-Raglaw y Sir yn llywyddu. Yr ydys yn ddiweddar wedi prynu tafarn oedd o flaen y capel yn y lle hwn, a'i dynu i lawr. Yr oedd elw y ddarlith i ddwyn y draul. Gwnaed swm da. Hefyd ar y 26ain o Hydref yr oedd y Parch. D. G. Jones, Troedyrhiw, Merthyr, yn rhoddi darlith yn y lle hwnw ar China,—offeiriad y plwyf yn y gadair. Hefyd bu Mr. Thomas Lloyd Jones, Talsarn, yn darlithio yn Rhymni, Sir Fynwy, ddechre y mis diweddaf. Ac y mae'r Parch. T. James, M.A., Llanelli, wedi rhoddi ei ddarlith ar Estron yn Brifweinidog, yn Horeb ger Cydweli.

Cawsom hanes am gyfarfodydd pregethu a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Blaenllechau, Capel Sïon Llantrisant, Trehill, Pontardawe, a Phenarth ger Caerdydd, pryd y gweinyddai amryw o weinidogion Sir Forganwg ac eraill.

Mae'r eglwys yn Mountainash wedi estyn ei chortynau trwy adeiladu ysgoldŷ mewn pentref newydd cyfagos. Agorwyd yr ysgoldŷ trwy bregeth gan y Parch. T. C. Phillips, gweinidog y lle.

Yr ydym yn gweled fod y gweithiwr difefl, y Parch. Morris Morgan, Hwlffordd, wedi cario gydag ef i Sir Benfro y sefydliad Morganwgaidd "Cyfarfod y Dosbarth," yr hwn sydd yn gwneyd llawer o waith dan a thros y Cyfarfod Misol, ac felly yn arbediad dirfawr ar amser gwerthfawr y cynnulliad mwy pwysig hwnw. Mae swyddogion eglwysi Dosbarth Woodstock wedi cyfarfod o leiaf ddwywaith; ac nid oes ammheuaeth, gyda dyfalbarhâd, y bydd y cyfarfod hwn yn symbyliad i'r achos mawr yn ei wedd Fethodistaidd yn yr ardaloedd hyn.

Yn unol â phenderfyniad Cymdeithasfa Aberhonddu, gwelwn fod y Cyfarfodydd Misol yn annog ar fod sylw neillduol yn cael ei roddi i'r Ysgol Sabbothol ar Sul penodedig; ac yr ydym yn deall fod hyn wedi cael ei gario allan mewn amryw o fanau, trwy fod pregethau yn cael eu traddodi ar y mater, a chyfarfodydd gweddi yn cael eu cynnal i ofyn am fendith Duw ar lafur yr Ysgolion Sabbothol. Yr oedd un o'r pregethau yn Nghyfarfod Misol diweddaf Gogledd Ceredigion ar y pwnc, yr hon sydd wedi ei chyhoeddi yn yr *Arweinydd*.

Y mae Henaduriaeth Mynwy a Morganwg wedi pasio penderfyniadau i'w cynnyg i'r Gymanfa Gyffredinol nesaf i'r amcan o godi pris a mwyhâu maint y *Treasury*, fel ag i'r cyhoeddiad hwnw allu cynnwys ysgrifeniadau helaethach, ac o radd uwch. Trefnwyd hefyd i ofyn am gydweithrediad yr Henaduriaethau eraill i ddwyn hyn oddiamgylch. Y Parch. George Watson, Llanofer, fydd llywydd yr Henaduriaeth am 1879, a'r Parch. Hugh Hughes, Dowlais, yn ysgrifenydd.

Ar y 13 a'r 14eg o Hydref, agorwyd capel Seisonig Nantymoel, gerllaw Penybont-ar-ogwy. Traul yr adeilad ydoedd mil o bunnau. Cynnwysa'r capel eisteddleoedd i 200 o bersonau. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth agoriadol gan y Parchn. John Pugh, Tredegar, Thomas Evans, Merthyr, a J. Cynddylan Jones, Caerdydd.

Y mae'r Parch. W. Morgan wedi symud o Porthcawl i gymeryd gofal yr achos yn Pontardawe. Hefyd y mae'r Parch. John Williams, Cwmparc, wedi cydsynio â chais y Gymdeithasfa a'r cyfeillion yn y lle i gymeryd gofal yr achos yn Llandrindod

a'r Goosetree. Dyma wawr bellach, ac i bob ymddangosiad sydd yn ddysglaer, ar yr achos Methodistaidd yn y lleoedd hyn.

Mae'r ysgoldŷ newydd, ëang, hardd, a chyflëus mewn cysylltiad â chapel Heol Dwfr, Caerfyrddin, wedi cael ei agor; a chynnaliwyd cyfarfod neillduol ar yr achlysur, pryd y gweinyddai y Parchn. Dr. Harris Jones a D. Saunders. Nid ydym yn gwybod am un capel sydd yn meddu ar fwy o gyfleusderau na hwn ar ol codi yr ysgoldŷ, heblaw yr hwn mae festri gyfleus, mynwent, cae at gynnal Cymanfa, ac eiddo lawer mewn tai annedd, yn rhyddfeddiant byth i'r Cyfundeb.

Yr henafgwr parchedig Josiah Evans, Penbre, Sir Gaerfyrddin, a fu farw ar y 10fed o Hydref, yn 85 mlwydd oed. Yr oedd yn frawd i'r diweddar Barch Daniel Evans, Woodstock, Sir Benfro. Yr oedd efe yn gristion cywir, yn weddïwr mawr, ac yn bregethwr gwresog. Mr. Daniel Daniel, Aberaman, gerllaw Aberdâr, hefyd, a fu farw o fewn yr un mis, yn 70 mlwydd oed. Yr oedd efe wedi ei dderbyn i'r Gymdeithasfa fel pregethwr yn ol yr hen drefn. Yr oedd marwolaethau y naill a'r llall yn rhy ddiweddar i'w cofnodi yn y *Dyddiadur* newydd.

Y mae eglwys y Garnedd, Sir Ddinbych, wedi rhoi galwad unfrydol i'r Parch. David Jones, Llanllyfni, ddyfod yn weinidog iddi.

Mewn Cyfarfod Misol diweddar yn Môn, rhoddwyd ychydig adroddiad am adfywiad crefyddol yn Mrynsiencyn, Niwbwrch, a Paran. Yr oedd teimlad gwresog yn y cyfarfodydd addoliadol, a'r diwygiad yn cyrhaedd at foesau pobl yr ardaloedd.

Yr oedd cyfraniad y cynnulleidfäoedd yn Môn at y Genadaeth Dramor y flwyddyn hon yn £400.

Ynglŷn â Chyfarfod Misol Arfon a gynnaliwyd yn y Penmaenmawr, cadwyd cyfarfod sefydliad y Parch. John Griffiths, gynt o Gaernarfon, fel gweinidog yr eglwys Gymreig yn y lle hwnw. Hysbyswyd y Cyfarfod Misol fod y ddwy eglwys yno, y Gymreig a'r Seisonig, yn dra gweithgar a llwyddiannus; a chaniatäwyd i gyfeillion Penmaenmawr adeiladu capel newydd yn y Nant, lle y cynnelir Ysgol Sabbothol er ys rhai blynyddoedd.

Cynnaliwyd cyfarfod agoriadol capel Seisonig yr Abermaw, Tachwedd 5 a 6ed, pan y pregethwyd gan y Parchn. Dr. O. Thomas, Liverpool; D. C. Davies, M.A., Llundain; a Joseph Jones, Pont Menai. Y mae yn adeilad hardd iawn, ac yn addurn i'r dref. Yr oedd swm y casgliad tua £120, o ba un yr oedd £20 wedi eu hanfon gan R. Davies, Ysw., A.S. Derbyniasid o'r blaen £25 oddiwrth J. Roberts, Ysw., A.S., a £10 oddiwrth D. Davies, Ysw., A.S.

Adeiledir capel Cymraeg yn ardal y Gwersyllt, gerllaw Gwrecsam, lle nad oedd o'r blaen bregethu yn ein hen iaith. Gosodwyd i fyny feini coffadwriaethol y capel newydd gan foneddiges Osborne Morgan, Ysw., A.S. a Q.C., a'r Parch. Thomas Francis, Gwrecsam. Llywyddid gan y Parch. R. Edwards, Wyddgrug; ac wedi seremoni'r meini, cafwyd anerchiadau mewn pabell gyfagos ganddo ef a Mri. Osborne Morgan a Charles Hughes, Gwrecsam, a'r Parchn. T. Francis, H. Barrow Williams, ac E. Jerman, ill tri o Wrecsam; M. Jones, Fflint; B. Jones, Bagillt; ac E. Roberts, Brymbo; a dybenwyd trwy weddi gan y Parch. E. Lloyd, Treffynnon. Derbyniwyd yn agos i £70 ar y pryd, yn cynnwys £20 oddiwrth y Parch. T. Francis.

Yn Arholiad Cymdeithasfa y Gogledd a gynnaliwyd y mis diweddaf yn Mhenrhyndeudraeth—y Parchn. Daniel Rowlands, M.A., Joseph Thomas, a D. Charles Davies, M.A., yn Arholwyr, yr oedd rhestrau yr ymgeiswyr llwyddiannus yn y drefn ganlynol: *Dosbarth Cyntaf*,—D. Jones, Dinbych; J. G. Jones, Llanfaircaereinion; Josiah Jones, Fflint; a J. Williams, Brynsiencyn. *Ail Ddosbarth*,—Evan Evans, Dylife; ac Edward Lloyd, Prenteg. *Trydydd Ddosbarth*,—W. Lloyd Griffith, Llanfachreth, Meirion; R. Hughes, Hanley; Thomas Jones, Liverpool; Evan Lloyd, Cefn y waen; a R. O. Williams, Dinorwig.

---

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### MR. A MRS. WILLIAMS, CARNE, GERLLAW ABERGWAEN.

*Gan y Parch.* JAMES D. SYMMONS.

UN dyben i symudiad ein cyfeillion trwy angeu yw, er mwyn ein cael ni a'r diwedd pwysig sydd o'n blaen, i wynebu ein gilydd. Hynod fel y gallwn anghofio hwn. Ni theimla y mwyafrif o ddynion un pryder ynghylch y dyfodol dyeithr sydd tu cefn i derfyniad ein bywyd daearol. Blinir hwynt yn fynych âg ofnau disail ynghylch eu hamgylchiadau yn y byd hwn; eithr y maent yn ddifeddwl

hollol o barthed yr hyn ag y dylent ddychrynu fwyaf o'i blegid. Mae dyn mewn breuddwyd nos yn arswydo rhag y ddrychiolaeth wag a grwydra drwy ei ddychymyg, ond yn gwbl ddifater am y tân a all fod wedi tori allan yn ei dŷ ac yn prysur ddynesu at ei orweddle. Ac mor debyg iddo yw y sawl ag sydd yn rhoi yr oll o'u pryder ar y ddaear a'i phethau, a dim o hono ar y tragywyddoldeb sydd yn fuan i fod yn artref iddynt am byth! Ond yr oedd Mr. William Williams wedi meddwl llawer am y diwedd. Bu yn edrych ymlaen ato mewn parotöad am ugeiniau o flynyddoedd; a phan ddaeth ei Arglwydd i ymofyn am dano, efe a'i cafodd, nid fel y morwynion yn hepian, ond fel y gwas da â'i lwynau wedi eu gwregysu a'i ganwyll wedi ei goleu.

Nid dyn cyffredin a gollwyd o'n mysg yn mherson Mr. Williams, Carne. Mewn corff cadarn a gwrol, yr oedd ganddo feddwl cryf a goleu. Mae yn ddiau pe buasai wedi rhoi ei hunan yn more ei oes at unrhyw gangen o wybodaeth ddynol y buasai yn rhagori ynddi ymhell ar y canoligrwydd. Yr oedd gras hefyd wedi dyfod i mewn i roi coron ar ei ragoriaethau naturiol. Yr arddull uchaf ar ddyn yw y cristion, ac yr oedd Mr. Williams yn dwyn y nodwedd hwn yn amlwg. Nis gall y cristion ymddangos i fantais os na fydd dyn gweddol yn sail iddo. Ond yn ein brawd yr oedd y dyn a'r cristion fel wedi myned dan gyfammod i gyfnerthu a phrydferthu eu gilydd. Harddai y dyn y cristion, ac yr oedd y cristion yn rhoi *finish* gloëw ar y dyn. Cydnabyddir ambell un yn dduwiol gan y farn gyhoeddus; ond eto mynegir mai hen ddyn afrywiog sydd ynddo. Eithr nid felly ein brawd Mr. Williams. Yr oedd natur a gras wedi uno i'w wneyd yn un o rai rhagorol y ddaear. Rhoddodd natur iddo synwyr cryf, ysbryd hynaws, a llawer o arafwch pwyllog; a chyfranodd gras iddo ddidwylledd calon, purdeb cymeriad, a ffyddlondeb mawr gyda phethau Duw. Er nad oedd efe wedi ei osod yn y weinidogaeth, eto yr oedd ei ddeall yn nirgelwch Crist yn ei wneyd yn fwy cymhwys i'w llanw nag y mae llawer o honom ni sydd ynddi. Pan y byddai yn trefnu ei fater mewn gweddi, neu yn siarad yn y gyfeillach, er ei fod yn ddiffygiol o'r hyn a alwn ni yn hyawdledd, yr oedd ei athrawiaeth yn defnynu fel gwlaw, a'i ymadrodd yn dyferu fel gwlith, fel gwlithwlaw ar irwellt, ac fel cawodydd ar laswellt. Wrth fwrw golwg yn ol ar ei gynghorion da, ei gyfarwyddiadau doeth, a'i weddïau taer, ein teimlad yw, nis gall ein hiraeth am dano lai na bod yn ddwys a dirfawr.

Am dano ef yn arbenig, gallesid dyweyd, "Wele Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll." Nid *veneer* tenen dros ragrith oedd ei dduwioldeb ef, ond yr oedd hi o'r un defnydd wyneb a gwaelod. Yr oedd ganddo y gwirionedd oddifewn yn egwyddor yn gystal ag oddiallan mewn ffurf. Byddai yn anhawdd cael o hyd i neb mewn gwlad o bobl a ddangosodd fwy o ffyddlondeb nag ydoedd yn gynnwysedig yn nghrefydd ein brawd. Bydd y ffordd o'r Carne i Abergwaen, a'r hen lwybr troed trwy y caeau i Wdig, yn dystion ddydd a ddaw o'r dyfalwch gyda pha un y dilynodd foddion gras. "A chwi ddaethoch i'r cwrdd gweddi heno eto, Mr. Williams bach?" meddai un chwaer wrtho un noswaith wleb a thywell; "nid oeddwn yn meddwl y buasech yn d'od trwy y fath dywydd." "Wel," meddai yntau, "yr oedd amgylchiadau eraill gyda'r tywydd yn fy rhwystro heno, ond mi dorais trwyddynt rhag ofn mai ychydig a fuasai yn gallu d'od." Yr oedd yr ymröad hwn gyda phethau ei heddwch wedi ei wneyd yn gyfoethog mewn ffydd a thuag at Dduw. Trysorodd iddo ei hun sail dda, ac yn hyn efe a brofodd ei hun fel y gŵr doeth a adeiladodd ei dŷ ar y graig. Ac yr oedd teimlo cadarn sail Duw yn aros yn gryf o dano, tra yr oedd y naill drugaredd ddaearol ar ol y llall yn cael ei hysgubo ymaith ar gefnllif cyfnewidioldeb amser, yn ddigon o dâl am y cloddio a'r myned yn ddwfn a wnaeth efe am dani. Yr oedd llwybr y cyfiawn hwn mewn modd nodedig fel y goleuni. Nid seren wibiog ydoedd yn fflachio am ychydig, ac yna yn syrthio i lawr yn gorff du o'r nefoedd. Nid all dim rwystro yr haul i gario y wawr ymlaen i'r canolddydd; ac nid allodd dim attal duwioldeb Mr. Williams rhag llewyrchu gyda nerth cynnyddol i'r diwedd. Synai ambell grefyddwr musgrell, fe allai, at y drafferth ddianghenrhaid oedd efe yn gymeryd i ddyfod mor fynych i'r bregeth, i'r ysgol, i'r cyfarfod gweddi, a'r gyfeillach; ond codi, codi ei adeilad erbyn tragywyddoldeb yr oedd ef o hyd, ac yr oedd wedi ei gwbl orphen cyn i nos dymhestlog angeu ei oddiweddyd. Yr olwg ddiweddaf a gawsom arno oedd ei weled yn llechu dan ei gronglwyd ddiddos pan ddaeth gwyntoedd, gwlawogydd, a llifddyfroedd y prawf olaf i guro arno. Ac y mae yn bresennol yn byw yn *mansion* hardd ei grefydd, mewn clydwch a gwynfyd perffaith, a'r ddiweddaf o ystormydd amser wedi chwythu drosto.

"Mae yno yn dragwyddol haf."

Tywydd digon tymhestlog a gafodd ein cyfaill i adeiladu yn mlynyddoedd olaf ei fywyd. Gwnaeth gwynt a gwlaw adfyd eu goreu i beri iddo roi heibio ei waith; ond fe safodd drwy yr holl dywydd garw ar yr ysgaffaldiau yn ddiwyd gyda'i orchwyl, ac y mae bellach yn nghymhorth gras Duw wedi ei gael i ben.

Mae yr amlinelliad o amgylchiadau bywyd Mr. Williams yn debyg i hyn. Ganwyd ef yn yr Hendre, gerllaw Tyddewi, yn y flwyddyn 1803. Derbyniodd ei addysg yn Hwlffordd. Yn y flwyddyn 1828, ac yn fuan ar ol ei briodas, symudodd i fyw i'r Carne, lle o'i eiddo ef ei hun, o fewn rhyw dair milldir i Abergwaen. Ymhen ychydig ar ol ei ddyfodiad yma, ymunodd efe a Mrs. Williams â chrefydd yr un pryd yn eglwys Pentowr, Abergwaen, ymha le wedi hyny y bu am flynyddoedd yn llanw y swydd o flaenor. Gwasanaethodd Gyfarfod Misol ei Sîr hefyd am dymmor maith o'i oes fel Ysgrifenydd. Ac ar ei ymneillduad o'r gwaith hwn, cydnabyddodd y Sîr ei rhwymedigaeth iddo am ei lafur gwerthfawr trwy gyflwyno iddo dysteb.

Y tro diweddaf y bu yn gyhoeddus yn ein cyfarfod gweddi, rhoddodd allan y pennill a

ganlyn gydag effaith anarferol ar y gynnulleidfa,

"Fe ddarfu 'r ofn du,
'R euogrwydd cas a'r braw,
Wrth wel'd yr Aberth fu
Ar ben Calfaria draw:
Fe dalwyd iawn ar bren mor ddrud,
Oedd fwy na holl ffieidd-dra 'r byd."

Yn ei weddi, wrth gofio am y cleifion, aeth y meddwl am ei anwyl briod ag oedd ar y pryd gartref mewn gwendid mawr, yn drech nag ef; a methodd fyned ymlaen am ychydig gan ei deimladau, a chyda chryn anhawsder y gallodd lwyddo i adfeddiannu ei bun. Yn fuan ar ol y pryd hwn, cyfyngwyd ef i'w gartref gan ei lesgedd cynnyddol; a than ddirfawr bwys ei afiechyd yr oedd ei reswm ar brydiau yn myned o dan gwmwl. Daeth ato ei hun yn hollol o'r crwydriadau hyn ychydig cyn ei anadliad olaf; a chlywyd ef yn dyweyd yn floesg yn Saesoneg a Chymraeg bob yn ail amryw o weithiau, "*I am going, I am going*, 'Rwy'n myn'd, 'rwy'n myn'd." A phan ofynodd un o'i ferched iddo, "I b'le, fy anwyl dad?" atebodd yntau, "I gael ei weled Ef megys ag y mae." Ac yna ar aden ochenaid, ehedodd ei ysbryd pur i ogoniant, i gael sylweddoliad o'i eiriau olaf, ac o syniad prydferth y bardd:—

"To walk with God
High in salvation and the climes of bliss,
Exempt from death."

Ar yr 17eg o Hydref, 1876, y bu ein brawd farw, sef o fewn chwe' mis ar ol claddu Mrs. Williams.

Cymedroled ei berthynasau eu galar yn ei gylch. Gallant lawenhâu yn eu dagrau. Mae yn wir fod marw hyd yn nôd yn ei gysylltiad â'r duwiol yn beth pruddaidd iawn, ond *cefn* y darlun yn unig sydd tuag yma. Pe baem yn cael golwg ar ei wyneb, caem weled digon i gadarnhâu yr hen wirionedd melus, "A marw sydd elw." Mae angeu yn amddifadu dynion o lawer o bethau; ond cafodd ein cyfaill fwy na digon drwyddo i'w ad-dalu am y cwbl a adawodd o'i ol yn ei symudiad. Yr oedd un foment iddo yn y nefoedd yn gorbwyso goreu y ddaear, pe caniateid iddo ddarn mawr o dragywyddoldeb i w fwynhâu.

Am Mrs. Williams, ein hanwyl chwaer ymadawedig, hi a anwyd yn y flwyddyn 1809, yn Ngharnwchwr, ffermdŷ cyfrifol gerllaw dinas henafol Tŷddewi; ond cafodd ei dwyn i fyny er pan yn lled ieuanc dan ofal modryb iddi mewn lle arall o'r enw Harglodd, yn yr un gymydogaeth. Rhieni Mrs. Williams a berthynent i'r Annibynwyr, ac yr oedd ei mam yn hanedig o deulu Mortimers Trewellwell, enw sydd yn anwyl gan lawer o'r enwad a nodwyd. Gan fod ei modryb yn aelod gyda'r Methodistiaid yn Nhŷddewi, naturiol ydoedd i goelbren ei nith ieuanc syrthio hefyd ar yr un rhandir. Eto mae yn ymddangos, fel y nodwyd yn hanes Mr. Williams, nad ymunodd hi yn gyflawn â chrefydd hyd wedi iddi symud i fyw i'r Carne ar ol ei phriodas â Mr. Williams. Bendithiwyd hi â naw o blant, a gellir dyweyd yn ddibetrus iddi ymdrechu ei goreu i fod iddynt yn bobpeth a ddylai mam fod i'w theulu.

"She was, but words are wanting to say what;
Think what a mother ought to be and she was that."

Goroeswyd hi gan yr oll o'i phlant oddigerth dau. Y cyntaf a fu farw oedd ei Thomas hoff; hwn oedd ei Benjamin hi. Efe a gafodd flynyddoedd o gystudd caled, a bu farw yn ugain mlwydd oed. Dyrnod drom arall iddi oedd colli ei hanwyl David, chwedl hithau. Yr oedd efe wedi gwneyd ei farc yn ei alwedigaeth o forwr. Llwyddodd i ddyfod ymlaen ar y môr hyd nes y cafodd ei hunan yn lled ieuanc yn feistr ar un o'r llongau goreu. Ond machludodd ei haul â hi eto yn ddydd; ac er mawr alar i'w rieni a'i berthynasau, bu farw yn Calcutta yn y ddeunawfed flwyddyn ar hugain o'i oedran. Mae un o'r ddau fab sydd yn fyw yn ffermwr yn ardal Castellmartin, a'r llall yw y Parch. W. Williams, Hwlffordd, y gweinidog adnabyddus gyda'r Methodistiaid, a'r dinesydd parchus yn y dref hono. Gwelodd Mrs. Williams bedair o'i merched wedi ymsefydlu yn y byd, a gadawodd un yn ddibriod, yr hon yn bresennol, ynghyd a brawd yn nghyfraith a chwaer iddi, sydd yn byw yn y Carne, ac yn parhâu i gadw yr hen aelwyd dirion a chysegredig yn gynhes i Fethodistiaeth.

O ran pryd a gwedd, yr oedd Mrs. Williams yn hynod olygus. Dynes dâl, luniaidd, droedysgafn, ydoedd, ac o osgeddiad urddasol. Myn rhai fod gwedd naturiol yr enaid yn cyfateb i linellau allanol y corff, fel y mae wyneb yn ateb i wyneb mewn dwfr; ond gan nad beth am hyny, yr oedd ystum a delw hardd Mrs. Williams yn adlun teg o'i meddwl a'i moesau. Nid yn aml y gwelwyd y fath bowsi o ragorion ag a dyfodd o faes ei chymeriad hi fel cristion, priod, a mam. Ac yn awr wedi i angeu osod ei droed arno, mae y perarogl sydd yn ymwasgaru trwy ein cymydogaeth, yn wiriad arall ar y dystiolaeth fod "coffadwriaeth y cyfiawn yn fendigedig." Gellid dodi geiriau Job ar ei beddfaen hi, heb ddarostwng y "*creadur*" i oferedd, "Pan y'm gwelai llygad, efe a dystiolaethai gyda mi, am fy mod yn gwaredu y tlawd a fyddai yn gwaeddi, a'r amddifad, a'r hwn ni byddai gynnorthwywr iddo. Bendith yr hwn oedd ar ddarfod am dano a ddeuai arnaf, a gwnawn i galon y wraig weddw lawenychu." Yr oedd yn hawdd ganddi roddi a chyfranu. Ei phleser, hyd y gallai, oedd bod yn "nerth i'r tlawd, ac yn gadernid i'r anghenog yn eu cyfyngder." Golchodd hefyd lawer ar draed y saint.

Peth arall a ddylai gael lle amlwg mewn darlun cywir o dduwioldeb ein chwaer oedd ei dyoddefgarwch mawr mewn cystudd. "Dedwydd yr ydym yn gadael y rhai dyoddefus." Fe allai mai nid mewn gwneyd wedi y cwbl yn gymaint âg mewn dyoddef y mae crefydd yn cael o hyd i'w hucheldérau mwyaf. Gellir gogoneddu Duw trwy ymostwng i'r hyn y mae yn ei ordeinio yn gystal â thrwy gyflawni yr hyn y mae yn ei orchymyn. Bu yr ysgrifenydd yn ymweled â hi lawer gwaith yn ystod ei chystudd olaf, ac nid fel un dan faich trwm o ddolur yr ymddangosai hi iddo ef, ond fel un yn "*gorphwyso* yn amser trallod." Yr oedd môr

adfyd i'w glywed yn rhuo a therfysgu o gwmpas iddi, ond yr oedd "*Penrhyn y Gobaith Da*" rhyngddi â nerth y tònau, ac yn ei chadw mewn "tangnefedd pur heddychol." Yr oedd profiad Mrs. Williams yn esboniad ymarferol ar y geiriau hyny, "Yn ddiau yn llifeiriant dyfroedd mawrion ni chânt nesâu ato ef." "Dyffryn tywyll garw" iddi hi oedd ei blynyddoedd olaf; ond aeth trwyddo yn ddigon cysurus, yn gymaint â'i bod hi fel hyn yn cael ei hamgylchynu â chaniadau ymwared trefn yr efengyl. Yn anaml iawn y gwelwyd teulu yn myned trwy drymach adfyd nag a gafodd teulu y Carne er ys pedair blynedd. Adgofir ni drwy eu hamgylchiad hwy am y geiriau hyny, "Tra yr oedd hwn yn llefaru, un arall hefyd a ddaeth." Eto galluogwyd ein chwaer i ddyoddef y cwbl yn dawel a dirwgnach. A phan osodwyd croes ei chystudd diweddaf iddi i'w dwyn, aeth ymlaen â hono hefyd yn amyneddgar hyd y diwedd. Bu ei pherthynasau a'i chyfeillion yn hwyrfrydig i anobeithio am ei gwellhâd hyd o fewn ychydig ddyddiau i'w marwolaeth, oblegid y dyrchafiad braidd gwyrthiol a gafodd ryw ddeuddeng mlynedd yn ol o byrth angeu. Yr oedd y meddygon wedi ei rhoi i fyny, a'i phlant wedi bod yn yr ystafell yn ffarwelio â hi am y tro diweddaf, fel y meddylient hwy, ond dadebrodd ei henaid yn rhyfedd, ac adferwyd hi yn raddol i'w hiechyd cynnefin. Yn ddiweddar dychwelodd angeu o'i enciliad i'r ymgyrch, a phrofodd ei hun y tro hwn mewn un ystyr yn orchfygwr; ond mewn ystyr arall yr oedd hi ar ei hennill, oblegid nid oedd angeu yn y diwedd iddi hi ond porthor wedi dyfod ar archiad ei Harglwydd i'w gadael i mewn trwy byrth marwolaeth i balas y bywyd, fel y dywedai Erskine,—

> "He 'll order death, that porter rude,
> To ope the gates of brass,
> For lo, in characters of blood,
> Thy Husband wrote thy pass."

Cyflawnodd ein chwaer ei hymadawiad o Aipht ofidus y byd hwn i Ganaan ddedwydd y nef ar y 19eg o Ebrill, 1876.

---

### MRS. JONES, GWEDDW Y PARCH. JOHN JONES, TALYSARN.

*Gan ei Mab*, Thomas Lloyd Jones.

Ganwyd fy mam yn Cefnfaes, Ffestiniog, yn Mai 1805. Merch ydoedd i Mr. Thomas Edwards, yr hwn oedd ar y pryd yn dwyn cysylltiad â'r boneddigion Turners a'r Cassons; ac yn fam-fedydd iddi yr oedd Mrs. Turner, Parcia, sef mam Syr Llewelyn Turner. Symudodd y teulu i fyw i Lanllyfni, ac yna i'r fferm a elwir Taldrwst. Yr oedd Thomas Edwards yn ddyn o feddwl bywiog, yn deall natur Chwarelydd Llechi yn dda, ac yn oruchwyliwr ar rai o honynt; ac yr oedd yn un o'r goruchwylwyr cyntaf, mae yn debyg, yn Nyffryn Nantlle. Cymerai hefyd ddyddordeb mawr yn yr achos Methodistaidd yn Talysarn, ac ynglŷn âg eraill â llaw yn adeiladu y capel cyntaf yn yr ardal. Yr oedd ei mam, Ann Edwards, yn wraig â synwyr cryf a pharod, ac yn hoff iawn o'r addoliad crefyddol. Yr oedd yn meddu ar lais swynol. Pan y canai, clywid ef dros yr holl gapel. Bu hi farw yn 85 oed. Clywais fy mam yn son llawer am dani, a phob amser gyda theimlad dwys. Yr oedd ganddi feddwl uchel o grefydd ei mam. Soniai yn aml am ei gwely angeu, mor dawel yr oedd yn galw ei phlant ati, yn eu cusanu, gan eu cynghori oll i fyw yn dduwiol.

Pan mewn oedran cyfaddas, anfonwyd fy mam i'r ysgol yn Nghaernarfon. Adroddai wrthym hanes ei chyfeillasau oedd yn yr ysgol, y rhai ydynt oll wedi marw erbyn hyn ond un, sef Mrs. Thomas, Plas du, Pwllheli. Ar ol dychwelyd adref o'r ysgol, yr oedd gofal y tŷ yn disgyn yn benaf arni hi; ac yr oedd er yn ieuanc iawn yn dangos darbodaeth a gofal am amgylchiadau ei thad, ac yn hynod o drugarog wrth y tlawd. Clywais hi yn son yn aml am flwyddyn o brinder a thlodi; yr ŷd wedi pallu, a'r cannoedd oedd yr adeg hono yn gorfod myned o dŷ i dŷ i ymofyn am gardod; ac nad allodd ommedd yr un o honynt, ac yr oedd hi yn credu fod bendith yr Arglwydd ar y rhai trugarog wrth y tlawd. Yr oedd yn hynod am ei pharch i'r Sabboth er yn blentyn. Clywais hi lawer gwaith yn adrodd nad oedd yn cofio adeg pryd nad oedd ganddi barch a chariad at Iesu Grist, ac ofn gwneyd dim i'w ddigio. Un a fu yn offerynol i fagu y parch hwn yn ei mynwes at grefydd oedd yr hen wraig dduwiol, Ann Parry, Tŷ capel, Llanllyfni, yr hon y mae ei henw yn anwyl gan weinidogion hynaf Cymru. Byddai Ann Parry, a'i brawd Robert Parry, blaenor duwiol iawn, yn gwneyd sylw mawr o Fanny Edwards fach, ac yn ei chynghori a'i dysgu yn athrawiaeth yr Arglwydd. Clywais hi yn dyweyd fel yr oeddynt, yn ol manylder yr hen bobl dda gynt, yn ei chynghori rhag balchder mewn gwisgo, sef peidio gwisgo *belt* ar yr het, na *ribbon* yn yr esgidiau, yr hyn a ystyrid yn yr adeg hono yn falchder lled fawr; a darfu iddi hithau ufuddhâu iddynt yn hyn, gan dynu ymaith y naill a'r llall. Ni byddai byth yn blino son am yr adeg pan oedd hi yn eneth fechan, a'r gorfoledd yr oedd hi yn ei gofio yn Llanllyfni; yr hen wragedd yn dyfod i lawr y capel dan neidio, a chanmawl, a moli Duw. Gadawodd hyny argraff ar ei meddwl ar hyd ei hoes, ac yr wyf yn credu fod peth o'r eneiniad hwnw yn aros arni hyd ei bedd, yn enwedig mewn canmawl Iesu Grist.

Yn 1823 daeth fy nhad i fyw i Dalysarn, ac yn Mai 14, y flwyddyn hono, y priodwyd hwy. Adroddai hi wrthym yr holl hanes fel ei gwelodd gyntaf pan yn pregethu yn Llanllyfni, megys y mae yr hanes yn y Cofiant gan y Parch. Dr. Thomas. Yr oedd uniondeb a diniweidrwydd i'w weled yn yr hanes am eu cyfarfyddiad a'u priodas. Ar ol priodi adeiladwyd masnachdŷ yn Nhalysarn, yn agos i'r chwareli, ac yr oedd fy nhad yn myned i'r chwarel yr adeg hono, ac yn pregethu y Sabbothau. Ond nid oedd fy mam yn foddlawn iddo fyned i'r peryglon;

ac nid oedd, ychwaith, yn ei weled yn cael ei amser anghenrheidiol at barotoi ar gyfer y weinidogaeth; a phenderfynodd ei ryddhâu o'r chwarel mor fuan ag y gallesid. A gwnaeth hyny ymhen blwyddyn ar ol priodi, er mwyn iddo gael ei amser yn llwyr a hollol at bregethu, yr hyn oedd yn llawenydd iddi hyd ddiwedd ei hoes, sef ei bod yn offeryn i'w phriod gael rhoddi ei holl wasanaeth i'r Arglwydd Iesu a'i achos. Yr oedd hi yn gweled llaw Rhagluniaeth yn y cyfan, ac yn credu yn llywodraeth fanwl yr Arglwydd ar holl amgylchiadau bywyd.

Hoff iawn fyddai ganddi son am flynyddoedd cyntaf ei bywyd priodasol, ac am ymweliad fy ewythrod William Jones, Rhydddu; Richard Jones, Llanrwst; a David Jones, Caernarfon, ac arosiad rhai o honynt yn Nhalysarn y blynyddoedd cyntaf. Soniai lawer am grefydd a duwioldeb fy nain, mam fy nhad—na ddarfu iddi erioed adnabod yr un wraig oedd yn dal mwy o gymdeithas â'r Nefoedd, mai gweddïo y byddai yn wastad. Un peth neillduol oedd yn dangos parch fy mam i grefydd oedd ei gofal am y ddyledswydd deuluaidd. Pan y byddai fy nhad gartref, byddai raid i ni oll godi yn fore at y ddyledswydd; ac yna yn y nos, rhaid oedd i bawb fod yn yr addoliad teuluaidd, a phob un i ddysgu adnod newydd, neu ddarn o Salm, a'i hadrodd ar y pryd, a fy mam ymysg y lleill yn dysgu ei rhan. Ac os na byddai fy nhad gartref, byddai fy mam yn cadw'r ddyledswydd ei hun, ac yn dwyn ei bechgyn i fyny yn hyn fel yr oeddynt yn dyfod i fyny mewn oed.

Gan fod masnach eang dan ei gofal, gyda gweision a morwynion, yr oedd yn gorfod bod yn fywiog ac ymdrechgar iawn. Yr adeg hono nid oedd masnachdŷ arall yn y rhan hon o'r wlad. Byddai yn arfer myned i Gaerlleon a threfi eraill Lloegr, weithiau mewn cerbyd am ran o'r ffordd, dro arall yn marchogaeth yr holl ffordd i Gaerlleon, tuag at wneyd ei masnach. Yr oedd yn meddu cof da a threfnus; gallai gofio amgylchiadau a'r manylion, a chanddi allu rhifyddol cryf, heb fod anghen arni wrth ddim ond ei meddwl i wneyd rhifyddiaeth bwysig iawn. Yr oedd yn meddu ar allu i dynu serch rhai i'w masnachdŷ, ac i'w cadw yn ffyddlawn iddi tra parhâodd ei masnach. Un o'i gofalon mawr oedd ceisio gwella amgylchiadau pobl dlodion, a'u dysgu i fyw. Gwnaeth lawer yn y ffordd hon. Nis gallai hi byth adael i neb fod heb fwyd yn eu tŷ. Rhoddodd fel hyn werth rhai cannoedd o bunnoedd nad oedd gobaith i'w cael yn ol, er mwyn cadw teuluoedd yn fyw mewn amseroedd celyd; ni roes gyfraith ar neb erioed am ddyled, ond gwnaeth lawer i geisio heddychu eraill rhag cyfreithio.

Ei pharch i'r Sabboth oedd yn amlwg iawn i'w weled ar hyd ei hoes. Byddai raid coginio ddydd Sadwrn ar gyfer y Sabboth, myned i orphwys yn gynnar nos Sadwrn, codi ei hun a'r holl deulu, os gallai, yn fore iawn y Sabboth. Byddai yn darllen llawer cyn myned i'r addoldŷ ar y Sabbothau, a hi a welid yn gyntaf un yn y cyfarfod gweddi naw o'r gloch, pa gyfarfod oedd yn gysegredig iawn yn ei meddwl, i ofyn am fendith ar waith y dydd. Hiraethai am weled dydd yr Arglwydd, ac wedi ei gael byddai yn ei weled yn myned heibio yn rhy fuan. Soniai am dano cyn ei ddyfod, ac ar ol iddo fyned. Ymgadwai yn ofalus yn ei geiriau a'i gweithredoedd rhag dyweyd na gwneyd dim cyffredin ar y Sabboth.

Yr oedd ei pharch i weinidogion a gweinidogaeth yr efengyl yn fawr. Ni byddai yn foddlawn gwrando ar neb yn iselhâu pregethwyr a'u pregethau. Yr oedd bob amser yn awyddus i greu meddwl mawr yn mhawb am weision a gwasanaeth yr Arglwydd.

Yr oedd yn hynod hoff o Esboniad Matthew Henry. Darllenodd lïaws mawr o lyfrau eraill, ond Matthew Henry oedd ei phrif lyfr yn nesaf at y Bibl. Darllenai ef am oriau â'i dagrau yn rhedeg dros ei gruddiau; yn enwedig wrth ddarllen y Salmau, y Prophwydi, a'r Efengylau, yr oedd fel un yn cael ysglyfaeth lawer. Yr oedd yn gallu cofio yn dda yr hyn a ddarllenai, ac yn adrodd hyny wrth eraill. Wedi rhoddi y goreu i bob trafferthion er ys dros 13 o flynyddoedd, darllen felly, a myned i edrych am y cleifion a'r profedigaethus, a chadw *seiat* gyda hwynt bob dydd agos oedd ei hoff waith.

Ni byddai fy mam byth yn colli'r cyfarfod eglwysig os byddai yn iach, a byddai yno yn brydlawn; ac anaml y byddai cyfarfod eglwysig yn myned heibio na ofynid iddi hi ddyweyd gair, ac fel rheol canmawl y byddai—gweled yr Arglwydd mor dirion wrth rai yn haeddu dim, cariad Iesu Grist mor fawr, ac yn yr olwg, dymuno ei garu yn fwy—hiraeth ar ol y rhai aeth i'r nefoedd, ac awydd cael myned atynt, a thystio mai crefydd oedd ei nefoedd ar y ddaear.

Awyddai yn fawr ennill rhai o'r newydd at grefydd. Nid wyf yn meddwl fod yr un dyn digrefydd adnabyddus iddi, ag y cafodd gyfle i ymddyddan âg ef, na ddarfu iddi ei gymhell yn gryf i geisio crefydd cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar. Rhybuddiai y meddwon yn bersonol; a byddai gweled un y bu hi yn ceisio ei berswadio yn rhoddi ei hun i Iesu Grist, yn achos llawenydd dirfawr iddi. Achos yr Arglwydd Iesu oedd y prif beth ganddi ar hyd ei hoes, ac felly yn arbenig yn yr ugain mlynedd diweddaf.

Yn mis Mai, 1877, hi a aeth i Landinam i edrych am a chysuro fy mrawd cedd newydd gladdu ei briod, ac yno yr arosodd hyd Awst 13, pryd yr ehedodd ei henaid i'r nefoedd. Yr oedd yn mwynhâu iechyd lled dda, ond ar adegau, hyd o fewn ychydig i'w marwolaeth. Yr oedd hi yn dyweyd ei bod yn credu ei bod wedi dyfod i Landinam i farw, eto yr oedd yn dawel ac yn siriol iawn. Ryw bythefnos cyn ei hymadawiad, yr oedd yn y seiat yn adrodd yn siriol ei phrofiad wrth y Parch. D. Rowlands, M.A., Bangor. Y noswaith cyn iddi ehedeg ymaith, dywedai wrth Mr. a Mrs. D. Davies, Llandinam, "Ni ddwg neb hwynt allan o law fy Nhad i byth;" a'r boreu wed'yn, tua hanner awr wedi pump, ehedodd ei hysbryd ymaith heb ofid na phoen, a'i phen ar fraich fy mrawd David. Yr oedd wedi cyrhaedd yr oedran teg o 72, ac wedi cael byw ugain mlynedd ar ol fy anwyl dad. Rhoddwyd ei

gweddillion i orphwys yn y lle darparedig iddi, yn medd fy nhad, yn Llanllyfni.

"Pwy gwyna iddynt hwy,
Y teulu dedwydd llon,
Sydd wedi myned trwy
Holl ddrygau 'r fuchedd hon;
O swn y byd yn ddigon pell?
Bod gyda Christ sydd lawer gwell."

# Nodiadau ac Awgrymiadau.

### Y RHYFEL YN YR INDIA.

Mae y rhyfel rhwng ein llywodraeth Indiaidd âg Afghanistan wedi dechre; a pha fodd a pha bryd y dybena, nid oes neb ar y ddaear a ŵyr. Gwrthododd Ameer neu lywydd breninol Afghanistan dderbyn goruchwylwyr Brytanaidd, neu genadon i'w lys yn Cabul, megys y gwrthodasai droion o'r blaen; ac am iddo nacâu gwneuthur *apology* am hyny, a pheidio addaw derbyn cenadon i aros gydag ef rhagllaw, dyma ein milwyr yn wynebu ar ei wlad anhygyrch, ac eisoes wedi cymeryd un o'r amddiffynfeydd agosaf. Wrth gwrs, y mae Arglwydd Beaconsfield a'i gydweinidogion yn gefn i Arglwydd Lytton; a hwy sydd yn gyfrifol am yr holl weithrediadau rhyfelgar. Y mae Arglwyddi Lawrence a Northbrook, y rhai mwyaf adnabyddus oddiar brofiad o India, yn cwbl gollfarnu Lytton a Beaconsfield o barth i hynyma; ac y mae Mr. Gladstone, a holl arweinwyr y Rhyddfrydwyr, yn gwrthdystio yn ddifrifol yn ngwaith ein llywodraethwyr yn myned ymlaen yn hyn tu cefn i'r Senedd, yn enwedig yn yr amser hwn o wasgfeuon gwladol. Bydd raid i'r Gweinidogion bellach, pa fodd bynag, alw y Senedd ynghyd; ac ymhell cyn y daw ein rhifyn cyntaf o'r flwyddyn nesaf i law, bydd dadleuon pwysig, yn gystal â dygwyddiadau o ganlyniad mawr, wedi cymeryd lle. Mae amryw o'n darllenwyr mewn oedran yn cofio am y rhyfel Afghanaidd flynyddoedd yn ol—yn agos i ddeugain mlynedd bellach—pryd yr oedd yr Afghaniaid gwaedlyd yn cael mantais ar y milwyr Prydeinig yn y bylchau rhwng y mynyddoedd, ac na ddiangodd ond un neu ddau yn fyw allan o fyddin o ryw un mil ar bymtheg o wŷr. Y pryd hwnw yr oedd Mr. Disraeli yn rhoddi gwrthdystiad o'r fath gryfaf yn y Senedd yn erbyn y cyfryw ryfelgyrch, gan ddyweyd mai peth annheilwng oedd i'n Llywodraeth ddefnyddio nerth cawr megys cawr, a'i bod yn amcanu gwneuthur argraff foesol ar Ewrop trwy ymddwyn yn anfoesol yn Afghanistan. Ond âg efe yn brifweinidog ei hunan, y mae ei uchelswyddogaeth yn effeithiol i gyfnewid pob achos ac egwyddor. Ein cysur ni yn ngwyneb y cyfan ydyw, mai "yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Ydyw, "y mae yr Hwn sydd uwch na'r uchaf yn gwylied; ac y mae Un sydd yn uwch na hwynt."

### BASGED Y GWIREBAU,

*Y Nawfed Fasgedaid.*

XCVII.

Ni bydd darllen i ni ein hunain o gymaint lles heb i ni ymddyddan yn gymdeithasgar âg eraill; ac ni bydd nemawr werth yn ein hymddyddanion os na byddwn yn rhai darllengar. Mae darllen yn dodi'r ganwyll yn y canwyllbren, ac ymddyddan yn ei goleuo. Darllen yw meddwl yn ymborthi, ac ymddyddan yw meddwl yn cymeryd ymadferth *(exercise)*.

XCVIII.

Dawn heb egwyddor sydd i ddyn yn gaffaeliad o'r fath fwyaf niweidiol; a phrydferthwch heb ddoethineb sydd i ddynes yn rhodd o'r fath fwyaf peryglus, canys "fel modrwy aur yn nhrwyn hwch yw benyw lân heb synwyr."

XCIX.

Mae yn dygwydd yn fynych mai y bobl alluocaf o ran meddwl, a goreu o ran tueddfryd, yw y rhai y bydd pobl ddiserch a chenfigenllyd yn eu beïo fwyaf a mynychaf, megys y ceir yn gyffredin mai y ffrwythau melusaf yw y rhai hyny a bigir ac a ddryllir gan yr adar.

C.

Ni chaiff gwirionedd dderbyniad gan bersonau sydd â'u serch arnynt eu hunain, ac am droi pob peth i'w helw eu hunain. Os ewch i ddywedyd rhywbeth yn erbyn Diana yr Ephesiad, na ddysgwyliwch am air da oddiwrth Demetrius y gôf arian.

CI.

Pan y cewch eich hunain yn tueddu i ymfalchïo o'ch cyrhaeddiadau meddyliol, edrychwch i fyny at y rhai sydd yn mawr ragori arnoch mewn gwybodaeth, dysg, a thalent, fel y cadwer chwi yn ostyngedig, ac eto yn awyddus i gynnyddu; a phan fyddoch yn dueddol i anfoddloni o herwydd eich amgylchiadau bydol, edrychwch i lawr at y rhai sydd iselach a thlotach na chwi, fel y galloch ddysgu amynedd a boddlonrwydd.

CII.

Nid yw'r teimlad cynhyrfiol sydd yn troi ato ei hun, ac yn gorphwys arno ei hun, yn lle arwain dyn i feddwl ac i weithredu, yn ddim amgen nag elfen o wallgofrwydd.

CIII.

Pan ofynwyd i un gŵr doeth paham yr oedd y ddaear yn barotach i ddwyn chwŷn nag i ddwyn ŷd, efe a atebodd, "Am fod y ddaear yn fam i'r chwŷn, eithr yn ddim ond llysfam i'r ŷd," sef, ei bod hi yn dwyn chwŷn o honi ei hun, ond yr ŷd ar ol ei hau gan law llafur. Nid annhebyg ydyw yn hyn gyda'r meddwl a'r galon ddynol: mae yn naturiol i ddyn ddwyn ffrwythau'r cnawd; ond rhaid wrth ras Crist a gofal cristion, tuag at ddwyn ffrwyth yr Ysbryd.

# Amrywiaethau.

GENI DYN O WRAIG.

"O'R dechre nid felly yr oedd." Yn Eden, nid dyn a aned o wraig; ond yno y wraig a wnaed o ddyn. O ba le o'r dyn y gwnawd hi, tybed? O'r pen, debyg gen' i. Nage, wraig; paid di a meddwl y cei di *ruwlio* dy ŵr chwaith. Wel, o'r troed, ynte. Nage, ŵr; paid dithau chwaith a meddwl y cei di gymeryd dy wraig yn bêl droed i ti. O ba le, ynte, y gwnawd hi? O'r asen, wel di; mae dy wraig i fod yn anwyl genyt—yn agos at dy galon di. Ond byth ar ol Adda ac Efa, dyma yr ystori am ddyfodiad dyn i'r byd, "Dyn a aned o wraig." Lanciau, a ydych chwi yn barchus o'ch mamau? Mae dy fam, fachgen, wedi cael llawer o boenau wrth dy eni, ac o anhunedd wrth dy fagu; mae yn bryd i ti ddechre talu yn dda iddi.—*Y diweddar Barch. John Jones o Dreffynnon.*

EIN DUW NI A'U DUWIAU HWYNT.

GOFYNAI cenadwr i rai o'r Indiaid, "A ydyw eich duwiau yn eich caru chwi?" "Nid yw y duwiau byth yn meddwl am garu," oedd yr ateb digysur. Y cenadwr a adroddodd yr unfed adnod ar bymtheg o'r drydedd bennod o Efengyl Ioan: "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." "Darllenwch hyna drachefn," ebe un pagan synedig. Y cenadwr a'i hadroddodd eilwaith. "Dyna oleu mawr iawn," medd yr Indiad; "darllenwch yr un peth eto." Y drydedd waith adroddwyd y geiriau rhyfedd a bendigedig, pan y dywedodd y dyn mewn dull grymus, "Gwir yw hyna—yr wyf yn ei deimlo."

GWRTEITHIO GYDA GWEDDIO.

YR oedd offeiriad Pabaidd yn Germany, yn ol yr arferiad yno bob blwyddyn, yn rhodio o flaen ei blwyfolion ar hyd meusydd amaethedig, er mwyn sicrhâu bendith ar y cnydau. Pan ddeuai efe at faes â golwg dlodaidd, ddrwg yr argoel arno, nid arosai yno, ond dywedai, "Yma ni wna gweddïo a chanu un lles heddyw; rhaid i'r maes hwn gael gwrtaith."

Y PEN A'R GWDDF.

Y PARCH. C. H. Spurgeon, yn un o'i areithiau, a ddywedai, "Byddaf weithiau, wrth weinyddu priodas, yn sylwi mai'r gŵr yw pen y wraig, ac y dylai hithau ei gydnabod fel ei phen; ond, ar gyfer hyny, byddaf yn dywedyd, os yw efe'r pen, mai hi yw'r gwddf, ac y gall y gwddf droi'r pen i'r cyfeiriad a ewyllysio."

GWEINIDOG ANWELEDIG AC ANAMGYFFREDADWY.

HEN foneddiges o Saesones, un grefyddol a ffraeth, yr hon nad oedd yn cael ei boddloni yn ngweinidog ei heglwys, a ddywedai am dano: "Dyma pa fath un yw ein gweinidog ni: am chwe' diwrnod o'r wythnos nid ydym yn ei weled, a'r seithfed dydd nid ydym yn ei amgyffred."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## DOSBARTH CHERRA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN ROBERTS, DYDDIEDIG MEDI 21AIN, 1878.

[Teulu Ka Hima—Sefyllfa eglwys Nongsawlia—Dysgwyliad am y cenadon newyddion—Yr Ysgol Sabbothol—Hen ŵr dall—U Borsing.]

PAN yn ysgrifenu atoch ychydig amser yn ol am farwolaeth Ka Hima, yr oeddwn mewn cryn bryder ynghylch ei rhieni; beth a wnaent a pha effaith a gai marwolaeth y ferch arnynt. Ac ymddengys mai nid heb sail yr oeddwn yn pryderu, yn enwedig gyda golwg ar y tad. Bu yn ymdrechfa o'r fath boethaf rhwng tywysog y byd hwn â Thywysog tangnefedd am yr oruchafiaeth. Byddai y tad ar brydiau bron a rhoddi i fyny yr ymdrech a myned yn ol at ei hen grefydd, ond cofiai drachefn nad oedd yno ond newyn mawr trwy yr holl wlad hono. Yr oedd y fam yn fwy tawel, er y byddai yn galed iawn arni yn aml. Felly y buont am rai wythnosau; weithiau i fyny, weithiau i lawr, ond y diwedd fu i Fab Duw gael yr oruchafiaeth. Rhoddasant eu hunain iddo yn llwyr i fyw neu i farw, a thua thair wythnos yn ol yr oeddym yn derbyn y ddau a thri o'u plant i'r eglwys. Dangosent deimlad nodedig o hapus wrth ymddyddan â hwy, cyn, ac wrth eu derbyn i'r eglwys. Dywedent mai yn araf iawn yr oeddynt yn dyfod i weled a deall yr efengyl; er nad ydynt yn deall llawer hyd yn nod yn awr, ond eu bod yn deall digon i weled y rhaid fod trwch eu hanwybodaeth blaenorol yn fawr iawn. Nid oeddynt wedi cael llawer o drafferth i ddeall tipyn am Dduw fel y cyfryw, gan fod ganddynt yn flaenorol ryw fath o syniad am dano. Ond buont yn hir iawn yn deall am eu pechadurusrwydd eu hunain (a hwythau yn meddwl eu hunain yn llawer gwell na'r Cristionogion), ac am Iesu Grist; gan os oedd Duw yn drugarog fel y dywedid ei fod, paham nad allai faddeu yr ychydig bethau a wnaent allan o le? Heblaw hyny, pa fodd y *gallasai* fod gan Dduw Fab? Ac yn olaf, yr oedd rhoddi eu *hunain* yn *llwyr* i neb yn groes iawn i'w meddwl. Ond mae yn ymddangos fod pob peth o'r fath wedi diflanu yn llwyr, a'u bod wedi gwneyd *unconditional surrender* o honynt eu hunain i Iesu Grist. Gobeithio y cânt gymhorth i ddal ati yn ddigwymp hyd yn nheyrnas nef; gweddïed cyfeillion lawer drostynt. Y mae y teulu oll ond un mab yn awr yn yr eglwys. Dyma eu henwau,—1. U Kypa U Mahen. 2. Ka Kymi U Mahen. 3. Ka Himai (yr hon oedd yn yr eglwys o'r blaen). 4. U Mihrai. 5. Ka Nimai. 6. Ka Ihmai.

Ymhen tua phythefnos bydd Cyfarfod yr

Henaduriaeth yma, pryd y daw y frawdoliaeth oll ynghyd. Gobeithio y cânt nerth Duw gyda hwynt, ac y deuant yma â chyflawnder bendith gyda hwynt. Y mae yma ddysgwyliad mawr am danynt, a chedwir cyfarfodydd gweddïo yn fynych i weddïo am fendith Duw ar y cyfarfod. Yn allanol, ni bu eglwys Nongsawlia erioed mewn gwell na chystal cyflwr i dderbyn yr Henaduriaeth. Y mae yma gyflawnder o dai yn awr i dderbyn dyeithriaid, gan fod yr eglwys bellach dros 200 o rifedi,—yr eglwys lïosocaf a fu ar y Bryniau erioed. Y mae hyn yn gynnydd mawr, yn enwedig pan gofier fod Mr. Roberts wedi ei chael yn ychydig iawn o nifer (tua 15 neu 20), ychydig gyda phum' mlynedd yn ol. I Dduw y byddo y diolch a'r holl glod, a bydded i ninnau gael modd i lawenhâu mewn dychryn.

Yr ydym oll yn edrych ymlaen gyda llawenydd at yr amser y daw y cenadon newyddion yma; rhoddir iddynt groesaw calon pan ddeuant. Bydd yn dda ganddynt hwy a'u gwragedd gael gwybod nad oes yma un math yn y byd o anghydfod i'w haros ar eu dyfodiad, na bydd raid iddynt gadw draw oddiwrth y naill blaid rhag cael eu cyhuddo gan blaid arall o fod wedi cymeryd plaid. Cânt groesaw gan y brodorion yma hefyd; yr wyf yn meddwl na bu y brodorion erioed yn teimlo yn fwy caredig a pharchus at y Genadaeth a'r Cenadon. Gobeithio y cânt amddiffyn Duw drostynt hwy a'u gwragedd ar hyd y fordaith, ac y cânt oes hir i weithio yn ddifefl yn ngwinllan eu Harglwydd. Yr oedd yn dda genyf weled fod Mr. Evans yn ei theimlo yn "fraint" gael dyfod drosodd yma i ddyweyd wrth baganiaid am Iesu Grist yn Waredwr iddynt; y mae felly mewn gwirionedd, y fraint fwyaf a allasai ef a ninnau gael. Rhodded Duw i ni oll deimlo mai *braint* ydyw. "Aberthu" ydyw y gair arferol mewn cysylltiad â chenadwr. Aberthu beth, tybed? Nid wyf yn gwybod am ddim a aberthais i na neb arall o'm brodyr yma. A byddai i ni ddechreu teimlo ein bod yn aberthu yn arwydd sicr fod yn bryd i ni ddychwelyd.

Yr wyf yn amgau i chwi lythyr oddiwrth U Ryman, brawd U Larsing, a fu farw yna. Y mae ef yn ddyn da ac yn gweithio yn dda gyda'r achos yn ogystal ag eraill yma, fel ag yr ydym ninnau, fel Paul a'r apostolion eraill, yn cael ein cynnorthwyo yn sylweddol gan y dychweledigion paganaidd. Bydd yn bleser mae'n ddiau gan Mr. neu Mrs. Lewis ei gyfieithu i chwi.

Y mae y moddion ar y Sabb6th yn cael eu mynychu yn dda iawn ar y cyfan, ac y mae yr Ysgol Sabbothol yn cael ei gwerthfawrogi, a chryn lawer o lafur a dysgu allan ynddi. Golygfa oedd yn peri i mi lawenydd mawr iawn y Sabboth diweddaf oedd gweled 218 ar eu traed yn adrodd rhan o bennod o'r *Hyfforddwr*. Yr oedd yn cael ei hadrodd yn dda iawn gan lawer o honynt, ond y goreu o ddigon oedd hen ŵr dall sydd yma yn byw er's rhai blynyddoedd. Y mae golwg urddasol dros ben arno, a'i ben i fyny, fel deillion yn gyffredin. Y mae yn dàl o gorpholaeth ac mòr unioned â ffon. Ond, druan o hono, y mae yn bur dlawd erbyn hyn. Pan ddaeth yma i ddechreu gyda'i wraig a'i bedwar plentyn, yr oedd ganddo dipyn o eiddo, ond erbyn hyn y mae heb ddim bron. Y mae wedi cael rhai siomedigaethau chwerwon. Wedi i'w fachgen hynaf orphen ei addysg, a bod yn addysgu am ychydig, trôdd allan yn fachgen drwg, caled a diddaioni, ac nid yw yn cael dim help ganddo. Ymhen ychydig bu farw ei ail fachgen,—bachgen da a gobeithiol, pan oedd ar fin gorphen ei addysg. Y mae ei ferch wedi priodi, ond nid yw yn gallu rhoddi dim cymhorth i'r hen bobl. Ac y mae ei fachgen ieuangaf yn yr ysgol, ond druan o hono, y mae yntau yn sal hanner ei amser, a'r dyfodol yn dywyll iawn o'i flaen; ond y mae yn fachgen da iawn, ac yn ddysgwr rhagorol pan all ddyfod i'r ysgol. Rhwng pob peth, y mae yn ddigon tywyll ar yr hen ŵr dall a'i wraig am eu cynnaliaeth. Pe b'ai rhywrai o gyfeillion caredig y Genadaeth yn cael ar eu meddwl i roi rhyw ychydig yn awr ac yn y man tuag at ei gynnaliaeth, byddai yn elusen mewn gwirionedd, ac O! mor dda fyddai ganddo gael ychydig help. Gyfeillion anwyl, cofiwch am dano; nid oes yma na phlwyf nac arall i fyned ato mewn caledi. A phan y mae un yn troi yn Gristion, nid edrycha ei deulu arno mwy. Y mae yn Gristion goleuedig (er yn ddall) a chywir dros ben, ac yn zelog iawn gyda'r achos yma. Y mae yn yr holl foddion yn ddifeth, pa gyfarfod bynag fydd yn y capel,—cyfarfod gweddi, darllen, canu neu bregethu, beth bynag fydd yr hîn a phwy bynag fydd yn ol, bydd ef yno. Heblaw hyny y mae yn rhoi help dirfawr i mi gyda chyfieithu y Bibl i'r Khasi ac adolygu cyfieithiadau fy nghydgenadon, gan ei fod yr ysgolaig Khasi goreu yn yr holl wlad. Dyna fi wedi dyweyd am dano heb un gair gormodol, ac yr wyf yn gobeithio y siriolir ei feddwl trwy gael profiad sylweddol ei fod yn cael ei garu gan rai nas gwelsant ef erioed.

Yn ddiweddar buom yn ofni yn fawr fod y penaeth U Borsing wedi cyrhaedd pen ei yrfa. Daeth yma o'r gwastadedd tua thri mis yn ol, wedi bod yn aros yno yn edrych ar ol ei eiddo am bedwar neu bum' mis. Golwg waelaidd iawn oedd

arno a pharhâu yn wael yr oedd o hyd, ond tua mis yn ol cafodd ymosodiad o rywbeth tebyg iawn i *cholera*. Am tua dau ddiwrnod buom yn ofni yn fawr am dano, ond trwy drugaredd yr Arglwydd daeth trwyddi, ac erbyn y Sabboth diweddaf yr oedd wedi gallu dyfod i'r capel. Yr oedd yn dda iawn genym oll ei weled.

---

## DOSBARTH SHILLONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG MEDI 26AIN, 1878.

YR wyf heb anfon ond ychydig i chwi y misoedd diweddaf am waith Iesu Grist yn y dosbarth hwn; diffyg amser yw yr achos. Fe obeithiwn gael mwy o hamdden cyn hir, ond rywfodd gobaith siomedig yw o hyd; pan ddaw dyn i ben âg un gorchwyl, bydd yn cael ei hun yn ei chanol gyda hanner dwsin o orchwylion eraill, oll yn pwyso ac nid anfynych yn galw ac yn pwyso oll ar unwaith; ac yn wir, mae dyn yn cynnefino â hyn, a goreu po gyntaf y gwneir hefyd, gan yn ol pob arwyddion mai yr un fath y bydd hi i ddiwedd y bennod.

Yr ydym yn ceisio myned ymlaen ein goreu yn yr orsaf hon ac yn y mân bentrefi cylchynol, ac yr ydym yn credu fod y cerbyd mawr yn ymsymud ychydig, er yn araf; eto yn ei flaen y mae yn myned. Mae y rhai sydd yn dyfod i wrando fel pe yn cynnyddu ychydig yn Shillong yma, er gwaethaf pobpeth; ac yn y pentrefi o gwmpas, mae ambell un fel yn dechreu deffro a rhwbio ei lygaid ar ol cwsg hir iawn. Mae rhai hefyd yn dyfod i ymofyn am yr Iesu a'r iachawdwriaeth sydd ynddo i bechaduriaid colledig. Yr ydym yn yr wythnosau diweddaf hyn wedi derbyn rhai o'r newydd i'r eglwys hon. Mae un teulu a dderbyniwyd yn gynnwysedig o ŵr a gwraig a dau o blant. Daethant i fyw yma fwy na dwy flynedd yn ol o ran o'r wlad nad oes ynddi ysgol nac un Cristion; ac yn fuan wedi iddynt ddyfod dechreuasant ddyfod yn achlysurol i'r cyfarfodydd ar y Sabboth, ac o dipyn i beth i gadw y Sabboth a dilyn y cyfarfodydd crefyddol yn rheolaidd, ac hefyd i droi yn ein plith a chyfeillachu â ni. O'r diwedd bu iddynt benderfynu, a chawsant nerth gan Dduw i roi eu penderfyniad mewn gweithrediad, i fwrw ymaith eu hen dduwiau a'u hen arferion, a throi at y Duw byw, y gwir Dduw a'r Creawdwr, ac at ei Fab ef Iesu Grist. Mae rhywbeth hynod o ddymunol ynddo ef a'i wraig; maent mor syml ac unplyg a dirodres, mor isel a gostyngedig. Maent yn debyg iawn i rai yn dyfod i ymofyn bywyd a maddeuant yn yr Arglwydd Iesu Grist; ac yr oedd yr holl frawdoliaeth yn rhoddi derbyniad croesawgar iddynt fel teulu i eglwys Dduw. Nid oedd neb o'u perthynasau yn Gristionogion o'u blaen, na neb o'u pentref ychwaith, mor bell ag yr wyf yn gwybod; felly hwy sydd yn arwain y ffordd gyda dyfod at Gristionogaeth. Bu dau neu dri o deuluoedd sydd yn perthyn iddynt yn ymweled â hwy, a chaed peth ymddyddan â hwynt. Nid ymddangosent yn rhyw wrthwynebol iawn i'r ffordd newydd hon, ac i ddarllen y Llyfr, ond eu bod yn anwybodus ac ofergoelus iawn, yn ofni yn fawr rhag i'r cythreuliaid ddial arnynt a'u poeni am ddim ond dyfod i edrych am eu perthynasau, oblegid eu bod hwy wedi eu gadael a'u haddoliad hefyd, a throi at Dduw arall. Y fath blygion ar blygion o bechod ac anwiredd, yn gymysg âg anwybodaeth ac ofergoeledd, sydd yn toi ac yn llenwi eu calonau, nes bod yn gofyn aredig yn ddwfn er cyrhaedd at y teimlad a'r dirnadaeth, er cyrhaedd i'r byw. Yn wir, rhaid tynu y galon hon ymaith a rhoddi yn ei lle galon gig, fyw, yn teimlo ac yn curo; a dyna mae Ysbryd Duw yn ei wneyd, a dyna mae wedi addaw ei wneyd, ac wedi ei wneyd i filoedd yr oedd eu calonau wedi myned yn ddrwg diobaith, heb neb yn eu hadnabod na gwybod sut i'w trin ond Efe ei hun. Gan ei fod Ef yn gallu ac yn ewyllysgar, yr ydym yn hyf ac yn daer yn cymhell pechaduriaid mawr fel y rhai hyn i droi ato am ymwared, am obaith, a sancteiddrwydd a bywyd.

Teulu arall a dderbyniwyd i'r eglwys yma sydd yn cael ei wneyd i fyny o dad a mam a dau o blant, yr hynaf o'r ddau wedi priodi, a daeth ei wraig gydag ef i'r eglwys. Mae y rhieni wedi cyrhaedd gwth o oedran, y tad tua phymtheg a deugain neu driugain, a'r fam tua phum' mlynedd yn ieuengach. Nid oes gan yr un o'r ddau lawer o wybodaeth, ond mae y fam yn gwybod ac yn deall mwy na'r tad. Ond mae y ddau yn deall ac yn teimlo eu bod yn bechaduriaid, ac fod Iesu Grist yn Waredwr parod i gymeryd trugaredd arnynt yn eu henaint, ar ol rhoddi agos eu holl ddyddiau i wasanaethu duwiau gau ac offrymu iddynt; ac yr oeddynt yn awr, fel y dywedent, yn dyfod at Fab Duw fel yr oeddent, gan obeithio y byddai i'r Iesu grasol dosturio wrthynt. Yr oedd yn llawenydd a chysur i ni oll eu gwelêd yn troi at Dduw all achub; ac er eu bod yn hen a thywyll, ni a obeithiwn y deuant o hyd i'r ffordd sydd yn arwain i Galfaria at ei groes Ef, ac os deuant o hyd i hono a'i rhodio, pe byddent

ynfydion ni chyfeiliornant. Gall y tri eraill ddarllen yn dda, ac y maent yn deall trefn yr efengyl yn lled gywir, ac yr ydym yn gobeithio y bydd iddynt gynnyddu mewn gwybodaeth a deall ysbrydol, fel y gallont fod o help a chysur i'r ddau hen bererin, i'w harwain ymlaen a'u dysgu yn ffordd y bywyd.

Nid wyf wedi gallu myned unwaith y ddau fis diweddaf i ymweled â Khadsawpra, fel yr oeddwn wedi llawn fwriadu; ond bydd i mi fyned yno, os caf fyw, yn mis Hydref, sef ar ol cyfarfod yr Henaduriaeth, yr hon sydd i'w chynnal yn Nongsawlia yr wythnos gyntaf o Hydref. Ond yr wyf yn clywed fod y gwaith yn parhâu i fyned yn ei flaen yno, ac fod rhai o'r newydd yn troi at Iesu Grist.

Da iawn genym ddeall fod y Cenadon yn bwriadu cychwyn am y dwyrain tua diwedd Hydref. Amddiffyn y Nefoedd a fyddo drostynt yr holl ffordd ar fôr a thir nes cyrhaedd pen eu taith, a gweled eu gwynebau ac ysgwyd llaw â hwynt, a chael cydweithio gyda theyrnas ei Fab ef.

---

## CYFARFOD YR HENADURIAETH.

Hydref 5, 6, a'r 7fed, cynnaliwyd cyfarfod yr Henaduriaeth yn Nongsawlia. Mewn cysylltiad â'r cyfarfod hwn ymgyfarfu y Cenadon ar wahan, pryd yr archwiliwyd y cyfrifon am y ddau chwarter blaenorol, ac y cymerwyd i ystyriaeth yr amcangyfrifon o'r treuliadau am y flwyddyn ddyfodol; a chymeradwywyd y naill a'r llall i'w hanfon i ystyriaeth y Cyfarwyddwyr. Aeth y Parch. John Jones yn llwyddiannus trwy yr ail arholiad yn y Gassiaeg,—mewn Gramadeg a Chyfansoddiad. Awdurdodwyd y Trysorydd ar y Bryniau i dalu £6 10s. tuag at gyfarfod â chostau anarferol mewn cysylltiad â chyfarfod yr Henaduriaeth. Rhoddid y cynnorthwy hwn dan amgylchiadau neillduol: mae prisiau bwyd ar hyn o bryd, ymhob man bron dros y Bryniau, agos gymaint ddwywaith ag arferol, ac yr oedd nifer y bobl a ddaethent i'r Henaduriaeth yn fwy na dwywaith y nifer a arferent ddyfod. Mae y draul fydd yn disgyn ar eglwys Nongsawlia ei hunan yn fwy na thair gwaith y swm hwn. Pasiwyd penderfyniad yn dadgan llawenydd y brodyr yn y rhagolwg o gael y Cenadon newyddion yn fuan ar y maes i gydweithio â hwynt. Gofynwyd cymeradwyaeth y Cyfarwyddwyr i'r cynllun o'r tŷ sydd yn cael ei adeiladu yn Mawphlang i'r cenadwr meddygol. Wrth anfon y cofnodau o ba rai y rhoddir y crynodeb uchod, ysgrifena y Parch. John Jones, o Nongsawlia, Hydref 8fed:—

"Yr wyf yn anfon i chwi gofnodau y *District Committee* ar unwaith oddiyma, gan fod yn debyg nas gallaf gael hamdden i ysgrifenu eto am bymthegnos neu ragor, gan ein bod yn mudo o Lait i Shella yr wythnos hon. Cawsom Henaduriaeth ardderchog, y mwyaf a gafwyd eto ar y Bryniau, meddir. Nid oedd dim llai nag oddeutu 750 yn bresennol yn yr oedfaon, a'r rhai hyny oll yn wrandäwyr astud. Yr oedd y cyfarfodydd neillduol hefyd yn hynod lewyrchus, o ran nifer y cynnrychiolwyr a'r ymdriniaeth a gafwyd ar y gwahanol faterion a ddygwyd ger bron. Anfonaf hanes y cyfarfod, &c., mor fuan ag y bydd modd. Yn ddiddadl yr oedd y Presennoldeb Dwyfol gyda ni yn yr holl gyfarfodydd, fel yr oedd pawb yn gallu dyweyd, 'Da i ni fod yma.' Wedi hau yr had da, ein gweddi yw ar fod i Dduw pob gras ei fendithio er dychweliad llawer i'r ffydd."

---

## GLANIAD Y CENADON YN INDIA.

Bydd yn dda gan ein darllenwyr ddeall fod hysbysrwydd wedi ei dderbyn gyda'r pellebyr fod y Mira wedi cyrhaedd Calcutta ar yr 21ain o Tachwedd

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Derbyniodd y Trysorydd Cyffredinol y symiau canlynol at amcanion cyffredinol y Gymdeithas er pan wnaed y cyfrif diweddaf:—

| | £. | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Capel New Brighton................ | 1 | 8 | 0 |
| Asile, trwy law y Parch. T. Levi .... | 0 | 10 | 0 |
| Manchester, trwy law Dr. J. Roberts | 65 | 0 | 0 |
| Sir Fôn, trwy law Mr. R. Davies, A.S. | 400 | 0 | 0 |
| Mrs. Ebenezer Evans, Bodedern, at y Genadaeth Feddygol, trwy law Mrs. Dr. Griffiths........................ | 2 | 10 | 0 |

---

D.S. Derbynir rhoddion at y Genadaeth Dramor gan y Trysorydd Cyffredinol, Peter Williams, *Esq.*, 17, *Percy Street, Liverpool.*

☛ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. Peter Williams, Treasurer of the W. C. M. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63, *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON

